# TRAETHODYDD

AM Y FLWYDDYN 1870.

LLYFR XXIV.



TREFFYNNON:
AFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN P. M. EVA

MDCCCLXX.

# Y TRAETHODYDD.

AM Y FLWYDDYN 1870.

LLYFR XXIV.




TREFFYNNON:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN P. M. EVANS.

MDCCCLXX.

# CYNNWYSIAD.

---

# Y TRAETHODYDD.

---

## Y GAREG YN LLEFAIN O'R MUR.

Y MAE dyweyd fod yr oes hon yn oes ryfedd yn beth nad oes dim rhyfedd ynddo, o herwydd ei fod yn ddywediad a arferir mor aml, ac a gydnabyddir yn wirionedd mor amlwg achyffredin. Ond y mae rhywbeth hyd yn nôd yn hyn yn brawf o'r gwirionedd wedi y cwbl—oes ryfedd ydyw yr oes yr ydym ni yn byw ynddi.

Un o nodweddion rhyfedd yr oes hon yw yr ysbryd ymchwilgar a'i meddianna. Tŷr yr ysbryd hwn allan mewn amryw ffyrdd. Dan ei ddylanwad ymffurfia rhai yn gwmnïau i archwilio cilfachau ac arwyneb moroedd pellenig a dyeithr; eraill i archwilio arwynebedd y ddaear. Eraill, drachefn, dan ddylanwad yr un ysbryd, a dremiant ar wyneb y nefoedd, i chwilio am ryw fyd newydd yno, neu am ryw ryfeddod newydd yn yr hen fydoedd adnabyddus iddynt o'r blaen. Ac nid yw yr ysbryd rhyfedd hwn yn ymfoddloni ar archwilio a dyfod o hyd i ryfeddodau *wyneb* y grëadigaeth—wyneb y nefoedd a'r ddaear; ond rhaid iddo dòri trwy yr arwyneb, a disgyn i'r dyfnder, a chwilio cilfachau hwnw; ac esgyn i'r uchelder, a syllu ar a mesur ystafelloedd hwnw hefyd: nid boddlawn meddwl dyn, dan ddylanwad yr ysbrydiaeth yma, heb ymgydnabyddu â phob dyeithrwch, a meistroli pob peth dirgel. A mawr fel y mae yr ysbrydiaeth yma yn cael ei wroli a'i gefnogi i fyned ymlaen yn ei anturiaethau y dyddiau hyn, trwy ei lwyddiant, a'i gwobrau rhagorol a ddeillia iddo drwy ei anturiaethau diweddar. Un o anturiaethau diweddaf yr ysbryd hwn yw y gymdeithas a ffurfiwyd yn ddiweddar i chwilio pa beth sydd gan yr hen Jerusalem gynt—yn awr yn adfeilion claddedig odditan seiliau y Jerusalem sydd yn aros—i'w ddyweyd wrthym ni yn y dyddiau hyn. Ac y mae yr anturiaeth hon eisoes yn dechreu talu yn dda. Dïau y bydd llawer o'r tystion i wirionedd y Bibl yn cael eu hadgyfodi o hen adfeilion sydd dan seiliau y ddinas sanctaidd, ac y bydd yma faes ëang ac iachus i ryw un cyfarwydd i arwain darllenwyr y TRAETHODYDD iddo cyn hir.

Ond y tro hwn, modd bynag, ni fydd i ni fyned â'r darllenydd yn llawn càn belled a Phalestina a Jerusalem—aroswn ychydig yn nês gartref; tröwn i Rufain, dinas, os yn ddiweddarach, nid llawer llai enwog, ac edrychwn beth allwn ni ganfod yn y lle rhyfedd hwn. Ond ni wnawn geisio tywys y darllenydd y tro hwn ychwaith i gael cymaint â chipolwg ar yr oll o brif ryfeddodau y ddinas enwog hon; pallai yr amser i ni a'r darllenydd. Ac o herwydd fod ein hamser a'n gofod yn fŷr, y ffordd oreu i ni yw disgyn ar ryw un peth yn ein taith ymchwiliadol drwy y ddinas fawr hon, a cheisio ei efrydu dipyn yn drwyadl;

mae hyn yn well, yn ddiammheu, na *myned heibio* i lawer o ryfeddodau aneirif y ddinas, a *gweled* dim yn y diwedd.

A pha le, anwyl ddarllenydd (paid a dychrynu), y meddylit ein bod yn myned i'th dywys iddo yn y ddinas sanctaidd, ond i fro marwolaeth yno, i wrando ar y meirw, wedi marw yn llefaru eto; lle y dŵg marwolaeth dystiolaeth i Air y bywyd, y llwch yn clodfori Duw, a'r bedd yn ei foliannu Ef. Y peth y cyfeiriwn ato yw, nid mynwentydd y ddinas yn gyffredinol, ond y fynwent ryfedd danddaearol y maent wedi dyfod o hyd iddi yno. Dau beth gaiff fod dan ein sylw oddiwrth y testun. I. Hanes y fynwent neu y mynwentydd tanddaearol hyn. II. Y dystiolaeth a gesglir drwy arysgrifau, &c., yn y beddogofau hyn o blaid Cristionogaeth yn gyffredinol, a Phrotestaniaeth yn neillduol. Diammheu y byddai gair i bwrpas ar hyn yma yn air mewn pryd y dyddiau hyn.

I. Hanes Mynwentydd Tanddaearol Rhufain. Y mae beddogofau —*catacombs*—Rhufain nid yn unig yn un o brif ryfeddodau dinas Rhufain, ond yn un o brif ryfeddodau y byd. Maent fel olion o waith celfyddyd gyntefig yn nodedig a rhyfedd, ac wedi bod yn tynu sylw mawr. Ond fel olion o waith celfyddyd yn llaw y grefydd Gristionogol yn yr oesau boreuol hyny, y maent wedi tynu y sylw mwyaf wedi y cwbl. Y mae tri dosbarth wedi bod, ac yn bod i raddau hefyd, yn aflonyddu ar y meirw hyn, ac wedi bod yn bur ddyfal yn archwilio beth sydd gan y tanddaearolion bethau yma i ddyweyd o blaid eu hoff byngciau; sef, Protestaniaid, Pabyddion, ac Anffyddwyr. Yn y rhan gyntaf o'r oesau tywyll—o'r bummed hyd tua'r nawfed ganrif—bu y cuddfeddau hyn lawer iawn yn gyrchfa i raib lladron paganaidd, a phererinion Pabyddol. Ac fel hyn, trwy eu bod am oesau yn wrthddrychau i ysbryd cybydd-dod y paganiaid, i'w darnio a'u symud, er cael gafael ar ryw drysorau cuddiedig a fuasai yn debyg o lanw eu gwanc hwy ar y naill law, ac yn gorfod myned dan yr un dynged o greulondeb ar ran y Pabydd, i chwilio am rywbeth fuasai yn debyg o fod yn rhyw sail i'w ddefodau a'i dybiau ffôl a phlentynaidd ef, ar y llaw arall, o herwydd hyny, ychydig iawn o'r beddau hyn sydd i'w cael heb ôl llaw drom y naill neu y llall, ac, yn wir, y naill fel y llall, o'r yspeilwyr barbaraidd hyn. Modd bynag, ymddengys eu bod wedi cael perffaith lonyddwch am tuag wyth canrif, sef o'r nawfed hyd ddechre yr eilfed ganrif ar bymtheg. Yn gynnar yn yr ail ganrif ar bymtheg, gwnaeth un Anthony Bosio chwilio yr holl feddogofau y gallasai ddyfod o hyd iddynt, a chysegrodd ei holl fywyd i'r gwaith hwn. Er fod y dyn hwnw wedi myned i draul a thrafferth fawr i wneyd ymchwiliadau manwl i'r mater hwn, ac er ei fod wedi bod yn bur lwyddiannus, eto bu farw cyn dwyn ei waith allan. Er hyny, fel y mae, ymddengys ei fod y goreu hyd yma ar y pwnc, ac i raddau mawr yn sail i bob un arall, gan fod ei awdwr wedi cael hyd i fwy o'r *catacombs* hyn, a'u chwilio yn fanylach, na'r un a ddaeth ar ei ôl. Ac o'r adeg hono hyd yn awr, i raddau mwy neu lai, y mae y beddau rhyfedd hyn wedi bod yn wrthddrychau cywreingarwch ac ymchwiliad neillduol y dosbarthiadau a enwyd; a phob un yn zelog yn ceisio ganddynt ddwyn tystiolaeth i'w gredo ef ei hun. Y maent wedi eu hamgylchu â llawer iawn o dywyllwch ac anhawsderau. Yr oeddent felly yn yr amser y bu y gŵr a enwyd eisoes, yn nechre yr ail ganrif ar bymtheg, yn eu

chwilio. Trwy benderfyniad diysgog, a llafur meddyliol a chorfforol erfawr, y medrodd efe ddyfod o hyd i lawer o honynt. Yr oedd y garddwr difeddwl a'r arddwr disylw wedi cauad i fyny yr agoriadau i fewn i lawer o honynt, y nenfwd wedi syrthio, a'r ochrau wedi ymgau at eu gilydd; dyma y sefyllfa y cafwyd hwynt ynddi y pryd hwnw. A chan na wnaeth neb ofalu yn neillduol am danynt—eu cadw yn agored, &c., oddiar yr adeg hono hyd yn awr, aethant i sefyllfa waeth gyda golwg ar ddyfod o hyd iddynt, &c., ar ol hyny na chynt; gymaint felly, fel nad oes gan ymchwilwyr diweddarach ond ymddibynu ar dystiolaeth y gŵr hwn am fodolaeth rhai o honynt. Ac yn awr, gan nad oes unrhyw gofnodiant neillduol am danynt mewn unrhyw hen goflyfrau boreuol, fod yr hynafiaethydd wedi eu hangofio, a phawb wedi eu gadael allan o sylw ymhob modd am gynifer o gannoedd o flynyddoedd, fel y sylwyd, nid oes gan y mwyaf craffus ac ymroddgar fel hynafiaethydd, erbyn heddyw, ond dyfalu am lawer peth perthynol iddynt, a gadael llawer cwestiwn o bwys gyfodi yn y meddwl gyda golwg arnynt heb fodd i'w ateb. Yr ydym yn ewyllysio dyweyd cymaint a hyna yn awr, er mwyn awgrymu i'r darllenydd ar y dechre, mai nid sangu ar *terra firma* ffeithiau eglur, ac arbrofion diymwad, y byddwn bob cam wrth ei arwain drwy yr ogofau hyn; ond y bydd raid i ni yn aml sangu ar dir tywodlyd dyfaliad, a llethrau peryglus damcaniaeth, wrth fyned ymlaen, ïe, methu myned ymlaen o gwbl i lawer cyfeiriad y dymunem hwylio ein camrau tuag atynt, gan faint y tywyllwch a'r anhawsderau fydd o'n blaen. Nid ydyw y tywyllwch a'r anialwch y mae y beddogofäu hyn ynddynt yn llythyrenol, ond cysgod o'r tywyllwch a'r anialwch meddyliol y rhaid i ni adael ynddynt aml i gwestiwn o ddyddordeb perthynol iddynt a all ymgynnyg i'n meddwl wrth fyned ymlaen. Modd bynag, y mae eu bodolaeth yn eithaf eglur, a llawer o bethau eraill o ddyddordeb mawr yn gysylltiedig â hwynt yn ddïammheuol; ac y mae hyd yn nôd llawer o bethau sydd â grádd o dywyllwch o'u cwmpas o ddyddordeb mawr iawn; maent yn werth edrych arnynt, er yn ngoleuni y nos.

Yn awr, ceisiwn ateb, mor fyr ag y byddo modd, *rai* o'r cwestiynau sydd yn debyg o gyfodi yn naturiol yn meddwl y darllenydd gyda golwg ar y beddogofau dan sylw. Ni ddilynwwn yn neillduol ac yn gaeth unrhyw un o'r rhai a ysgrifenasant ar y mater hwn, ond ymdrechwn roddi i'r darllenydd gynnyrch yr hyn a ddarllenasom yn gyffredinol ar y mater.

1. *Y lle y maent.* Desgrifir y *campagna* Rhufeinig—y ddaear o gwmpas Rhufain—yn ôl iaith y daearegwyr, fel yn cael ei wneyd i fyny o greigiau llôsg o dri math. Yr haen isaf yn graig galed, o ba un yr adeiledir tai y ddinas a'r wlad o amgylch; yr ail haen yn ddefnydd tywodlyd, yn gymysgedig â lludw, eto wedi ei gyd-dymheru nes y mae, i raddau, yn galed, ac yn dal yn dda wrth ei gilydd; yr haen arall sydd dywod rhydd, o ba un y gwneir morter at adeiladu. Ac yn awr, yn yr ail haen a nodwyd, yn ddieithriad, y mae y beddogofau hyn wedi cael eu naddu. Yr ydoedd yr haen uchaf yn rhy frau i ddal yn yr ochrau a'r nèn i ateb y dyben mewn golwg. Ond yr ydoedd y graig hon, pan heb fod yn galed iawn i'w thòri, yn ddigon caled i ddal yn dda fel tô, ac yn yr ochrau. A thrwy yr haen yma o graig y mae milldiroedd lawer o ystrydoedd o feddau wedi eu naddu gan ryw ddwylaw caredig,

sydd yn llŵch o ryw fath er yn agos i ddwy fil o flynyddoedd yn ôl. Ond er mor bell yn ôl, mae ein meddwl yn gallu presennoli yr adeg, a gweled y llafurwr Rhufeinaidd tlawd yn myned â'i gaib ar ei ysgwydd, ac yn disgyn i drigfanau y meirw hyn, â'i lusern fechan yn ei law, ac yn ei glywed, yn y tywyllwch tanddaearol, yn morthwylio allan fedd i un o'i anwyliaid, fe allai a ferthyrwyd y dydd o'r blaen gan y gelyn, a'i ddagrau yn ymgymysgu â llwch y bedd newydd, a'i galon yn curo llawer ergyd o'i heiddo hi am bob un o eiddo ei fraich ar y graig, gan hiraeth ar ol ei anwyliad, ac ofn, hwyrach, rhag i'r gelyn gael gafael ynddo yntau, a'i wneyd yn aberth i'w gynddaredd cyn gorphen bedd i'w anwyl berthynas.

Ymestynant am filldiroedd lawer tu allan i'r ddinas; eu sefyllfa yn gyffredin yw tua thair milldir tu allan i furiau y ddinas; ond ymestynant weithiau odditan y muriau a seiliau y ddinas. Dywedir, pe buasai yr ystrydoedd marwolaeth hyn yn un linell union, y buasai o chwe' chant i naw cant o filldiroedd o hŷd. Rhaid i'r darllenydd gofio nad oes un wybodaeth sicr am hyn, o herwydd yr ydys yn methu cael gafael yn awr arnynt oll, a llawer o'r rhai y deuwyd o hyd iddynt, yn y fath sefyllfa, fel nad oes bosibl eu mesur. Y mae daeargrynfäu a llifddyfroedd, ac, yn fwy na'r cwbl, esgeulusdra am gyhyd o amser, wedi ei wneyd braidd yn beth annichonadwy i'w mesur yn fanwl a'u chwilio yn drwyadl; y mae cymaint o ddaear wedi syrthio iddynt a chauad i fyny pob agoriad iddynt. Dywed un, Patri Marchi, un o'r awdurdodau uchaf ar y cwestiwn, oddiar ymchwiliad manwl personol i'r mater, a rhyw grybwylliadau mewn hen goflyfrau eglwysig, fod nifer y beddogofau yn Rhufain tua thriugain, y rhai a amrywiant lawer, wrth gwrs, mewn maintioli, &c.; ond nid oes ond ychydig—tuag un ran o dair, o'r rhai hyn yn agored yn awr. Dywed am *gatacomb* St. Agnes, un o'r rhai hawddaf ei chanfod, a mwyaf adnabyddus yn awr, eu bod wedi mesur rhyw ran o hóni, yr hyn oedd tua saith can' troedfedd o hŷd, a phum' cant a hanner o lêd. "Eto," medd efe, "pe mesurem holl ystrydoedd y rhan hon o'r gladdfa, nis gallasai fod yn llawer llai na dwy filldir o hyd; yr hyn yn y diwedd ni buasai ond un ran o wyth o'r holl gladdfa hon. Ac felly gwnai hyn oll hŷd ystrydoedd marwolaeth claddfa St. Agnes yn ddim llai na phymtheg neu un ar bymtheg o filldiroedd Seisonig. Ac wrth gymeryd yr ogof hon yn engraifft o'r lleill—mae yn llai na rhai, ac yn fwy na'r lleill—daw yr oll i'r hŷd aruthrol a nodwyd eisioes—o chwe' chant i naw cant o filldiroedd. Mae yr hŷd yma mewn ystrydoedd tanddaearol o feddau, wedi eu naddu allan dan y fath amgylchiadau ar y byd ac ar yr eglwys âg y gwnaethpwyd hwy, yn ymddangos yn hynod iawn, ymron yn anhygoel, rhaid addef. Ond eto, dyma farn a thystiolaeth unedig y rhai mwyaf cymhwys i roddi barn ar fater o'r fath.

2. *Y pryd y gwnawd hwynt.* Rhaid dywedyd yn y dechre nad oes dim pendant a hollol sicr i'w gael ar hyn eto. Yr oll a allwn gael yn atebiad i'r gofyniad hwn, rhaid ei gasglu, yn benaf, oddiar arysgrifau a geir yn yr ogofau, ac ar y beddau eu hunain. Yr oedd trefedigaeth o Iuddewon wedi dyfod o Palestina i Rufain, ryw amser cyn y cyfnod Cristionogol, a thrigasant yn y tu deheuol i'r afon Tiber. Ac ymddengys fod ganddynt gladdfa danddaearol o'r natur yma o'r eiddynt eu hunain yn

*Monte Virde*, yn gysylltiedig â'r parth o'r dref y trigent ynddo, yn yr adeg foreuol hon. Ymwelodd Bosio yn nechre yr ail ganrif ar bymtheg â'r gladdfa hon, a chafodd o hyd ynddi, medd efe, i gofadeiliau o'r canwyllbren Iuddewig a'i saith gainc, ac un arysgrif yn yr hon yr oedd y gair *synagog* yn ddarllenadwy. Ond yr oedd holl adeilwaith y gladdfa yn hynod anghelfydd a gwyllt, ac heb un argôf cristionogol o'i mewn. Dywedir eu bod wedi methu dyfod o hyd i'r beddogof hon yn ddiweddar; ond y mae yn dra thebyg fod yr hyn a ddywedir gan yr awdwr uchod yn wirionedd mewn perthynas iddo. Yr oedd claddu eu meirw mewn ogofau o'r fath hyn yn arferiad gan y genedl Iuddewig yn eu gwlad eu hun. Mae yn debyg fod calchfeini bryniau gwlad Judea wedi cael eu ceudyllu yn aml, i'r dyben hwn. Yr ydym yn rhoddi gradd o bwys ar y ffaith hon—os ffaith hefyd—fel prawf tebygol o leiaf, fod y claddfëydd rhyfedd dan sylw o amseriad boreuol iawn, yn gymaint a'u bod yn ymddangos yn dra sicr fod y claddfëydd cristionogol o'r natur yma wedi cael eu hawgrymu gan, ac yn sylfaenedig ar, yr arferiad hon o eiddo yr Iuddewon. Arferiad y Rhufeiniaid paganaidd am ganrifoedd cyn Crist oedd llosgi cyrff eu meirw yn gyntaf, yna rhoddi eu lludw mewn priddlestri, a'u claddu mewn lle wedi ei neillduo i'r pwrpas hwn, yr hyn a elwir mewn iaith ddiweddar *Columbria*—gair yn arwyddo llun claddfëydd y llestri hyn. A diau mai olion o'r arferiad hon o gladdu eu meirw ymhlith y Rhufeiniaid gynt ydyw y priddlestri yn llawn lludw a mân esgyrn, a geir yn aml mewn hen gaer-greigiau a manau eraill yn Nghymru. Felly, er fod yr Iuddew a'r Cristion yn cyttuno gyda golwg ar eu harferiad o gladdu eu meirw, a'r olaf wedi cymeryd y dull hynod o'u claddu yn y mynwentydd tanddaearol yma, hwyrach, oddiwrth y cyntaf, eto, yr hyn a ymddengys i raddau yn rhyfedd yn yr ogofau hyn yw, nad oes dim Iuddewig ynddynt mewn dim arall, oddieithr yr hyn a nodwyd; eithr y maent ymhob peth yn gristionogol, ac yn dangos Cristionogaeth yn ei symlrwydd cysefin.

Gyda golwg ar amseriad yr arysgrifau ar y beddau hyn, gellir dyweyd mai ychydig mewn cymhariaeth o honynt sydd â'r arysgrifau hyn arnynt; y mae y llechau oedd yn ddrws ar eneuau yr ogofau hyn, ar ba rai yr oedd yr ysgrifen, wedi eu cymeryd ymaith oddiar y rhan amlaf o lawer o honynt; eithriadau anghyffredin iawn yw eu cael fel arall. Modd bynag, y mae un, De Rossi, yr enwocaf o bawb, mae yn debyg, o'r rhai diweddar sydd wedi cymeryd y mater hwn i fyny fel pwnc neillduol eu hefrydiaeth, mae ef wedi casglu tua 12,000 o arysgrifau oddiar y beddau hyn, a'u cyfleu mewn trefn; ond nid yw yn ymddangos, os na wnaeth hyny yn ddiweddar, ei fod wedi cyhoeddi ffrwyth ei ymchwiliadau i'r byd. Yr arysgrif henaf sydd ar gael, yn ol yr awdurdodau sydd yn ein llaw ni ar hyn o bryd yw, yr hon sydd yn dwyn yr amseriad 102 o'r cyfnod cristionogol. A ganlyn, yn ol Dr. Maitland, ysgrifenydd Protestanaidd ar y mater, ydyw cerfysgrif un o'r beddau tua'r flwyddyn 130 o oed Crist:—

"Tempori Adriani Imperatoris Marius adolescens dux militum qui satis vixit dum vitam pro Cho cum sanguine consumsit in pace tandem quevit bene merentes cum lacrimis et metu posuerunt. I. D. vi."

Hyny yw—Yn amser yr ymerawdwr Adrian, gwnaeth Marius, milwr ieuanc wedi byw ddigon, roddi i fyny ei fywyd dros Grist mewn gwaed.

Yn y diwedd gorphwysodd mewn tangnefedd. Y rhai sydd deilwng a drysorant hyn i fyny gyda dagrau ac ofn. Ar y 6ed o flaen yr *Ides*."

Dyma un arall a gofnodir ganddo, yn fwy nodweddiadol fyth. Cafwyd hon allan yn nghladdfa Calixtus, ar fedd merthyr, tua 160 O.C. :—

"Alexander mortuus non est sed vivit super astra et corpus in hoc tumulo quiescit vitam explevit sub Antonino Impo. quiubi multum bene fitii ante venere praevideret pro gratia odium reddidit quum enim flectens vero Deo sacrificaturus ad supplicia ducituro tempora infausta quibus inter sacra et vota ne in cavernis quidem salvari possimus quid miserius vita sed quid miserius in morte cum ab amicis et parentibus sepeliri nequeant tandem in coelio coruscant parum vixit qui vixit iv. X. Tem."

Sef, "Nid ydyw Alexander yn farw, eithr byw ydyw, a'i gorff a orphwys yn y beddrod hwn. Rhoddes i fyny ei fywyd dan yr ymerawdwr Antonino, yr hwn, yn rhagweled y deilliai llawer o ddaioni oddiwrth ei wasanaeth, a ddychwelodd iddo ddrwg am dda; o herwydd tra ar ei liniau ar fedr myned i aberthu i'r gwir Dduw, arweiniwyd ef ymaith i'w ddienyddio. O amseroedd blinion! yn y rhai gyda golwg ar ddefodau sanctaidd, a gweddïau, nid ydym ddïogel hyd yn nôd mewn ogofau. Pa beth all fod yn fwy truenus na'r fath fywyd, oddieithr y fath angeu, pan na chânt eu claddu gan gyfeillion a rhïeni? Yn y diwedd ymddysgleiriant yn y nef. Rhy brin y bu ef byw, yr hwn a fu byw yn yr amser cristionogol."

Y mae y nifer lïosocaf o lawer o'r beddogofau hyn sydd âg amseriad arnynt yn awr, yn perthyn i'r drydedd ganrif. Ar ol caethgludiad yr ymerawdwr Valerian, meddylid fod y grefydd newydd i gael ffordd rydd i redeg a chael gogonedd yn yr ymerodraeth; a dywedir fod hanner preswylwyr y ddinas yn barod i wneyd proffes o honi ar y pryd, pe caent ryddid i hyny. Ond daeth gwrthweithiad ofnadwy i hyn yma drachefn yn nheyrnasiad Dioclesian; ac er fod Gibbon ac eraill yn ceisio gwasgu i lawr nifer y rhai a seliasant eu ffydd yn Nghrist â'u gwaed yr adeg hon, y mae yn ddiammheuol fod eu nifer yn aruthrol fawr. Ac fel canlyniad naturiol i hyn, y mae nifer y cofadeiliau o'r drydedd ganrif yn llawer llïosocach yn y *catacombs* hyn na'r rhai yn perthyn i oesau boreuach. Deuant i lawr i'r bedwaredd, a rhai i'r bummed a'r chweched ganrif, ond y mae pob arwyddion fod y cyflawnder o honynt yn perthyn i ganrifoedd cyntaf y cyfnod cristionogol.

3. *Pa beth oedd eu dyben yn y fath le?* Yr oedd dau neu dri dyben neillduol iddynt, y mae yn ymddangos. Eu dyben blaenaf a phenaf yn ddïau oedd, claddu y meirw cristionogol, yn enwedig y rhai a ferthyrid yn herwydd eu crefydd. Achoswyd y math yma o gladdu ar y cyntaf, mae yn dra thebyg, gan erlidigaethau yr ymerodraeth baganaidd ar yr eglwys gristionogol yn Rhufain. Dichon fod y Cristionogion boreuol hyn yn methu cael lle cyfleus arall i gladdu eu meirw. Gadawai y Rhufeiniaid gyrff meirw eu caethweision yn aml ar wyneb y maes, neu mewn hen ffosydd, fel y gwnawn ni âg eiddo anifeiliaid a drengant; ac yr oedd gochel hyn yma, hwyrach, yn un rheswm am y claddfëydd rhyfedd dan sylw. Ac y mae yn debyg hefyd eu bod yn gwasanaethu i ddïogelu cyrff y rhai a ferthyrid, rhag cynddaredd eu gelynion ar ol iddynt eu lladd. "Yno yr annuwiol a beidient â'u cyffro, ac yno y gorphwysai y rhai

lluddedig." Ac fel hyn, er fod amcanion eraill yn cael eu cyraedd gan y Cristionogion boreuol trwy y beddogofau hyn, y mae yn amlwg mai eu hamcan blaenaf a phenaf oedd, claddu eu meirw allan o'u golwg mewn dïogelwch a heddwch. Ac yn gyson â hynyma, y mae beddau wedi eu parotôi yn yr ogofau tanddaearol hyn ymhob cyfeiriad—nid yn unig yn yr ochrau ar hyd yr ystrydoedd, ond hefyd yn mharwydydd yr ystafelloedd mwyaf ëang ynddynt, ac weithiau yn y lloriau; mewn gair, ymhob man y gallent, claddent eu meirw ynddynt.

Ond nid claddu eu meirw oedd unig ddyben yr ogofau hyn, eithr gwasanaethent hefyd i'r bobl druain dlodion a ganlynent Grist y pryd hwnw fel noddfa rhag llid y gorthrymydd, ac weithiau hwyrach fel mangre i addoli eu Duw ynddo.

Hen arfer ymlynwyr wrth y grefydd Ddwyfol yw, gorfod rhedeg am noddfa i dyllau ac ogofau y ddaear. Felly y bu ar y Cristionogion boreuol hyn. Gwyddom y gwrthddadleua rhai yn erbyn y dyb, neu y ffaith hon oblegid, meddant hwy, nad oedd ynddynt un cymhwysder i fod yn llochesau o'r fath, o herwydd eu bod yn adnabyddus i'r gelyn, ac nad oedd ynddynt ddim at gynnal natur. Gwir fod llawer yn y pethau yna ar yr olwg gyntaf, o leiaf; ond nid oes ynddynt ddigon, na dim grym i wrthbrofi profion uniongyrchol fod hyny wedi bod yn weithredol. Pe buasai y mynedfëydd i'r ogofau tanddaearol hyn yn ychydig, buasai mwy o rym yn yr wrthddadl. Ond yn lle hyny, yr oeddynt yn aneirif, a hyny ar hyd wyneb llawer o wlad, fel yr oedd yn anhawdd iawn i'r awdurdodau wybod i ba le i droi. Heblaw hyny, yr oedd y mynedfëydd iddynt yn dröellog a chulion, ac felly yn anhawdd, ac weithiau yn beryglus i'r gelyn i ymlid ar eu hol i'r noddfäu hyn, gan y buasai yn hawdd i'r Cristionogion wneyd gwrthsafiad, neu gau i fyny eu ffordd, fel nas gallasai y gelyn eu cyraedd. Ac nid tybiaeth ydyw hyn, eithr y mae hanes uniongyrchol ar gael a chadw fod y defnydd hyn yn cael ei wneuthur o honynt. Cafodd Xystus, esgob Rhufain, ei ferthyru yn ngenau un o'r ogofau hyn, a Quartus, un o'i gymdeithion, yn amser Cyprian. Ac yn amser erlidigaeth Dioclesian, lladdwyd Caus o dan y ddaear, wedi bod yno yn ymguddio am wyth mlynedd. Stephen hefyd, esgob Rhufain, a ymlidiwyd gan dyrfa o filwyr i'w gapel tanddaearol, a phan ar hanner y gwasanaeth, taflwyd ef yn ol ar ei gadair esgobyddol, a thòrwyd ei ben yno yn y fan.

Yr ydys wedi dyfod o hyd i rai ffynnonau yn yr ogofau hyn, ac y mae hyn yn cyfrif mewn rhan am gynnaliaeth bywyd yn y fath le. Pa fodd y daeth y ffynnonau hyn i'r fath leoedd, nid oes neb a ŵyr yn awr, nid oes arwyddion eu bod wedi eu cloddio o bwrpas er cael dwfr i'r ffoaduriaid a ddeuent yno; ond y peth mwyaf tebyg yw, eu bod wedi eu gwneuthur ar y cyntaf i'r dyben o sychu yr ogofau lle y maent ynddynt. Gelwir un o honynt—paham sydd anhysbus—yn ffynnon St. Pedr. Ymddengys fod y ffynnon hon wedi bod yn cael ei harfer am hir amser ar yr achlysur o fedyddio. Cyfeiria Dr. Maitland at adran yn ngwaith St. Chrysostom, yr hwn a fu fyw heb fod ymhell o amser yr erlidigaeth Ariaidd, er prawf fod y beddogofau dan sylw yn noddfäu i'r byw trallodedig, yn gystal ag yn orphwysfa i'r meirw; ac hefyd er cael awgrym o'r modd yr oedd bywyd yn cael ei gynnal ynddynt. Pan y dywedai y sant hwnw unwaith yn erbyn rhyw wleddoedd crefyddol

llygredig a gynnelid yn ei ddinas ef, gofynai,—"Pa berthynas sydd, attolwg, rhwng eich gwleddoedd chwi â'r blinfyd a oddefai boneddiges anghyfarwydd â chaledi, yn crynu o dan *vault*, yn ofnus rhag i'w llawforwyn gael ei dal, ar yr hon yr ymddibynai am ei chynnaliaeth?" Mae yr amgylchiadau hyn, yn gystal ag eraill a ellid nodi, yn ddigonol er dangos fod yr ogofau hyn yn cael eu defnyddio yn noddfa rhag unrhyw berygl disymwth; ac nid ydyw yn anhawdd iawn gweled y modd yr oedd yr ymguddiad yn cael ei wneyd. Ar ddechreuad erlidigaeth, y rhai blaenaf gyda chrefydd, y gweinidogion, penau teuluoedd, &c., y rhai mwyaf câs gan y paganiaid a erlidid ar y dechre, fe allai mai hwy oedd yr unig rai y bwriedid eu lladd, neu eu halltudio, gan yr awdurdodau. Y rhai hyn yn deall eu perygl, a ffoent i'r noddfeydd hyn, ac a gaent eu cynnal, fel yr awgryma St. Chrysostom uchod, gan y rhai a oddefid, o herwydd eu dinodedd, i fwynhâu rhyddid.

Awgrymasom eisoes fod y beddogofau rhyfedd hyn yn cael eu defnyddio hefyd gan y Cristionogion gorthrymedig ac erlidiedig yn lleoedd i addoli eu Duw yn gyhoeddus ynddynt. Mae rhanau o'r rhai penaf yr ydys wedi gael allan yn amlwg wedi eu neillduo i hyny. Mae hyd yn nôd yr ystafelloedd hyn yn lleoedd claddu y meirw ynddynt, mae yn wir, fel y dywedwyd o'r blaen; eto, mae rhai o honynt mor eang, nes y mae yn anhawdd cyfrif am eu maintioli, eu llun, &c., oddieithr eu bod wedi eu bwriadu i'r cyfryw ddyben. Heblaw hynyma, mae yn rhai o honynt olion cadeiriau a byrddau, cadair neu bulpud y presbyter, a bwrdd y cymun. Yn un o gapeli yr ogof a elwir Claddfa St. Calixtus, y mae pedwar o dyllau wedi eu tòri yn y llawr—maent yno yn eglur yn awr—lle pedwar troed bwrdd y cymun, mae yn ddïau. Ac y mae hyn, fel y cawn ddangos cyn diwedd ein hysgrif, nid yn unig yn profi fod y lleoedd hyn yn lleoedd o addoliad gan Eglwys Rhufain gynt, ond hefyd yn myned ymhell i wrthbrofi rhai o haeriadau a defodau Eglwys Rhufain y dyddiau hyn.

Ac fel hyn, y mae yn ymddangos yn dra sicr fod y tri dyben a enwyd yn cael eu cyraedd yn nefnyddiad yr ogofau tanddaearol dan sylw. Gwyddom fod llawer iawn o anhawsderau yn ymddangos gyda golwg ar bob un o'r amcanion hyn. Ond dyma hwy er hyny yn ffeithiau eglur o flaen llygaid y byd. "I'r newynog pob peth chwerw sydd felus." "Pob peth," hefyd, "a ddyry gŵr am ei einioes." Mae dyn yn medru gwneuthur pethau rhyfedd er mwyn ei fywyd ei hun a'i anwyliaid, yn enwedig os bydd ei grefydd yn ymelfenu i mewn i'r cwéstiwn. Ac y mae bywyd hefyd yn gallu ymgynnal yn rhyfedd mewn caledi, os bydd crefydd yn nerth iddo. Felly y bu gyda golwg ar y beddogofau yma yn Rhufain. Mae nerth hollalluog cariad crefydd y groes wedi ymglymu â gwerth greddfol bywyd, yn cyfrif i raddau mawr am fodolaeth a dybenion y beddogofau rhyfedd hyn: mae ffydd yn medru symud mynyddoedd ymhob oes.

II. TYSTIOLAETH Y BEDDOGOFAU HYN O BLAID CRISTIONOGAETH, NEU, YN HYTRACH, O BLAID PROTESTANIAETH. Y maent yn eu natur a'u hynafiaeth, yn un peth, yn myned ymhell i wrthbrofi damcaniaeth y *myths*, gan Strauss a'i frodyr. Mae yma dystiolaeth uniongyrchol yn myned yn ol i ddechre yr ail ganrif, o blaid llawer o brif wirioneddau yr efengyl, megys, gobaith iachawdwriaeth trwy Grist, adgyfodiad Crist

adgyfodiad y saint, &c. Ond awn heibio i'r holl bethau yna yn bresennol, ac edrychwn ar yr hyn a gawn yma i wrthbrofi hondybiau a defodau cnawdol y grefydd Babyddol, ar y rhai y rhydd yr eglwys hono y fath bwys mawr.

Pan ddechreuwyd archwilio y cûddfeddau ar y cyntaf, ymaflasai Eglwys Rhufain ynddynt gydag awch a gorfoledd, am y tybiai, bid sicr, os oedd angen mwy o oleuni i brofi ei dwyfoldeb, a dangos gwerth ei harferion a'i defodau, fod hyny wedi dyfod o'r diwedd o dywyllwch y bröydd marwolaeth hyn. A meddyliodd caredigion a phleidwyr Protestaniaeth, ar y llaw arall, fod yno berygl, neu o leiaf nad oedd y goleuni a dywynai o'r tywyllwch hyn yn ffafriol i'w hachos hwy. Ac o ganlyniad edrychai yr olaf arnynt gyda graddau o ragfarn, a dywedent —heb wneyd ymchwiliad têg i'r mater—mai y Pabau a ddyfeisiodd ryw bethau o'r fath er twyllo y werin anwybodus, a hyny i raddau yn ddiweddar, hwyrach, ar ol i oleuni Protestaniaeth dywynu ar y byd. Modd bynag, fel yr ydoedd ysbryd ymchwilio i hynafiaethau o'r fath yn myned rhagddo, a'r meini tywyllwch hyn yn cael eu chwilio a'u dwyn allan i'r goleuni, y mae pethau wedi newid yn hynod iawn mewn perthynas i'r mater hwn erbyn heddyw. Mae Eglwys Rhufain yn dechreu llacio ei gafael ynddynt—mor ddidrwst, wrth gwrs, ag y medr—a lledawgrymu nad ydynt wedi y cwbl o bwys iddi hi, ac yn syrthio yn ôl ar ei hanffaeledigrwydd cynhenid ei hun, yr hyn a'i gesyd uwchlaw angen tystiolaeth o'r fath i brofi a chadarnhâu ei gosodiadau a'i harferion. Ac ar y llaw arall, y mae Protestaniaid yn dechreu ymwrando gyda mwy o ddyddordeb ar yr hyn sydd gan y meirw hyn, wedi marw, i'w ddywedyd o blaid y grefydd y rhoddes llawer o'n tadau eu bywydau i lawr er ei mwyn, yn gystal a chael eu bywyd trwyddi.

Mawr oedd y dyddordeb a deimlid, er ys tipyn yn ôl, yn y darganfyddiadau y deuwyd o hyd iddynt yn Babylon a Ninefeh, a hyny nid heb achos, gan eu bod yn taflu cymaint o oleuni ar ffeithiau tywyll mewn hanesyddiaeth, ac yn cadarnhâu amryw dystiolaethau yn ngair Duw. Ond gyda mwy o ddyddordeb, ar ryw olwg, o leiaf, y dylem ni wrando ar leferydd y dosbarth hwn o hynafiaethau, pan yn llefaru wrthym yn Rhufain. Nid yn y dwyrain bellenig y mae y rhai hyn, mewn hen ddinasoedd sydd â'u henwau yn agos a myned yn anghof gan y byd; ond y mae y lleferydd hyn yn dyfod atom o wlad sydd mewn cymhariaeth yn ein hymyl, ac o hen ddinas sydd wedi bod yn brifddinas y byd, mewn llawer o ystyriaethau, am ragor na dwy fil o flynyddoedd. Gwir fod y pethau a draethir i ni o'r cynfyd hwn yn cael ei wisgo â llawer o niwl a thywyllwch. Eto, nis gall lai na bod o ddyddordeb i ni yn awr, o herwydd y mae llawer o'r cofadeiliau hyn yn gyfoesol â Christionogaeth ei hunan. Mae llwch rhai a erys yn y cûddfeddau hyn yn llwch dynion a dderbyniasant eu haddysg grefyddol, os nid o eneuau yr apostolion yn uniongyrchol, eto o eneuau dysgyblion uniongyrchol i'r apostolion, mae yn dra thebyg—dynion a welsant eu perthynasau, eu bugeiliaid, a'u hathrawon, yn cael eu haberthu i gynddaredd gelynion Duw, trwy gannoedd o wahanol greulonderau, ac yn y diwedd a ddyoddefasant yr un pethau eu hunain, ac felly a ddygasant ffydd y Testament Newydd gyda hwynt i lwch y beddau hyn; a thrwy syrthio i'r ddaear hon a marw i raddau, mae yn ddiammheu, fe dyfodd y ffydd gristionogol

i'r fath nerth a bywyd, nes ymddyrchafu o orddyfnderau y ddaear i balasau, ac hyd yn nôd gorseddfeinciau y ddaear, yn yr ymerodraeth Rufeinig. Ac y mae y dynion yma hefyd wedi gadael i ni yn y beddau hyn, yn eu hadeiladau a'u haddurniadau, gynddelw yr eglwys Gristionogol, a blagur celfyddyd Gristionogol.

Yn awr, awn ymlaen i geisio dangos y gwrthdarawiad sydd rhwng symlrwydd Rhufain y dyddiau gynt â rhwysg mawreddus a defodau ffôl a phlentynaidd y Rhufain bresennol. Mae y Rhufain danddaearol, a'r Rhufain arddaearol, yn annhebyg iawn i'w gilydd. Dywed y Rhufain sydd yn aros, fod saith o sacramentau; ond nid yw yr un gynt yn cydnabod ond dau yn ei dyddiau hi. Mae llawer o ddarluniau yn y *catacombs* dan sylw i ddangos y ddwy ordinhâd o Fedydd a Swper yr Arglwydd, ond dim un er dangos y dwfr sanctaidd, y purdan, yr eneiniad diweddaf, &c. Mewn un *painting*, y mae saith dyn yn cael eu dangos, yn eistedd wrth un ochr i fwrdd. Mewn un arall, y mae deuddeg yn cael eu portrëadu, yn eistedd wrth y bwrdd, a dysgl arno, ar yr hon y mae bara a *grapes*. Ac mewn un amgylchiad, y mae llun pysgodyn ar y bwrdd; ac y mae rhai, yn Eglwys Rhufain, yn ceisio profi athrawiaeth y traws-sylweddiad oddiwrth y pysgodyn hwn. Ond yr hyn sydd fwyaf tebygol yw, mai portrëad yw y darlun hwn o'r pryd hwnw gerllaw Môr Tiberias, y sonir am dano yn y bennod ddiweddaf o efengyl Ioan. Ond nid oes yn yr holl gyfres o ddarluniau a ffugyrau sydd i'w canfod yn y beddogofau hyn, un aberth, un arwydd o addoliad yr elfenau, nac un arwydd o unrhyw berson goruwchnaturiol yn gweinyddu ar yr achlysur, pethau pwysig iawn yn ngolwg y Rhufain bresennol.

Yn Eglwys Rhufain, mae Mair y Forwyn fendigaid yn tòri ffugyr arbenig iawn; delw o hóni ei hun, neu o hóni hi a'i Mab bychan, a welir ymhob man braidd yn y ddinas. Yn nrysau y pyrth, ymhen pob heol, ac yn mhrif leoedd y dyrfa, pwy a welir â'i lamp yn ei llaw, ond y Fam fendigaid, neu y *Madonna* a'i Mab bychan yn tynu sylw pawb: hi ydyw duwies warcheidwadol yr holl ddinas; ac fel y cyfryw, gwelir delw o hóni hi yn ffenestr y masnachwr, yn ngweithdy y celfyddydwr, ac ymhob lle braidd yn y ddinas sanctaidd. Os eir i demlau y ddinas, wedi hyny, delwau o'r *Madonna* a welir yno yn fwy amlwg na neb. Gwelir pob math o ddelwau o honi hi, wedi eu gwneyd gan bob math o gelfyddydwyr, o Raphael a Guido i lawr, weithiau yn *mater dolorsa*, â saith gleddyf yn ei mynwes; weithiau yn llawen yn cadw yr "holl bethau hyn" yn ei chalon; bryd arall yn cyfarfod â'r doethion a'u hoffrymau iddi hi a'i Mab bychan; a phryd arall, drachefn, yn sefyll ar y lleuad, â chyrn hono yn ymgodi allan drwy ei gwisgoedd gorwych a chostfawr; fel hyn y gwelir y *Fam Ddwyfol* yn ninas Rhufain, weithiau wedi ei phaentio, bryd arall wedi ei naddu mewn càreg, mewn pob math o liwiau, ac yn arddangos pob math o gelfyddydwaith hen a diweddar. Ond os disgyni, anwyl ddarllenydd, â'th lusern yn dy law, a chymeryd hyd yn nôd De Rossi, pabydd, mae yn debyg, o ran credo, ond er hyny y mwyaf galluog a zelog o'r arweinwyr diweddar—yn arweinydd arnat, ti gei weled, er dy syndod, nad oes cysgod o hyn yn yr eglwys syml danddaearol. Ond i'r gwrthwyneb, nid oes sicrwydd fod yno lun y Fam Sanctaidd o gwbl, yn hanesyddol, fel y ceir o bersonau

eraill o'r Bibl, chwaethach yn gweddïo dros y saint, ac yn sefyll yn dduwies goronedig y nef, yn cael ei haddoli yno gan saint ac angelion.

Mae yn y cuddfeddau hyn lawer iawn o baentweithiau o bersonau; ond ymddengys eu bod yn hanesyddol oll, wedi eu cymeryd allan, gan amlaf, o hanesyddiaeth y Bibl; megys Noah a'i arch; Moses yn taro y graig; Elias yn ei gerbyd tân; Daniel yn y ffau; y llanciau yn y ffwrn dân; Jonah a'r Morfil, a Jonah a'i Gicaion. O'r Testament Newydd, gwelir y Bugail da yn dwyn y ddafad adref ar ei ysgwydd; y doethion yn addoli y Mab bychan, yn yr hwn yn unig, yn ol un ysgrifenydd, y dygir Mair gerbron; Lazarus yn cael ei adgyfodi; yr allweddau yn cael eu rhoddi i Pedr; y morwynion call a ffôl, &c. Mae paentweithiau o'r natur yma i'w gweled yn aml iawn ar nenfwd, &c., y capeli tanddaearol a geir yn yr ogofau hyn. Ac y mae mewn rhai o honynt wrthddrychau paganaidd i'w gweled weithiau, ond er dangos gwirioneddau Cristionogol, mae yn debyg. Mae y gwaliau a'r parwydydd tanddaearol hyn yn llawn *paintings* o wrthddrychau bydol a chyfarwydd, ond yr oll yn arddangosol. Mae llun Ulysses ac Orpheus yma, ond yn dangos Crist yn ei ddyoddefiadau, a'i ddylanwad ar y byd. Gwelir yma ddarluniau o'r llong, y carw, y paun, y phenix, &c., yn dangos yr eglwys yn ei gobaith am adgyfodiad i fuchedd dragywyddol, &c. Ond nid oes yn yr hynafiaethau hyn ddim paentweithiau o chwedlau *(legends)*, dim seintiau, a dim ond ychydig o ddarluniau, hyd yn nôd o'r apostolion. Gwelir yma weithiau, nid yn aml, ddarlun o ben y Gwaredwr. A'r hyn a ymddengys yn hynod, yn ôl un ysgrifenydd yw, mai *un* ddynes gyda'i phlentyn a geir yma, a thybir mai Mair a'r dyn bach yw. Ond nid oes yma un amseriad, na sicrwydd am ddim gyda golwg ar y darlun. Dywed un hynafieithydd Pabyddol —Padre Marchi—fod y ffugyr hwn o'r Forwyn, oddiar yr eilfed ganrif. Ond y mae y *monogram* o'r ymerawdwr Constantine sydd yn ymyl, yn ei ddwyn i lawr mor ddiweddar â'r bedwaredd ganrif. Mae llawer yn barnu nad oes dim mewn cysylltiad â hwy yn dangos pwy ydynt yn sicr, nac yn arwyddo fod rhyw arbenigrwydd neillduol yn perthyn iddynt, rhagor ffugyrau eraill sydd o'u hamgylch. Y ffugyr hynaf, fel y tybir—nid oes yma un amseriad sicr—a ddygwyd yn ôl o ran amseriad i ddiwedd yr ail ganrif. Cafwyd ef yn meddogof *Santa Priscilla*, yn agos i ddisgyniad i'r afon Tiber. Ar feddfaen, mae llun dynes gyda phlentyn. Pwy ydyw, nid oes dim yn dangos yn y ffugyr, nac o'i gwmpas yn un lle. Ond wrth gwrs, y mae y rhai a ddaliant addoliad seintiau yn tybied y gwelant lawer yn y lluniau hyn dros eu harferiad ffôl ac annuwiol o addoli seintiau, yn enwedig y dduwies Mair. Ond ac addef fod yma ffugyrau o Mair, a rhai o honynt yn ei gosod allan yn yr ystum o ddeisyf, neu weddïo; ac addef hefyd fod y ffugyrau hyn o'r amseriad boreuol yr haera eglwys Rhufain eu bod; eto, mae ganddynt gagendor mawr i'w lanw tuag at wneyd hyn yn brawf fod Mair yn cael ei haddoli gan y Cristionogion boreuol hyn, neu ei bod hi yn gweddïo yn y nef dros y saint ar y ddaear. Fel hyn, erbyn edrych, y syndod yw fod Mair—mam yr Arglwydd—yn cael mor lleied o le yma, pan y mae personau hanesyddol eraill, fel y dangoswyd, yn gyffredin yn cael eu harddangos ynddynt. Y mae yn amlwg, yn ôl y paentweithiau hyn nad oedd Mair yn wrthddrych meddwl *neillduol* yr eglwys gyntefig sydd â'i

llwch yn y beddgelloedd tanddaearol hyn, chwaethach yn wrthddrych ei haddoliad; gellid meddwl fod ei lle gan yr eglwys hon yn dra thebyg i eiddo yr eglwys Brotestanaidd yn ein dyddiau ni. Y fath bellder sydd rhwng Mair hanesyddol yr eglwys *dan* y ddaear, oddiwrth Mair yr eglwys *ar* y ddaear yn Rhufain y dyddiau hyn! Edrycher arni fel yr arddangosir hi yn awr yn nghladdfa y *Piazzi de Spagna*, a adeiladwyd i gôfnodi y *beichiogiad dilwgr*, a gyhoeddwyd yn awdurdodedig gan y Pab presennol yn 1854. Yma, ar waelodiad costfawr, y gwelir Moses a Dafydd, Esaïah, ac Ezecïel yn cyfeirio i fyny ati hi—yn gorfod tystiolaethu o blaid y dyrchafiad goruchel y mae hi wedi ei chyfodi iddo. Yma saif hi ar gopa uchel y golofn, yn ffugyr anferth o fawr, a'i thraed ar yr eidion a'r llew, yr eryr a'r pen dyn—ffurfiau cerubaidd yr orsedd ddwyfol, yn arwyddluniol o'r gallu dwyfol yn arglwyddiaethu ar y grëadigaeth, ac yn derbyn ei bodolaeth a'i chynnaliaeth ganddo.

Yn eglwys Rhufain Babyddol mae llun y groes a'r croeshoeliad, o bob math, ac o bob defnyddiau, yn llanw lle mawr iawn. Maent i'w canfod, nid yn unig yn eu temlau, ond yn eu tai ac ar eu gwisgoedd; a charia llawer y groes o dan eu dillad, yn ymyl eu calonau, nes y mae ei llun ar eu cnawd; ïe, rhaid cael llun y groes a'r croeshoeliad ar eu beddau wedi iddynt farw. Ond yn yr eglwys danddaearol, nid oes sylw neillduol yn cael ei dalu i lun y groes a'r croeshoeliad. Dywedir, er mor hoff gan y celfyddwr ar ol hyn oedd paentio llun y groes a'r croeshoeliad, na ddaeth i'w ran i ddangos ei allu yn y lluniau hyn, hyd ymhell ar ol amser y beddogofau dan sylw. Fel hyn, er fod y Rhufain Babyddol ar y ddaear, fel y dywedodd un, yn ddinas o groesau, yn y Rhufain Brotestanaidd danddaearol, nid oes yr un. "Yr ydwyf yn ammheu," medd Burgon, esgob uchel-eglwysig, yn ei lythyrau o Rufain, "a oes croes i'w chael ar un côfadail yn Rhufain yn perthyn i'r pedair canrif cyntaf." A dywed De Rossi, at yr hwn yr ydym wedi cyfeirio yn barod, nad oes un darlun o'r croeshoeliad ar gael o amseriad boreuach na'r chweched ganrif. Ond dywedir fod gwawdlun *(caricature)* o'r croeshoeliad, wedi cael ei dynu gan ryw elyn i Grist, o amseriad boreuach. Mae hwn i'w weled yn *Museum Collegio Romano.*

Dyna beth arall a wrthbrofir—mor bell ag yr ä arwyddluniau y *catacombs*—yn y grefydd Babyddol, uchafiaeth Pedr. Mae un neu ddau o ddarluniau wedi eu darganfod, lle yr ymddengys yr apostol Pedr; ond nid oes ynddynt un arwydd o barch ac awdurdod neillduol yn cael eu dangos iddo ef, yn rhagor i'r lleill sydd yn yr un darlun. Mae un *group* yn cael ei gwneyd i fyny o Pedr, a Paul, a Christ yn y canol. Mae un arall, lle y mae Pedr i'w adnabod oddiwrth y lleill yn unig am fod ei enw ef odditano. Ond nid oes yma eto un arwydd o uchafiaeth yn perthyn iddo—nid yw yn sefyll gymaint ag yn y canol yma. Nid oes yn y darluniau hyn un arwydd fod ganddo awdurdod i gau ac agor teyrnas nefoedd; nid oedd yr allweddau wedi eu hymddiried iddo ef eto. Ac yn wir, nid yw yr apostol sanctaidd yn cael yr anrhydedd hwn gan ei edmygwyr mor ddiweddar â'r ddeuddegfed ganrif, chwaethach mor forea a chyfnod y *catacombs.* Y mae yn cael ei ddangos heb un allwedd, druan o hono, mewn *mosaic* o St. Pedr tra adnabyddus yn un o demlau y ddinas sanctaidd; perthyna y gwaith hwn i'r ddeuddegfed ganrif. A phan yr ymddengys yr allwedd gyntaf—

tua'r nawfed a'r ddegfed ganrif—nid yn llaw Pedr y gwelir hi, ond yn llaw ei Feistr mawr. Ond yn y diwedd, modd bynag, y mae yr hen apostol twymngalon yn cael yr anrhydedd o ymddangos âg allwedd yn ei law—dim ond un ar y dechre, allwedd ffydd, meddant, i agor y nef. Ymhen tipyn, anrhegir ef âg un arall, allwedd haiarn gallu. Ond erbyn hyn, modd bynag, y mae wedi ei fendithio â thri o allweddau, a'r rhai hyny yn cau ac agor holl ororau y byd anweledig—y nef, uffern, a'r purdan. O apostol bendigaid, mawr yw dy awdurdod a'th ddyrchafiad! Gobeithio, yr anwyl a'r dyrchafedig apostol, os yw yr holl awdurdod yma yn dy law tu draw i'r llèn yna, dy fod dipyn yn fwy gofalus am ddorau tragywyddoldeb nag oeddit am ddorau dy enau a'th weithrediadau pan yn un o deulu'r llawr; onidê, gall fod anhwylusdod yna yn aml!

Beth bynag am hyny, mae yn amlwg nad oedd yr eglwys gysefin, yn ol a *lefara* y meirw dan sylw, yn gwybod dim am uchafiaeth ac awdurdod oruchel yr Apostol Pedr. Mae amryw o ddefodau a hòndybiau eraill yn cael eu dal a'u harfer gan Rufain uwchddaearol, nad yw Rhufain danddaearol, yn ol a ellir gasglu, yn gwybod dim am danynt. Ac yn gymaint a bod rhai o'r pethau hyn yn nês atom y dyddiau presennol na Rhufain, ac yn bygwth niweidio crefydd ein gwlad, hwyrach y goddefir i ni ddwyn gerbron un neu ddau o'r cyfryw ymhellach.

Mae aberth yr offeren gan eglwys Rhufain, ac aberth y cymun gan ddefodwyr Eglwys Lloegr, yn cael lle a sylw mawr, fel y gŵyr darllenwyr y TRAETHODYDD yn dda. Ond yn y beddogofau dan sylw, nid oes un arwydd fod unrhyw aberth yn cael sylw ond Aberth mawr y groes. Mae yn wir fod pleidwyr gorzelog Pabyddiaeth yn gweled sail, yn yr olion a'r paentweithiau hyn i'w defodau ffôl a phlentynaidd hwy. Yn y sêdd yr eisteddai y presbyter, neu y pregethwr, ynddi, y naill ben i'r ystafelloedd hyn, gwelant hwy allor yr offeren. Y darnau gweddïau neu ddymuniadau a geir yn awr ac yn y man ar y cèrygbeddau yma, gweddïau dros y meirw, &c., ydynt, iddynt hwy. Ond erbyn edrych yn fanylach, gwelir mai y ffaith yw eu bod yn gymaint profion i'r gwrthwyneb, fel y mae llawer o ysgrifenwyr callaf Eglwys Rhufain yn cilio yn ôl yn arafaidd oddiwrthynt, fel profion o'u plaid hwy, er eu bod wedi bod unwaith yn ymorfoleddu ynddynt fel y cyfryw.

Dull y capelau tanddaearol hyn, yn ol un ysgrifenydd, yw a ganlyn:—Y maent yn llawn o feddau, beddau yn y llawr ac yn yr ochrau oll. Ond yn y pen pellaf, o'r mynediad i mewn, y mae math o faenfedd-bwäog *(acrosolium)*, wrth dalcen, neu wrth ochr yr hwn, yr oedd cadair o farmor i'r presbyter a weinyddai ar y pryd, i eistedd arni tra yn llefaru wrth y bobl; a hon a ddaeth, mewn rhyw amser, fel y dywedwyd, yn allor gan y Pabyddion i weinyddu y cymun neu yr offeren arni. Eithr y mae pob peth ellir gasglu oddiwrth a geir yn y claddfëydd hyn, fel yr awgrymasom o'r blaen, yn myned ymhell i brofi y gwirionedd gwrthwynebol. Mae yn amlwg oddiwrth holl baentwaith y Cristionogion boreuol hyn o'u gwleddoedd, pa un bynag ai eu cariadwleddoedd crefyddol, neu eu gwleddoedd mewn cysylltiad â chladdu y meirw, neu ynte y Swper sanctaidd, mai eistedd o amgylch bwrdd yr oeddent, mewn ystum i fwyta a gwledda, ac nid mewn ystum i aberthu, fel y gwna yr offeiriaid Pabaidd, a'r clerigwyr Puseyaidd yn Eglwys Loegr.

Mewn un capel yn nghladdfa St. Calixtus, mae pedwar twll i dderbyn pedwar troed y bwrdd i'w gweled yn amlwg yn awr, o flaen yr areithfainc. Ac y mae y drefn hon wedi ei chadw mor bell yn yr eglwysi cadeiriol henaf yn Rhufain, fel, hyd y dydd hwn, mae yr allor oruchel, nid yn rhwym wrth dalcen dwyreiniol yr eglwys, fel y mae yn gyffredinol, ond wedi ei chyflëu yn nghanol y gangell, a'r offeiriad, pan yn gweinyddu arni, â'i wyneb tua'r gorllewin, yn edrych ar y bobl dros wyneb yr allor. A'r hyn a ymddengys yn hynod yn mhwnc yr allorau yma yw, pan y rhydd Eglwys Rhufain gymaint o bwys ar gael allor—allor gàreg, nid bwrdd wedi ei wneyd o goed—fod yr eglwys uchaf yn Rhufain, y *Lateran*, eglwys esgobol y Pab ei hun, y *caput et mater omnium ecclesiarum*, pen a mam yr holl eglwysi, a chanddi allor bren, neu, yn hytrach *fwrdd* yr Arglwydd ynddi. Y mae hon yn ffaith mor ryfedd fel y dywedir fod crybwylliad neillduol yn neddflyfrau y Pab ar ddefnyddiad allorau o gèryg, ar fod hon i sefyll yn eithriad, o herwydd ei hynafiaeth a'i henwogrwydd. Hanes y bwrdd enwog hwn, yn fyr, ydyw a ganlyn. Dywed traddodiad ddarfod i'r Apostol Pedr weinyddu yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd yn Rhufain arno, a bod y Pab Sylvester wedi anrhegu yr eglwys uchod, tua diwedd y bedwaredd ganrif, â'r bwrdd hwn. A dywed un hefyd mai Pedr a wnaeth y bwrdd â'i ddwylaw ei hun. Dïau fod y bwrdd gwreiddiol wedi ei ddyfetha er ys canrifoedd rai, hwyrach. Ond er mwyn cadw y traddodiad i fyny, mae bwrdd hynafol iawn yn llanw ei le, ac i'w weled yn y Lateran, yn Rhufain, y dydd heddyw. Mae un Pabydd enwog, M. Perret, un ag sydd wedi gwneyd y *catacombs* hyn yn bwnc astudiaeth neillduol, ac un na rydd i fyny i neb am ei grêd a'i zêl Babyddol, mae efe yn addef y ffaith dan sylw mewn geiriau eglur. Dywed:—"Yn y *catacombs* y rhaid ceisio cysgod yr allorau ar ffurf maenfeddau, fel y maent wedi eu codi ar ol hyny. Eto, yr allor gristionogol, yr hon a elwir weithiau gan St. Paul yn allor (Heb. xiii. 10), ac weithiau *bwrdd* yr Arglwydd (1 Cor. x. 21), *oedd ar y cyntaf o ffurf bwrdd;* o herwydd wrth fwrdd y sefydlodd yr Arglwydd yr ordinhâd. Ymddengys mai o bren, yn gyffredin, y gwneid y bwrdd hwn yn wreiddiol, fel, mewn amgylchiad o erlidigaeth, y gallesid yn hawdd ei symud o un lle i'r llall; o ganlyniad, nid oedd ryfedd fod y paganiaid yn dannod i'r Cristionogion nad oedd ganddynt allorau."

Mae y rhai sydd wedi sylwi yn fanwl ar y dadleuon galluog sydd wedi cymeryd lle yn ddiweddar yn yr *Ecclesiastical Courts*, a'r *Privy Council*, yn gweled fod y gwahaniaeth sydd rhwng bwrdd ac allor yn wahaniaeth hanfodol a phwysig, yn nodi allan linell y gwahaniaeth rhwng gweinyddiad yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd, ac aberthiad yr offeren. Mae yn ymddangos, fel hyn, fod y bwrdd pren symudol, yr hwn yn unig a ganiatëir yn eglwys Loegr, i gael ei olrhain yn ôl i ddefodau cyntefig yr Eglwys a gynnrychiolir yn meddogofau Rhufain; ac mai mewn cyfartaledd i fel y symudid gweinyddiad yr ordinhâd o'r bwrdd o'r tu blaen i'r allorfedd, y tu ôl, y llithrodd yr ordinhâd ei hun, a'r athrawiaeth gorfforedig ynddi, yn beth gwahanol hollol o ran ystyr a dyben.

Athrawiaeth y purdan hefyd, a gweddïo ar seintiau, a wrthbrofir gan Eglwys Rhufain danddaearol; hyny yw, nid oes yma ddim i'w cefnogi, mor bell ag y mae tystiolaeth lleferydd y meirw yma yn myned. Gwyddom fod y Rhufain sydd yn aros yn gwneyd ei goreu i geisio gan

y meirw hyn lefaru o blaid y gauathrawiaethau a nodwyd. Ymafla mewn rhyw gysgodion o'r cyfeiriad yma, gan na chaiff sylweddau o'i phlaid. Ond pan mae goleuni gwyddoniaeth a beirniadaeth dêg wedi dyfod i lewyrchu ar y bröydd tywyll hyn, cilia y cysgodau, ac y mae y Babaeth ei hun yn gorfod teimlo mai cysgodau oeddent, a'r rhai callaf a mwyaf gonest o'i phlant yn gorfod addef hyny.

Yn awr, mae amryw o'r arysgrifau a geir ar y llechfeini sydd ar eneuau y beddau hyn yn fath o weddïau. Nodwn ychydig engreifftiau:—Pax tibi—heddwch i ti; Vivas in Deo—bydd fyw yn Nuw; Spiritum tuum Deus refrigeret—Duw a adnewyddo dy ysbryd; Roga et pete—Gweddïa ac erfynia; Ora pro parentibus tuis—Gweddïa dros dy rïaint; a'r cyffelyb. Ac nid oes raid dyweyd fod y Pabyddion yn gwneyd, neu, yn hytrach, yn ceisio gwneyd defnydd mawr o'r darnau dymuniadau hyn i brofi yr athrawiaeth o weddïo dros y meirw, a bodolaeth y purdan. Ond eglur yw, nad yw y math hyn o weddïau yn myned ymhellach na phrofi fod y math yma o arysgrifau saethweddïol mewn arferiad gan yr eglwys foreuol hono. Ac ymddengys nad yw yr Eglwys Brotestanaidd yn teimlo dim yn groes i ryw deimladau o'r natur yma gael eu ffordd mewn amgylchiadau o'r fath. Dywedir fod uchel lŷs Eglwys Loegr yn addef fod yr arferiad yn ddigon cyfreithlawn, er nad yw yr eglwys uchod wedi bod yn cefnogi yr arferiad, rhag ofn iddi gael ei chamddefnyddio, trwy i ryw rai feddwl ei bod yn addefiad a chefnogiad o athrawiaeth y purdan. Ond nid oes eisieu ond ychydig ystyriaeth o'r mater, tuag at weled y pellder mawr sydd rhwng hyn a'r gweddïo gan Eglwys Rhufain y dyddiau hyn ar ran rhai a dybir sydd mewn sefyllfa ganolog o ddyoddef. Ac yn wir onid yw gollwng allan rhyw ddymuniadau o'r natur yma, gyda golwg ar ein perthynasau ymadawedig, yn naturiol i'r ddynoliaeth, heb feddwl dim am na phurdan na dim o'r fath. A pha beth ond yr ysbryd yma sydd mewn dyn, wedi ei gorffori yn yr hen bennill anwyl hwnw ag y bu dda gan rai o honom ei wylo wrth feddau ein hanwyliaid cyn hyn,—

"I'th fynwes dawel, dywyll fedd, &c."

Yr un modd llawer dywediad a darnau o englynion, &c., a welir yn aml ar gèryg-beddau yma a thraw, er nad ydynt yr un ochr, hwyrach, bod amser, â'r dyfyniadau uchod o'r cynfyd.

Gallasem nodi allan ryw bethau yn ychwanegol er dangos y gwahaniaeth oedd rhwng Cristionogaeth syml yr eglwys sydd â'i llwch yn y cuddfeddau hyn, â Christionogaeth rodresgar a rhwysgfawr yr eglwys a erys yn Rhufain yn awr. A gallasem hefyd fyned â'r darllenydd ymlaen i olwg y goleuni newydd a dywyna i wlad marwoldeb, yn y mynwentydd tanddaearol hyn, yn lle y tywyllwch fel y fagddu a welir ac a deimlir yn y mynwentydd uwch-ddaearol perthynol i Rufain baganaidd. Ond gan fod ein hysgrif eisoes wedi myned yn faith, gadäwn y cwbl ar hyn o bryd yn y fan yma.

## GWEDDI.

Y Duw anfeidrol sydd Dad,
Ystyr ruddfanau 'n wastad;
Clyw ar ei orseddfainc lân,
Ochenaid ddofngroch anian.

Anian fawr a'i niferi,—a rydd waedd
Ar Dduw Iôr mewn cyni;
Drwy ei chŵyn y dyrcha hi
O'i lludded ddiball weddi.

Efe 'r môr a'i furmuron,—anial, dwfn,
Yn ol deddf ei galon,
O ofn Duw trwy safn y dòn
Ddyga weddi o'i eigion.

Am fendith y ddaear hitha',—'n wastad,
A ddystaw och'neidia;
Yn ei hiaith ar Iôn o hyd
Yn ddiwyd y gweddïa.

Ar Rëolwr ei helynt
Sibryda, gwaedda y gwynt,
Anadla ei ysbrydlef
O'i lŷs dail i'w glustiau Ef.

Rheidus luoedd yr adar,
A'u cywion gwylltion a gwâr,
Y wylan, y gigfran, ar gwalch,
A'r fywiog hylithr fwyalch,
Eos a phaun, estrys ffôl,
Y fireinwech fôr-wennol,
Yr eryr cryf a'r aran,
O dir a môr, adar mân
Wrth eu greddf gref y llefant,—ar Dduw Iôn,
A hynod gyson eu bwyd a geisiant.

Mewn gweddi ddyfal am gael eu gwala,
Yn llu direol, y llewod rüa;
Y diwyd fuchod o hyd a feichia,
Un wèdd o'u hawydd y meirch ddyheua;
O'u prudd anghenion y praidd yngana,
A rhyw ddifrifwch yr hŷdd a frefa;
O Dduw 'r nef pob peth a lefa,—arnat,
Y grëad atat ddaw i gardota.

Ond, er y ceisiadau hyn,—un eto
Hynotach sy 'n dilyn;
O'i dirwasgiad yr esgyn
I wydd Duw weddi y dyn.

Ochenaid drom ei chyni,—yn esgyn
Rhwng dwy asgell tlodi,
Trwy ei chroes yn troi ei chri,
A'i gwaedd i'r nef yw gweddi.

Gweddi o'r iawn egwyddor,—o angen
A ddringa am drysor;
O dan gyfarwyddyd Iôr,—i'r nefoedd,
Drwy ei hingoedd y dyry ei hangor.

O'th ras yn unig ddoeth Ri,—yn dy Fab,
Wrth dy fodd gwrandewi
Yr awyddus daer weddi,—
Ein Tad yn dy Fab wyt Ti.

Ein Duw yw 'r unig wrandäwr,—yr hwn
Yw 'r unig atebwr;
Ac efe yw 'r unig gyfranwr,—ar ran
Yr euog aflan y'mhob rhyw gyflwr.

Er mor òd ydyw 'r mawrhydi—a rhwysg
Y nef fry 'n addoli,
Yn fwy, yn uwch, ein Nâf ni
Hoffodd waedd y ffydd weddi.

O'i wir ofal, O ryfedd,—i'w gwrandaw
Wedi ymwyraw mae Duw y mawredd!

O Dduw ein Nâf, addurnydd y nefoedd,
Duw 'r abwydion, Crëawdwr y bydoedd,
Ffynnon bywyd, a Thad yr ysbrydoedd,
Diwaelodion yw môr dy oludoedd;
Llifeiria 'th holl foroedd—tros 'r ymylau,
I dòri eisiau bywyd yr oesoedd.

Y Duw mawreddog wedi ymroddi
Yn ei ogoniant fel gwas i'n gweini;
Ymrôdd ei galon ar lwyr foddloni
Ymwrdd enaid ei dramawr ddaioni;
Ei hunan a'i haelioni,—sydd wrth fâd
Lais a gwahoddiad helbulus gweddi.

O nychlawn gŵynion â chalon gynes
A ar annogaeth at Iôr i neges;
I ddwyn i'w goffa wael ddyn a'i gyffes,
Wrth Dduw ei hunan traetha ei hanes;
A grym ei ffyddiog wrês,—traidd ei heisiau.
Hyd ŵn drofanau dyfnder ei fynwes.

Ei hiaith hi o flaen porth Iôn,—a'i gŵyl lêf
Rwyma 'i glust a'i galon;
A dychwel yn mraich dichon—Duw 'r heddwch,
Yn fwy ei thegwch, a chyfoeth ddigon.

Yn ei swydd nid oes iddi—ail i'w gael,
Ei gwerth sy 'n rhagori;
Treiddiodd rhyw fywyd trwyddi,
A nerth i'n hendadau ni.

Yn fore bu i niferoedd—yn blaid
Yn eu blin dymhestloedd;
Tarian aur i'r truan oedd,
A chadarn astalch ydoedd.

Nid y clêdd yw nerth gweddi,—nid arfau,
Na dirfawr gastelli;
Nid dyn nac angel Celi,—
Iôr yw ei thŵr a'i nerth hi.

O'i ddwyfron wâg awyddfryd,
A'i 'stŵr bâs ymffrostia 'r byd
Yn ei nerth, rhyfeddu wna,
A'i fawredd a glodfora;—
Annwn ynfyd yn anferth
Noda yn hŷf nad yw nerth
Ei pharthau cryf, a'i phyrth crôg
Yn llai na hollalluog.

Yn dy gadernid fyd na wynfyda,
Ar d' ogoniant na ofer udgana;
Mewn nerth cenfigen, tithau Gehena,
Er dy arfogaeth, na frwd ryfyga;
Mewn ymdrech gweddi drecha—eich mawredd,
Er eich hŷf agwedd hon a'ch gorchfyga.

Y weddi rymus, pwy sydd a'i rhwyma,
A'i rhodda o'i helfen mewn sicr ddalfa?
Neu â throm afael ar ei thramwyfa,
A'i hynt i eilfyd, pwy rydd attalfa?
Yn gyson hi negesa,—trwy ddi-dwrdd
Gyrchfa agwrdd, a phwy a'i gorchfyga?

Tòra ewynau 'i gâlon tarianog,
Rhydd hir agorfa trwy ddreigiau arfog;
Rhwyma gynddaredd eu 'storm gynddeiriog,
Trecha eu hanwar nwydau trochionog;
Ffwrn dân ac uffern dònog—ein llwgr bla,
Yn hawdd ddiffodda y weddi ffyddiog.

O greig yr anial dyfroedd grisialog
Yn llif a ddilyn ei llêf ddihalog;

Gwna afalau o drallodau llidiog,
A glynoedd rhinwedd o galon ddreiniog;
Cwyd ben y tlawd anghenog,—o'i fryntni,
A'i wir galedi yn ŵr goludog.

Yn ddiffael gweddi y ffydd
Döa 'i gâlon dig'wilydd
A gwarth, a'u mawredd i gyd
Yn isel domen esyd:
Nid oes ing na dwys angen
Ar y ffordd a ŵyra 'i phen;
Trwy gaddug y try gweddi
Yn y nos i'n gweini ni;
Trwy seirph fyrdd, trwy sawyr ffau
Holl lengoedd pebyll angau;
Trwy gaddug y trag'wyddol
Leni cudd, ymlaen ac ôl;
Anobaith enaid wyneba,
O flaen ei nerth diflanu wna:—
Yr anhebyg dry 'n obaith,
Try i'r dim holl rwystrau 'r daith;
A'i mwyn wrês mewn awyr rydd
Hi dòna ei hadenydd.

Ionah gynt o dan ŵg Iôr,
Y' mherfedd dwfn y mawrfôr,
O dan fedd o dònau fil,
Y' mherfedd mawr y morfil,
Yn uffern trochion affwys,
Ar ei Dduw byw roddai 'i bwys;
Gyrai hoedlog ruadlef
Weddi 'n wyl at Dduw y nef;
Ac â nerth diblygu 'n ôl,
O'i ddirboen y dderbyniol
Weddi daer, daflodd y dyn
O geudod y pysgodyn;
A dianaf a dinych
Y rhodiai 'r sant ar dir sych.

Niwliog iawn i Israel gynt
Yn ddilys oedd eu helynt
Enfawr, ar drothwy anferth
Y Môr Coch a'i ymrû certh.

O'u blaen ymroliai ei wyrddion dònau
O'i wely isod, ar eu hystlysau
Yr hiroesog ddanneddog fynyddau
Yn gaerau welid, ac ar eu holau
Yr Aiphtiaid dreng yn rhengau,—gŵn rheibus,
Ar wanc cynhyrfus yn rhincian arfau.

Yn eu braw yr Israel brid
Ymrwyfai mewn mawr ofid,
Cythryblent, gwelwent i gyd
Yn eu safle heb syflyd.

I'w tôst ruddfaniad dystaw,
O bwll eu hing ar bob llaw,
Nid oedd ond anobaith du
Yn adateb o'u deutu:
Ow! hoedl lwys y genedl lân,
Lethir yn farwol weithian.

Na, na, ymwared sy 'n nês,
Mae isel weddi Moses,
Ei waedd ddi-nam yngwydd Nêr
Er 's meityn tros eu mater.
Ar ei haden ysbrydol
Yn Nuw a'i nerth 'hedai 'n ol;
Ac O! dyna ddyfnder cûdd
Hen neifion iddi 'n ufudd:
I'w llais hi trwy 'wyllys Iôr,—o'u blaenau
Mae hir wanegau y môr yn agor,
O'u hen ffurf, gan droi yn ffordd,
Yn ddiysgawg ddau osgordd,
Neu ddau fur o ddyfroedd, fal
Goriesin furiau grisial;
Yn uniawn ffordd frenhinol,
I'w mawrhâu heb ddim ar ol.

Y weddi glau wnaeth ffordd glyd,—i Israel
Fu 'n ddiddosrwydd bywyd;
A llaw gref aethant hefyd
Yn ddigoll trwyddi i gyd.
Bu er hyn i'r gelyn gau,
Yn engyrth ffordd i angau.

Ni fu, nid oes, ac ni fydd
Mur na maen, môr na mynydd,
Unrhyw bla, na charchar blin,
Na baeddod ddieifl, na byddin,
A all orwedd rhwng gweddi
Enaid a nawdd ein Duw ni:
I enaid mae ffordd union
Trosodd hyd at orsedd Iôn;
Ei rhodfâu rêd i fywyd,
Tu ol i boen bustl y byd;
Y ffordd hon ni chyffwrdd annuw
Arni, na diafl tra enw 'n Duw;
Er y dig ddystryw a'i dwrdd,
Ni cha uffern ei chyffwrdd:
I weddi 'r gwael, o'i thrafaelyd
Hi a ddyry hêdd ar ei hyd.

Elïas fel maeslywydd
Oedd â'i ffawd yn ngweddi 'i ffydd;
Ynddo 'r oedd dan nawdd ei Ri,
Guddiad holl gryfder gweddi:
Yn a thrwy ei ddyeithr hynt
Oedd gawr, fel agwrdd gorwynt
O dân dwyfol, dyn deufyd
Oedd efe, a 'sgytiodd fyd.

Llwyddodd ei ddiwall weddi,—yn y nef
I gael gan Iôr roddi
I'w llaw addfwyn allweddi
Dôr y nef a'n daear ni.

Wrth ei lef dae'r a nefoedd
O foddhâd yn ufudd oedd;
Ac ar einioes gwŷr annuw
O ŵg dwfn am ddigio Duw,
Efe, gyda 'i lef gadarn,
A dŷnai fyd o dan farn:
Ar ei lef yr awyr lâs
A oleuodd Elias.

Rhoes i ddeddfau yr wybrenau
O'u hen swyddau ddiorseddiad,
A than rwymau ffôi 'r cymylau
O'u horielau ar ei alwad.

A'r gwlith bob deigr a glôdd,—ac â mawrhâd
Ei holl ddeisyfiad mewn llwydd a safodd.

Daear hithau dan gystuddiau,
Hi a'i chnydau ocheneidiodd;
Ei drych fel uffern a drôdd,—sychedai,
O fewn hi guriai, a'i safn agorodd.

Och aflwydd tôst ei chyflwr,
Nid oedd i'w safn ddafn o ddŵr.

Wedi dal dan ddialedd,—y ddaear
I ddyheu, a gorwedd,
Ar dân mewn sychdwr dihêdd,
Yn dra blin am dair blynedd,

Elias eilwaith â'i lais a alwodd
Lu 'r cymylau, a'u rhwymau ddirymodd;
Ac ar unwaith y myrddiwn ymgrònodd
Am ael y wybren, a'r gwynt ymlwybrodd:
Y môr o'i wely dwfn a ymroliodd
I'r loewaidd awyr, a'r haul a dduodd,
A sî ystorm nesäodd,—a thrwy addas
Weddi Elias y nefoedd wlawiodd.
Yn ei drych y ddaear drôdd,—ac â gwên
Gardd o wawr Eden ei gruddiau wridodd.

Yn ei hadeg brïodawl,
Yn nydd ei chyfreithlon hawl,
Nid oes diwedd a'r weddi,
Na lleihâd i'w gallu hi:
Ei bloedd drŷ bobpeth o blaid
Y gonest ffyddiog enaid:
Cyn caiff y gwamal âlon
O ŵg sarhâu gweis yr Iôn;
A chyn caiff Sïon lonydd
Yn llwyr dêg byth golli 'r dydd,—
Ar ei gair trŷ 'r môr a'r gwynt
Trystiawg i ymladd trostynt,
A'i llaw hi drŷ y lleuad,
A sêr lu yr asur wlad,
A'r haul, o'u harferol hynt,
I frwydraw 'n ddystaw drostynt:
Ac â mwy rhwysg i'w mawrhâu
Hi dŷn fytheiriol dònau
O wefrol, andwyol dân
Yn foriog o'r nef eirian,
I'w difa mal edefyn
O niwl brau oddiar ael bryn.
A mwy fwy yw ei grym fyth,
I'w dolef â nerth dilyth
Enwog lu yr engyl glân,—gyda brys
I wneyd ei h'wyllys eheda allan;
Hi a ddeil yn ddihalog,—ac a drŷdd
A'i llaw y Llywydd mawr hollalluog,
Iôr y nef, yn mharn ei ŵg,
I ymladd â braich amlwg.

O mor ryfedd yw gweddi,—pwy byth ŵyr
Pa beth yw mewn c'ledi;
Duw roddodd gryfder iddi,
A Duw ŵyr beth ydyw hi.

Dyn Duw a ga'dd dan dywydd,—i rodio
Ar edyn ystormydd,
Nawdd a phwyll gweddi y ffydd
Oedd y dwyfol fardd Dafydd.

Ac wrth lwydd tragwyrthiol hon
Na ddigied ein meddygon;
Er eu nôd yr un ydynt
Hwy 'n y gelf a'r oesau gynt;

Gwawl y fuddiol gelfyddyd,—heddyw sydd
Is haen o wŷll dybryd;
Eu goreu hwy geir o hyd,—yn rhy wan
A rhy fychan at lawer afiechyd.

Pob llwydd i lanw 'ch swyddi,
Yn eich hoes a fo i chwi;
Er hyn i weddi 'r enaid
O honoch chwi 'n wir ni chaid,
Er braint y teitlau a'r bri,
Un o lwydd yn ail iddi;
Hon saif, yn weddus hefyd,
Yn ben ar feddygon byd:
Ni wywa, deil yn newydd
Enw a pharch gweddi y ffydd.

A'i haden bu 'n alltudio
O'u hynt y dreng heintiau draw;
Un dòniad o'i hadenydd,
Un mâd gyffyrddiad o'i ffydd,
Dòrai ofid yr afiach,
A'i wella ef yn holliach:
Un llef rwydd a wellâi fron
Glwyfus y gwahangleifion;
Un waedd oedd olwg i ddall,
Naturiol glust i arall,
Drwy ei hawchus edrychiad
Fforddiai hi i glôff ryddhâd,
Ef i'w hynt ar draed di fai
Mor hawdd i lamu roddai:
A llwyr iawn drylliai yr od
Edefyn ddaliai dafod
Rhwymedig enau 'r mudan,
A'i droi i gu fydru 'i gân.

Ac ar ei thwymnol ddiragrith amnaid,
O'u ffug athrylith ffôi hy' gythreuliaid
O neuadd freiniol cynneddfau'r enaid,
I ddu wŷll eigion o wydd ei llygaid;
Ni ddaliai 'r diafl na 'i ddeiliaid,—nerth eglur
Hir waedd dywynbur y weddi danbaid.
Yn ddystaw hefyd trwy urddas dwyfol
Y tòrai gweddi i'r byd tragwyddol,
Ac ar adenydd ei nerth crediniol
Hi ddygai enaid yn rhwydd o'i ganol,
A'i droi yn wych adre 'n ol,—o ryfedd,
At yr anmhuredd i'w gartre' marwol.

Ond Iesu 'n prif dywysydd,
A phen perffeithydd ein ffydd,
A ogwyddodd mewn gweddi,
Fel oen, yn ein deddfle ni;
Ai hwn i Gethsemane,
Tan ŵg digofaint y ne';
O ryfedd,—ond gwir hefyd,—
Y Duw Fab yn dlawd ei fyd!

Duw y nefoedd dan ofid,
A phla llawn phïolau llid,
Yn ddwyfol dyoddefai
Dan bwys ofnadwy ein bai;
Amynedd rwymai 'i enaid,
A'i gorff yn yr ymdrech gaid,
O gariad at bechadur
Yn dwyn ei gôsb o dan gur;
Berwai o'i gnawd ei burwaed,
O'i achos ef yn chwys waed:
Mor ddwfn y trwm ruddfan trist,
A'i ddyeithriol waedd athrist;
Ar Dduw y taer weddïai,
Yn y trwch ing taerach äi;
O bwll i bwll äi 'n bellach,—ymdrechai,
A'i weddi afaelai yn ddyfalach;
A'i gafael gref äi 'n gryfach,—mewn ffydd,
Ddihefelydd, o hyd yn ddyfalach.

Ac fel y tân trydanol,—ei weddi
Gyrhaeddai 'r llŷs nefol;
Rhedai ar hŷd ysbrydol,—wefr linyn,
Neu gry' edefyn o gariad dwyfol.

A'r drŵs i hêdd rhad ras Iôr,—yn ddigêl
A llaw ddïogel a allodd agor.
Ei weddi Ef a gâ'dd afael
Yn nerth Iôr, ac â'i gymhorth hael,
Er yn drist dan ein barn drom,—fel oen cu
Fe rodiai 'r Iesu i farw drosom.

Ar Iesu Grist y rhoes gras,—gyflawni
Swyddau diwyrni gorsedd ei deyrnas.

Yn awr, yn ei enw Ef,
Ni gawn wrth orsedd gwiwnef
Gyhoeddus offrwm gweddi,
A Duw nef i'n gwrando ni.
Heddyw 'n wir at orsedd Nâf,
Mae i'r pechadur mwyaf,
I ŵydd ei Dduw ffordd rydd i dd'od,
I fwrw baich ei fawr bechod
Wrth ei draed, trwy 'r gwaed a'r gwerth
Wynebodd Dduw yn aberth.

Y d'reidus ddrwg leidr ydoedd
Yn fwrn a gwawd dan farn g'oedd,
Yn welw o dan hoelion,
A'i euog fryd rwygai 'i fron;
Yn marw, a'i gymeriad [illegible]
Anrheithiol e' 'n warth i'w wlad

A'i ing ar ing yn sicrhâu
Gyfyngol dagfa angau:
Nesâu i'w glustiau wnai sŵn
Merwinol gamrau annwn,
I dŷnu ei dlawd enaid,—i'w mangre,
A'i wthio i rywle at gythreuliaid.

Ond O! tra 'n suddo i dân,
Neidiai 'i holl enaid allan,
Yn gryf edifeiriol gri,
A thoddai 'n danboeth weddi;
Cri ei ysbryd ar y croesbren,
A'i druan waedd ysgydwai 'r nen;
Ac ar hyn, oddiar y groes,
Ai 'n enaid glân i einioes;
Yn gymhwys heb ei gamwedd,
Y' mraich Tywysog mawr hêdd,
Yn Haul pur, i gynnal pwys—tra'gwyddol
Urddau prïodol mawredd Paradwys.

Dwy wêdd a geir i weddi,
A dau nôd yn ein byd ni.

Gweddi o ddwfn argyhoeddiad—ydyw 'r
Gymeradwy 'n wastad;
Ein Duw a rydd wrandawiad
Iddi hi trwy lwyr foddhâd.

Yr ewynfawr a'r ynfyd,—weddi ffôl,
Ddi ffydd a di-ysbryd,
Ei chwydd frôl a'i balchaidd fryd—ddigia 'r Iôn,
Ef fel ysgarthion diflas a'i gwrthyd.

A sawyr Pharisëaidd,
Yn rhwysg oll, mewn gwresog aidd;
O'i gôf, yr hunangyfiawn
A'i weddi hir o goeg ddawn,
Ddeuai yn hŷf i ŵydd Nêr;
Yn nôd ei hunan hyder
Y safai, ac o'i sefyll,
A rhîth oer yn safnrwth, hyll,
Wrtho 'i hun areithiai ef
Yn foddus, gan gyfaddef,
Ei fod yn ddyn, a dyn da,
O bur ffaith yn berffeithia';
Yn ei wisg yn lân esgawb,
Yn ei ffordd yn well na phawb;
Gonest yn gefn a gwyneb,
Yn ei nôd yn uwch na neb;
Gŵr a'i grêd i'w weithredoedd,
A gŵr y ddeddf o'r gwraidd oedd;
Yn byw ei oes heb eisiau
Un dim yn well, ond mwynhâu

Hunanfoddion ei feddwl,
Ynddo 'i hun, ei nefoedd ddŵl.
Er hyn disgynai ei rwydd,
Ddiflas weddi i aflwydd;
Er ei haeddfawr wawr addfwyn,
Edwai 'n ei drych dan ei drwyn,
Duw â'i amnaid gondemniol,
Yn ei ŵg a'i t'rawai 'n ôl.
Yn ei hòniad hunanol—a'i thraha,
I gŷrau eitha' 'i galon ragrithiol.

Ond, deuai yn ei dywydd,
Un hoff iawn âg anadl ffydd,
At yr orsedd trwy arswyd,
A grudd wlêb, ac ar wêdd lwyd,
Yr amddifad bechadur
Dirym, gwael yn ei drwm gur;
Un dilettŷ, yn dlotaf,
Dan glwy' a'i enaid yn glâf;
O waew gerwin yn gorwedd
Yn ei waed, aflan ei wêdd,
O'i gŵr yn druan i gyd,
A'i feïau 'n bwyta 'i fywyd;
Gwyw iawn a llêsg yn y llwch,
Yn fawr ei edifeirwch,
O ofid äi i wyddfod Iôn
Yn ddifri' dan guro 'i ddwyfron;
Ac er ei ddrwg, ar Dduw 'r hêdd
Yn gerain am drugaredd:
Ei waedd flin oedd beraidd floedd
Yn nwyfol glust y Nefoedd:
Ac yn y fan, gwŷn ei fyd,—
Oblegid heb ael wgus,
A llaes wisg i ddôr llŷs hêdd,—ar aeliad
At yr agoriad rhedai Trugaredd;
Agorodd â'i llaw yn llawen,
Do, y porth o lêd y pen;
A'r Iawn a'i ddwyfol rinau
O fewn oedd i'w gyfiawnhâu.
Ac yn nhrefn Duw, äi 'n gefnog,—trwy sicr hawl,
Alluog fythawl yn hollgyfoethog.

Y weddi bur a'r ddi baid
A gynnal ysig enaid,
Yn fyw dan ofid einioes,
Yn iach gryf, er mynych groes;
Try 'i olwg tua 'r haulwen,
Trwy y niwl at Iôr y nen;
A thŷn rym a thyner wrês
Yn afonydd i'w fynwes;
Yn ei ras hi dŷn yr Iôn
Yn wawl goleu i'w galon;

Iddo 'n wledd, a thrŷdd yn lân
Dywyllwch pechod allan.

Mae rhyw ddylanwad, nerth, a phrydferthwch
I weddi 'r galon, a dwfn ddirgelwch;
Hi dodda enaid drwy ei dyddanwch
I nef adnoddau hanfodion heddwch;
Ac o niwliog anialwch, dŵg wirion
Enaid i galon y dïogelwch.

Golwg rydd wledd i galon,
Dry 'n foddhâd drwy nefoedd Iôn,
Yw yr olwg ar elyn
Yn nesâu trwy ysbryd sŷn,
Ger bron y nef, a'i lefau
A mwy o loes yn amlhâu;
Yn addef yn ei weddi
Ei drwm bechodau diri';
A deisyf am waed Iesu
I lanhâu 'i ddofn galon ddû.

A Christ, trwy bur dosturi,—yn anwyl
Dderbynia ei weddi;
A glân i Dduw 'r goleuni,
Yn ei waed cyflwyna hi.

A Duw, yn wir, â gwên siriol,—ar sail
Y Gŵr sydd yn eiriol,
Yn ei ŵydd yn feunyddiol,—faddeuai
O'i wae adferai yr edifeiriol.

Ei droi 'n lân o dir annuw,
A'i wneyd ef yn blentyn Duw.

Eto ar riniog nef fel taranau,
Tŷr yn wylofus y taerion lefau;
Eto o'r ddaear dyrch taer weddïau
At Iôr a'i drysor, ar hyd yr oesau;
A'r Ysbryd yn eu herfyniau,—rydd wêdd
Taerach ei nodwedd, trwy 'i ocheneidiau.

Mwy o'r Ddeheulaw mewn mawredd helaeth,
Y môr o dawel gymeradwyaeth
Ar Iesu wena, trwy ei wasanaeth,
Yn y taer erfyn dros blant yr arfaeth;—
A'r byd damniol, o'i eiriolaeth,—uchod,
Fywhëir o waelod ei ddofn farwolaeth.

Yn awr i gyraedd nerth i ragori,
I droi o anial ein llwgr drueni,
I ochel adwyth, gwarth a chaledi,
Dileu dyledion andwyol dlodi;

I ennill coron, a holl ddaioni
Y nef a'i thegwch i'n cyfoethogi,
O'n calon at orsedd Celi,—dyrchwn,
Arno y gwaeddwn yn daer ein gweddi.

Yn myw yr adeg, at ein Mawrhydi,
Awn yn galonog, Ef yw 'n goleuni,
I offrwm diolch, canmol a moli
Yn nydd ei alwad, a'i lân addoli;
O'n calon at orsedd Celi,—dyrchwn,
Arno y gwaeddwn yn daer ein gweddi.

Ond e' ddaw, medd Duw, ddiwedd
Ar y byd, angau a'r bedd,
Wedi diwrnod ei deyrnas,
Yn ddi-gryn, wedi dydd gras,
I'w ddilyn daw 'r dydd olaf,
Yn nerth a gogoniant Nâf.
Dydd apwyntiad y cadarn
Dduw byw, i gyhoeddi barn;
Dydd o ofid i ddiafol,
Un o'i ddull ni ddaw o'i ol;
Anhafal ddydd dial Duw
Ar enaid du yr annuw:—
Dïau 'r annuw dirinwedd,
Yn wyllt ofnadwy ei wêdd,
O'i flaen ef yn aflan ŵr,
Yno ddaw yn weddïwr;
Ar y creig gwrthdery cri
Gwaesu addig ei weddi;—
Er hyn i'r truan ni rêd
Mwy orig o ymwared;
Yr agoriad rydd Trugaredd
I'r Oen sy' ar ei glaerwen sêdd;
Ow resyn, dyfnder aswy
Law y Mab fydd ei le mwy:
Troi a throi heb làn na thraeth
Y' môr heli marwolaeth
Gaiff ef, â bythol goffâu
Ei dynged dan draed angau.

Nâf o'i ŵydd a dry 'n fyddar,—i'w lefau,
A'i wylofus alar;
Ein Duw Iôn ni wrendy ar
A rydd waedd rhy ddiweddar!

# CWBLHAD YR YSGRYTHYRAU A CHYFODIAD HERESIAU.

Y LLYFRAU cynnwysedig yn y Testament Newydd sydd yn ein dysgu pa beth yw Cristionogaeth. Ac wrth eu darllen tueddir pob un o feddwl ymchwilgar i ymholi pa beth yw hanes dechreuol y llyfrau hyn,—beth fu yn achlysur o'u hysgrifenu, pa bryd y cymerodd hyny le, a pha fodd y daethant i gael eu cydnabod yn safon crêd ac ymarweddiad. Pe safai rhywun yn ymyl derwen henafol, ganghenog a chysgodfawr, ac os deallai y bu llawer o ddygwyddiadau pwysig o'i hamgylch, ac mewn perthynas iddi, teimlai awydd cryf am gael ychydig o hanes y dderwen hono, sef pa bryd a chan pwy y cafodd ei phlànu, a pha rai ydyw y prif bethau sydd wedi ei hynodi.

Llawer mwy rhesymol gan hyny ydyw, fod dynion yn cael eu tueddu i olrhain hanes dechreuol y llyfr yr hwn a ellir ei alw yn "Bren y Bywyd," a'r hwn y mae ei "ddail yn iachâu y cenedloedd." Ac er ein mawr foddhâd, mae yr awgrymiadau sydd yn y llyfrau eu hunain, ynghyda chyd-dystiolaeth rhai haneswyr boreuol, yn rhoddi mantais i ni wybod y gwirionedd am hyn yma, ac i ddeall amryw o'r amgylchiadau.

Mae yn amlwg mai prif orchwyl yr efengylwyr a'r apostolion, ar y cyntaf, ydoedd pregethu yr efengyl. Yr oeddynt yn myned ar draws ac ar hŷd y gwledydd gan gyhoeddi y pethau y buont yn llygad-dystion o honynt. Yr oedd y gorchwyl hwn yn gofyn am dalentau a chymhwysderau arbenig; oblegid tuag at ei gyflawni, rhaid oedd iddynt feddu parodrwydd i ateb gwrth-ddadleuon, arfer amynedd a thawelwch pan yn cyfarfod â gwrthwynebiadau, ac amlygu penderfyniad di-droi-ynol, gan eu bod yn ymosod ar hen draddodiadau y werin, ac yn dymchwelyd sefydliadau a berchid trwy yr oesau blaenorol. Yn y modd hwn yr oeddynt yn arloesi y tir ag ydoedd ar ol hyny i ddwyn cynnyrch toreithiog.

Ond yn raddol newidiodd yr amgylchiadau, a daethant i ddeall a theimlo yr angenrheidrwydd nid yn unig am bregethu, ond am ysgrifenu hefyd. Ymhen cwrs o amser, amlygai amryw o'r rai oedd wedi clywed a chredu y gwirionedd ddymuniad am gael y pethau a glywsent mewn ysgrifen, fel y byddai iddynt allu eu defnyddio pan fyddai y siaradwyr eu hunain wedi dystewi. Byddai hefyd rai dynion anfedrus ac anghymhwys yn cael eu tueddu i ysgrifenu yr hanesion rhyfedd a draddodid iddynt; a phan ddeuai y rhai hyn i law y cenadau, gwelent eu bod yn anmherffaith ac anghywir, a theimlent yr angenrheidrwydd am ysgrifenu hanes credadwy i'w cenedl a'r oesau dilynol. Dechreuwyd yn fuan hefyd ymosod ar y Cristionogion mewn erlidigaethau. Gwelent hwythau, oblegid hyn, y prïodoldeb o'u bod hwy eu hunain yn deall yn eglur pa wirioneddau yr oeddynt i sefyll a dyoddef drostynt. Ac yr oedd hyn yn gymhelliad ychwanegol i'r rhai a fedrent

i ysgrifenu hanes Crist, ac i osod allan yr athrawiaethau a ddysgodd. Mae Dr. Lardner wedi dyfynu yn helaeth dystiolaethau o'r tadau eglwysig yn dangos yr achlysuron o ysgrifenu yr efengylau.

O herwydd yr erlidigaeth gref a gyfododd yn Palestina, annogwyd Matthew gan y ffyddloniaid i ysgrifenu iddynt hanes Crist, fel y byddai iddynt gael defnydd addysg, er i'w dysgawdwyr gael eu gwasgaru. Ysgrifenodd yntau yr efengyl iddynt yn yr iaith Hebräeg. Ond fe gafwyd y llyfr yn dra buan yn yr iaith Roeg, ac fe dybir yn gryf gan rai mai efe ei hun a'i hysgrifenodd yn yr iaith hono hefyd, ac mai nid ei gyfieithu a wnaed gan rywun arall.

Yn ol tystiolaeth Clement o Alexandria, yr hon a geir yn hanes eglwysig Eusebius, cafodd gwrandäwyr Pedr yn Rhufain gymaint o hyfrydwch wrth ei wrando, fel y dymunasant ar Marc, ei gydymaith, roddi iddynt mewn ysgrifen yr hyn yr oeddynt wedi ei glywed yn ei draddodi â'i enau. Cydsyniodd yntau â'u cais, a chymeradwywyd y gwaith gan Pedr, ac yn ganlynol dechreuwyd ei ddarllen yn y cynnulleidfäoedd. Mae Luc ei hun yn awgrymu yr achlysur iddo ef ysgrifenu ei efengyl. Yr oedd llawer wedi "cymeryd mewn llaw" i ysgrifenu yr hanes am Grist; ac er y gallasai fod eu dybenion yn gywir, nid oeddynt, fel y tybir, yn meddu y cymhwysderau angenrheidiol. A chan nad oedd efengylau Matthew a Marc wedi eu lledanu yn gyffredinol,—y mae yn ammhëus a oedd y diweddaf eto wedi ei hysgrifenu,—tueddwyd ef i roddi adroddiad cywir a threfnus o'r ffeithiau adnabyddus. Ac yr oedd ganddo fantais fawr i wneyd hyn; oblegid yr oedd wedi bod yn gydymaith i Paul, gan gyd-lafurio âg ef yn llawer o'i deithiau; yr oedd hefyd yn dra chydnabyddus â'r apostolion eraill; ac am hyny yr oedd wedi clywed mynych adroddiad o'r pethau oedd ganddo i'w hysgrifenu. Nid rhyfedd gan hyny ydyw ei fod ef wrth ddechreu ei efengyl yn dyweyd, "Megys y traddodasant hwy eu hunain i ni, y rhai oeddynt eu hunain o'r dechreuad yn gweled, ac yn weinidogion y gair."

Pan oedd Ioan tua diwedd ei oes yn Ephesus, daeth i'w law y tair efengyl ag oedd yn flaenorol wedi eu hysgrifenu. Ac yn ol tystiolaeth Eusebius, cadarnhäodd yntau yr hanes y maent yn gynnwys. Ond wedi iddo ddeall nad oeddent yn rhoddi hanes gweithredoedd Crist ond am tuag yspaid blwyddyn, teimlodd duedd ei hunan, a chymhellwyd ef gan gyfeillion, i ysgrifenu efengyl ychwanegol, gan adael heb eu crybwyll y pethau yr oeddynt hwy wedi manylu arnynt, ac adrodd rhai pethau pwysig ag oeddent hwy wedi eu gadael allan.

Tybia Lardner nad oedd llawer o wahaniaeth o ran yr amser yr ysgrifenwyd y gwahanol efengylau, ac na chyhoeddwyd yr un o honynt cyn tua thriugain mlynedd ar ol genedigaeth Crist.

Yr oedd y pethau rhyfedd a gymerodd le trwy weinidogaeth yr apostolion yn brawf sicr o adgyfodiad Crist, yn gyflawniad o'i addewid cyn ei ymadawiad, ac yn rhoddi sicrwydd diammheuol o Ddwyfol darddiad Cristionogaeth. Naturiol ydoedd gan hyny fod Luc yn teimlo yr un cymhelliadau i ysgrifenu y pethau hyn ag a deimlodd yn flaenorol wrth ysgrifenu ei efengyl. Yn hytrach gan hyny na gadael y pethau hyn i syrthio i ebargofiant, neu yn hytrach na gadael iddynt gael eu hadrodd mewn modd annheilwng ac anmherffaith, cynhyrfwyd ef gan Ddwyfol ysbrydoliaeth i ysgrifenu ail lyfr, sef Actau, neu Weithredoedd

yr Apostolion. Yr oedd yn meddu cymhwysder neillduol at y gorchwyl yn gymaint ag y bu, fel yr awgrymwyd eisoes, yn gydymaith i Paul, ac yn llygad-dyst o'r amgylchiadau. Mae efe yn cael ei gydnabod felly gan Paul, 2 Tim. iv. 11. Ac y mae efe ei hun, wrth roddi yr hanes, yn crybwyll mewn modd llednais am dano ei hunan fel un yn cymeryd rhan yn y gweithrediadau, Actau xx. 13—16.

Ar ol i lïaws o eglwysi gael eu sefydlu yn y gwahanol wledydd, yr oedd llawer o achlysuron yn cyfodi pa rai oedd yn gwneyd ysgrifenu atynt yn angenrheidiol. Teimlai yr apostolion awydd am ddysgu rhai o honynt yn fanylach yn mhethau mawrion yr efengyl; dygwyddai rhyw bethau yn rhai o'r eglwysi ag oedd yn gofyn am gymhorth a chyfarwyddyd; yr oedd angen am gysuro ambell eglwys yn ei thrallodau, ac am gefnogi ambell un arall yn ei llafur a'i hymdrechion; gosodid rhai personau mewn sefyllfäoedd o bwys a chyfrifoldeb, a phrïodol oedd iddynt gael cyfarwyddyd a chefnogaeth oddiwrth rai mwy profiadol: a chan fod cylch llafur yr apostolion mor ëang, nid oedd yn bosibl iddynt gyflawni y diffygion hyn trwy ymweliadau personol; yr oeddynt, gan hyny, dan yr angenrheidrwydd o wneyd eu goreu tuag at hyn trwy ysgrifenu epistolau. Felly mewn yspaid deng mlynedd, sef o tua A.D. 54, hyd A.D. 64, fe ysgrifenwyd gan Paul bedwar ar ddeg o epistolau, trwy gynnwys yn y nifer yr epistol at yr Hebrëaid. Ysgrifenwyd saith o epistolau gan yr apostolion eraill, sef gan Pedr, Iago, Ioan, a Judas. Gelwir y rhai hyn wrth yr enw epistolau cyffredinol. Dechreuwyd eu galw felly yn gynnar, o leiaf mor fuan a'r drydedd ganrif. Tybir mai y rheswm o'u galw felly ydoedd fod y rhan fwyaf o honynt wedi eu hysgrifenu at Gristionogion yn gyffredinol.

Yr oedd gofal mawr yn cael ei arfer gan y Cristionogion boreuol tuag at benderfynu pa lyfrau oeddynt ganonaidd, neu pa lyfrau oeddynt yn ol rheol i'w cydnabod fel rhai awdurdodedig. Er fod traddodiad yn prïodoli y casgliad at eu gilydd o'r llyfrau hyn i Ioan, eto, y mae hanesiaeth yn fwy ffafriol i'r syniad fod y casgliad wedi ei wneyd mewn modd graddol fel effaith olrheiniad gan wahanol bersonau, a chydsyniad yr amrywiol eglwysi. Amlygwyd hollol unfrydedd gyda golwg ar lawer o honynt er yn gynnar iawn; daeth eraill i gael eu cydnabod gan yr eglwysi gryn yspaid yn ddiweddarach. Rhydd Eusebius, yr hwn oedd yn byw yn y rhan gyntaf o'r bedwaredd ganrif, rês o'r llyfrau ag oedd y pryd hwnw yn cael eu derbyn yn gyffredinol gan Gristionogion. Mae efe yn gadael allan o'r cyfrif rai llyfrau sydd yn ein meddiant ni yn bresennol Y llyfrau hyny ydynt yr epistol at yr Hebrëaid, epistol Iago, ail epistol Pedr, ail a thrydydd epistol Ioan, epistol Judas, ynghyda llyfr y Dadguddiad. Er hyny, mae efe yn dangos am y llyfrau hyn âg yr oedd efe yn eu gadael allan, eu bod yn dra adnabyddus, ac mewn bri mawr gan lawer o eglwysi. Ond ychydig yn ddiweddarach, yn yr un ganrif, mae Jerom yn enwi fel rhai derbyniedig yr holl lyfrau cynnwysedig yn y Testament Newydd yn bresennol, ac yn unig yn crybwyll nad oedd rhai ddim yn cydnabod yr epistol at yr Hebrëaid ymysg epistolau Paul. Ond mewn perthynas i'r epistol hwn, cofféir tystiolaeth Clement o Alexandria, tua dechreu yr ail ganrif. "Yr epistol at yr Hebrëaid," medd efe, "a ysgrifenwyd gan Paul, yn yr iaith Hebräeg, ond cyfieithwyd ef yn ofalus gan Luc i'r iaith Roeg, a lledanwyd ef ymysg y Groegiaid. O

herwydd hyn, gwelir yn yr epistol y cyffelyb arddull a geiriadaeth âg a geir yn llyfr yr Actau. Ond tebygol yw na osodwyd y teitl 'Paul yr Apostol' o'i flaen, am y gwyddai yr apostol fod rhagfarn yn meddyliau yr Hebrëaid yn ei erbyn, ac y gallasai gosod ei enw wrth yr epistol fod yn achlysur i'w llesteirio rhag ei ddarllen."

Bu llawer o ymholi ac ymchwilio yn yspaid, o leiaf, y pedair canrif cyntaf, mewn perthynas i rai o'r llyfrau a gynnwysir yn y Testament Newydd. Er hyny, fel yr awgrymwyd eisoes, dechreuwyd yn gynar, gydnabod y rhan fwyaf o honynt fel llyfrau canonaidd heb ammheuaeth. Prawf o hyn ydyw fod y tadau apostolaidd, y naill ar ol y llall, sef Clement. Ignatius, a Polycarp, y rhai oeddynt yn byw tua diwedd y ganrif gyntaf a dechreu yr ail, yn gwneyd cyfeiriadau lliosog atynt fel cadarnhâd i'w tystiolaethau. Mae yn amlwg hefyd fod y llyfrau hyn, er yn gynar, wedi eu lledanu yn helaeth, ac yn cael eu darllen yn rheolaidd. Wrth roddi hanes yr achlysur o ysgrifenu y bedwaredd Efengyl, dywed Eusebius, "Yr oedd tair efengyl eisoes wedi eu hysgrifenu ac wedi eu lledanu ymhlith pawb, a phan ddygwyd hwynt at Ioan, darfu iddo yntau gadarnhâu eu gwirionedd." Cofnodir hefyd dystiolaeth o eiddo Ignatius, yr hwn a fu farw fel merthyr, yn y flwyddyn A.D. 107. Ac yn ol ei dystiolaeth ef, yr oedd mor fore a hyn ddau lyfr, neu ddau gasgliad o lyfrau mewn ymarferiad, sef yr Efengylau a'r Epistolau. Yr oedd hyn yn brawf o'r bri uchel oedd yn cael ei osod arnynt, a'r defnydd mawr oedd yn cael ei wneyd o honynt. Mae yr hyn a ddywed Paul ar ddiwedd ei epistol cyntaf at y Thessaloniaid yn awgrym o'r hyn oedd yn cael ei wneyd gyda golwg ar yr holl epistolau: "Yr ydwyf yn eich tynghedu yn yr Arglwydd ar ddarllen y llythyr hwn i'r holl frodyr sanctaidd."

Sylwa Lardner mai apostolion ydoedd holl ysgrifenwyr y Testament Newydd oddieithr Marc a Luc, a'u bod hwythau yn gymdeithion i'r apostolion. Sylwa hefyd, ymhellach, fod hyn yn rheol gan y cristionogion boreuol wrth benderfynu ar y llyfrau awdurdodedig; sef nad oeddynt i dderbyn i'r llechres unrhyw lyfr ymha un y byddai yr awdwr yn cymeryd arno ddysgu athrawiaethau a rheolau Cristionogol, oddieithr ei fod wedi ei ysgrifenu gan apostol, ond y gallent gydnabod fel haneswyr awdurdodedig y rhai fuont yn gymdeithion i'r apostolion, ac yn dystion o'u geiriau a'u gweithredoedd. Ac fel arwydd o'r parch a delid i syniadau yr apostolion, dywed Augustin ddarfod i Marc a Luc ysgrifenu mewn amser cyfaddas, i'w hysgrifeniadau gael eu cymeradwyo, nid yn unig gan yr eglwys y pryd hwnw, ond hefyd gan yr apostolion, y rhai oeddynt yn fyw ar y pryd. Cydnabyddai, hefyd, hyd yn nôd y tadau agosaf at yr apostolion nad oeddynt eu hunain yn meddu awdurdod cyffelyb i'r eiddynt hwy. Meddai Ignatius, "Nid megys Pedr a Paul yr ydwyf yn gorchymyn i chwi."

Yr ydys yn y braslun uchod wedi cymeryd cipolwg ar ddechreuad gwahanol lyfrau y Testament Newydd, ac ar y derbyniad a gawsant gan yr eglwysi boreuol. Ond y mae yn amlwg oddiwrth rai awgrymiadau ynddynt hwy eu hunain, fod elfenau croes i'w hegwyddorion hwy mewn gweithrediad pan eu hysgrifenwyd. Ac megys ag y mae y tywyllwch amgylchynedig ar bapyrlen yn achlysur o osod allan yn fwy tarawiadol brydferthwch y darlun yn y canol, felly y mae cymeryd trem ar gyfodiad

heresiau yn y cyfnod dan sylw, yn rhoddi mantais i weled yn fwy amlwg ragoroldeb yr Ysgrythyrau. Nid anmhrïodol gan hyny ydyw troi ein sylw am ychydig yn mhellach at y pwnc hwn, sef,

*Cyfodiad Heresiau.* Wrth heresi y golygir athrawiaeth ddyfeisiedig trwy gam esboniad o'r athrawiaethau dadguddiedig, ac i ddybenion annheilwng. Dyledswydd Cristionogion ydyw ceisio deall a derbyn y gwirioneddau sydd wedi eu dadguddio. Nid yw Cristionogaeth yn rhoddi gwaith i ddychymyg dynion mewn ffurfio tybiau newyddion, ond yn hytrach y mae yn rhoddi gwaith i'w deall a'u calon mewn astudio a defnyddio y pethau sydd yn gynnwysedig yn y llyfr a roddwyd trwy awdurdod ei sylfaenydd. Mae rhai wedi olrhain achlysuron y gwahanol heresiau, ac yn eu plith nodir fel un peth ag sydd wedi bod yn fagwriaeth neillduol iddynt, gwybodaeeth arwynbol o'r Ysgrythyrau. Mae y rhai a fyddont yn cymeryd brâsolwg ar bethau y Gair ac heb eu hasdudio, yn cyfarfod beunydd â gwrth-ddadleuon y rhai nas gallant eu hateb, ac am hyny tueddir hwy i ddewis rhyw olygiadau a fyddont yn ymddangos iddynt hwy yn fwy deniadol, er eu bod ynddynt eu hunain yn llai rhesymol.

Achlysur arall ydyw chwilfrydedd hunanol mewn ceisio deall pethau rhy fawr, a phethau nad ydynt wedi eu dadguddio. Pan elo dynion i geisio egluro pethau sydd uwchlaw eu hamgyffred, maent mewn perygl o goleddu syniadau ynfyd a niweidiol. Mynych hefyd y darfu i heresiau gael eu cynnyrchu o herwydd coeg-amcanion wrth broffesu Cristionogaeth. Pan dueddid rhywrai i broffesu Cristionogaeth er mwyn elw neu anrhydedd daearol, ni fyddai waeth ganddynt i ba gyfeiriad y tröent er mwyn sicrhâu eu hamcanion.

Mae yn amlwg y darfu i rai o'r elfenau gwrth-darawiadol hyn ymddangos yn nyddiau yr apostolion. Dywed Paul wrth y Corinthiaid, "Rhaid yw bod hefyd heresiau yn eich mysg, fel y byddo y rhai cymeradwy yn eglur yn eich plith chwi," 1 Cor. xi. 19. Ac meddai Ioan, "Oddiwrthym ni yr aethant hwy allan, eithr nid oeddynt hwy o honom ni," 1 Ioan ii. 19.

Gellir dosbarthu y rhan fwyaf o gyfeiliornadau y cyfnod hwn i ddwy heresi fawr. Yr oedd y naill yn gynnwysedig mewn ymgaïs i gysylltu Iuddewiaeth â Christionogaeth, ac yr oedd y llall yn cael ei ffurfio trwy geisio cymhlethu athroniaeth neu philosophi wâg â Christionogaeth. Gelwid y gyntaf wrth yr enw Ebioniaeth, a'r nesaf wrth yr enw Gnostiaeth. Sylwa Neander fod y gair Ebion wedi ei gymeryd o'r Hebräeg, ac yn arwyddo *tlawd.* A gosodwyd yr enw ar y cyntaf ar y blaid hon mewn ffordd o ddirmyg, am fod y rhai a berthynai iddi yn cael eu hystyried yn dlodion ac anwybodus. Ond ar ol yspaid o amser, darfu iddynt hwy eu hunain arddel yr enw fel un wrth yr hwn y dewisent gael eu hadnabod a'u gwahaniaethu. Er iddynt ddechreu dangos eu hegwyddorion yn fuan ar ol i'r apostolion gychwyn gyda eu gwaith o bregethu yr efengyl, eto tybir mai tuag amser dinystr Jerusalem y darfu iddynt ddechreu ymffurfio yn blaid adnabyddus. Addefent mai Crist oedd y Messïah, ond yn unig yn yr ystyr mai efe oedd y dysgawdwr uchelaf yn y gyfundrefn Iuddewig, a'r hynotaf am ei berffeithrwydd mewn cydffurfiad â'r ddeddf. Cydnabyddent fod rhywbeth goruwchnaturiol yn perthyn i Grist, ond nid oeddynt yn ei addef fel Person Dwyfol wedi cymeryd dynoliaeth. Yr oedd rhai o honynt yn dra zelog dros arfer y

defodau Iuddewig eu hunain, ac am eu hargymhell ar eraill. Ond yr oedd rhai yn perthyn iddynt ag oedd yn fwy hynaws o ran eu hysbryd, ac yn fwy cymedrol o ran eu golygiadau. Er eu bod yn Iuddewon, yn proffesu Cristionogaeth, credent nad oedd y defodau seremonïol i'w cymhell ar neb ond eu cenedl eu hunain. Gelwid y rhai hyn wrth yr enw Nazareniaid.

Yr oedd y rhai eithafol o'r Ebioniaid yn wrthwynebwyr ffyrnig i'r apostolion ac i rai o athrawiaethau yr efengyl. Nid rhyfedd gan hyny y gwelir yn rhai o'r epistolau, yn enwedig y rhai gan Paul, y fath lymder yn cael ei ddangos wrth ddynoethi eu cyfeiliornadau, a'r fath wroldeb yn cael ei amlygu wrth eu gwrthsefyll yn eu hamcanion.

Yr heresi fawr arall ydoedd Gnostiaeth. Yr oedd hon yn gynnwysedig mewn ymgais i gyfuno yr hen athroniaeth ddwyreiniol, ac hefyd yr athroniaeth Roegaidd, â Christionogaeth. Ewyllysiai y coel-grefyddwyr a berthynent i'r blaid hon roddi eu hesboniad eu hunain ar ddau beth yn neillduol, sef dechreuad y byd, a tharddiad pechod. Gwybodaeth yw ystyr yr enw wrth ba un yr oedd y blaid hon yn cael ei galw. Ac yr oedd y rhai a berthynent iddi yn rhai uchelfrydig, ac yn ymhòni mai hwy oedd yn meddu deall neu wybodaeth i egluro pethau ac i'w cysoni â'u gilydd.

Yr oedd yr egwyddorion hyn yn gweithio yn nyddiau yr apostolion, er y tybir mai yn yr ail ganrif y darfu i'r rhai a'u coleddent ymffurfio yn blaid wahaniaethol. Ymddengys fod rhai cyfeiriadau yn cael eu gwneyd at yr heresi hon mewn amryw o'r epistolau. Sonia Paul am "wrthwyneb gwybodaeth a gamenwir felly," 1 Tim. vi. 20. Ac mewn man arall dywed, "Edrychwch na bo neb yn eich anrheithio trwy philosophi, a gwâg dwyll, yn ol traddodiad dynion, yn ôl egwyddorion y byd, ac nid yn ol Crist," Col. ii. 8. Ac, meddai Ioan, "Yr awrhon y mae anghristiau lawer," 1 Ioan ii. 18. Credent mai nid y Goruchaf a roddodd fodolaeth i'r byd yma isod, ond mai rhywun israddol iddo: ac yn ol rhai o honynt, yr oedd yr hwn a roddodd fod i'r byd cymysglyd isod, yn wrthwynebydd trwyadl i'r Hwn a grëodd y byd pur a pherffaith uchod. Tybient fod drwg, neu bechod, yn aros mewn mater, ac yn deillio oddiwrtho, a'i fod yn rhywbeth sydd tu hwnt i reolaeth yr Hollalluog. Yr oeddynt yn addef fod Iesu Grist yn Waredwr wedi dyfod i'r byd oddiwrth Dduw; ond nid oeddynt mewn ystyr brïodol yn credu ei Dduwdod, nac yn addef ei wir ddynoliaeth. Sonient am Grist fel un wedi deillio oddiwrth y Goruchaf, ac fel y perffeithiaf o bawb ag oedd wedi deillio yn yr un modd. Credent ei fod yn gwbl sanctaidd, ac am hyny nad oedd ganddo gorff gwirioneddol, gan, yn ol eu tyb hwy, nas gall un fod yn sanctaidd a dal unrhyw gysylltiad â mater teimladwy.

Pan fyddai y Gnostiaid yn darllen y Testament Newydd, nid oeddynt yn ewyllysio derbyn ei addysg yn ol ystyr lythyrenol y geiriau a'r ymadroddion; yn hytrach tueddid hwy i esbonio y cwbl yn ol rhyw oleuni tufewnol ond uchafol a dybient eu bod hwy yn feddu.

Codir Cerinthus i sylw fel heretic tra hynod yn ei oes. Yr oedd yn byw yn Asia tua diwedd y ganrif gyntaf. Yn ol yr hanes a roddir am dano, yr oedd efe yn dal rhai o olygiadau y Gnostiaid a'r Ebioniaid. Yr oedd o ran ei syniadau am y modd y

daeth y byd i fodolaeth yn gyffelyb i'r rhai cyntaf, ac o ran ei farn am berson Crist a'i zêl dros y seremonïau Iuddewig, yr oedd yn gyffelyb i'r rhai diweddaf. Dywed traddodiad ddarfod i Ioan fyned i'r baddon yn Ephesus; ond pan welodd efe Cerinthus yno, ddarfod iddo frysio allan gan ddyweyd wrth y rhai oedd gydag ef, "Fföwn oddiyma, rhag i'r adeilad syrthio arnom tra y mae Cerinthus, gelyn y gwirionedd, i mewn." Dywed Jerom fod y ddwy heresi fawr a nodwyd mewn golwg gan Ioan wrth ysgrifenu ei efengyl, "Duw oedd y Gair," "a'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Mae mesur o ammheuaeth mewn perthynas i'r sect a elwir y Nicolaiaid yn llyfr y Dadguddiad. Tybir, er nad oes sicrwydd am hyny, mai plaid oeddynt o'r Gnostiaid. Yr oeddynt yn gyffelyb i rai o honynt yn rhai o'u daliadau. Tybient, mai y ffordd i ddyn orchfygu tueddiadau drwg ei natur ydoedd rhoddi ffordd iddynt, neu eu boddhâu. Felly yr oedd eu heresi yn arwain i benrhyddid o'r fath waethaf. Nid rhyfedd gan hyny fod y Sanctaidd a'r Cywir yn canmol rhywrai am "eu bod yn casâu gweithredoedd y Nicolaiaid," "y rhai," medd efe, "yr wyf finnau yn eu casâu."

---

# Y CWIL-LYS PABAIDD.

History of the Inquisition, in every Country where its Tribunals have been established, from the Twelfth Century to the present time. *By* Wm. Harris Rule, D.D. London: 66, Paternoster Row. 1868.

Un o'r pethau sydd yn hynodi y dyddiau presennol ydyw yr ymdrechion diflin a wneir i ledanu egwyddorion ac adfer awdurdod y grefydd Babaidd, yn enwedig yn y deyrnas hon. Ymysg y moddion tebycaf i wrthweithio yr ymdrechion zelog hyny, rhaid rhestru adroddiad têg a gonest o gyflawniadau Pabyddiaeth yn nyddiau ei rhwysg, mewn gwledydd lle y bu y Chwil-lŷs, a phob rhan arall o'r gyfundrefn hynod hon, mewn llawn weithrediad ac awdurdod.

Nid oes un wlad ag y bu y Chwil-lŷs Pabaidd yn fwy gweithgar a llwyddiannus ynddi nag Yspaen—gwlad ag sydd, yn y dyddiau hyn, yn tynu sylw mawr pob gwlad arall ati ar gyfrif y chwyldröad gogoneddus sydd wedi cymeryd lle ynddi. Yn ddiweddar dygwyddodd amgylchiad hollol annysgwyliadwy yn Madrid, prifddinas y wlad, sydd wedi bod yn gymhorth neillduol i ddwyn gweithrediadau y Chwil-lŷs mewn oesau blaenorol o flaen sylw y bobl yn eu holl greulonderau erchyll. Yr oeddid yn myned i ddwyn oddiamgylch rai gwelliantau yn y ddinas, ac yr oedd yn angenrheidiol symud ymaith ddarn o ddaear o un ysgwâr gyhoeddus, er mwyn ei gwastadâu. Dygwyddai mai i'r lle hwn y priodolai traddodiad safle y Chwil-lŷs, a gelwid ef *Llosgle y Groes*. Tra yr oedd y gweithwyr yn tori y tir, daethant ar draws haenau o ddaear ddu, dew, y naill oddiar y llall, ac yn gymysg â'r ddaear ddu yr

oedd gweddillion llosgedig gewynau ac esgyrn dynol, darnau o ddillad wedi deifio, rheffynau celyd o waed ceuledig, cudynau o wallt hanner-llosgedig, &c. Parodd y darganfyddiad cyffröus ond gwir amserol hwn i iâsau o gyffro ac arswyd ymsaethu trwy deimladau y boblogaeth Yspaenaidd, a bu yn gymhorth gwerthfawr i sefydliad a lledaniad rhyddid crefyddol yn y deyrnas. Gwnaeth aelod ieuanc o'r senédd, o'r enw Echeqarary, ddefnydd effeithiol o'r amgylchiad wrth ddadleu dros ryddid crefyddol. Anfonwyd ei araeth ar hŷd a llêd y wlad, a dygwyd yn fyw o flaen llygaid y bobl yr amserau ofnadwy pan y poenydid ac y llosgid hereticiaid gan swyddogion y Chwil-lŷs sanctaidd! Rhoddodd y dygwyddiad hwn symbyliad iachusol i'r meddwl Yspaenaidd yn ei ymchwil am y gwir. Erbyn hyn mae yn ffaith ogoneddus, bron rhy dda i'w chredu, fod yr Yspaenwyr hir-orthrymedig yn meddu cyffelyb ryddid â ni ein hunain—rhyddid barn wleidyddol, rhyddid y wasg, rhyddid addysg, rhyddid crefyddol. Mae yr hen deulu brenhinol llygredig, wedi hirfaith orthrymu y genedl, a gwasanaethu yn rhy ffyddlawn achos pwdr y Babaeth, wedi eu dëol o'r wlad, cymundebau mynachaidd wedi eu diddymu, drysau y lleiandai wedi eu hagor, cyfreithiau yr hen Chwil-lŷs, a'r cyfreithiau caethiwus ag oeddent yn gwahardd proffesu Cristionogaeth efengylaidd, wedi eu diddymu, am byth, ni a obeithiwn, a'r Jesuitiaid cyfrwys wedi eu gŷru ymaith o'r wlad, er ei bod yn wlad enedigol Loyola eu sylfaenydd, gwlad ei lwyddiant cyntaf, a gwlad buddugoliaethau diweddaf y blaid beryglus a sefydlodd.

Ni a hyderwn y bydd i ysgrifbinau llawer o ysgrifenwyr Protestanaidd y dyddiau hyn gael cyffelyb effaith ag a gafodd ceibiau a rhawiau gweithwyr Madrid wrth symud ymaith safle yr hen Chwil-lŷs. Ni a obeithiwn y bydd i'r dynoethiad gonest a wneir o greulonderau annynol y Babaeth, a'r adgyfodiad a wneir o ffeithiau sydd wedi bod am oesoedd yn gorwedd yn gladdedig, fod yn effeithiol er deffroi pob pobl a chenedl i fwrw ymaith iau arw a baich trwm anghrist yn hollol ac am byth, fel na chaffo y Chwil-lŷs erlidgar safle mwy ar ddaear Duw!

Yn ngwaith tra chyflawn Dr. Rule, ceir nid yn unig sylwedd ysgrifenwyr blaenorol, megys Limborch, Piazza, Dillon, Buchanan, ac eraill, ond ceir hefyd lawer sydd yn hollol newydd i ddarllenwyr y wlad hon. Bu yr awdwr dysgedig yn byw ar y Cyfandir, a chafodd gyflëusderau i ymgynghori â llyfrau ac ysgrifau yn yr ieithoedd Italaidd ac Yspaenaidd. Mae hefyd wedi talu sylw manwl i'w destun, ac wedi rhoddi i ni hanes olynol o weithrediadau y Chwil-lŷs yn Ffrainc, Yspaen, Portugal, India, America Yspaen, Italy, &c.

Olrheinia yr awdwr gyfodiad y Chwil-lŷs i'r ddeuddegfed ganrif, er fod erlid a lladd Cristionogion pur yn beth tra chyffredin er dyddiau yr apostolion. Yr oedd yn beth tra arferol i *baganiaid* erlid gwir Gristionogion; ac fel y llithrodd paganiaeth i mewn i'r eglwys, daeth yr elfen erlidgar hefyd i mewn; ac fel y cyfododd y gallu tymmorol i noddi a gwaddoli yr eglwys, ac y sefydlwyd deddfau caethiwus tuag at y rhai a ymneillduent oddiwrth y grefydd sefydledig, sef Pabyddiaeth, gwelwn fel y parotöid y ffordd i osod i fyny y Chwil-lŷs,—y sefydliad mwyaf ei dwyll, ei fradwriaeth, a'i greulondeb, o bob sefydliad a osodwyd i fyny erioed yn Ewrop gristionogol. Sefydlwyd ef yn gynar yn y ddeuddegfed ganrif, dan deyrnasiad y Pab Innocent III., ac yn benaf trwy gyf-

rwng Dominic, offeiriad Yspaenaidd, genedigol o Calarogo, Old Castile, Yspaen. Adroddir i fam Dominic freuddwydio iddi roddi genedigaeth i gi, yn cario pentewyn yn ei gêg, i osod y byd ar dân. Daeth ei breuddwyd i ben yn gywir iawn. Anfonwyd ei mab Dominic i'r ysgol, a chynnyddodd yn gyflym mewn dysg. Ordeiniwyd ef yn offeiriad, a dewiswyd ef gan ei esgob (esgob Osma) i fyned gydag ef ar daith ymchwiliadol am hereticiaid i Ffrainc, pryd yr hynododd ei hun trwy ei fedrusrwydd i drafod hereticiaid. Dywedir iddo ddychwelyd rhai o honynt trwy ysgrifenu ei resymau yn erbyn eu hathrawiaeth ar bapyr fferyllaidd, na losgai er ei ddodi dair gwaith yn y tân—hoff elfen y gŵr hwn a'i ganlynwyr.

Cymerodd hyn le yn Toulouse, yn Ffrainc, lle hefyd, wedi hyny, y sefydlwyd y Chwil-lŷs cyntaf. Yno y ffurfiodd efe y bwriad o sefydlu urdd newydd o bregethwyr yn erbyn heresi; a darfu i un o'i ymlynwyr ei waddoli, trwy ei anrhegu â thai, yn y rhai y ffurfiwyd y celloedd chwil-lŷsaidd cyntaf, a rhoddodd Innocent ganiatâd iddo i lunio rheolau ei urdd. Yn chwanegol at y tai a'r celloedd, efe a gafodd eglwys hefyd yn Toulouse; ac ar esgyniad y Pab newydd, Honorius, i'w orsedd, y flwyddyn ganlynol, efe a aeth ato, gan geisio cyflawn awdurdod i lywodraethu ei frodyr. Cafodd dderbyniad grasol iawn. Tra wrth draed y Pab, efe a adroddodd wrtho weledigaeth a gawsai. Dywedodd ei fod un noson, wedi ei ddyfodiad i Rufain, yn gweddïo mewn eglwys; ac iddo ganfod ein Harglwydd yn ddigllawn, gan ddal yn ei law ddyrchafedig dair picell, i'w taflu yn erbyn pechaduriaid, un i ddinystrio y balch, y llall y cybydd, a'r drydedd yr anianol. Y fam sanctaidd a gofleidiai draed ei Mab, gan erfyn arno am drugaredd iddynt oll; a chydnabyddodd y Mab fod ei heiriolaeth hi wedi llonyddu ei lid, a dywedodd fod ganddo yno ddau was ffyddlawn iddo, y rhai a ddygai i'w sylw. Un ydoedd Dominic ei hun, a'r llall ydoedd Francis, gŵr a ddaeth yn enwog wedi hyny fel sylfaenydd urdd y Francisciaid—dyn na adwaenai Dominic ar y pryd, ond cyfarfu âg ef y boreu canlynol yn yr eglwys. Yr oedd y Pab yn cael ei foddhâu gyda'r chwedl, a rhoddodd i Dominic ddau lythyr, un yn dadgan ei fod ef a'i frodyr yn gampwyr y ffydd, a'r llall yn rhoddi gallu iddynt i berchenogi eiddo, ac i gyflawni eu swydd fwriadol. Dyddiwyd y llythyrau hyn Medi 12ed, 1217.

O hyny allan llafuriodd Dominic yn egnïol i sefydlu a threfnu ei urdd; ac anfonwyd cenhadon y frawdoliaeth newydd i wahanol barthau i bregethu yn erbyn hereticiaid, ac i ymchwilio am danynt, eu dal, eu cosbi, llosgi eu tai, a chymeryd meddiant o'u heiddo. Felly y sefydlwyd y Chwil-lŷs—llŷs i chwilio allan heresi, a chosbi hereticiaid: llŷs i brofi pawb yn fanwl, ag y byddai y gradd lleiaf o ammheuaeth neu ddrwgdybiaeth eu bod yn gŵyro dim mewn meddwl, gair, na gweithred oddiwrth safon yr eglwys anffaeledig, neu yn pleidio a lledaenu hereticiaeth. Edrychai y Pab erlidus Innocent, a Dominic a'i frodyr, ar y Waldensiaid a hereticiaid fel llwynogod bychain, yn gwahaniaethu yn eu gwynebau, ond gyda chynffonau wedi eu cylymu ynghyd â rheffyn heresi gyffredin, ac wedi eu gyru gan Satan gyda phentewynion tân dystryw i winllan Arglwydd y lluoedd.

Y fath oedd zêl y Babaeth i ddal a dyfetha y llwynogod bychain hyny, fel nad oedd yn ddigon gwasgu ar yr esgobion i'w herlid yn eu hesgob-

aethau, a'r offeiriaid yn eu plwyfau, trwy gyfrwng y llysoedd a'r cyfreithiau gwladol, ond yr oedd yn rhaid cael llŷs pwrpasol at y gwaith pwysig hwn; rhaid oedd gosod i fyny beiriant newydd neillduol, i gael ei weithio wrth ddeddfau neillduol, gan ei swyddogion ei hun, o apwyntiad y Pab; a'r esgobion, a'r offeiriaid, a phawb arall, i fod yn ddarostyngedig iddo. Gwthiwyd y sefydliad dinystriol hwn i amrai esgobaethau, er gwaethaf yr esgobion a'r offeiriaid, y rhai a'i gwrthwynebent am ei fod yn dyfod ar draws eu gwaith, eu harferion, a'u deddfau hwy. Trwy anhawsder mawr y gosodwyd ef i fyny mewn rhai teyrnasoedd, am ei fod yn ymyryd yn boenus â'r llywodraethau gwladol, ac yn peri colledion annhraethol i frenhinoedd a thywysogion, trwy anrheithio eu deiliaid goreu, a chymeryd meddiant o etifeddiaethau a meddiannau gwerthfawr. Dibynai ei lwyddiant i fesur mawr ar annibyniaeth neu waseidd-dra pob pobl a chenedl y cynnygid ei sefydlu yn eu mysg. Ni lwyddwyd erioed i'w osod i fyny yn Lloegr, ac ni ffŷnai lawer yn Ffrainc, er i'r wlad olaf ennill iddi ei hun gymeriad atgas am erlid: nis gallwn anghofio yr Huguenotiaid, druain. Yn Yspaen y blagurodd y Chwil-lŷs fwyaf o lawer o bob gwlad. Llwyddodd yno nes malu y bobl i lawr i gydffurfiaeth crefyddol hollol, yn allanol beth bynag. Iuddewon a Mahometaniaid, dim gwahaniaeth beth oedd y grefydd yn yr hon eu magwyd, os oeddent am fyw yn Yspaen, rhaid oedd iddynt ymostwng i seremoni o fedydd cristionogol, a bod yn Babyddion da. Yr oedd yn rhaid iddynt wneyd eu dewisiad—gadael y wlad ar ychydig rybudd (er eu dirfawr golled ac anghyfleusdra), carchar a thân, neu Babyddiaeth. Cymerir i fyny ddim llai na phymtheg o bennodau yn nghwaith Dr. Rule gan hanes sefydliad a gweithrediadau creulawn y Chwil-lŷs Yspaenaidd; ac y mae darllen am y driniaeth a gafodd miloedd o Iuddewon a Christionogion yno, ac mewn gwledydd eraill ar y cyfandir, yn gŷru y galon yn glaf. Adroddir hanes y Chwil-lŷs Italaidd mewn naw o bennodau; ac y mae lle i ofni nad yw y sefydliad wedi hollol ddarfod eto yn Rhufain, er fod pob arwyddion fod awr ei drancedigaeth yn agosâu yn ninas a thiriogaeth y Pab ei hun. Mae bellach yn ormod o'r dydd i Chwil-lŷs fyw yn Ewrop.

Nis gellir darllen hanes y Chwil-lŷs heb sŷnu llawer at yr eithafion i ba rai yr arweiniwyd eu deiliaid gan zêl heb wybodaeth, penboethni, a thrahäusder. Gosodwyd i fyny gyfundrefn fawr, a gweithiwyd hi gydag egni diflin, nid i attal dylif anfoesoldeb a phechod (canys rhoddid caniatâd i bechu), ond i gosbi dynion am fethu gweddïo ar Mair, ac addoli delwau; am esgeuluso gosodiadau yr eglwys gyda golwg ar fwydydd a diodydd, dyddiau gŵyl, a phethau felly. Gymaint mwy oedd y gofal a arferid am lythyren a defodau dibwys nag am burdeb a duwioldeb bywyd—am y mintys a'r anis, nag am bethau trymach y gyfraith—barn, a thrugaredd, a ffydd! Pasid heibio y troseddau gwaethaf o'r ddeddf foesol; ond os ymadawai un oddiwrth ddefodau a ffurfiau yr eglwys mewn peth mor fach a gofyn bendith ar ei fwyd, drwgdybid ef o fod yn heretic, ac nid rhy ddrwg iddo fyddai carchar, tân, ac uffern! Diwreiddid y gwenith, tra y gadewid i'r chwŷn dyfu. Chwilotai yspïwyr y Babaeth ymysg y bobl fel cŵn gwancus. Cymerid dynion diniwed i fyny ar ddrwgdybiaeth ddisail, a chauid hwy i fyny oddiwrth oleuni dydd. Yr oedd yn berygl yngan gair o anfoddlonrwydd

yn erbyn llymder y Chwil-lŷs, na dangos cydymdeimlad na thosturi tuag at y dyoddefwyr. Cefnogi heresi fuasai hyny. Ni arbedid dynion enwog a dysgedig, os byddent wedi digio y Babaeth trwy eu hysgrifen-iadau; ac ymysg carcharorion y Chwil-lŷs ceir dim llai dynion na Galileo yr athronydd, y dysgedig De Dominis, Carranza (archesgob Yspaen), Dr. Thomas Wylson (o Loegr), a llawer eraill.

Gorfodid dynion i gondemnio eu hunain o flaen brawdle y Chwil lŷs, a derbynid tystiolaeth plentyn yn erbyn ei rïeni, a gwraig yn erbyn ei gŵr. Os yn gyndyn i gyffesu, byddai yr arteithglwyd wrth law, a dirdynid y cyhuddedig arni amrai weithiau, os byddai achos, er mwyn ei orfodi i addef yr hyn a geisid ganddo. Islaw yr oedd celloedd tanddaearol tywyll, afiach. A defnyddio iaith y Chwil-lŷs, gyrid hereticiaid *i'r wàl*—i gell fechan, pedair wàl wedi eu hadeiladu o'u cwmpas—ddim un drŵs, ond twll bychan yn unig i estyn ychydig fwyd i'r carcharor—heb ddim ond bron ddigon o le i benlinio o flaen llun y groes a'r forwyn; ac yno gadewid y dyoddefydd i drengu a phydru yn ei fudreddi! Ond y dull mwyaf cyffredin fyddai eu llosgi mewn tânau, ac weithiau eu rhostio mewn ffyrnau. Ac am feddiannau tymmorol y rhai a syrthient dan gynddaredd y Chwil-lŷs, gofelid am ran dda o'r yspail i'r fam sanctaidd, yr Eglwys. Rhaid oedd i wŷr mor bwysig a swyddogion y Chwil-lŷs gael eu talu yn helaeth am eu gwaith, a'u cynnal mewn rhwysg teilwng o'u swyddi a'u safle.

Ar yr un pryd, ni fyddai yn dêg condemnio cyfangorff swyddogion y Chwil-lŷs, fel erlidwyr ariangar, hunanol, hoff o awdurdod, a chreulawn. Yr oedd graddau ac eithriadau yn eu mysg hwythau. Annhecach fyth fyddai cyhuddo holl gorff yr esgobion a'r offeiriaid o fod yn erlidwyr. Nid peth anghyffredin ydoedd i hereticiaid gael eu hachlesu gan yr offeiriaid, ac iddynt adael i'w heglwysi fod yn noddfëydd iddynt, a pharhâu i'w hamddiffyn tra y gallent. Darfu i lawer o offeiriaid sefyll eu prawf am hereticiaeth, a dyoddef merthyrdod gyda gwroldeb ardderchog, yn hytrach nag aberthu argyhoeddiadau cywir eu barn a'u cydwybodau. A dïau y gellir dyweyd am rai o erlidwyr y Chwil-lŷs, iddynt fel Saul o Tarsus, erlid saint Duw trwy anwybod, ac yn gydwyb-odol. Edrychid ar y grefydd Babaidd fel cyfundrefn anffaeledig. Yr oedd yn berffaith ymhob rhan o hóni. Nid oedd iachawdwriaeth tu allan iddi hi. Safon perffaith ydoedd ei chredo hi, a rhaid oedd dïogelu pob pwynt, gair, sill, a llythyren o hóno, a chosbi yr ymadawiad lleiaf oddiwrtho. Yr oedd yr Eglwys yn darparu ar gyfer pob amgylchiad yn mywyd ei phlant, o'u genedigaeth i'w marwolaeth, ac am byth; ac am beth mor fawr a hyn yr oedd hithau yn hawlio iddynt hwythau roi eu hewyllys, eu cydwybodau, eu barn, eu rhyddid, a'u cyfan i fyny iddi hi yn hollol.

Diolchwn am gael byw mewn oes o'r byd pan y deallir crefydd Iesu o Nazareth gymaint yn well na phan y blagurai y Chwil-lŷs,—pan ddeallir nad ydyw o'r byd hwn, ac nad oes eisieu dadweinio y cleddyf o'i phlaid,—pan y cydnabyddir dyledswydd pob dyn i farnu drosto ei hun, a hawl pob dyn i fwynhâu rhyddid crefyddol. Brysio a wnelo y dydd pan na all dynion erlid pe mynent, ac na fynent pe gallent.

Cyn terfynu yr ysgrif hon, fe allai mai nid annyddorol i'r darllenydd fyddai cael cyfieithiad o lythyr Alessandro Gavazzi, gynt caplan cyffred-

inol i'r fyddin Rufeinig, at Dr. Rule, o berthynas i sefyllfa y Chwil-lŷs diweddar yn Rhufain. Yn 1849, ugain mlynedd yn ol, mewn canlyniad i fföad y Pab Pius IX., sef y Pab presennol, tòrwyd i mewn i garcharau y Chwil-lŷs yn Rhufain, lle y cafwyd dau garcharor, esgob oedranus, a lleianes (*nun*). Adroddwyd am yr amgylchiad gan lawer o bersonau ag oeddent ar y pryd yn Rhufain; anfonodd Dr. Rule at Gavazzi i ymholi ynghylch y Chwil-lŷs, a chafodd yr atebiad canlynol, dyddiedig,

"*Mawrth* 20*fed*, 1852.

"FY ANWYL SYR,—Mewn atebiad i'ch cwestiynau ynghylch palas y Chwil-lŷs yn Rhufain, dylwn ddyweyd nas gallaf ond yn unig roddi ychydig nodau arwynebol ac anmherffaith. Mor fŷr ydoedd yr amser yr arosodd yn agored i'r cyhoedd, mor fawr ydoedd ymdŷriad personau i gael golwg arno, ac mor angerddol ydoedd yr arswyd a gynhyrfwyd gan y lle melldigedig hwnw, fel nas gallwn gael argraff mwy manwl a neillduol o hóno.

"Ni chefais o hyd i ddim arfau poenydiol, canys dinystriwyd hwynt yn adeg yr anrheithiad Ffrengig cyntaf, ac ni ddefnyddiwyd y cyfryw arfau wedi hyny gan y Chwil-lŷs diweddar. Beth bynag, yn un o garcharau yr ail lŷs, cefais hyd i ffwrnes, a gweddillion dillad dynes. Nis gallaf byth fod yn abl i gredu mai er mwyn y byw y defnyddiwyd y ffwrn hono, gan nad oedd yn y man, nac o'r math cyfaddas i fod yn ddefnyddiol iddynt hwy. I'r gwrthwyneb, cyttuna pob peth i'm perswadio i y gwneid defnydd o hóni at farwolaethau dychrynllyd, ac i ddifa gweddillion aberthau y dienyddiadau Chwil-lŷsaidd. Gwrthddrych arall o ddychryn a gefais rhwng y brawdlŷs mawr a rhandŷ gwych foethus y prif geidwad (*Primo Custode*), y mynach Dominicaidd sydd yn llywyddu dros y sefydliad cythreulig hwn; *trap* dwfn ydoedd hwn, a *siafft* yn agor i'r seleri dan y Chwil-lŷs. Mor fuan ag y byddai yr hwn a alwent hwy yn droseddwr wedi cyffesu ei gamwedd, efe a anfonid gan yr ail geidwad, yr hwn yn wastad oedd fynach Dominicaidd, at y Tad ddirprwywr, i dderbyn lleihâd o'i gosb. Gyda gobaith am bardwn, äi y troseddwr cyffesedig tua rhandŷ y Chwil-lŷswr Sanctaidd; ond, yn y weithred o osod ei droed ar y fynedfa i mewn iddo, agorai y *trap*, ac ni chlywai byd y rhai byw ddim mwy am dano ef. Darfu i mi archwilio peth o'r ddaear a gafwyd yn y pydew gor is y trap hwn: cymysgedd ydoedd o ddaear gyffredin, pydredd, lludw, a gwallt dynol—drygsawrus i'r arogl, a dychrynllyd i olygon a meddwl yr edrychydd.

"Ond lle y cyrhaeddodd cynddaredd y bobl ei bwynt uchaf, ydoedd yn nghelloedd Pab Pius V. Yr wyf yn awyddus am i chwi nodi yn dda ddarfod i'r Pab hwn gael ei seintio gan yr Eglwys Rufeinig, yn arbenigol am ei zêl yn erbyn hereticiaid. Bydd i mi yn awr ddarlunio i chwi y dull a'r lle ymha rai y darfu i'r Ficeriaid hyny i Iesu Grist drin aelodau bywiol Iesu Grist, a dangos i chwi pa fodd yr äent ynghyda'u hiachâu hwynt. Yr ydych yn disgyn i'r celloedd ar hyd grisiau culion iawn. Hir-rodfa (*corridor*) gul a'ch arweinia i'r amryw gelloedd, pa rai, am fychandra a drygsawr, ydynt ganwaith mwy arswydus na chelloedd y llewod a'r teigriaid yn y *Coloseum*.

"Wrth grwydro yn yr anialwch hwn o garcharau mwyaf ofnadwy, daethum i gell lawn o ysgerbydau (*skeletons*) heb benglogau, wedi eu claddu mewn calch. Yr oedd y penglogau, wedi dyfod yn rhydd oddiwrth y cyrff, wedi eu casglu mewn cawell gan yr ymwelwyr cyntaf. I bwy y perthynai yr ysgerbydau yna? A phaham y claddwyd hwy yn y fan ac yn y modd yna? Clywais rai eglwyswyr Pabaidd, gan geisio amddiffyn y Chwil-lŷs rhag y cyhuddiad o fod wedi condemnio ei aberthau i farwolaeth ddirgelaidd, yn dyweyd fod palas y Chwil-lŷs wedi ei adeiladu ar gladdfa a berthynai, yn yr *hen amser*, i yspytŷ pererinion, ac nad oedd yr ysgerbydau a gafwyd amgen nag eiddo y pererinion a fuont feirw yn yr yspytŷ hwnw. Ond mae pob peth yn gwrthbrofi yr amddiffyniad Pabaidd hwn. Gadewch fod yno gladdfa, nis gallai fod iddi orielau a chelloedd tanddaearol, wedi eu gosod allan gyda chymaint o drefn; ac hyd yn nôd pe buasai yno y cyfryw,—yn groes i bob tebygolrwydd,—buasai gweddillion cyrff yn cael eu symud wrth osod seiliau y palas, i adael y lle yn rhydd i'r rhan danddaearol o'r Chwil-lŷs. Heblaw hyn, mae yn groes i'r defnydd o feddi cyffredin i gladdu y meirw trwy eu

cludo trwy ddrŵs yn yr ochr; canys mae genau y beddrod yn wastad yn y top. Ac eto, ni bu erioed yn arferiad yn Italy i gladdu y marw, unigol, mewn calch poeth; ond, yn amser pla, arferid dodi y cyrff meirw mewn bedd nes y byddai yn ddigon llawn, ac yna dodid calch poeth drostynt i attal tarthiad heintus, trwy brysuro dadansoddiad y cyrff llygredig. Yr oedd yr arfer hon yn cael ei chario ymlaen rai blynyddau yn ol yn nghladdfëydd Naples, ac yn neillduol yn nghladdiad dyddiol y tlodion. Gan hyny nis gallai yr ysgerbydau a gafwyd yn Chwil-lŷs Rhufain fod yn perthyn i bersonau wedi marw o farwolaeth naturiol mewn ysbytŷ; ac nis gallai neb, dan y fath dybiaeth, egluro y dirgelwch o fod yr holl gorff wedi ei gladdu mewn calch, gyda'r eithriad o'r pen. Felly mae yn aros, tu hwnt i ammheuaeth, fod y gell danddaearol yn cynnwys aberthau un o'r llawer math o ddienyddiadau o eiddo y brawdlys cigyddlyd. Dyma yr opiniwn mwyaf tebygol, os nad yn hytrach y ffaith ei hunan: Trochid y rhai condemniedig mewn baddon o galch yslac, yn cael ei lanw i fyny yn raddol at eu gyddfau. Y calch, bob yn ychydig ac ychydig, a amgauai y dyoddefwyr, neu a'u gwàliai i fyny oll yn fyw. Yr oedd y boen yn eithafol, ond araf. Fel yr ymgodai y calch yn uwch ac uwch, deuai anadliad y dyoddefwyr yn fwyfwy poenus, am ei fod yn fwy anhawdd. Felly trwy y mogiad oddiwrth y mŵg, a'r cyfyngdra oddiwrth anadliad dirwasgedig, yr oeddent yn marw yn y modd mwyaf arswydus a chreulawn. Ymhen peth amser wedi eu marw, byddai i'r penau yn naturiol ymwahanu oddiwrth y cyrff, a threiglo ymaith i'r gwàglëoedd a adewid trwy ymgiliad y calch. Ceir y bydd unrhyw eglurhâd arall o'r ffaith ag y gellir ei gynnyg yn anhebygol ac annaturiol.

"Gellwch wneuthur unrhyw ddefnydd o'r nodiadau hyn o'r eiddof a welwch chwi yn dda, gan y gallaf sicrhâu eu gwirioneddol. Dymunwn pe byddai i ysgrifenwyr wrth adrodd am frawdle gywilyddus y Chwil-lŷs dynu eu hysbysiaeth o hanesyddiaeth bur, heb ei chymysgu â ffûg-hanes; canys mae ysgelerderau hanesyddol y Chwil-lŷs mor aml ac mor fawrion, fel y byddent yn fwy na digon i gynhyrfu atgasedd mil o fydoedd. Gwn fod y twyll offeiriaid Pabaidd yn myned oddeutu gan ddyweyd na fu y Chwil-lŷs erioed yn llŷs eglwysig, ond llëygol. Ond bydd i chwi ddangos yn wahanol yn eich gwaith; a gellwch hefyd chwanegu, er mwyn llwyr ddynoethi y pregethwyr celwyddog hyny, fod palas y Chwil-lŷs yn Rhufain dan gysgod palas y Vatican; mai ceidwaid y Chwil-lŷs yn Rhufain hyd y dydd hwn ydyw mynachod Dominicaidd; ac mai llywodraethwr y Chwil-lŷs yn Rhufain ydyw y Pab yn ei berson.

"Meddaf yr anrhydedd o fod,
"Eich serchog was,
"ALESSANDRO GAVAZZI."

Gwelir oddiwrth y llythyr uchod, fod y Chwil-lŷs yn cael ei barhâu yn Rhufain, a dienyddiadau dirgelaidd yn cael eu cyflawni ynddo, hyd adeg ffôad byr y Pab presennol, ugain mlynedd yn ol Fel y cofir, adferwyd y Pab yn fuan gan fyddin Ffrainc, a chydag ef adferwyd y Chwil-lŷs hefyd; a gwyddom am un carcharor nodedig a wnaed wedi hyny, sef Achilli, yr hwn a gadwyd yn gaeth hyd fis Ionawr, 1850, pryd y darfu i'r Cadfridog Ffrengig beri iddo gael ei gynnorthwyo i ddïanc dan rith milwr. Er fod Ffrainc—i'w chywilydd— yn gyfrifol am adfer a pharhâu y sefydliad creulawn hwn yn Rhufain, eto mae y wlad hono, a phob gwlad arall, gyda chynnydd gwybodaeth a rhyddid, yn myned bellach bellach oddiwrth gydnabod annibyniaeth ac awdurdod hollol a diderfyn y Babaeth, ac oddiwrth y gwaseidd dra cenedlaethol sydd yn ofynol er sefydlu a gweithio y sefydliad melldigedig hwn. Mae pob arwyddion yn bresennol fod ei ddyddiau wedi eu rhifo, ac awr ei dranc yn agos; ac ammheuir a fydd iddo oroesi y hen "ŵr claf" sydd yn ben arno, sef y Pab Pius IX. Os caniatëir i Pius fyw chwe' mis yn hwy, bydd wedi teyrnasu am 24ain o flynyddoedd, ac yn hŵy na'r un Pab arall o'i flaen Pwy fydd ei olynwr? ac a fydd iddo olynwr o gwbl? &c., sydd gwestiynau ag y cymer llawer ddyddordeb dwfn ynddynt; ond cwestiynau ag y rhaid gadael i'r esboniwr mawr—amser—eu hateb; yr hyn mae yn debyg a wna cyn bo hir iawn.

# GWRES AC AWYR.

Gellir dosranu holl alluoedd adnabyddus natur dan ddau ddosbarth syml; attyniad a gwrthyriad *(attraction and repulsion)*. Y cyntaf ydyw yr achos o ddysgyrchiant, neu, mewn iaith gyffredin, pwys a thyniad; neu, mewn geiriau eraill drachefn, yn rhinwedd yr attyniad a fodola rhwng y belen ddaearol fel cyfangorff â'r holl sylweddau materawl yn agos i'w harwyneb, y mae i bob peth ei dueddiad naturiol tuag i lawr; mewn gair, y mae pob peth yn syrthio i'r ddaear. Mae cwymp yr afal yn yr Hydref wedi ennill enwogrwydd cyffredinol fel engraifft o ddysgyrchiant, am mai y dygwyddiad cyffredin hwn a arweiniodd yr anfarwol Syr Isaac Newton i'r cwrs hapus hwnw o feddwl a esgorodd ar ddarganfyddiad, ac mewn amser, cydnabyddiad deddf attyniad fel un o alluoedd mawrion anian. Yr ail egwyddor—gwrthyriad—ydyw yr achos o bob hydwythder *(elasticity)*, yr hyn, trwy wrthweithio effeithiau attyniad, a attalia fater neu sylwedd y bydysawd rhag ymgaledu yn un cyfanswm aruthrol. Yn hyn—yn ngwrthweithiad y ddwy egwyddor hyn i ddylanwadau priodol y naill a'r llall ar ronynau cyfansawdd y grëadigaeth, yr ydym yn cael engraifft ogoneddus o'r naill beth wedi ei osod ar gyfer y llall, ac yn hyny yn mawrygu doethineb y "Pen Saer celfydd."

Anrhegir ni gan wyddoniaeth â llïaws o resymau tros gredu mai Gwres, neu, yn ei hiaith hi ei hunan, *caloric*, ydyw yr unig sylwedd neu fater sydd *yn barhäus* mewn ystâd o ystwythder. Mae yn eithaf adnabyddus ei fod, pryd bynag y treiddia i fândyllau y sylwedd, yn ddieithriad yn peri iddo ymestyn ac ymledu. Hwyhëir bàr o haiarn trwy ei boethi; toddir aur, a thröir dwfr yn darth gan wrês. Gan hyny, y mae genym seiliau digonol dros gredu fod pob hylifrwydd yn ganlyniad uniongyrchol gwrês. Ystâd naturiol dwfr ydyw rhew, a thebygol ydyw, pe byddem yn feddiannol ar foddion i gynnyrchu graddau digonol o oerni, y gallem rewi hyd yn nôd awyr! Ac fel y mae pob hylifrwydd yn dibynu ar wrês fel ei achos, yr ydym yn cael hefyd fod graddau helaethach o wrês yn angenrheidiol i *gadw* un sylwedd, mewn ystâd hylifol, nag un arall. Er engraifft, rhaid cael gradd helaethach o wrês i gadw haiarn yn hylifol nag aur; aur lawer yn fwy nag alcam; gwnaiff llawer llai wasanaethu er cadw y cŵyr, llai y dwfr, llawer llai *spirits of wine*, a llai fyth yr "arian byw" neu *mercury*, gan nas gellir ei galedu neu ei rewi ef heb y gradd aruthrol o oerni a ddynodir gan 40 gradd islaw *zero* ar y gwrês-fesurydd, neu 187 o raddau islaw y pwynt yn yr hwn y rhewa dwfr. Byddai yr "arian byw," gan hyny, y mwyaf hylifol o holl sylweddau natur, pe na fyddai awyr yn fwy felly. Yn awr, beth a ddynoda yr hylifrwydd eithafol hwn o eiddo awyr, tuhwnt i bob sylwedd adnabyddus arall? Wele, fel y dywed un awdwr ar hyn: "Ymddengys ei fod yn dynodi y gradd lleiaf o ymlyniad a ellir byth ei ddychymygu rhwng y gronynau o ba rai y mae yn gyfansoddedig, a thybied eu bod oll o'r cyfryw ffurf ag i gyffwrdd y naill y llall, ond yn unig mewn un

pwynt." Dylid cadw yn y meddwl, pa fodd bynag, nad ydyw gradd fwy neu lai o hylifrwydd mewn un modd, yn dynodi fod gronynau yr hylif yn fwy neu yn llai *pwysfawr*, ond yn unig fod eu hymlyniad gymaint a hyny yn llai, eu hundeb gymaint a hyny yn llai mewn agosrwydd, a'u hymwahaniad gymaint a hyny yn haws i'w ddwyn oddiamgylch. Fel hyn, os yw mil o raddau o wrês yn angenrheidiol tuag at gadw dwfr mewn cyflwr hylifol, fe ddichon fod un gradd yn unig yn ddigonol i gadw hylifrwydd yr awyrgylch. I radd fechan, eto ymwybodol i'r synwyrau, y mae y gronynau o ba rai y cyfansoddir awyr, o dan rai ammodau penodol yn y tymheredd, yn ymgaledu, pryd y bydd eu hysgogiadau yn d'od yn weledig. Desgrifia awdures dalentog y "*Revelations in Siberia*," yr ymddangosiad dyddorol hwn mewn natur, fel y canfyddwyd ef ganddi hi yn Berezov, fel y canlyn:—"The air was clear, but was in incessant motion, I might say, tremulous agitation, almost visible to the eye; as though it were composed of a solid mass of tremulous atoms, ever revolving, moving, and vibrating." Ac ychwanega golygydd yr argraffiad Seisonig o'r gwaith, y ffeithiau a ganlyn, fel cadarnhâd i'r dyfyniad uchod:—"Nid ydyw y neillduolrwydd hwn yn yr awyr yn gyfyngedig i Siberia, ond canfyddir ef yn achlysurol yn mharthau gogleddol Ewrop. Dygwyddodd i'r golygydd weled engraifft hynod o hóno yn ei ddyddiau boreuaf ar dueddau deheuol Prwssia, yn agos i Oletzko, pryd yr ymddangosai yr awyrgylch nid yn unig yn gynnwysedig o fân-ronynau mewn ysgogiad fel ei desgrifir gan ein hawdures, ond hefyd yn gyffelyb i gyfangorff caled cyfunedig yn dirgrynu, gan wneuthur twrf" Yr oedd cewri gwyddoniaeth, gan ymresymu oddiwrth gyfatebiaeth, er ys maith amser, wedi tỳnu y casgliad fod yr awyrgylch yn meddu ar y prïodoliaethau cyffredin i sylweddau mwy pendant, ac y gellid ei dwyn i ystâd o galedrwydd ac hylifrwydd. Yn awr, gan fod y dybiaeth wedi ei phrofi yn gywir mewn un ran o hóni, sef caledrwydd, a ydyw yn afresymol tybied, tra y mae maes sylwadaeth a phrawfiadaeth yn parhäus ymehangu, y cadarnhëir hi hefyd yn y rhan arall, sef hylifrwydd, ac y ceir gweled awyr mewn ystâd hylifol yn gystal a *solid*?

Tra yn bur, y mae yr awyr a anadlwn, yn gyfansoddedig, yn ol y dadansoddiadau diweddaraf a chywiraf, o 20 rhan o *oxygen*, 80 o *nitrogen*, a swm bychan o *carbonic acid*, yn amrywio o 3 i 8 rhan mewn 10,000 o ranau wrth bwysau. Ceir yn gymysgedig â'r rhai hyn darth, ynghyda symiau bychain o nŵyon eraill.

Un ffaith arbenig a ddysgir i ni gan ein synwyrau am yr awyr ydyw, er ei fod yn rhy deneu ac ysbrydol i'r golwg allu ei ganfod, gyda'r eithriadau prinion a nodwyd, ei fod i'w deimlo gyda hwylusdod mawr. Er nas gallwn weled yr awyr yn y chwysigen, yr ydym yn rhwydd yn teimlo ei wrthwynebiad i'n llaw pan yn pwyso arni; ac er nad oes lliw ar y corwynt cryf, yr ydym yn sicr ei fod yn meddu ar nerth aruthrol. Càn belled a hynyna dysg y sylwadaeth fwyaf arwynebol ni; ond trwy gario *experiment* gam ymhellach, yr ydym yn dyfod i ddeall fod awyr yn meddu ar bwysau. I brofi gwirionedd hyn, nid rhaid ond yn unig pwyso yn ofalus chwysigen neu gostrel llawn o awyr; ac yna, trwy ddefnyddio yr awyr-sugnedydd dỳnu ymaith, neu bympio yr awyr, a thrachefn ail bwyso y chwysigen neu y gostrel, pryd y bydd y gwahan-

iaeth yn eglur. Darganfyddasai Aristotle y ffaith hon yn yr oesoedd boreuol hyny pan ydoedd holl ddeddfau anian yn gorwedd mewn damcaniaeth. Wrth gyfrif pwysau y gostrel lawn mewn cymhariaeth i eiddo yr un wâg, yr ydym yn cael fod troedfedd chweonglog o awyr yn pwyso 527 o ronynau (*grains*), tra na phwysai yr un swm o *hydrogen gas* (y sylwedd ysgafnaf sydd yn adnabyddus) ragor na 40 gronyn. Cawn brawf o hyn yn yr awyrenau (*balloons*), esgyniad pa rai sydd bellach yn beth tra chyffredin yn Nghymru. Y mae yr awyren yn esgyn am fod y nŵy â pha un y mae wedi ei llanw yn ysgafnach na'r swm o awyr cyffredin a lanwai yr un faint o le ag a gymer yr awyren ei hun; ac y mae gallu esgyniadol yr awyren, ac, o ganlyniad, y *pwysau* a all hi ei gario, mewn cyfartaledd perffaith i'r gwahaniaeth sydd cyd-rhwng pwysau y nŵy a phwysau yr awyr. Pan fydd yn angenrheidiol cael gan yr awyren ddisgyn pan yn yr uchelderau, gollyngir ymaith beth o'r nŵy trwy gauadyn (*valve*) pwrpasol, fel y gollyngir dwfr o gasgen. Mae y nŵy sydd eto yn yr awyren yn ysgafnach na'r awyr, fesur am fesur, ond y mae y cyfartaledd oedd rhwng swm y nŵy a gynnwysid yn yr awyren ar y cyntaf, a phwysau yr awyren ei hun, wedi ei ddinystrio; y mae yr awyren gyda'i llwyth yn dyfod yn drymach na'r awyr a symuda, ac mewn canlyniad disgyna yr awyren tua'r ddaear.

Yr ydym yn canfod, gan hyny, fod y belen ddaearol, ynghyda phob peth ar ei gwyneb, yn cael eu gorchuddio ymhob cyfeiriad, gan fath o hylif pwysfawr, yr hwn gan ei fod yn ymddyrchafu i uchder mawr, a raid fod yn gyfatebol drwm. Fel y mae y dyn yn y môr yn y dyfnder o ugain troedfedd yn cynnal pwysau mwy o ddwfr na'r dyn mewn dyfnder o ddeg troedfedd, felly hefyd bydd gan ddyn yn ngwaelod y dyffryn, bwys mwy o awyr nag un arall ar gopa y mynydd. Gellir gwneuthur prawf fod yr awyrgylch yn peri dirwasgiad (*pressure*) ar bob peth mewn natur, a hyny i radd bell iawn, fel y canlyn: Cymerer dau gwpan pren. Gellir peri i un o honynt gydag ysgriw ar flaen pibell, gysylltu âg awyr-sugnedydd, gyda'r hwn y tynir ymaith yr awyr. Nid oes yn eisieu i'r llall ond yn unig dyrn-ddolen fechan, ond cref, er mwyn ei rhoi a'i thynu. Wedi gosod y ddau gwpan yn gywir ar eu gilydd, pympier allan yr awyr, yna tynhäer ysgriw y sugnedydd i attal awyr i mewn drachefn. Yn awr, canfyddir fod dadgysylltu y ddau gwpan yn orchwyl a hawlia gymaint o nerth gewynol fel mai posibl iawn a fyddai iddynt ymddryllio cyn y gellid eu gwahanu, gan mor aruthrol yw pwysau neu ddirwasgiad yr awyr cylchynol, wedi colli gwrth-bwys yr awyr tufewnol. Os gallwn rywfodd dŷnu ymaith ddirwasgiad yr awyr oddiar unrhyw ran o'r corff, buan yr ydym yn dyfod i ymdeimlo â'r pwysau ar y rhanau eraill. Er engraifft, pe byddai i ni dŷnu ymaith yr awyr o'r cwpan isaf yn yr *experiment* uchod, ac yna gosod y llaw arno, teimlem fel pe byddai yn cael ei sugno i mewn i'r cwpan gyda nerth dirfawr; nid yw hyn amgen na dirwasgiad yr awyr ar gefn y llaw yn ei gwthio i'r gwagle islaw.

Trwy gario ymchwiliad brawfiadol gam ymhellach, yr ydym yn dyfod i wybod cywir raddau y dirwasgiad. Wele y modd y gwneir hyn allan drachefn: Wedi tŷnu ymaith yr awyr o lestr, costrel wydr, er engraifft, ac yna rhoddi y gostrel â'i chêg i lawr mewn dwfr, ceir fod y dwfr yn ymddyrchafu i'r gwagle, gan lenwi y gostrel; yr awyr oddiallan yn

gwthio y dwfr, i fyny i le nad oes yno ddim i'w wrthsefyll. Cyfodai y dwfr, pe y caniatëid iddo, i'r uchder o ddeuddeg troedfedd ar hugain. Oddiwrth y ffaith hon, tŷnir y casgliad fod dirwasgiad yr awyr a wthia y dwfr i fyny yn y gostrel, yn gyfartal i golofn o ddwfr 32 troedfedd o uchder, oblegid y mae yn alluog i gyfodi y cyfryw golofn ddyfrol, ond yr un fodfedd yn uwch. Mewn geiriau eraill mwy cyffredinol, mae holl arwyneb y ddaear yn orchuddiedig gan bwys o awyr cyfartal i orchudd o ddwfr a'i hamdöai i'r uchder o 32 troedfedd, neu 29½ troedfedd o "arian byw," yr hyn sydd yn gyfartal. Y mae yn ffaith hefyd fod yn angenrheidiol tuag at godi dwfr i'r uchder yna cael nerth 15 pwys ar bob modfedd ysgwâr. Yn awr, os ydyw y darllenydd yn hoff o gyfrifon, nid rhaid iddo ond gwneyd allan pa sawl modfedd ysgwâr ydyw arwynebiad ei gorff, gan ganiatâu i bob modfedd gynnal pymtheg pwys, a gall sŷnu ei hun wrth faint y pwysau yr ymgynnalia tano. Cyfrifir fod dirwasgiad cyffredin yr awyr ar gorff dyn o faintioli cyffredin, yn cyraedd y swm anferth o 30,000 o bwysau. Pe byddai y cwpan a ddefnyddiwyd uchod yn 14 modfedd ar ei draws, byddai y nerth angenrheidiol i wahanu y ddau yn gyfartal i'r nerth a gyfodai hanner tunnell! Pan fyddo yr awyr wedi ei dwyshâu gymaint nes peri i'r dirwasgiad fod yn 30 pwys, gelwir ef yn *ddwy awyrgylch;* os wedi dwyshâu nes bod yn 40 pwys, gelwir ef yn *dair awyrgylch.*

Y mae hydwythder yr awyrgylch yn un o'i phrïodoleddau rhyfeddaf, ac yn gyfryw, meddir, nas gellir gosod terfyn iddo. Gellir peri i swm mor fychan o awyr ag a ellid ei grynhoi mewn mesglyn cneuen, trwy wrês, ymledu bron yn annherfynol; ac ar y llaw arall, gellir dirwasgu yr holl awyr a gynnwys tŷ helaeth i le mor nodedig o fychan a chrai y nodwydd ddur. Mewn gair, nis gellir gosod terfyn iddo yn yr un o'r ddau eithafnod; o'r hyn lleiaf, mae prawfiadaeth hyd yma wedi methu. Ymhob ystâd ar y tymheredd, ceidw awyr ei hydwythder, a pho mwyaf y gwasgir arno mwyaf oll y gwrthsafa yntau y dirwasgiad. Pe, heblaw ychwanegu ei hydwythder trwy ddirwasgiad, yr ychwanegid ef trwy wrês, buan y deuai yn anwrthwynebol; a da y sylwodd un, fod digon o rym mewn awyr tan y ddau ddylanwad hyn i beri i fyd cyfan ffrwydro!

Wedi olrhain effeithiau daionus gwrês ar yr awyr, yn hydag ychydig o'i athroniaeth, caniatäer i ni, cyn terfynu yr erthygl, gael ychydig ar y gwrês yn effeithio yn niweidiol arno. Cydnabyddir yn gyffredinol effeithiau gwrês mewn cynnyrchu ystâd wenwynawl yn yr awyrgylch. Y mae y tiriogaethau trofanawl, ac o dan linell y cyhydedd, bob amser yn afiachus. Yn Senegal, ystyrir deugain mlynedd gan y brodorion yn gyfnod hir mewn bywyd; ac, yn y cyffredin, y maent yn marw o henaint yn hanner cant oed; mae gwrês yr hinsawdd yn annyoddefol, a'r wlad wedi ennill iddi ei hun yr enw annymunol o "Fedd y Dyn Gwŷn." Yn Carthagena, drachefn, lle mae y gwrês y diwrnod poethaf a deimlir yn Ewrop yn barhäol, y mae y gwrês ofnadwy hwn yn cael ei ddilyn gan olyniad dibaid bron o daranau, gwlaw, a thymhestloedd, a pharai gwynebau salw a llwydion y preswylwyr i ddyeithriaid dybied eu bod newydd ymryddhâu o afael clefyd neu bla dychrynllyd. Dylanwadir ar aferion y brodorion gan yr unrhyw achosion ac a effeithiant ar eu lliw, ac y mae eu holl ysgogiadau yn annyben a marwaidd; dylanwada gwrês yr hinsawdd hyd yn nôd ar eu lleferydd, yr hwn sydd yn fasw ac

arafaidd, a'u geiriau yn gyffredin yn cael eu tòri yn eu hanner. Ceidw teithwyr o Ewrop eu nerth a'u lliw, o bosibl, am dri neu bedwar mis; ond wedi hyny goddefant gymaint yn y naill a'r llall, fel na ellir eu gwahaniaethu oddiwrth y brodorion. Weithiau, modd bynag, llusgir y fodolaeth ddigysur, ddiyni hon, càn belled a gororau y pedwar ugain mlynedd. Gwŷr ieuainc a oddefant fwyaf oddiwrth wrês yr hinsawdd; eto, y mae pawb ar eu dyfodiad i'r parthau hyn, yn syrthio tan yr un gyfres o anhwylderau. Yn yr ymgyrch fythgofiadwy i Carthagena, cwympodd dŵy ran o dair o'r fyddin yn ebyrth i'r hinsawdd, tra yr oedd nerth pob un a ddychwelodd wedi ei lwyr golli, ac am byth. Ac yn yr ymgyrch i'r Havannah, ni oroesoedd y bummed ran o'r fyddin ysblenydd eu buddugoliaeth; y mae hinsawdd yn elyn nas gall arwyr ei orchfygu. Y mae yr anhwylderau a ymlechant yn awyrgylch boeth y gwledydd hyn yn dra llïosog; er engraifft, dŵg yr un a elwir *chapotonadas* ymaith yn flynyddol dorfëydd o'r brodorion, a dinystria forwyr y llestri Ewropëaidd a demtir gan gariad at elw i'r parthau hyn, yn ddychrynadwy. Yn anffodus, y mae natur y pla yn ddirgelwch; mewn rhai amgylchiadau achosir ef gan *oerfel*, mewn eraill gan annhreuliad. Mae ei effeithiau yn y cyffredin yn farwol mewn tri neu bedwar diwrnod; wedi iddo ymaflyd yn y claf, dilynir ef yn fuan gan yr hyn a elwir, "y chwydiad du," ar ol yr hwn ni cheir fod neb yn gwella.

Fel y gallesid dysgwyl, math hollol wahanol o anhwylderau sydd yn goresgyn y gwledydd y mae eu hawyr yn cael ei dwyshâu (*condense*) gan oerni. Yno, y mae pob math o afiechyd a achlysurir gan anhawsder i anadlu yn gyffredin; toriadau, llosgiadau, *scurvy*, a math o wahanglwyf dychrynllyd, yn gwneyd croen y dyoddefydd truenus yn un gramen fawr. Hefyd, mae yr anhwylderau hyn yn heintus; ac nid yn unig alltudiant yr anffodus o gymdeithas ei gydgrëaduriaid, eithr dilynant ef i'w fedd. Anfynych y cyrhaedda y gwrywiaid yn yr hinsoddau hyny eu deg a deugain; mae y benywod, gan eu bod yn arwain bywyd llai llafurus, yn byw yn hŵy.

Yn awr, ddarllenydd caredig, cyn rhoddi ein hysgrifell o'r neilldu, goddef i ni ofyn i ti, a fuost ti yn cydnabod "Tad y trugareddau" yn ddiolchgar, am iddo weled yn dda osod "terfynau dy breswylfod" rhwng mynyddoedd ysgythrog Cymru, lle nad yw gwrês gormodol y trofanau, nac oerni eithafol y pegynau, yn effeithio er cenhedlu heintiau ac anhwylderau niweidiol yn yr awyrgylch? Yn wir, dyledswydd yw gwneyd!

# Y TONIC SOL-FA YN NGHYMRU.

LLAWLYFR CANIADAETH; *yn ddwy ran; Rhan gyntaf yn cynnwys cyfres o Wersi ar drefn y Tonic Sol-fa o ddysgu cânu; Rhan ail, yn cynnwys arweiniad i'r Hen Nodiant. Gan* E. ROBERTS, Liverpool. Wrexham: R. Hughes & Son.
HYMNAU A THONAU *at wasanaeth Ieuenctyd yr Ysgol Sabbothol a chyfarfodydd y Band of Hope. Gan* E. ROBERTS, Liverpool. Rhan I., II., III. Wrexham: R. Hughes, & Son.
ANTHEMAU CYNNULLEIDFAOL. *Dan olygiad* JOHN CURWEN. *Wedi eu cyfaddasu i'r Gymraeg gan* E. ROBERTS, Liverpool. Llundain: Tonic Sol-fa Agency, 43, Paternoster Row, E C.
CERDDORIAETH CURWEN, *sef casgliad o rai o'r darnau goreu o'r "Tonic Sol-fa Reporter." Wedi eu cyfaddasu i'r iaith Gymraeg gan* E. ROBERTS, Liverpool. Llundain: Tonic Sol-fa Agency.
Y GYFRES ELFENOL, *cyfieithedig gan* E. ROBERTS, Liverpool. Llundain: Tonic Sol-fa Agency.
TONIC SOL-FA REPORTER. *Nos.* 239 *&* 322. *Welsh Airs.* London: Tonic Sol-fa Agency.
CERDDOR Y TONIC SOL-FA. *Cylchgrawn Misol at wasanaeth Dosbarthiadau y Tonic Sol-fa ymysg cenedl y Cymry. Dan olygiad y Parch.* JOHN ROBERTS, *(Ieuan Gwyllt).* Wrexham: R. Hughes & Son.

MAE pawb yn hoff o *wrando* cânu, yn gymaint felly fel y gellir tybio am yr ychydig iawn o eithriadau nas gallant fwynhâu cerddoriaeth, nad yw y natur ddynol yn gyflawn ynddynt, a dywedai Shakespeare na ddylid ymddiried yn y cyfryw. Ond y mae y nifer sydd wedi gwneyd ymdrech dêg i ddysgu darllen cerddoriaeth drostynt eu hunain gryn lawer yn llai; a llai fyth yw nifer y rhai sydd wedi llwyddo ar ol ymdrechu. Amser yn ol, byddai y neb oedd yn medru darllen a deall cerddoriaeth yn cael ei ystyried yn wron mewn cymydogaeth; telid gwarogaeth iddo, a chyda golwg ar ei gymydogion gallai ddyweyd yn y cysylltiad yma fel Robinson Crusoe,

> I am monarch of all I survey,
> My right there is none to dispute.

Dichon fod gan hyn lawer o law mewn gwneyd y cyfryw bersonau yn anhawdd eu trîn. Erbyn hyn, fodd bynag, y mae y cylch yn llawer ehangach, ac yn ymledu yn gyflym, a chyn hir gellir dysgwyl y bydd yr ysbryd pigog wedi ei ymlid o blith cerddorion, neu o leiaf, na bydd gallu darllen cerddoriaeth yn un sail i neb deimlo yn hunanol. Nid ydym yn gweled paham y dylai cerddoriaeth fod yn fwy anhawdd ei deall a'i hymarfer nag unrhyw wyddor arall, megys, seryddiaeth, mesuroniaeth, neu rifyddiaeth. A dichon nad yw y gwahaniaeth yn gymaint ag y tybir yn gyffredin ei fod. Y mae egwyddorion cyntaf pob gwyddor yn syml ac eglur, ar ol iddynt gael eu darganfod, ac yn agor y ffordd yn rhwydd i'w holl ddirgelion. Ond cyn hyny y mae y cwbl yn dryblith annhrefnus, ac o herwydd hyny yn anhawdd eu deall. Felly yr oedd gyda seryddiaeth. Yr oedd athronwyr a dysgedigion wedi arfer syllu ar yr wybren er ys oesoedd lawer, ac yn chwennychu gwybod

trefn y rhôd, eto nid oedd y wybodaeth seryddol ond bechan a chyfeiliornus; ond wedi i Copernicus ddarganfod mai yr haul oedd y canolbwynt, ac nid y ddaear; ac i Galileo ddeall mai y ddaear oedd yn troi ac nid y nefoedd, ac i Newton ddadguddio deddf attyniad—wedi i ddeddfau ac egwyddorion mawr sêryddiaeth ddyfod i'r golwg, y mae y maes wedi ei agor, a'r wybodaeth wedi cynnyddu, fel erbyn hyn y mae y wyddor yn hawdd ei deall gydag ychydig o ymröad, a gall pob un a ewyllysio fod yn seryddwr, a chymdeithasu â'r bydoedd uwchben. Yn debyg i hyn, ni a feddyliem, y mae wedi bod gyda cherddoriaeth. Er cymaint o gânu sydd wedi bod er dechreuad y byd, ac er fod nodiant neu yn hytrach nodiantau cerddorol wedi eu dyfeisio, a rhyw gymaint o astudio wedi bod arnynt, ymddengys fod yr egwyddorion syml sylfaenol, i raddau helaeth, yn gorwedd dan ryw dryblith o arwyddluniau, fel mai gydag anhawsder mawr y gellid dyfod o hyd i wybodaeth gymedrol o'r wyddor. Y mae cyfnod newydd wedi gwawrio bellach; ac yn nghyfundrefn y Tonic Sol-fa y mae yr egwyddorion yn cael eu gwneyd yn syml ac eglur. Ond digon naturiol ydyw i ni, sydd wedi ymboeni tipyn gyda yr hen *system*, deimlo yn eiddigeddus tuag at *system* newydd, er iddi fod yn well. Da i Copernicus oedd ei fod wedi marw pan oedd ei lyfrau yn dyfod o'r wasg, a bu agos i opiniynau Galileo gostio iddo ei fywyd. Ac nid ydym yn sỳnu llawer weled cerddorion a "ystyrir yn golofnau" gyda'r hen nodiant, yn cilŵgu ar y "system newydd" ac yn ei chondemnio; ond yr ydym yn dyweyd yn lle hyderus fod y condemniad yn tarddu oddiar anwybodaeth o hóni. Ac y mae y gyfundrefn yn lled debyg o lwyddo, o herwydd y mae yn arwain y dysgybl yn fwy uniongyrchol at egwyddorion cerddoriaeth na'r un gyfundrefn a ddaeth i sylw eto; ac i ba drỳblith bynag y mynir ei arwain yn y diwedd, y ffordd oreu yw ei wreiddio yn gyntaf yn yr egwyddorion, trwy y gyfundrefn syml yma.

Pan y mae tôn ddyeithr yn cael ei chyflwyno i sylw, y peth cyntaf sydd yn angenrheidiol i'w ddeall ydyw ei chyweirnod, o herwydd y mae i bob tôn ryw sain penodol sydd yn llywodraethu y seiniau eraill, yr hwn a elwir yn gyweirnod; mae pob nodyn arall yn cymeryd ei safle oddiwrth hwnw. Nid yr un yw cyweirnod pob tôn, a gellir cânu yr un dôn gan osod iddi wahanol gyweirnodau. Ond odid nad yw y darllenydd wedi clywed tôn yn cael ei chodi yn rhy uchel mewn côr neu gynnulleidfa, nes cyn y diwedd i rai fyned i wichain, neu fethu cânu o gwbl. Yr oedd y cyweirnod wedi ei osod yn rhy uchel, a chan fod y nodau eraill yn cymeryd eu safle o angenrheidrwydd oddiwrth hwnw, yr oedd rhai o honynt yn myned tu allan i gylch y lleisiau. Gellir gweled rhywbeth tebyg weithiau mewn byddin wrth ymarfer. Pan fydd eisieu symud, y mae person penodol yn symud ymlaen nes dyfod i le penodol, yna y mae yr holl fyddin yn symud ymlaen nes dyfod i'w lle priodol *mewn perthynas* â hwnw. Felly mewn cerddoriaeth, wedi dyfod o hyd i'r cyweirnod, y mae nodau eraill y raddfa, y rhai nid ydynt ond chwech (saith trwyddo ef), yn cymeryd eu safle mewn perthynas âg ef. Ac wedi cael y cyweirnod, nid oes ond dau beth yn aros mewn trefn i fedru darllen y dôn, sef gwybod perthynas pob nodyn â'r cyweirnod, a pha faint o amser i ddal ar bob un. Dyma, gan hyny, y tri pheth angenrheidiol,—y cyweirnod, perthynas pob nodyn âg ef, ac

amser pob un. Ond yn yr hen nodiant y mae tryblith o bethau i'w deall cyn dyfod at y rhai hyn. Dyna y *staff*, yna enwau y nodau ar y *staff*, wedi hyny y *clef*, a cheir fod y cyweirnod yn cael ei ddangos trwy *sharps* neu *flats*, a dyrysir y dysgybl trwy weled fod nodyn oedd yn dal rhyw berthynas âg un cyweirnod yn dal perthynas arall â chyweirnod arall; megys A yn drydedd i F, ond yn 5ed i D, &c. Gan hyny, wedi adnabod sefyllfa y cyweirnod, y mae yn gofyn llawer o ymarferiad i gofio ar amrantiad berthynas pob nodyn âg ef. Ond yn y Tonic Sol-fa, arbedir yr holl drafferth, oblegid y mae y cyweirnod *bob amser* yn cael ei alw yn Doh; lle bynag y gosodir ef, y mae yn dwyn yr un enw a'r un cymeriad. Ac y mae y nodau eraill yn meddu eu cymeriad sefydlog mewn perthynas âg ef, sef Ray, Me, Fah, Soh, Lah, Te; ac felly fe welir ar wyneb pob un beth yw ei berthynas â'r cyweirnod; a thrwy ychydig iawn o ymarferiad, fe ddysgir eu taro gyda sicrwydd, oblegid y mae i bob un ei *effaith* brïodol, beth bynag fyddo y cyweirnod; ac wedi eu dysgu yn dda mewn un cyweirnod, gellir eu hadnabod wed'yn ymhob un. Drachefn, gyda golwg ar amser: yn yr hen nodiant, fe adnabyddir amser nodyn weithiau trwy wybod a fydd ganddo goes ai peidio; ac os bydd, fe adnabyddir ei amser ymhellach weithiau wrth agwedd ei ben; bryd arall wrth agwedd ei droed; bryd arall arafir ei rediad trwy anfon *dot* bychan fel lleuad i wasanaethu arno. Y mae yn rhyfedd gymaint o drafferth sydd yma i ddangos y peth syml hwnw—amser. Ond yn y *Tonic Sol-fa*, fe renir y *bar* i nifer penodol o ranau neu guriadau gwastad, fel pendyl cloc; ac os bydd nodyn yn parhâu mwy nag un curiad, fe estynir llinell fel cynffon iddo i gyraedd trwy y nifer gofynol o guriadau. Gallem feddwl fod y dull yma yn syml a hawdd ei ddeall. Yn yr hen nodiant y mae yr arwyddluniau a ddefnyddir yn llawer anhawddach eu deall a'u cysoni na'r egwyddorion sydd i gael eu dysgu trwyddynt, o herwydd fod cymaint o honynt, ac yn cael eu defnyddio mor wahanol, weithiau i attal, weithiau i gynnorthwyo, eu gilydd, ac yn aml yn dangos gwahanol bethau mewn gwahanol gysylltiadau. Yn y newydd nid ydynt ond ychydig a syml, ac i bob un ei ystyr, ac nid yw yr ystyr yn cael ei newid. Ni fwriadwyd y newydd ar y cyntaf i gymeryd lle yr hen nodiant; ac o herwydd fod cymaint o gerddoriaeth wedi ei gyhoeddi yn yr hen, y mae yn anhawdd iddi gymeryd ei lle; ond oddieithr y rheswm yma, nid ydym yn gweled nad allai ateb *pob* dyben cystal a'r llall, ac y byddai y wlad yn llawer gwell o'r cyfnewidiad. Ond hyd yn nôd i ddirgeloedd yr hen nodiant, y newydd ydyw yr arweinydd goreu.

Fel y gallesid tybied, yr oedd rhyw gipolwg ar gynllun o'r fath wedi tywynu heibio i feddwl amryw gerddorion. Yr oedd y seiniau Do, Re, Mi, &c., wedi bod yn cael eu defnyddio; yn Ffrainc defnyddid hwy yn gyfystyr â'r llythyrenau C, D, E, &c., ond yn Lloegr defnyddid y Do am y cyweirnôd, &c., fel yn y gyfundrefn hon. Tua'r flwyddyn 1812, ymroddodd merch ieuanc o'r enw Miss Glover, o Norwich, i ffurfio cyfundrefn, gan ddefnyddio y sillau uchod, a bu mewn ymarferiad mewn ysgol ganddi yno gyda llawer o lwyddiant; dygwyd hi i sylw, a bu yn foddion i wella caniadaeth grefyddol yn y lle. Yn y flwyddyn 1840, tynwyd sylw y Parch. John Curwen, y pryd hwnw yn wenidogi gyda'r Annibynwyr yn Hull, ati; talodd ymweliad âg ysgol Miss Glover,

a gwelodd fod y gyfundrefn yn cynnwys y *peth* oedd eisieu. Ymddengys ei fod, cyn hyny, wedi bod yn ymdrechu llawer i ddeall cerddoriaeth trwy yr hen nodiant, ond yn aflwyddiannus. Nis gallwn ddyweyd yr hanes yn well nag yn ei eiriau ef ei hunan: "Yr wyf yn un," meddai, "sydd yn teimlo dyddordeb dwfn yn addysg plant. Oddeutu wyth mlynedd yn ôl [siaradai yn 1846], daethum yn awyddus i ddysgu nifer o honynt oedd o dan fy ngofal i gânu, yn benaf gyda'r amcan o'u dwyn i garu yr Ysgol Sabbothol. Gan nad oedd genyf fanteision naturiol llais a chlust, ceisiais gynnorthwy. Dysgais ychydig o dônau, a chyda help cyfaill, dysgais hwynt i'r plant. Yr oedd genym ddau gant o blant ddwywaith yn yr wythnos. Trwy gânu yn uchel, ni a ddygem leisiau y plant gyda ni, a dysgasom iddynt lawer o dônau. Ymdrechasom yn egnïol hefyd i roddi iddynt wybodaeth am y *crotchets*, a'r *quavers*, a *flats*, a *sharps*, a *clefs*, gan obeithio trwy hyny roddi parhâd i ffrwyth ein llafur; ond yr oedd hyn yn ofer. Llwyddasom, fodd bynag, i gynnyrchu effeithiau daionus ar y pryd, er nad oeddynt yn cyraedd ymhellach na'r tônau neillduol hyny a ddysgasom iddynt trwy lafur caled. Yr wyf yn cofio i amaethwr ddyweyd wrthyf ei fod yn cael ei flino yn barhäus, cyn sylfaenu yr ysgol gânu, trwy glywed y plant bychain, fel y byddent yn crwydro ar hyd y ffyrdd, a chyda'r gwrychoedd, yn dadleu, ffraeo, a thyngu; ond yn lle hyny, yn awr, nid oedd yn clywed ond hyfryd sŵn cânu hymnau, ar y rhai nid oeddynt yn ymddangos byth yn blino.

"Am danaf fy hun, yr holl amser hwn, nis gallwn daro tôn adnabyddus yn brïodol; na thrwy unrhyw ffordd 'wneyd allan, 'oddiwrth y nôdau, y salmdôn symlaf, nad oeddwn wedi ei chlywed o'r blaen. Meddu y gallu cymedrol hwn oedd nôd uchaf fy uchelgais gerddorol. Gan hyny, ceisiais athraw, yr hwn, gyda chynnorthwy *piano*, a'm dysgodd i ymarfer, ond nid oedd genyf allu annibynol. Gallwn *redeg* gyda'r cerbyd, ond nis gallwn gerdded cam fy hunan. Yr wyf yn cofio y dywedid wrthyf yn fynych nad oeddwn yn sŵnio yr 'hanner tônau' yn gywir (rhwng y 3ydd a'r 4ydd, a'r 7fed a'r 8fed), yn y raddfa; a thybiwn, pe buasai yr 'hanner tônau' hyny wedi eu nodi yn eglur yn y gerddoriaeth ger fy mron, y buaswn yn llawen ac ymdrechgar i geisio eu gwneyd gyda'm llais. Ond fel yr oedd, yr oeddwn yn wastad yn ofni yr 'hanner tônau' hyn. Gwyddwn eu bod ar yr erwydd yn rhywle o'm blaen, ond nis gallwn eu gweled. Yr oeddynt yn gorwedd yn guddiedig, ond yn beryglus i sathru arnynt, fel neidr yn y glaswellt. Mor gynted ag y byddwn, gyda llawer o drafferth, wedi dysgu fy nghlust mewn unrhyw gyfrwng, cawn yn fynych fod yr esiampl nesaf o'r hyn a *ymddangosai* yr un peth, yn wahanol o hanner tôn! Hiraethwn am ryw gynllun trwy ba un y gellid enwi a darganfod y twyllwyr bychain hyn, ymhob lle symudol o'r eiddynt ar yr erwydd.

"Ymhen amser ar ol hyn, darfu i Mrs. Reed, o Hackney, roddi benthyg llyfr i mi yn desgrifio cyfundrefn Miss Glover. Wel, meddwn i, ar ol cipolwg, os ydyw yr hen nodiant yn ddyryslyd, mae yn sicr fod hwn yn llawer mwy dyryslyd; a rhoddais ef o'r neilldu. Ond gan fod genyf achos drachefn i ddysgu plant, tybiais yn brïodol roddi sylw manylach iddi, a chynghorwyd fi i efrydu y wyddor ei hunan yn y gweithiau goreu a allwn gael, yn enwedig rhai Dr. Callcott

a Mr. Graham. Cefais yn fuan fod yr hen ddulliau o ddysgu wedi fy nhwyllo gyda phlisgyn gwybodaeth, yn lle rhoddi i mi y cnewyllyn. Gwelais fod y *peth* hwnw, cerddoriaeth, yn dra gwahanol i'w enwau a'i arwyddluniau. Cefais allan ei fod yn llawer mwy syml a hawdd ynddo ei hunan, ac yn anghymharol fwy prydferth nag eglurhadau o'r arwyddluniau a geid yn yr hen nodiant, gyda pha rai y llenwir llyfrau elfenol yn gyffredin. Yr oeddwn wedi gorchfygu y rhei'ny oll yn hawdd, ac hefyd wedi astudio 'y llyfr cyntaf' ar gynghanedd, ond ymddangosai nad oeddwn yn gwybod dim am gerddoriaeth hyd hyny. Gwelais fod cynllun Miss Glover yn dysgu yn gyntaf y peth syml a phrydferth hwnw, *cerddoriaeth*, ac yn oedi yr arweiniad i mewn i'r hen ffyrdd o'i ysgrifenu hyd nes y byddai y dysgybl wedi cael meistrolaeth ar y peth ei hunan. Yr oedd ei chynllun hi, yn ddiddadl, wedi ei sylfaenu yn ddyfnach ar egwyddorion y wyddor nag un arall; a thrwy roddi prawf têg arni arnaf fy hunan, ac ar blentyn bychan oedd yn byw yn yr un tŷ, daethum yn argyhoeddedig ei bod y symlaf o'r cwbl—yr hawsaf ei dysgu. Y dulliau mwyaf llwyddiannus i ddysgu ydyw y rhai sydd yn fwyaf cyson â natur yr hyn a ddangosir, a'r lleiaf celfyddydol. Ymhen pythefnos cefais fy hunan, er fy syndod, wedi cyraedd nôd uchaf fy uchelgais, gan fy mod yn abl 'i wneyd allan' salmdôn oddiwrth y nôdau, a'i swnio fy hunan."

Annogwyd Mr. Curwen i ddwyn allan wersi ar gerddoriaeth, gan gyfarfod o weinidogion ac athrawon yr Ysgol Sabbothol yn perthyn i'r gwahanol enwadau yn Hull, gyda'r amcan o ddwyn cerddoriaeth at wasanaeth yr Ysgol Sabbothol. Ymroddodd i astudio cerddoriaeth, a dygodd i mewn amryw welliantau i gyfundrefn Miss Glover. Tua'r flwyddyn 1843, cyhoeddodd ei Ramadeg Cerddoriaeth yn egluro y gyfundrefn, ac yn raddol dygwyd hi i fwy o sylw, ac ymehangodd ei dylanwad. Yn 1850, cychwynwyd cyhoeddiad misol, pris ceiniog, i roddi adroddiad o'i llwydd ac i gyhoeddi darnau ynddi. O radd i radd ennillodd gryfder, nes dyfod yn ffaith bwysig.

Trwy ymdrechion diflino ei phleidwyr, gyda Mr. Curwen ar y blaen, dygwyd hi i fwyfwy o sylw; ac yn 1857, cynnaliwyd y cyngherdd cyntaf yn y *Crystal Palace*, lle yr oedd tair mil o blant yn cymeryd rhan ynddo. Cedwir y rhai hyn bob blwyddyn er yr amser hwnw, ac y maent wedi gwneyd llawer i alw sylw at y gyfundrefn. Un o'r pethau mwyaf dyddorol mewn cysylltiad â hwynt oedd rhoddi darnau newyddion i'w cânu ar yr olwg gyntaf, a tharewid y gynnulleidfa â syndod gan y cywirdeb a'r rhwyddineb â pha un y cenid hwynt. Yn ystod arddangosfa Paris yn 1867, rhoddwyd allan fod gwobr o 200p. i'r côr o unrhyw wlad a gânai oreu ddau ddernyn o'i ddewisiad ei hunan: wyth o gôrau ddaeth ymlaen, a dim ond un o Brydain, sef côr Tonic Sol-fa Llundain, dan arweiniad Mr. Proudman. Cânodd amryw o'r côrau yn dda, ond yn olaf daeth y côr Seisonig. Cafodd gymeradwyaeth uchel ar ei ymddangosiad cyntaf, ond ar ol cânu derbyniodd gymeradwyaeth byddarol. Galwyd ef drachefn a thrachefn. Cauwyd ef o'r gystadleuaeth gan y beirniaid o herwydd ei fod yn gôr cymysg, er nad oedd hyny yn yr hysbysiad a ddaeth i'r wlad hon; ond barnasant y dylai gael gwobr benodol, ac anrhydedd arbenig. Galwyd hwy i gânu o flaen yr Ymherawdwr, a derbyniodd y foneddiges ieuengaf y wobr o'i law ef. Cawsant fathodyn coffadwriaethol

o aur, a thysteb i'r côr. Cododd hyn y gyfundrefn i fwy o sylw nag erioed, ac ymddangosai bellach ei fod tuhwnt i bob dadl mai hon yw y gyfundrefn i ddwyn y miloedd yn gantorion, yr hyn yn sicr a wna mewn amser. Mae eisoes fwy na 3000 o athrawon yn ei dysgu i ddosbarthiadau, heblaw llawer nad oes cyfrif am danynt. Mewn un flwyddyn rhoddwyd 8431 o *Elementary Certificates*, 1560 o'r *Intermediate*, 119 *Members Certificates*, a 34 A. C's, neu y certificates uchaf. Y mae y *Society of Arts* wedi sefydlu arholiad cerddorol. Dygir hi ymlaen mewn "*theory of music*" gan Mr. Hullah, ac mewn cyfansoddiad gan Mr. G. A. Macfarren. Mae cyfartaledd mawr o'r rhai sydd yn pasio yn llwyddianus yn y rhai hyn ynTonic Sol-fayddion, ac yn cynnyddu bob blwyddyn. Yn ddiweddaf, cafwyd allan yn ddiweddar, fod y llywodraeth yn caniatâu cerddoriaeth fel un o'r "pynciau chwanegol," yn ol Article 54 o'r *Code* newydd, am ba rai y caniatëir 1s. 4c. y pen i bob un, hyd at nifer penodol, a basio yn llwyddiannus mewn arholiad ynddo yn yr ysgolion dyddiol. Y pynciau mwyaf pwysig gan y llywodraeth ydyw darllen, ysgrifenu, a rhifyddiaeth; ond wedi i'r plant basio yn y rhai hyn, caniatëir iddynt gael eu haroli yn un o'r "testynau chwanegol," os bydd hwnw wedi bod yn cael ei ddysgu yn rheolaidd yn yr ysgol. Pan welwyd hyn, anfonodd y Tonic Sol-fa College ddirprwyaeth at y llywodraeth, yn erfyn am i'r Tonic Sol-fa gael ei rhoddi ar yr un tir a'r hen nodiant, fel y gallo yr athraw a'r plant ei chymeryd hi os dewisent. Atebwyd eu cais yn gadarnhâol gan y llywodraeth, ac felly gwnaed y ffordd yn rhydd i ddysgu y gyfundrefn yn yr ysgolion dyddiol, ac i gael arian am hyny. Ymddengys, fodd bynag, fod tipyn o anhawsderau mewn perthynas i'r "testynau chwanegol;" er hyny bydd yn dda i athrawon deall hyn, o herwydd y mae dysgu cerddoriaeth yn sicr o fod yn gynnorthwy mawr i ddysgu plant. Dysgwyliwn y daw yr ysgolion yn gyffredinol i ymdrechu at ddysgu hyn.

Mae yn debyg nad oedd Mr. Curwen ei hunan, ar y dechre, yn dychymygu y buasai ei gyfundrefn o gymaint gwasanaeth; dim ond cyfundrefn at wasanaeth yr Ysgol Sabbothol a chaniadaeth grefyddol fwriadai ef iddi fod y pryd hyny; ond erbyn hyn y mae darnau cerddorol o bob math yn dylifo allan o'r wasg ynddi, ac y mae llawlyfrau i bron bob math o offerynau wedi cael eu cyhoeddi ynddi.

Dringodd y gyfundrefn bellach er ys blynyddoedd i wlad y bryniau. Diammheu fod llawer wedi cael gafael ynddi yn yr iaith Saesoneg; ond yn y flwyddyn 1861 ysgrifenodd Mr. E. Roberts, Liverpool, bennodau y Llawlyfr i'r "Cerddor Cymreig," dan olygiad Ieuan Gwyllt, ac ar ol hyny cyhoeddodd ef ar ei ben ei hunan. Y mae hwn yn arweinydd rhagorol i'r nodiant, cystal, os nad gwell, na'r "Standard Course," a gyhoeddwyd gan Mr. Curwen ei hunan. Cyhoeddodd hefyd yr "Hymnau a Thônau at wasanaeth yr Ysgol Sabbothol, &c." Y mae y tônau yn fwyn a melus, a'r gerddoriaeth yn chwaethus, a diammheu eu bod wedi bod yn foddion i ddifyru a llesâu miloedd o blant Cymru. Tua diwedd y flwyddyn 1865, dechreuodd y Parch. John Roberts (Ieuan Gwyllt), roddi darnau yn fisol yn y "Cerddor Cymreig" yn y Tonic Sol-fa; yn nechre y flwyddyn hon cyhoeddwyd "Cerddor y Tonic Sol-fa" ar ei ben ei hunan, gan adael y "Cerddor Cymreig" i'r hen nodiant. Diammheu fod hyn yn gam yn yr iawn gyfeiriad, ac y mae y ddau yn wir deilwng o

gefnogaeth cerddorion Cymru. Mae enw y golygydd yn ddigon o sicrwydd am chwaeth y darnau a gyhoeddir ynddynt.

Erbyn hyn y mae y gyfundrefn wedi ymledu dros ranau helaeth o'r wlad, a dosbarthiadau wedi ac yn cael eu codi, mewn llawer iawn o gymydogaethau. Yn nechre y flwyddyn hon, dywedai Mr. Robert Griffiths, ysgrifenydd cyffredinol yr ysgol yn Llundain,—"Y mae genym ar ein llyfrau, enwau dros 300 o bersonau y rhai sydd yn addysgu y gyfundrefn yn Nghymru. Pe byddai yr holl ddosbarthiadau yn defnyddio llyfrau a gyhoeddir gan Mr. Curwen, gallem ffurfio rhyw amcangyfrif o'r nifer a addysgir oddiwrth werthiant y llyfrau; ond y mae rhan helaeth yn defnyddio llyfrau eraill, ac felly nis gallwn gael un math o wybodaeth o'r ffynnonell hon. Fod cynnydd mawr yn myned ymlaen yn Nghymru sydd amlwg oddiwrth y nifer lïosog o lythyrau yr ydym yn eu derbyn yn barhäus." Diammheu fod llawer iawn yn ychwaneg na'r 300 uchod o athrawon yn dysgu y gyfundrefn, llawer yn defnyddio llyfrau Cymraeg yn unig; a gwyddom ein hunain am lawer yn ymdrechu dysgu y gyfundrefn i ddosbarthiadau o blant heb gymeryd un o'r *certificates* eu hunain. Tra na fynem ar un cyfrif daflu dim diystyrwch ar ymdrechion canmoladwy o'r fath hyn, na dyweyd dim i oeri zêl a ffyddlondeb y brodyr sydd yn gwneyd felly, yr ydym ar yr un pryd yn teimlo awydd cryf i annog pob un hyd y mae yn bosibl i fŷnu cael yr *Elementary*, ac os bydd modd yr *Intermediate Certificate* cyn dechreu dysgu eraill, yn enwedig gan mai ychydig o ymröad a'u galluoga i gyraedd hyny. Yr ydym yn rhoddi yr annogaeth hon oddiar amryw resymau. Yn 1af, Fe deimla yr athraw fwy o hyder ynddo ei hunan, ac fe deimla ei ddosbarth fwy o ymddiried ynddo, os bydd wedi llwyddo i gael *certificate*. Mae hyn yn llawer iawn o help i fod yn llwyddiannus, mwy o lawer nag a feddylid. Yn 2il, Mae llawer un wedi sefyll rhyw ychydig uwchben y gyfundrefn, a thybied ei fod yn ei deall, yn dechreu ar y gwaith o'i dysgu i eraill, yn enwedig i blant, pan y buasai myfyrio tipyn yn chwaneg arni, dim ond hyny sydd yn angenrheidiol i gael *certificate*, yn dangos iddo lawer o bethau newyddion, ac nad oedd eto wedi deall ei hegwyddor yn iawn. Rhag i neb syrthio i'r camgymeriad o feddwl ei fod yn dysgu yr hyn nad ydyw, cynghorem ef i fŷnu prawf sicr ei fod wedi cyraedd grâdd ynddi. Yn 3ydd, Mae pwys mewn dysgu yr hyn a ddysgir yn drwyadl. Ac ofnwn fod gormod o duedd yn y rhai sydd heb ymroddi i gyraedd *certificate* eu hunain, i ymfoddloni heb fŷnu eu dosbarthiadau yn drwyadl. Nid oes dim a wna fwy o niwed i gymeriad a llwydd y gyfundrefn, nac i bersonau aros ar wybodaeth arwynebol o hóni, proffesu ei deall pan nas deallant hi mewn gwirionedd. O herwydd y rhesymau uchod, ac amryw eraill allasem enwi, fe allai, dymunem daer annog cyfeillion sydd yn teimlo awydd i ddysgu eraill, i fŷnu *certificates* eu hunain. Gwelsom rai oedd yn meddu rhyw grap ar yr hen nodiant, bron yn tybied y gallent ddysgu y Tonic Sol-fa heb prin edrych dıosti. Yn hollol fel arall y mae; er ei bod yn syml, y mae yn rhaid ei myfyrio a'i deall yn iawn cyn gellir gwneyd chwareu têg iddi wrth ei dysgu i eraill; a sicrhäwn i'r cyfryw ond iddynt gymeryd y drafferth i gyraedd yr *Intermediate Certificate*, y cânt fwy na dengwaith gwerth y drafferth o wobr, ac y deallant, mae'n debyg, fwy am wir enaid cerddoriaeth nag a ddychymygasant am dano o'r blaen; ac yna gallant

fod o lês i eraill. Ac wrth fyned i ddysgu, nid ydym yn meddwl y gellir cael gwell trefn na dilyn cwrs y gwersi yn y Llawlyfr yn rheolaidd, gan fŷnu dysgu pob gwers yn drwyadl wrth fyned ymlaen. Gall un feddwl hwyrach y gall wneyd yn eithaf yn ol fel y bydd yn teimlo ar y pryd, heb ddilyn trefn na pharotôi; ond fe ddengys ychydig brofiad iddo ei gamgymeriad. Ac hefyd cofier cadw at y *Modulator* o hyd; dysgybler y dosbarth yn fanwl a pharhäus yn hwnw, oblegid *dyma* yr athraw mawr wedi y cwbl. Rhaid i'r dysgybl fod wedi ymarfer arno nes ei gael yn argraffedig yn ei feddwl a'i gôf ei hunan cyn y gall fod yn *Tonic Sol-faist* da. Eithaf yw cael *exercises* mewn llyfrau, er amrywiaeth, ac er mwyn dwyn y dosbarth i gael blâs; ond nac esgeuluser y *Modulator*, o herwydd ni cheir byth dîr safadwy a dïogel heb gadw at hwnw o hyd. Ac yn bendifaddeu, nac ymfoddloned un athraw heb gael yr oll o'i ddosbarth i gyraedd yr *Elementary Certificate.* Yna gall gyfeirio at rywbeth sylweddol y bydd wedi ei gyraedd. Mae y *certificates* wedi bod yn help mawr i lwyddiant y gyfundrefn er y dechre, a gallant fod o wasanaeth annhraethol yn Nghymru, ond i ni wneyd defnydd prïodol o honynt.

Heblaw yr hyn y cyfeiriasom ato, gwelir fod amryw bethau eraill wedi eu cyhoeddi yn y Tonic Sol-fa at wasanaeth y Cymry. Mae Mr. E. Roberts, Liverpool, wedi bod yn apostol i'r gyfundrefn, ac wedi gwneyd llawer, a hyny yn dda; ac ni a obeithiwn nad yw eto yn meddwl gorphwys. Y mae yr "Anthemau Cynnulleidfäol" yn cynnwys amryw ddarnau digon syml a thlws, ond rhaid i ni addef mai prin yr ydym yn hoffi y cyfaddasiad at eiriau Cymraeg yn fynych. Gwaith anhawdd iawn yw cyfieithu, ac o bob cyfieithu, cyfieithu cerddoriaeth yw yr anhawddaf; bron na ddywedai un heb fod yn fardd ei fod mor anhawdd a'r gynghanedd gaeth. Mae Mr. Roberts wedi cadw adnodau y Bibl fel y maent, ac yn cyfaddasu yr anthem at y geiriau trwy rwymo nodau a hollti eraill, &c.; ond y mae hyn yn fynych yn newid ansawdd y gerddoriaeth. Dichon mai un o'r esiamplau goreu ydyw yr anthem fechan "Bwrw dy faich;" prin y buasem yn tybied mai yr un anthem ydyw a'r "*Holiness*" yn y Saesoneg, er ei bod fel y mae yn fwy cyfaddas i'r geiriau "Bwrw dy faich," fe allai. Ond ai tybed y buasai yr awdwr yn gyfrifol am dani yn ei ffurf Gymreig? Tybiem ni fod ysbryd hollol wahanol ynddi. Prin y mae amryw o'r cyfaddasiadau, yn ol ein barn ni, mor ffortunus. Diammheu er hyn fod y llyfr eisoes wedi dyfod i le ag yr oedd ei eisieu; y mae eisieu chwaneg eto o anthemau cynnulleidfäol heb fod yn anhawdd. Mae "Cerddoriaeth Curwen" yn cynnwys amryw ddarnau prydferth a phwrpasol; ond, attolwg, pa beth allasai fod yr amcan o wneyd cymaint o gymysg o'r *secular* a'r *sacred?* Prin hefyd y teimlwn fod rhai o'r tônau a gymhwysir at emynau rhagorol yn hollol gymhwys. Mae y "Gyfres Elfenol" hefyd yn chwanegiad gwerthfawr at y Llawlyfr, ac y mae ynddo gyfarwyddiadau da ar gânu, &c.; ond nid ydym yn hoffi rhai o'r cyfaddasiadau ynddo yntau. Er ein bod yn dyweyd fel hyn, yr ydym yn teimlo fod Mr. Roberts wedi gwneyd gwasanaeth annhraethol i gerddoriaeth Gymreig, ac yn gobeithio yr aiff ymlaen eto. Gwelir fod Mr. Curwen hefyd wedi rhoddi rhai rhifynau o'r "*Reporter*" at gerddoriaeth Gymreïg; a sonir hefyd ei fod yn gwneyd parotöadau chwanegol at

ddiwallu ei blant Cymreig, fel cyn hir y mae yn debyg y bydd gan y Cymry ddigonedd o gerddoriaeth yn y Tonic Sol-fa yn eu hiaith eu hunain. Dylid, fodd bynag, peidio anghofio fod cerddoriaeth Gymreig, ac ymdrechion Cymry gwladgarol gyda'r gyfundrefn hon, i gael y gefnogaeth *gyntaf* a mwyaf gwresog, megys "Cerddor y Tonic Sol-fa," a phethau eraill a gyhoeddir yn Nghymru.

Y peth mawr y mae arnom fel gwlad angen am dano ar hyn o bryd ydyw athrawon da *ymhob cymydogaeth,*—*Certificated Teachers* yn y Tonic Sol-fa. A phaham nad allem eu cael? Gall unrhyw un fyddo yn teimlo awydd cryf at hyn, ei gyraedd, ond iddo astudio y "Llawlyfr" gydag ymröad; gwell os caiff gynnorthwy a chyfarwyddyd athraw, a gwell fyth os gall gael fod dosbarth yn cael ei gynnal heb fod yn rhy bell iddo fyned iddo: gall unrhyw un gydag ymröad gyraedd y safle hon, ac yna fod o lês mawr yn ei genhedlaeth. A dyma yr unig beth a rydd barhâd a sefydlogrwydd yn ein caniadaeth grefyddol yn gystal a moesol, ac a gwyd ein cenedl i ymhyfrydu mewn cerddoriaeth o'r rhyw oreu, ac nid mewn sothach. Mae ymdrech yn cael ei gwneyd i sefydlu Cymdeithas Tonic Sol-fa yn Nghymru, ac yr ydym yn deall fod amryw barotöadau eisoes wedi cael eu gwneyd tuag at hyny. Nid ydym yn deall yn gywir beth yw yr amcanion sydd mewn golwg gan brif ysgogwyr y symudiad; ond y mae yn taro i'n meddwl ni y gall symudiad o'r fath fod yn fuddiol, yn y cyfeiriadau canlynol,—yn 1af, Cael cyfrif lled fanwl o ehangder yr ysgogiad a'r ymdrechion a wneir o'i blaid. Mae ein llywodraeth wladol yn mynu cael cyfrif bob blwyddyn o faint y cnŵd o bob math a dyfir gan amaethwyr, ac y mae llawer o fanteision o hyny. A diammheu y ceid llawer o fûdd, mewn mwy nag un cyfeiriad, pe gellid cael gwybodaeth lled fanwl o ehangder y Tonic Sol-fa yn Nghymru. 2il, Tuag at wneyd ymdrechion i'w lledanu, trwy annog a chefnogi ymhob modd. A bydd ymuno mewn cymdeithas fel hyn hefyd yn gynnorthwy mawr i sicrhâu addysg *dda* a *thrwyadl* yn y gyfundrefn, ac nid oes nemawr ddim yn fwy pwysig na hyn yma. A thuag at hyn, onid ellid mabwysiadu cynllun a fu ar droed, os ydym yn cofio yn iawn, yn Sir Fôn, sef cael trysorfa gyffredinol i roddi gwobr, pe na bae ond bechan, i'r athraw a godo nifer penodol o ddysgyblion i'r *certificate* elfenol; a gwobr ychydig yn fwy i bob un a godo nifer penodol i'r *Intermediate Certificate.* A gallai yr undebau cerddorol hefyd ymuno â'r gymdeithas, fel y byddai y gwobrau yn cael eu rhoddi ar gyhoedd yn y cylchwyliau cerddorol, neu mewn rhyw ddull cyffelyb. Yn 3ydd, Ymdrechu cael cyflenwad o gerddoriaeth dda a chwaethus i gyfarfod â'r alwad a godir gan yr ymdrechion i ledanu y gyfundrefn. Yn raddol, fel yr ennilla y gyfundrefn dir, fe ddaw yr alwad yn fawr; ac os na bydd digon o gerddoriaeth bur ar ei chyfer, daw cerddoriaeth o fath arall ymlaen i lenwi y diffyg, a'r canlyniad fydd llygru chwaeth, yn lle ei wellâu. Hyd yma, y mae y gyfundrefn wedi cael ei chadw yn dda rhag myned i wasanaeth anfoesoldeb o gwbl, a dylid ymdrechu cadw y tir hwn, a dylai y rhai sydd yn pryderu dros grefydd a moesoldeb ein gwlad ofalu am fod eu cefnogaeth yn barod yn y cyfeiriad yma. Yn 4ydd, Tuag at gael *grand demonstrations*, a chael gwyliau cerddorol ar radd lled helaeth. Ateba y rhai hyn amryw ddybenion;—dwyn y gyfundrefn i sylw—codi chwaeth at gerddoriaeth y prif gyfansoddwyr—

a chadw arddangosiadau mawrion y genedl yn wleddoedd meddyliol i buro'r chwaeth a gwella'r galon, yn lle eu bod yn disgyn i lefel y Saeson. Eu gwyliau mawr hwy ydyw y rhedegfëydd, ac *athletic sports* o'r fath; ond gydag ymffrost yr ydym yn nodi am ein cenedl ni mai ei *national sports* hi yw y Gymanfa, yr Eisteddfod, y cylchwyliau cerddorol, a rhywbeth i'r meddwl, neu yr enaid. Gofaler am gadw hyn. Cymru, fy ngwlad! cadw dy goron; byth na ddarostynger dy ogoniant a'th brydferthwch hwn i warth fel eiddo ein cymydogion. Dymunwn, gan hyny, rwydd hynt i'r symudiad Sol-fa-yddol, a phob cefnogaeth i'w bleidwyr; ac nid ydym heb ddysgwyl a chredu y daw yr amser, fe allai cyn hir iawn, y bydd pob Cymro yn Tonic Sol-fa-ydd, ac yn gallu darllen cerddoriaeth mor rwydd ag y darllena y bachgen ei Destament yn yr Ysgol Sabbothol.

---

# TY FY NHAD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. DAVID JONES, TREBORTH.

ARGLWYDD, pan raid imi groesi
   Afon angeu i'r làn draw,
Boed yn ddydd, heb droi ar nosi,
   Diwrnod têg, heb wynt na gwlaw:
Boed yr haul heb gwmwl arno,
   I gael gwel'd yr hyfryd wlad;
Yna 'r äf trwy 'r dwfr dan byncio—
   "'R wyf yn ymyl Tŷ fy Nhad."

Ofni 'r wyf rhag cael yr afon
   Wedi chwyddo yn llif mawr,
Gwynt a gwlaw yn dymhestl greulon,
   Oll am guro 'r gwan i lawr:
Gwrês dy gariad a'i oleuni
   A ostega 'r dymhestl gref;
Treia 'r dwfr i mi heb ofni,
   Rhodio ymlaen dan gânu i'r nef.

Arwain fi trwy afon angau,
   Man 'r aeth Iesu trwy y dwfr;
Nid wrth Sinai 'n fellt a th'ranau,
   A niwl tew, i'm gwneyd yn llwfr:
Gwna im' groesi wrth Galfaria,
   Yno mae y dwfr yn fâs;
Nid oes mellt na th'ranau yma,
   Na thywyllwch,—dim ond gras.

Nid yw marw yma 'n farw,
   Llyncwyd angeu ar y groes;
Gwas yw mwyach i'r Gŵr hwnw
   A ddiddymodd ei wir loes:
Y mae dyoddef yn y driniaeth—
   Tòri ymaith yr hen gnawd;
Dyosg dillad llygredigaeth,
   Er cael gwisg fel Iesu 'n Brawd.

Iesu Grist a ymostyngodd,
   Do, i angeu yn ei nerth;
Dwylaw angeu a ddadblygodd
   Ar ei fawr guddiedig werth:
Troes ar angeu pan y trengodd,
   Llethodd dan ei bwysau mawr:
Boreu 'r trydydd dydd cyfododd,—
   Mae 'r agoriad ganddo 'n awr.

Os yw 'r porth o du 'r byd aflan,
   O dan enw marw o hyd,
O'r tu arall, bywyd cyfan,
   Yw ei enw o'r ail fyd:
Y porth du, mae 'n borth y bywyd,
   Ni ddaw angeu byth i'r wlad;
Porth a wnaeth ein hen afiechyd,
   Ddaeth yn borth i lwyr wellhâd.

Pant o hyd, er ei balmantu,
   Sy 'n terfynu rhwng dau fyd,
Ei ddyeithrwch sy 'n brawychu
   Plentyn Duw o nefol fryd;
Ond gwnaeth Iesu iddo waelod,
   A phalmantodd hwn yn rhad;
A phant yw, fel o dan gysgod,
   Ond mae 'n ymyl Tŷ ein Tad.

Teimlaf boen a hiraeth greddfol
   Wrth ymadael â'm hen dŷ;
Gadael byth y tŷ anianol,
   Fy hen gartref i o'r bru;
Eto teimlaf yn wir ddedwydd,
   Caru wnaf ewyllys Duw,
Mewn cryf obaith am dŷ newydd,
   Yn annhraethol well i fyw.

Tŷ tragwyddol a gâf nesaf,
   Byth heb eisieu un gwellhâd,
A thŷ yn y lle prydferthaf,
   Y wlad oreu fêdd y Tad;

Gwlad cartrefa Efe ynddi,
  A'i holl deulu gydag Ef;
Gwlad y bywyd a'r goleuni,
  Cartref cariad yw y nef.

Ofer imi yw ymofyn,
  Pwy all roddi eglurhâd?
P'le 'n y gwagle mawr, diderfyn,
  Mae sefyllfa Tŷ y Tad?
P' le mae 'r nef, y wir Baradwys,
  Hen gartrefle Duw erioed,—
Tŷ 'r angelion a'r holl eglwys,
  Pan y deuant i'w llawn oed.

Rhaid ei bod y llanerch oreu
  Yn y grëadigaeth fawr;
Hon yw cartref Duw o'r dechreu,
  Cyn goleuo 'r boreu wawr:
Mae 'r lle iachaf, mwyaf helaeth,
  Ac yn llawn o bob mawrhâd;
Gwelir cylch y grëadigaeth
  Yn hawdd iawn o Dŷ y Tad.

Cartref dedwydd pob un sanctaidd,
  Nid ä 'r aflan yno byth;
Pawb yn gyfiawn, ac yn llariaidd,
  Oll yn llòn mewn hêdd dilyth;
Pawb yn sanctaidd hyd berffeithrwydd,
  Heb frychëuyn o'u pen i'w traed;
Cadwodd rhai eu diniweidrwydd,
  Rhai a olchwyd yn y gwaed.

# EMYNYDDIAETH.

## VII.

### EMYNYDDIAETH Y CYMRY. GWAWR Y DIWYGIAD METHODISTAIDD.

TERFYNODD ein hysgrif flaenorol gydag enwau dau o weinidogion perthynol i'r Anghydffurfwyr Cymreig, a rhoddasom engreifftiau o'u hymnau. Dywedir am y cyntaf, sef y Parchedig Thomas Baddy, mai brodor o Ogledd Cymru oedd efe, ac iddo ymsefydlu fel gweinidog ar yr Eglwys Henaduriaethol yn Ninbych, oddeutu y flwyddyn 1693, lle y bu yn gweinidogaethu yn ffyddlawn hyd ei farwolaeth yn 1729. Yr oedd aelodau ei eglwys, meddir, yn rhifo o ddeg a deugain i driugain, ac amrai o honynt yn gyfoethog, ac oll mewn amgylchiadau cysurus. Yr oedd yntau hefyd mewn amgylchiadau da, yn ŵr o ymddygiad boneddigaidd, ac yn bregethwr pur gymeradwy. Heblaw ei "Hymnau Sacramentaidd," a "Châniad Solomon, wedi ei drefnu ar fesurau i'w cânu," am y rhai y soniasom o'r blaen, cyfieithodd a chyhoeddodd y llyfrau canlynol:—1. "Pasg y Cristion," &c., gan Thomas Doolittle. 2. "Cynghor i Hunan-ymholiad," gan Thomas Wodsworth, M.A. 3. "Gwagedd Mebyd ac Ieuenctyd," gan Daniel Williams, D.D.—Gwel *Llyfryddiaeth y Cymry*, dan y blynyddau 1703, 1713, 1725, a 1727.

Am y llall, sef y Parchedig Dafydd Lewys, gweinidog oedd efe ar gynnulleidfa o Ymneillduwyr, yn Nghas-newydd-ar-Wysg, yn Sir Fynwy. Heblaw ei "Gâniadau Nefol," y rhai a nodasom o'r blaen, bu ganddo law, gyda rhai gweinidogion eraill, yn nygiad allan trwy y wasg amryw lyfrau crefyddol, megys, "Gèmau Doethineb," gan Rhys Prydderch, a'r "Llythyr at y cyfryw o'r byd ag sy raid eu deffrôi a'u cyfarwyddo, er lleshâd a budd tragywyddol eu heneidiau." Gan John Reynolds.—Gwel *Llyfryddiaeth y Cymry*, rhif 6 a 10, 1714; 2, 1716; 7, 1740; 7, 1749. Awn bellach ymlaen at Emynau y cyfnod nesaf.

Mae yn hysbys i'r Diwygiad Methodistaidd dòri allan yn gyntaf yn mhlwyf Talgarth, yn swydd Frycheiniog, yn y flwyddyn 1735, trwy lafur Howel Harris, Ysw., Trefecca, yn y plwyf hwnw; ac, oddeutu yr un amser, yn swydd Abertefi, trwy bregethiad deffröus y Parch. Daniel Rowlands, Llangeitho. Yr oedd y ddau y pryd hyny yn wŷr ieuainc, yn agos o'r un oedran; a chan fod gras Duw wedi cyffwrdd yn ddwys ac effeithiol â'u calonau ynghylch eu mater tragywyddol eu hunain, teimlasant yn angerddol yn achos cyflwr ysbrydol eu cymydogion, ac awydd enaid am eu deffro i ffoi rhag y llid a fydd. Dechreuodd y naill gynghori, a'r llall bregethu, bob un yn ei gylch ei hun, tua'r un adeg, ond yn ddiarwybod i'w gilydd. Daethant yn gydnabyddus yn 1737, ac ymunasant i gydlafurio; dechreuasant gynhyrfu y wlad, ac yn fuan daeth amryw weinidogion a llëygwyr eraill allan i'w cynnorthwyo yn y gwaith.

Dechreuodd Mr. Harris gynghori ar nosweithiau Sabbath, yn nhŷ ei

fam, ac, o dipyn i beth, trwy fyned o amgylch o dŷ i dŷ, ar hyd y gymydogaeth a'r ardaloedd cyfagos. Yn y flwyddyn 1736, yr oedd gŵr yn cynnal cyfarfodydd ar gylch o'r naill blwyf i'r llall, i ddysgu y bobl ieuainc i gânu salmau. Defnyddiodd Mr. Harris y cyfleusdra hwn i wneuthur daioni, yn ol ei awyddfryd i droi pechaduriaid o gyfeiliorni eu ffordd. Dilynai y cyfarfodydd hyn yn gyson, a phan y byddai y gorchwyl o addysgu drosodd, deuai ymlaen i lefaru gair o gynghor, a gweddïo. Dygwyd llawer drwy hyn dan argyhoeddiad, a ffurfiwyd yn fuan nifer o gymdeithasau crefyddol, er hyfforddi ac ymgeleddu y dychweledigion ieuainc. Cynnyddodd y gwaith da yn fawr, ac ymdaenodd trwy amrywiol siroedd y Deheubarth yn fuan, er pob rhwystrau a gwrthwynebiadau a deflid ar ei ffordd.

Ynghylch y pryd hyn daeth yr enwog George Whitefield i wybod am yr ysgogiad diwygiadol yn Nghymru; daeth ef a'r diwygwyr Cymreig i gydnabyddiaeth bersonol â'u gilydd, a thrwy hyny i gydymdrech yn mhlaid ffydd yr efengyl. Er mwyn hyrwyddo eu llafur, ac i fyned rhagddynt yn fwy rheolaidd a threfnus, sefydlwyd y Cyfarfodydd Misol a'r Cymdeithasfäoedd Chwarterol. Cynnaliwyd y Gymdeithasfa gyntaf yn Watford (neu Waterford), yn Sir Forganwg, Ionawr 5 a'r 6ed, 1743, yn yr hon yr oedd yn bresennol, y Parch. George Whitefield (yn gymedrolwr), y Parchn. Daniel Rowlands, William Williams, Howel Davies, John Powell, a Thomas Lewis, gyda'r cynghorwyr, Howel Harris, John Humphreys, John Cennick, Herbert Jenkins, James Beaumont, John Jones, Richard Tibbot, ac eraill. Gwelir fod y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig a Seisonig, ar y cyntaf, yn perthynu i'r un Gymdeithasfa, ac fel un cyfundeb, a buont yn cydlafurio felly am flynyddau, nes trwy gynnydd y gwaith i'r cylch fyned yn ormod, ac i'r Gymdeithasfa hon gyfyngu ei llafur i Gymru bron yn gwbl. Dyben y Cymdeithasfäoedd hyn ar y dechre oedd cael cyfleusdra i'r aelodau gydymgynghori ar y cynlluniau goreu i ddwyn y gwaith ymlaen, i gadw arolygiad prïodol ar y cymdeithasau crefyddol, ac i grythâu a chynnal breichiau eu gilydd yn eu hymdrech i efengyleiddio y wlad. Yn un o'r cynnulliadau boreuol hyn, dygwyd dan sylw yr angen a deimlid am gyflenwad helaethach o Hymnau Cymraeg at wasanaeth yr achos. Yr oedd rhai cyfeillion yn Lloegr eisoes wedi dechreu cyfansoddi yn yr iaith Saesoneg, megys John a Charles Wesley, John Cennick, ac eraill; ac yr oedd rhai brodyr yn Nghymru wedi dechreu ychydig yn yn yr iaith Gymraeg, a gwelid bod eu llafur yn y ffordd hon yn ateb dyben daionus. Annogwyd y brodyr Cymreig gan Howel Harris i wneyd cais ychwanegol at hyn, drwy gyfansoddi nifer o hymnau erbyn y Gymdeithasfa ganlynol. Ymddengys i amryw gydsynio â'r annogaeth, ac wedi i bob un ddarllen ei waith, Mr. Harris, fel beirniad yr eisteddfod wir freiniol hono, a gyhoeddodd ei ddyfarniad yn y frawddeg fèr a phenderfynol,—"Williams bia'r cânu." Yr oedd efe yn ddigon craff i ganfod bod câniadau Williams, o ran ystwythder, melusder, a grym awenyddol, yn rhagori ar gynnyrchion y brodyr eraill i gyd. Dyma ddechreuad Emynyddiaeth Fethodistaidd Cymru.

Mae ar gael ychydig emynau a gyfansoddwyd yn mlynyddoedd boreuaf Methodistiaeth, mewn hen lyfr sydd yn awr ger ein bron, yn cynnwys amryw lyfrynau bychain argraffedig, a nifer lled helaeth o

hymnau ysgrifenedig, wedi eu cydrwymo. Dodwn yma ddesgrifiad byr o honynt.

1. "Hymnau Duwiol, buddiol i'w dysgu a'u cânu gan bawb o ffyddlawn blant Sïon, i'w diddanu ar y ffordd wrth ymdaith tua'r wlad nefol. O gasgliad Gŵr Eglwysig. Pont y Pool: argraffwyd yn yr argraffwasg newydd, yn y flwyddyn MDCCXLI." Un ar bymtheg tu dalen, deuddeg-plŷg, ydyw, ac yn ei ddechre, "Egwyddor i'r anllythyrenog i ddysgu darllain," a'r *a b—ab*, &c., yr hyn a ddengys fod y casglydd yn awyddus i ddwyn y bobl gyffredin i fedru darllen eu hiaith eu hunain. Mae yr un ddarpariaeth yn nechre amryw o'r llyfrau bychain hyn. Ail argraffwyd hwn yn 1745.

2. "Hymnau Duwiol." Gan fod y rhagddalen yn gymhwys yr un peth, air am air, a'r un flaenorol, ond bod yr hymnau yn wahanol, gwelir mai ail ran ydoedd hon, o'r un maint a phlŷg a'r llall, o'r un argraffwasg, ac yn yr un flwyddyn. Wyth tu dalen sydd yma ar gael, a'r gweddill wedi colli.

3. "Hymnau Duwiol. O gasgliad Gwŷr Eglwysig, M. J. ac E. W." [Sef Morgan Jones ac Edmund Williams.]

Cânwn i Dduw da ar bob tro,
Yn fwyn rho'wn iddo foliant;
Cânwn i'r Tri Phersonau 'n Un,
Ar gân fel hyn, ogoniant.

"Argraffwyd yn Mhont y Pool, gan S. Mason, 1741." Un ar bymtheg ar hugain tu dalen, o'r un plygiad ac argraffwaith.

4. "Rhai Hymnau Duwiol o waith Edmund Williams, yr hwn ydoedd ŵr Eglwysig, a lewyrchodd yn hynod dros amser, ond a fu farw yn mlodau ei ddyddiau, pan oedd o amgylch 25 oed. Gosodir i lawr yma hefyd, Ymddyddan ynghylch Dawnsio, a rhai o'i eiriau diweddaf, ar ei glaf-wely angau, er lleshâd i'r byw, yn enwedig i'r ieuainc. Printiedig yn Bristol gan F. Farley, 1742." —26 tu dalen, o'r un plygiad.

5. "Hymnau Duwiol." Wyth tudalen ydyw, ac ail neu drydedd ran y mae yn amlwg wrth rif y tu dalenau, o 17 hyd 24. Mae y gyfran arall yn eisiau, a thebygol bellach mai rhy anhawdd fyddai cael copi cyflawn o'r "Hymnau Duwiol" hyn. Cynnwysa yr wyth tu dalen yma bedair o Hymnau neu Ganiadau yn dwyn enwau Howel Harris, Morgan Jones, Daniel Rowlands, a Herbert Jenkins.

6. Hymnau ysgrifenedig, wedi eu dethol o waith amryw awdwyr, megys Morgan Llwyd, Thomas Baddy, Dafydd Lewys, George Whitefield (cyfieithiad), Daniel Rowlands, David Jenkins, Dafydd Jones, Caio, ac eraill.

Yr ydym yn cael bod Harris a Whitefield wedi ymweled amryw weithiau â Phontypool, a manau eraill, yn Sir Fynwy, ac ymddengys bod effeithiau grymus yn dilyn pregethiad y gair yn y Sîr hono, ac ennillwyd amryw offeiriaid duwiol ac efengylaidd i ddyfod allan i gynnorthwyo y diwygiad Methodistaidd, ymhlith y rhai yr oedd Morgan Jones, ac Edmund Williams, a enwir uchod. Yr oeddent yn cynnal cymdeithasau profiad, ac at wasanaeth y cyfryw gyfarfodydd y cyfansoddwyd ac y cyhoeddwyd y llyfrau hymnau bychain crybwylledig. Cyhoeddwyd hefyd, drwy yr un wasg, a thua'r un amser, lyfryn arall, o 16 tu dalen, yn cynnwys "Sail, Dybenion, a Rheolau Cymdeithas Grefyddol." Mae y rhagddalen wedi colli, ond gwelir wrth y rhagymadrodd, pa un sydd wedi ei ysgrifenu yn dda, mai er cyfarwyddyd i ddwyn ymlaen y cyfryw gyfarfodydd y ffurfiwyd ac y rhoddwyd allan y Rheolau hyn. Maent yn eglur, buddiol, ac ysgrythyrol, a'r "Holiadau i brofi ein hunain wrthynt" yn fanwl a phwysig iawn. Gellid tybied eu bod wedi eu cyhoeddi cyn sefydlu y Gymdeithasfa, gan nad oes ynddynt un cyfeiriad at y fath sefydliad. Nid oes enw neb wrthynt, ond y maent yn deilwng o sylw, ac yn werth eu cadw. Mae y llyfrynau uchod yn perthynu i lênyddiaeth foreuaf y Methodistiaid. Er bod ei dechreuad yn fechan, y mae erbyn heddyw wedi cynnyddu yn lled fawr. Bu y

gyfrol fechan sydd yn eu cynnwys yn meddiant Mr. W. Read, meddyg, o Bontypool, yr hwn yntau "oedd yn un o honynt."* Bu ef farw yn 1769, a chyfansoddodd Williams, Pantycelyn, farwnad dra rhagorol iddo. Tybiwn mai efe a ysgrifenodd yr hymnau sy mewn llawysgrif ynddo, pan ydoedd yn ieuanc. Mae yr orgraff yn y rhai hyn, ac yn y rhai argraffedig, yn hynod o wallus; ac ar y cyfan, gwael ydynt o ran eu cyfansoddiad, a lled amddifad o ysbryd gwir brydyddiaeth. Gellid eu cymharu i drydar egwan a thóredig adar mân ar lasiad y dydd, yn gyferbyniol i gydgerdd y goedwig wedi cyfodi yr haul yn ei oleuni a'i wrês. Athrawiaethol, mynegiadol, ac annogaethol, yw eu nodwedd gyffredin, yn hytrach na phrofiadol, mwynhäol, a gorfoleddus. Calfinaidd yw eu golygiadau, ond yr oedd yr ysgrifenwyr yn rhy anghyfarwydd yn rheolau yr iaith, a rhy brin o eiriau, i osod allan eu syniadau yn eglur, yn rymus, ac yn effeithiol. Detholwn ychydig o rai sydd yn rhagori ar y nifer mwyaf o honynt; y rhai canlynol o'r rhif 1 a 2, "o gasgliad Gŵr Eglwysig," ond pwy ydoedd nid ydym yn gwybod.

PRESENNOLDEB DUW.

1 Ysbryd yw Duw, heb gorff na rhan,
Ymhob rhyw fan yn canfod;
Diddechre 'n bod o hono 'i hun,
Difesur un, diddarfod.

2 Ond yn y nef mae Duw yn gu
Yn llanw 'r llu cariadol;
Ac yn ei Fab, mae 'r cadarn Iôr
A'i hedd yn fôr anfeidrol.

3 Trwy bob peth sydd, ac ymhob man,
Mae Duw yn anfesurol;
Yn naear, môr, a phob rhyw le,
Mae Brenin ne 'n bresennol.

4 Ystyria, ddyn, dy fod yn ngwydd
Duw, Arglwydd yr arglwyddi;
Dy galon ddrwg sy ger ei fron,
Mae 'n chwilio hon o ddifri.'

5 Mae Duw 'n arbenig, heb ddim llai,
Yn llanw y rhai dewisol
A'i bresennoldeb, melus hêdd,
Diddanus, wledd ddanteithiol.

AR DDECHRE ADDOLIAD.

1 O tyred, Arglwydd Dduw, i'n plith,
A rho dy fendith ini;
Dy nerth, mewn pryd, a'th serch, O Dad,
A'th gariad rhad, i'n llòni.

2 Tydi addewaist, y Duw da,
Gyfarfod â thrugaredd,
Lle bynag bo ond dau neu dri,
A'r rheiny mewn gwirionedd.

3 Anfon i lawr dy Ysbryd Glân,
A gwna fel tân dy eiriau,
I doddi 'n calon, ger dy fron,
Diddanwch llôn, diammau.

4 Cerydda Satan, sydd o hyd
Yn fawr ei fryd i'n blino
A gwâg feddyliau, yn y pryd
Y bôm yn cyd-weddïo.

5 Er mwyn dy Fab, rho d' Ysbryd rhad,
I wneyd erfyniad droson;
Ac yn dy Fab, O nefol Dad,
Rho in' atebiad grasion.

CRIST YN UNIG FEDDYG.

1 Mae Crist yn Feddyg, heb ddim llai,
I bawb o'r rhai dolurus:
Y Balm o Gilëad sydd yn llawn
O bob rhyw ddawn daionus.

2 Os wyt yn glâf, O enaid trist,
Mae Crist yn Feddyg tirion;
Gâd iddo drin, â pheraidd win,
Archollion blin y galon.

3 Ni ddichon moddion dy iachâu,
Na sacramentau lawer;
Ymprydio a gweddïo 'n hir,
Heb Grist, yn wir sydd ofer.

4 Mae 'n llwyr angenrhaid cael gwir ffydd,
I arwain budd i'r galon:
Trwy hon mae 'n d'od gysuron rhad
O'i nefol wlad i'r Cristion.

5 O Iesu mwyn, gwel, ger dy fron,
Rai cleifion ac anafus;
Llefara'r gair, ac iach a fydd
Pob enaid sydd ddolurus.

* Gwel *Llyfryddiaeth y Cymru*, rhif 2, 3, dan 1741, a 1, 3, dan 1742; a'r *Traethodydd*, Cyf. IX., tu dal. 151, 152.

PROFIAD O GARIAD CRIST.

1 Fe all bod rhai 'n gwir geisio Crist,
Liw nos, yn athrist galon,
Ac heb ei gael yn Gyfaill pêr,
Dros amser, dan ammheuon.

2 Mae'r Iesu, trwy ei gariad llôn,
Yn ennill calon gyndyn;
Tueddu mae 'r ewyllys ddwys
Yn gymhwys i'w ymofyn.

3 Yr enaid brofwys rinwedd gras,
Ac effaith blâs ysbrydol,
Sy 'n cael ei dŷnu ar bob tro
I geisio 'r Iesu grasol.

4 O tyred, Arglwydd, tyr'd ar frys,
Gwîn melus yw dy ddoniau,
A bydd fel iwrch neu lwdn hŷdd
Ar fynydd y pêr-lysiau.

5 Llwyr ddattod rwymau 'r galon gaeth,
Rho ini 'r maeth rhinweddol,
Arwyddion eglur o wir hêdd,
Blaen brawf o'r wledd dragwyddol.

Cymerwyd y ddwy nesaf o rhif. 3, o gasgliad M. J. ac E. W. Mae y flaenaf yn cadw math o "gyrch-gymeriad" lled gywrain, rhwng y pennillion.

AR Y SACRAMENT.

1 Chwi, blant y Brenin mawr, o'u bron,
O'r galon, dewch i gânu
Soniarus gerdd, am gynhes gwrdd,
Dewisol, ar fwrdd Iesu.

2 Dewisol ar fwrdd Iesu hael,
Mae groeso i'w gael heb gelu,
I'r grasol rai, a ddaeth wrth wawdd,
Er mor anhawdd eu tŷnu.

3 Er mor anhawdd eu tŷnu at Grist,
Cair yno ddidrist wledda,
Heb ddannod oll, ond llawnder lles;
Nid Moses yw 'r Messïah.

4 Nid Moses yw 'r Messïah mwyn,
Ond Iesu a gŵyn dy galon;
Gwedi 'th dŷnu â gwisg y'th dô,
A rhwydd y rho anrhegion.

5 A rhwydd y rho anrhegion da,
Ei hun a'i Ysbryd glana',
Maddeuant llawn, a thawel hedd,
O'r diwedd, nef yn drigfa.

6 O'r diwedd, nef yn drigfa rad,—
Dyrchafa ganiad felus,
Am basgedigion a'th gryfhâ,
A gwîn a'th lôna'n llwyddus.

AM LWGR YR EWYLLYS.

1 Fe'n llygrwyd yn nghwmp Adda oll,
Ein gallu a'n gwyllys aeth ar goll;
Wrth air a phrawf pob sant y sydd,
Fe brofir hyn, o ddydd i ddydd.

2 O'n gwyllys oll ar goll mae 'r grym,
Hi aeth yn llesg trwy bechod llym;
Nis gallwn ni heb gymhorth gras,
Er dim, wneyd da, îs wybren lâs.

3 Mewn gwyllys dyn tueddiad sydd
I fyn'd ar ol y drwg bob dydd;
Ond y mawr nerth a wnaeth y byd
Sy 'n troi gwyllysiau rhai mewn pryd.

4 Ewyllys sydd gan ddyn di râs
I fyn'd ar ol y pechod câs;
Ond ni bu 'wyllys gan neb byw,
Cyn iddo ei chael, i dd'od at Dduw.

5 Nis gallwn feddwl meddwl da,
Pa faint llai gweithred neb a'i gwna;
Duw sy 'n rhoi da 'n ewyllys dyn,
Ac ef sy 'n cynnal hyny ei hun.

6 O waeled ydyw cyflwr dyn!
Heb Dduw, heb ddim o'i nerth ei hun;
Ac nid neb llai nag Ysbryd Duw
All wneyd ewyllys farw 'n fyw.

Mae y tair nesaf wedi eu dethol o Hymnau Edmund Williams, rhif 4 o'r "Hymnau Duwiol."

HIRAETH AM GRIST.

1 Dymuniad taer pob Cristion yw
Cael eiste 'n llôn, tra bo fe byw,
Dan gysgod Crist, y Pren sy 'n llawn
O ffrwythau pêr, dymunol iawn.

2 Mae hiraeth pur, heb ammheu llai,
Yn llanw pawb o'r duwiol rai,
Am Grist, eu Câr, a'u Cyfaill mwyn,
Yr hwn, o'i ras, sy 'n gwrando 'u cŵyn.

3 Mae calon pob rhyw Gristion gwan,
Yn mawr sychedu am gael rhan
Yn Nghrist a'i gariad, er gwellhâd:
O rhyfedd yw fod hyn yn rhad!

4 Y sawl sy 'n profi hyfryd flŷs
Am Iesu Grist, cânt hwy 'n ddi lŷs
Baradwys ddysglaer, draw i'r bedd,
A gweled wyneb Duw mewn hedd.

ARALL.

1 I'm henaid i mor felus yw
Cyfeillach y Duw cyfion!
Gwna i'm henaid trist wir lawenhâu,
Daw imi 'n glau gysuron.

2 Y dyn a ga'dd i'w enaid gwan
Dduw iddo 'n rhan dragwyddol,
Nis gall ef lai na seinio 'i glod,
Am iddo fod mor rasol.

3 Mor rasol i bechadur gwael,
A'i dŷnu i gael trugaredd,
At y Messïah, mwya 'i nawdd,
Caiff yno 'n hawdd ymgeledd.

4 Ymgeledd idd ei enaid trist,
Caiff Iesu Grist ei hunan,
O wledda 'n hael ar nefoedd hedd,
Siriola 'i wedd yn fuan.

AM ANGEU.

1 Mae harddwch dyn fel blodau 'r maes,
A'i lendid fel glaswelltyn;
Diflana fel y cysgod draw,
Yn fuan daw ei derfyn.

2 Pa beth yw dyn o'r bru i'r bedd?
Dim ond y gwagedd gwaela':
O'r pridd y daeth, i'r pridd yr â,
Mewn pridd y câ letya.

3 Mae hen, ac ieuainc glân eu gwedd,
Yn cael mewn bedd eu cuddio;
Ni chlywir mwy eu llef na'u llais,
Darfu,—daeth cais i'w ceisio.

4 O ceisiwn ninnau, cyn ein bedd,
Drugaredd drwy 'r Messïah!
Fel hyn bydd gwell ein marwolaeth,
Na 'n genedigaeth gynta.'

Yr emyn ganlynol, allan o'r "Hymnau Duwiol," rhif 5, tu dalen 17, sydd o waith yr enwog Howel Harris. Ganwyd ef yn Nhrefecca, Ion. 13, 1714. Dechreuodd gynghori yn 1735. Gwedi teithio llawer trwy Gymru a Lloegr am ddwy flynedd ar bymtheg i bregethu, ymsefydlodd yn Nhrefecca, lle yr ymunodd llawer o bobl, o bob parth o Gymru, â'i deulu, i'r rhai y parhäodd i weinyddu yn ffyddlawn hyd y diwedd. Bu farw Gor. 21, 1773, yn y 60fed flwyddyn o'i oed, ac wedi bod yn pregethu oddeutu 39 o flynyddoedd.* Cyfansoddodd yr emyn hon pan oedd yn lled ieuanc, rywbryd cyn 1742. Nis gwyddom fod dim arall o'i brydyddiaeth ar gael, ond y mae hon yn ddïau yn ddernyn gwerth ei gadw.

AM FRAWDGARWCH AC UNDEB CRISTIONOGOL.

1 Duw cariad wyt, ac Awdwr hedd,
Tangnefedd wyt yn garu;
Ti wyt mewn undeb brawdol pur
Yn eglur ymhyfrydu.

2 Ond llid ac ymrysonau croes,
Ymhob oes, ti ffieiddiaist;
Ond dygyd beichiau 'r naill y llall,
Yn ddiball, gorchymynaist.

3 Un corff sy genyt ti ein Pen,
Rhwng pawb y llèn a dŷnwyd;
Un eglwys yw dy blant mewn gwlad,
A'th werthfawr waed a brynwyd.

4 Un wyt a Thri,—dy Ysbryd sydd
Yn gweithio ffydd effeithiol,
Ymhawb o'th blant, i'w gwneyd yn un,
I fyw 'n gyttûn, gariadol.

I'r un gwaith mawr, yr wyt, O Dduw,
Yn gwneyd yn fyw 'n heneidiau,
I'th garu di a'th blant, bob pryd,
A goch'lyd ymrysonau.

6 Mewn un lle bydd dy blant i gyd,
Yn aros hyd oes oesoedd,
Yn seinio 'th glod am dy Fab rhad,
Yr hwn, O Dad, a'n prynodd.

7 Tri gelyn sy 'n cyttuno 'n un
I'n herbyn i ryfela;
Am hyn, O Dad, trwy d' Ysbryd pur,
Ni yn y gwir O una!

8 Ein hunan ni, O Arglwydd, lladd,
Yr hwn sy 'n ymladd beunydd
Yn d' erbyn di a'th gyfraith lân;
Hwn sy 'n gwahanu gwledydd.

9 O gwna ni 'n un trwy 'r Ysbryd Glân!
Hyfryd yw 'r tân pan ddelo;
Ac yna ni all uffern ddu
Ein drygu na 'n neillduo.

10 Os ydym wedi ein geni, O Dad,
O'r unrhyw hâd ysbrydol;
Os ydym hefyd bawb yn byw
Trwy 'r unrhyw fara nefol.

* Gwel Hanes ei Fywyd, yn Gymraeg neu yn Saesoneg.

11 Os ydym wedi ein galw i gyd
Yn erbyn byd o elynion;
A'r rhai 'n i'n herbyn yn gyttûn,—
Gwna ninnau 'n un o galon.

12 Os ydym yn ymdeithio 'n awr,
Hyd ffordd heb fawr gyfeillion;
Gwna ni 'n gyttun, O anwyl Dad;
Na âd i ni ymryson.

13 Ein Brenin wyt, Dywysog hêdd,
Amynedd wyt yn ddysgu;
Nâd ini, trwy ddadleuon croes,
Roi achos i dy gablu.

14 O una di dy eiddo 'n glau,
Melus yw rhwymau cariad;
Lladd zêl ddall-bleidiol, pura hon,
A bydded union fwriad.

15 Na âd ond llysiau nefol hardd
Byth yn dy ardd i hadu;
Pob gwreiddyn chwerw ymaith tŷn,
Ac attal chwyn i dyfu.

16 Dy eglwys, gardd gauedig yw,
Lle 'r wyt, O Dduw, yn rhodio;
Na âd i chwyn angharied du
Byth dyfu, Arglwydd, yno.

17 Dy anwyl blant, y rhai sydd un,
Ti wyt dy hun yn galw,
Y ffynnon lân, a hon dan sêl,
Yn ddirgel, o ddwfr glöew.

18 O nâd i weision uffern ddu
Gael llygru'r ffynnon rasol;
Ond cariad yma, o'r nefoedd fry,
Fo 'n tarddu yn dragwyddol.

19 O Iesu mwyn, dy gariad rho,
Na âd dan glô y galon;
Ac yna awn ymlaen heb gryn,—
Daw terfyn ar ymryson.

20 Cynnydda ein cariad yma, er da,
Pereiddia, pura 'i berchen;
Ac yn dy gariad gâd i'n gael,
Yn hyfryd, ddiffael orphen.

Mae yr emyn ganlynol ar yr un testun, ac yn dwyn enw Morgan Jones, ond nis gwyddom ai y Gŵr Eglwysig, M. I. rhif. 3, oedd efe, ynte cynghorwr o'r enw ymhlith Methodistiaid boreuol Sir Fynwy. Gwel *Methodistiaeth Cymru*, cyf. III., tu dal. 371; cyf. I., 488.

BRAWDGARWCH AC UNDEB.

1 O ddelw 'r cariad pur a'r pwyll,
Gwna in' dy garu yn ddi dwyll;
Ac felly, o gariad arnat, Dduw,
Y carom bawb fo 'n duwiol fyw.

2 Gwna i ni brofi ynom ffydd,
Ac yna gwelwn di bob dydd;
Ac felly carwn di yn well,
A'th blant yn agos ac ymhell.

3 Dy hen orchymyn yw o hyd,
In' garu 'n gilydd ar bob pryd;
A'th lân orchymyn, newydd, clir,
Bod i ni garu o galon bur.

4 Bydded dy gariad peraidd, llôn,
Fel *posi* hardd-deg yn ein bron;
A than dywyniad haul y nef,
Tŷn ni mewn undeb tua thref.

5 Gwna iddo losgi megys tân,
Nes delom oll i'r nefoedd lân,
Tu hwnt i brofiad gelyn câs
Byth oeri gwrês ein huchel ras.

6 Tydi a'n ceraist ni er cynt,
Cyn bod na daear, dŵr, na gwynt,
Pâr in' dy garu di o hyd,
Tra fyddom yma yn y byd.

7 O Arglwydd, clyma ni mewn hêdd;
Na thôred hyny hyd y bedd;
Ac yna deuwn, dan dy nôd,
O'th flaen, byth i fwynhâu dy glod.

8 Na âd i ddiafol, mewn un wêdd,
Wneyd unrhyw rwygiad hyd y bedd,
Rhwng neb o'th blant, O anwyl Dduw,
O dan ba enw byna 'n byw.

9 Nâd i angharied fel dŵr oer,
Neu fel llong-ddrylliad ar y môr,
Ddiffoddi fflam dy gariad drud,
Sy 'n cadw 'th eglwys fyth yn nghyd.

10 Mewn cariad pur gad i ni fod,
Ac felly byddwn dan dy nôd:
O gwlawia hwn, cyn myn'd i bant,
Yn foreu, yma, ar dy blant.

Awdwr y nesaf o'r Hymnau Duwiol hyn oedd "Mr. Daniel Rowlands," sef y Parchedig Daniel Rowlands, Llangeitho. Ganwyd ef yn 1713, yn mhlwyf Llancwnlle. Yr oedd ei dad yn berson y plwyf hwnw a Llangeitho. Cafodd Rowlands ei ddwyn i fyny yn athrofa Henffordd, lle y cynnyddodd mor gyflym mewn dysg a gwybodaeth, fel y derbyn-

iodd urdd dïacon yn 18 oed, a'i gyflawn urddau yn 20 oed. Dywedir ei fod yn ddyn ieuanc yn dra heinif a gweisgi, o faintioli cyffredin, yn gadarn o wneuthuriad, ac yn rhagori braidd ar bawb mewn pob math o gampau a chwareuon ofer yr oes. Gwyllt ac anystyriol oedd efe yn ei ieuenctyd, ond ryw dro, pan oddeutu 24 neu 25 oed, aeth i wrandaw y Parchedig Griffith Jones, Llanddowror, yn pregethu yn Llanddewi Brefi, ac effeithiodd y bregeth yn ddwys arno, yr hyn a ddybenodd yn ei dröedigaeth. Dechreuodd bregethu yn effro a thanllyd yn ei blwyfi ei hun, ac yn yr ardaloedd o amgylch, pa le bynag y byddai galwad am dano. Daeth yn fuan i gydnabyddiaeth â Howel Harris a George Whitefield. Yr oedd yn gwasanaethu Llangeitho, Llancwnlle, a Llanddewi Brefi. Yn yr eglwys olaf, yr hon a gynnwysai o ddwy i dair mil o wrandäwyr, y byddai y cynnulliadau mawrion yr amser hwnw. Cafodd ei droi allan o'i eglwysi yn 1763, o herwydd ei fod yn arfer teithio o amgylch y wlad i bregethu. Mewn canlyniad i hyn, adeiladwyd capel ëang iddo yn Llangeitho, lle y preswyliai, yr hwn a elwid "Yr Eglwys Newydd," ac yno y bu yn gweinidogaethu yn benaf hyd ddiwedd ei oes. Bu farw Hyd. 16, 1790, yn 77 mlwydd oed.* Cyfansoddodd rai Hymnau yn ei ddyddiau boreuol, y rhai sydd yn dilyn ei draethawd ar "Farw i'r Ddeddf," a rhai argraffiadau o'i bregethau. Nid oedd efe ond prydydd bychan, er ei fod yn bregethwr mawr, yn un o'r rhai mwyaf yn ei oes, os nid mewn unrhyw oes. Cyfansoddodd ei Hymnau at wasanaeth y cymdeithasau crefyddol, fel y lleill o'r *Hymnau Duwiol* hyny.†

HYMN Y PERERINION.

1 Wele, at Dduw trafaeliwn ni,
Ei Ysbryd cu a'n galwodd;
Dilyn yr ŷm ol traed ei blant,
Mae arnom chwant ymddattodd.

2 Yn mhell, trwy ffydd, y gwelwn Oen,
Ar ben bryn Sïon uchel,
Yr Iesu yw, fe 'n geilw 'n mlaen
I'w gorlan, ac i'w deml.

3 Yn goch i gyd, o'i ben i'w draed,
Mae fel y gwaed i'w weled;
Fel newydd ladd, yn gwaedu mae,
I'n rhyddhâu o'n caethiwed.

4 Ffarwel, dwyllodrus fyd, ffarwel,
I Ganaan gwêl ni 'n myned;
Trafaelu 'r ŷm, trafaelu wnawn
At Dduw, ni gawn ei weled.

5 Ein Harglwydd Dduw, mae ganddo le
I ni, medd Ef ei hunan;
Wele ni 'n dyfod, Iesu mwyn,
Gollwng dy ŵyn i Ganaän.

6 Os felly y mae, O Dad, amen,
Ni a fyddwn lawen ddynion;
Ti 'n ceraist ni, preswylio cawn
Mewn gwlad yn llawn bendithion.

Mae yr awdwr, yn niwedd y pennill blaenaf, trwy fath o drwydded farddonol, yn rhoddi *ymddattodd* (dadymdoddi) yn lle y gair *ymddattod* (2 Tim. iv. 6), sef dattod yr undeb rhwng yr enaid a'r corff yn marwolaeth. Yn y Traethodydd am 1867, Llyfr xxii. td. 163, ceir emyn arall o'i waith; ac yn niwedd y pennill blaenaf o hóno ceir yr ymadrodd "dy gariad mau," lle yr ymddengys nad oedd efe y pryd hyny yn deall ystyr y rhagenwau meddiannol *mau* a *tau*. Buasai y frawddeg yn gywir pe d ysgrifenasid "y cariad tau,"—dy gariad di, gan mai at ail berson unigol y cyfeirir, sef at Wrthddrych gweddi. Ychydig oedd manteision yr oes hóno i ddeall gramadeg yr iaith. Dyma un eto o'i gyfansoddiad yn deilwng o sylw.

* Gwel Hanes ei Fywyd, gan y diweddar Barchedig John Owen, Thrussington.
† Gwel *Llyfryddiaeth y Cymry*, rhif 3, 1742; 2, 1743; 7, 1744.

DEDWYDDWCH Y NEF.

1 Caersalem, dinas Duw,
Lle hyfryd, llawen, llôn,
Fy nghartref dedwydd yw;
Pa bryd y dôf i hon,
Sy a'i dysglaer byrth yn berlau oll,
A'i mur di goll,—adeilad Iôn?

2 Holl flodau d' erddi gwiw
Ynt hardd a pheraidd iawn;
Hyfrydol yw eu lliw,
Un wedd eu ffrwythau llawn,
Sy'n pyngo i'r llawr, yn ngardd Duw Nef,
Aroglau pêr dy nefol ddawn.

3 Os mor rhagorol wych,
Fel hyn, yw 'r nefoedd fry,
Fy Arglwydd, pam nas câf,
Ar frys, ei gweled hi?
Pa ofn câs i'm lluddias sy
I anturio 'n hy' trwy angeu glâs.

4 D'od im' dy nefol râd,
Rho nerth dy Ysbryd hael;
Dŵg fi adref at fy Nhad,
O'm pererindod gwael,
Lle câf fwynhâu tragwyddol wledd,
Sabbothau hedd byth yn ddiffael.

5 Pa bryd y câf dy wel'd?
O tyred, f' Arglwydd da,
Yn nes-nes im' bob awr;
Fy Nuw, nac ymbellâ;
Ond derbyn fi; a than dy nôd,
Duw, gwêl fy mod, a thrugarhâ.

6 Fy Mhrynwr sy 'n y nef,
F' anwylaf hynaf frawd;
A'm llygaid gwelaf Ef,
Ar ol dyfetha 'm cnawd:
A chwithau oll, gyfeillion gwiw,
Sy 'n Nghrist yn byw, canmolwch Ef.

7 O Sion fawr ei chlod!
Dedwyddwch sydd yn hon;
Ni fydd trallodau 'n bod,
Pan ddelwyf ger ei fron,
I gânu 'n mhlith cymdeithion da
Halelwiah, o fawl i'r Iôn.

8 Gogoniant fo i'r Tad,
Hyd entrych nefoedd wèn;
Boed felly i'r Mab rhad,
Ein Prynwr pur a'n Pen;
I'r Ysbryd Glân gogoniant byth,
Trwy barch di lyth: Amen, Amen.

Mae yn eglur mai efelychiad o "*Jerusalem, my happy home,*" yw hon. (Gwel hanes hono yn y Traethodydd am 1868, td. 450—452.) Codasom hi yma o adlun ysgrifenedig yn yr hen lyfr y soniasom am dano o'r blaen, rhif 6: yr un yw â'r ddwy gyntaf yn dilyn ei Bregethau.

Yr olaf o'r emynwyr Methodistaidd boreuol hyn yw Herbert Jenkins. Mae yn debyg fod y gŵr hwn yn un o'r rhai a ddeffröwyd trwy Howel Harris yn mlynyddau cyntaf ei weinidogaeth. Ymddengys ei fod wedi cael addysg, a'i fod yn alluog i lefaru yn Gymraeg a Saesoneg, ond nid oedd mewn urddau eglwysig. Ceir ei enw yn flaenaf ar restr y cynghorwyr cyhoeddus, y rhai a benodwyd yn rheolaidd i lafurio mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa gyntaf, yr hon a gynnaliwyd, Ion. 5 a'r 6, 1743, pryd yr oedd yr enwog George Whitefield yn Gymedrolwr. Mae yn amlwg ei fod ef, a'r brodyr eraill a dderbyniwyd ar yr un pryd, yn llafurio cyn hyn mewn undeb â Harris, ond nid oedd un cynllun rheolaidd wedi ei ffurfio hyd y pryd hwn. Mewn cyfarfod dilynol, pan y trefnwyd fod i bob un o'r cynghorwyr cyhoeddus gymeryd ynghylch 12 neu 14 o'r cymdeithasau crefyddol dan ei arolygiad, gyda chynnorthwy y cynghorwyr anghyhoedd, ac i ymweled â hwy ddwywaith yn y mis, penodwyd Jenkins, ac un arall, i gynnorthwyo Harris yn yr ymweliadau cyffredinol â'r cymdeithasau oll yn Nghymru, ac yn Lloegr hefyd. Ni ddewisid neb i'r swydd hon, y rhai oeddynt arolygwyr dan Harris, ond gwŷr o brofiad dwfn, a barn bwyllog, y rhai oeddynt yn wir deimladol o'u gwendid eu hunain, a'u cyfrifoldeb mawr. Yr oedd Jenkins yn bresennol yn y Gymdeithasfa nesaf, Ebrill 6. Mae Harris mewn llythyr at Whitefield, Chwef. 12, yn canmawl y cynghorwyr boreuol hyn fel y canlyn:—"Mae y cynghorwyr yn arddangos ysbryd tra hynaws, pob un yn cadw ei le, ac y mae undeb a chariad hyfryd yn

ein plith, a chymerir gwell gofal am yr ŵyn nag erioed. Mae effeithiau grymus yn dilyn llafur y gweinidogion a'r cynghorwyr yn eu gwahanol leoedd. Mae yr Arglwydd yn bendithio y brawd Herbert Jenkins yn fawr. Gwelais ef yr wythnos hon ar ei ddychweliad o siroedd Penfro, Morganwg, a Chaerfyrddin. Mae yn cael ei arddel, ei hoffi, a galw am dano yn gyffredinol; ac os na fydd ei alwad i swydd Wilt yn bur eglur, nid wyf yn meddwl y dylai efe fyned, oddieithr yn achlysurol, yn enwedig gan fod y brawd Adams yn dyfod ymlaen mor ddymunol. Ond bydd i'r brodyr Beaumont, T. James, Jenkins, a minnau, ysgatfydd, ar gylch, ymweled â'n brodyr y Saeson, os gelwir am danom, ac y gwelwn fod ein Hiachawdwr yn ein bendithio yn eu plith."* Yn Hanes Bywyd yr Iarlles o Huntingdon,† dywedir i Jenkins ymuno â chymdeithas Mr. Wesley yn 1743, ac iddo deithio yn y cytundeb hwnw am rai blynyddau gyda dyhewyd a llwyddiant mawr. Yr oedd yn bresennol yn ail gynnadledd y Methodistiaid Wesleyaidd yn Bristol yn 1745, ac y mae yn cael ei enwi yn olaf ar restr y pregethwyr teithiol. Ond y mae yn debyg nad oedd efe wedi ymadael â'i hen frodyr, a'i fod yn parhâu i'w gwasanaethu fel y byddai cyfleusderau yn caniatâu. Dywedir ymhellach iddo ymuno drachefn â Whitefield, a llafurio mewn cysylltiad â Cennick, Adams, Godwin, ac eraill, yn nghyfundeb y Tabernacl. Pregethai yn fynych dros Mr. Kinsman yn Plymouth, gan yr hwn ei perchid yn fawr. Cawn ef mewn cymdeithasau perthynol i'w gyfundeb ei hun yn Bristol, Mawrth 20, 1744; ac yn y Tabernacl, Llundain, yn 1745, pryd y trefnwyd iddo gymeryd lle Harris ar ol y gwyliau hyd Chwefror, a dywedir i Harris ei dderbyn i'w gynnorthwyo ar ol llefaru wrtho yn ofalus ar ddirgelwch Duwdod y Gwaredwr. Cawn ef drachefn gyda Harris ac eraill mewn cymdeithasfa yn Bristol, Mawrth 7, 1746, pryd y trefnwyd iddo aros yn y Tabernacl, Llundain, hyd Mai, pryd yr oedd Harris i gymeryd ei le. Yr oedd J. Wesley a rhai o'i gynnorthwywyr yn y Gymdeithasfa hono, a phenderfynwyd yno, os pregethent yn achlysurol, y naill ymhlith pobl y llall, y byddai iddynt ymdrechu i gadarnhâu yn hytrach na gwanychu dwylaw eu gilydd, ac i ragflaenu ymraniad yn y gwahanol gymdeithasau. Cyttunwyd y dylent fod yn ofalus i amddiffyn cymeriad eu gilydd. Pa hyd y parhäodd Herbert Jenkins i lafurio yn y modd hwn, nis gallasom gael allan, gan nad ydym yn cael yr enwau yn y cofnodau o'r cymdeithasfäoedd dilynol. Dywedir iddo lafurio llawer yn Nghymru; ond pa bryd a pha le y gorphenodd ei yrfa, nid yw yn hysbys. Ar ol i'r Gymdeithasfa Gymreig fyned yn fwy ar ei phen ei hun, mae yn debyg iddo ef ymlynu wrth y cyfundeb Seisonig, ac fe allai ymsefydlu yn raddol ar ryw gynnulleidfa yn Lloegr. Nid oes genym ond un Hymn y gallwn gyda sicrwydd ei phrïodoli iddo ef, sef hon, ynghylch

### CYNNYDD GRAS.

1 Mae holl air Duw, drych eglur yw,
Yn sôn, clyw, am gynnyddu
Mewn mwy o ffydd, â gafael brudd,
Yn y cariad sydd yn Iesu.

2 Mae 'r cnawd yn groes, os eir yn glos
I ddweyd bod achos cynnydd;
Ymestyn tua 'r nefoedd fry,
A thyfu rhywfaint beunydd.

* *Life and Times of Howel Harris, Esq.*, p. 97, 106. † *Life and Times of Selina, Countess of Huntingdon, Vol.* 1. *p.* 446.

3 Gwirionedd yw, ni âd gras Duw
Un enaid byw yn llonydd,
Heb gael mwynhâd o'r Iesu mâd,
A dweyd, Fy Nhad, fy Arglwydd!

4 Rho nerth, O Dad, dy Ysbryd rhad;
Gâd ini gael ein helpu
I dd'od ymlaen, trwy ddwfr a thân,
Rai egwan, i gynnyddu.

5 Rho'th allu 'n rhâd, i ddweyd, Fy Nhad!
I bob rhyw enaid ofnus;
A gwêd, O clyw, mae iti 'n Dduw,
Gâd ini fyw 'n gysurus.

Ymddengys ei fod hefyd wedi cyfieithu rhai o hymnau John Cennick, o'r Saesoneg, y rhai a argraffwyd gyda hymnau ei frawd, David Jenkins, dan yr enw "Hymnau ar amryw Ystyriaethau, gan amryw Awdwyr." Bristol, 1744.—(*Llyfryddiaeth y Cymry*, td. 398). Ond ni buom mor ffodus a gweled y llyfryn hwn. Nis gwelsom chwaith y rhai canlynol:—"Hymnau Detholedig, &c.," wedi eu "diwygio yn yr ysgrifenyddiaeth a'r brydyddiaeth," &c." (Ib. 9. 1745); "Cerdd Sïon, &c." (Ib. 13, 1745); "Llyfr bychan o Hymnau, &c.," (Ib. 24, 1745); a Hymnau John Richard (Ib. 6 a 7, 1748). Yr oedd y gŵr hwn yn un o gynghorwyr boreuol y Methodistiaid, ac yn arolygwr. Gwel *Methodistiaeth Cymru*, Cyf. I., 175, 178, 182. Yr ydym yn gwneyd y cyfeiriadau hyn, fel y gallo y sawl sydd yn meddu copïau o rai o honynt eu gwneyd yn hysbys mewn rhyw ddull neu gilydd. Yr ŷm yn tybied bod yn llawer hawddach eu cael yn y Deheubarth nag yn y Gogledd.

---

# IWERDDON.

MAE hanesiaeth foreuol Iwerddon bron yn llwyr ordöedig gan dywyllwch, a'r cwbl a wyddys i sicrwydd yw, ddarfod i lwyth o'r cŷff Celtaidd ei oresgyn yn dra bore; ond am yr amser a'r modd y gwnaeth, nid oes ar gael ond cyfres o chwedlau a dyfaliadau diawdurdod. Gan mai o'r teulu Celtaidd y tardd y genedl Hiberniaidd neu Wyddelig, perthynant yn agos i breswylwyr Cymru. Yn yr hen amseroedd, ymddengys y rhenid y wlad yn fân freniniaethau rhwng gwahanol dywysogion neu benaduriaid. Hòna chwedl-haneswyr henafiaeth aruthr i'w hanesyddiaeth, o herwydd ânt hwy mor bell yn ol ag hyd yn nôd heibio y diluw, â dyddiau Bamba, ferch Cain, fab Adda; dywedant hefyd yr adboblogwyd hi ar fyrder ar ol y diluw, yn ol un chwedl o'r eiddynt, trwy i ŵr o'r enw Bith ymguddio yn arch Noah; ac yn ol chwedl arall, trwy i dorf fawr o'i chynddiluwiaid hi gael eu hail fywhâu. Rhifir un ar ddeg a phedwar ugain o frenhinoedd wedi teyrnasu arni yn olynol cyn dyfodiad Crist. Fodd bynag, nid oes ddadl na phoblogwyd hi yn fore, o herwydd mae ei gweddillion henafiaethol yn profi hyny, maint a chywreinrwydd y rhai a brawf fedrusrwydd, gwareiddiad, a gallu cenhedlaethol boreuol

uchel. Crefydd gyntefig y preswylwyr, fel yr ymddengys, oedd Derwyddiaeth, fel eiddo eu perthynasau Celtaidd; ond yn y bummed ganrif dygwyd Cristionogaeth i'r wlad gan Padrig Sant. Hyd y nawfed ganrif, nid ymddengys y buasai nemawr o ymwneyd, yn olynol na chyfeillgar, rhwng ei brodorion âg unrhyw genhedloedd eraill, yr hyn a barai eu bod hyd hyny yn neillduol bur a thrwyadl Geltaidd; a hònir eu bod ar y pryd hwnw yn uwch mewn gallu a gwareiddiad cenedlaethol na neb o'u cymydogion, er fel y Cymry ac eraill, yn ymrafaelio yn aml yn eu mysg eu hunain. Yn y ganrif hono ymosododd y Daniaid arnynt, a thrwy lawer o ymladdfëydd gwaedlyd, aethant yn orchfygwyr lled gyflawn arnynt. Yn y ddegfed ganrif, cyfododd tywysog ieuanc gwrol o'r enw Brian Boru, yr hwn a orchfygodd y Daniaid, ac a goronwyd yn frenin holl Iwerddon, ac anwylir ei enw gan y genedl hyd y dydd heddyw, o herwydd ei wrhydri ardderchog, yn gystal ag na fedd enw un brenin arall sydd wedi teyrnasu ar y wlad oll. Yn y ddeuddegfed ganrif, rhoddodd y Pab Adrian y IV., yr unig Sais a fu erioed yn Bab, ganiatâd i Harri II., Brenin Lloegr, i'w darostwng; ac yn gymaint ag iddi gael ei darostwng i Loegr wrth arch y Pab anffaeledig, nid cyson yn ei Phabyddion fod yn annheyrngarol. Cafodd Harri esgus i anfon ei fyddinoedd drosodd trwy i'w gymhorth gael ei ofyn gan Dermot, un o'i brenhinoedd, yr hwn a ladratasai wraig O'Ruarc, un arall o'i brenhinoedd, yr hyn a achlysurasai ryfel gwaedlyd rhwng y ddau; a dyna ddechreuad dyfodiad y Saeson i'r Iwerddon. Wedi cadw gafael ddigoll o'r Saeson ynddi am y canrifau dilynol, ar ddechre y ganrif hon, sef yn 1801, ffurfiwyd a chadarnhäwyd cyttundeb er effeithio ei llwyr uniad â'r Deyrnas Gyfunol, yn ol yr hwn gyttundeb y mae Iwerddon, Scotland, a Lloegr, i fod, o hyn allan, yn dair teyrnas gyfunedig ogyfuwch.

Y mae hanes diweddar Iwerddon wedi bod yn un tra nodedig. Ymysg gwledydd yn blodeuo ac yn ffynu, mae Hibernia wedi bod er ys cyfnod maith yn llawn gwywdra ac anesmwythder. Wrth edrych arni yn ei chyflwr adfydus, mae rhai wedi bod yn ddiystyr, eraill yn dirmygu, ac ychydig yn tosturio. Mae amryw feddygon enwog wedi bod uwch ben ei hachos er ys amser maith, ond naill ai o herwydd anfedrusrwydd, neu ynte ddifaterwch, mae ei hachos hynod ymhell eto o gyraedd sefyllfa foddhäol. Os gall y cyfryw feddygon ddywedyd ei bod lawer yn well mewn rhai ystyriaethau, rhaid iddynt addef ei bod lawer yn waeth mewn ystyriaethau eraill. Hòner a hòner, nis gall gwlad a gyll ei phreswylwyr fesur *miliynau* fod mewn cyflwr boddhäol. Cyhoedda rhai ei hachos yn anfeddyginiaethol, a thrônt eu cefnau arni; ond hòna eraill fod ei hachos yn gwbl obeithiol, er yn gofyn llawer o fedr a dyfalwch. Ac er y gwyddom yn dda mor enwog ydyw meddygon am addaw a hòni, er mwyn elw a chlod, ac er y crochlefir yr un cyhuddiad yn nghefn y meddygon a gyhoeddant eu gobaith am adferiad Iwerddon glaf, eto ni fedrwn, rywfodd, beidio mawr hoffi rhesymau y rhai hyn dros eu gobaith. Gofynir ai nid yw yr Hiberniad mewn rhai gwledydd yn gyfartal ymhob peth i neb a breswylia y gwledydd hyny. Gofynir eilwaith ai ni fu Iwerddon unwaith yn cryfhâu ac yn cynnyddu yn gyfartal i neb o'i chymydogion. Rhoddir yma daflen nas gall lai na bod yn dra awgrymiadol.

YSTADEGAU POBLOGAETH IWERDDON AR WAHANOL AMSERAU.

| Blwyddyn. | Poblogaeth. | Cynnydd. | Lleihâd. |
|---|---|---|---|
| 1672 | 1,320,000 | — | — |
| 1695 | 1,034,102 | — | 285,898 |
| 1726 | 2,309,106 | 1,275,004 | — |
| 1754 | 2,372,634 | 63,528 | — |
| 1767 | 2,544,276 | 171,642 | — |
| 1788 | 4,040,000 | 1,495,724 | — |
| 1792 | 4,088,226 | 48,226 | — |
| 1805 | 5,395,456 | 1,307,230 | — |
| 1814 | 5,937,856 | 542,400 | — |
| 1821 | 6,801,827 | 863,971 | — |
| 1831 | 7,767,401 | 965,574 | — |
| 1834 | 7,954,100 | 186,699 | — |
| 1841 | 8,196,597 | 242,497 | — |
| 1851 | 6,574,278 | — | 1,622,319 |
| 1861 | 5,798,967 | — | 775,311 |

Dengys y ffigyrau blaenorol ffaith nodedig. Yn y flwyddyn 1695, nid oedd nifer poblogaeth Iwerddon ond *un filiwn;* yn 1841, mae yn *wyth miliwn;* ond yn yr ugain mlynedd dilynol, disgyna *ddwy filiwn a chwarter!* Yn yr un cyfnod cynnyddasai nifer poblogaeth Lloegr *bedair miliwn;* ac yn ol cyfartaledd i eiddo y wlad hon, dylasai yr eiddo hithau gynnyddu *dwy filiwn;* a chynnyddasai y swm hwnw pe gwnaethai ond cynnyddu fel y gwnaethai hi ei hun mewn cyfnodau blaenorol. Erbyn yr adeg bresennol, dysgwyliasid cael nifer poblogaeth Iwerddon yn llawn *un ar ddeg o filiynau,* pryd nad yw ond *pump a hanner o filiynau;* mewn geiriau eraill, mae y cyfnod bŷr o chwarter canrif yn gadael nifer ei phoblogaeth ond hanner yr hyn allesid yn dêg ddysgwyl! Achoswyd y lleihâd anferth hwn gan lif o ymfudiaeth. O'r flwyddyn 1841 hyd 1851, ymfudodd 1,240,737 o bersonau; ac o 1851 hyd 1861, ymfudodd 1,163,418; a dengys ystadegau y blynyddau diweddaf fod dylifiad ymfudiaeth mor gryf yn awr ag y bu o gwbl, ac y canfyddir yn y cofrifiad nesaf, yn 1871, i filiwn gyfan arall o Hiberniaid adael eu mamwlad yn nghorff y deng mlynedd presennol! Dywedir yn wawdlyd nad yw yr ymdriniaeth bresennol ar amgylchiadau Iwerddon ond ffrwyth arswyd myntai o Ffeniaid gwallgof. Wel, poed felly! Da oedd i rywbeth ddygwyddo i ddwyn sylw ar amgylchiadau gwlad yn haeddu hyny mor gyfiawn ag un y *lleihâ nifer ei phoblogaeth wrth y miliynau.* Ac nid yw y lleihâd anferth hwn yn nifer y boblogaeth ond un o fyntai o anffodion a alwant yn uchel am ymdrech drwyadl a gonest i geisio adfer pethau yn y wlad helbulus hon. Awn bellach i geisio olrhain achosion ei dirywiad, yn gystal a'i hanfoddogrwydd.

Gwlad orchfygedig yw Iwerddon. Ni chofir y ffaith hon mor aml ag y dylid. Ni ddysgwylia y neb a ŵyr rywbeth am y natur ddynol weled pobl orthrechedig wedi dyfod yn ffyniantus a boddlawn ar unwaith. Nid yw cenhedloedd ond fel personau unigol. Ai nid gyda yr anfoddlonrwydd mwyaf y gedy pob dyn ei annibyniaeth yn llaw un arall? Nid digon i chwi orchfygu y dyn â phrofion fod ei fantais ef ei hun yn llawer iawn mwy wrth fod yn was i arall. Chwerwir mynwes y gweinidog gan fân feïau oddiar law ei feistr, y rhai y medrasai ddygymmod yn eithaf â hwy oddiar ei law ei hun yn feistr. Ac nid yw dyn byth yn

foddlawn mewn cyfranogaeth; annibyniaeth drwyadl yw dymuniad dwfn pob dyn, ac felly pob cenedl. Ni rydd cenedl byth i fyny ei hannibyniaeth ond gyda yr anewyllysgarwch mwyaf; a phan orfodir un i wneyd, bydd yn wywedig ac anhawdd ei llywodraethu am amseroedd maith. Daeth ambell genedl orchfygedig yn dyciannus a heddychlawn, ond yn araf, ac fel yr anghofiai ei cholled o'r trysor a anwyliai mor fawr. Cofiwn Gymru fach. Ni roddodd hi ei hannibyniaeth i fyny yn foddlawn, ac ni ddaeth ar unwaith dan law y gorchfygwyr yn wlad flodeuog a thangnefeddus. Erbyn hyn, mae adgof y Scotiaid a'r Cymry o'u hannibyniaeth neillduol bron wedi llwyr ddifianu, ond y mae yn deimlad byw a chwerw yn mynwesau y Gwyddelod fyth. A phaham y mae y Gwyddel mor hir yn anghofio peth ag y mae y Scotiad a'r Cymro wedi ei hen gladdu mewn ebargofiant? Yr ydym yn ofni mai y rheswm mawr am hyny ydyw y camdriniaeth creulawn y mae efe, trwy ganrifoedd o orthrwm, wedi ei dderbyn oddiar law ei orchfygwyr.

Dwy genedl â gelyniaeth rhyngddynt yw y Gwyddelod a'r Prydeinwyr. Edrycha yr Hiberniaid ar y Saeson yn draws-feddianwyr anghyfiawn o'u gwlad, ac edrycha y Saeson ar yr Hiberniaid yn genedl anwar a dirmygedig: cenhedloedd ydynt na fedrasant erioed ryfela â'u gilydd yn rheolaidd, namyn cigyddio eu gilydd yn ddidrefn a barbaraidd. Cofia un genedl yn barhäus mor fynych y goresgynwyd ei gwlad i fwrddro ei gwŷr, ei merched, a hyd yn nôd ei babanod diniwed; a chofia y llall fel y tòrai y gorchfygedig allan drachefn a thrachefn, i ymdrechu adennill eu rhyddid, gan dywallt mewn cynddaredd dialgar eu holl lîd ar y gorchfygwyr. Gyda y fath adgofion am weithrediadau eu gilydd yn aros yn eu mynwesau, nid yw mor ddyeithr nad yw eu cysylltiad â'u gilydd yn bobpeth a ddymunid, nac y cyhuddant eu gilydd—y naill o lywodraethu yn ddiofal ac anghyfiawn, a'r llall o ufuddhâu yn wrthnysig ac annheyrngarol. Ac nid têg na chyfiawn i'r naill ddysgwyl i'r llall anghofio beïau, ond fel y gwna hithau hyny. Tra y pery y Prydeinwr i edrych ar y Gwyddel gyda dirmyg a chasineb, ni fydd ond naturiol iddo yntau edrych ar y Prydeinwr gyda diystyrwch a dygasedd. Wedi nodi fel hyn yn rhagarweiniol y ddwy ffaith bwysig hyn—sef mai gwlad orthrechedig yw Iwerddon, ac fod ei phreswylwyr a'u gorchfygwyr ymhell o deimlo yn dda at eu gilydd—dwy ffaith a ddylent gael eu cofio yn fynychach—gallwn symud i dir arall yn ein hymchwiliad.

Un o achosion mwyaf cynnyrchiol anfoddlonrwydd Iwerddon ydoedd anghydraddoldeb crefyddol. Rhoddwyd i'r Eglwys Esgobol ei huchafiaeth a'i gwaddol heb y cydsyniad lleiaf oddiwrth y Gwyddelod, a hyny gan eu gorchfygwyr a'u gelynion, a chyda, yn un o'r prif amcanion, ddenu estroniaid i'w plith, yr hyn bob amser a fu yn dra anghymeradwy ganddynt. Ac nid Cymru Ymneillduol yw Iwerddon Babyddol. Mae Ymneillduwyr Cymru wedi bod yn gweithio yn ddystaw waith y dylasai Eglwys yr uchafiaeth a'r gwaddol fod wedi ei wneyd, ond nid felly Pabyddion Iwerddon. Wrth feddu dygasedd gwreiddiol at yr Eglwys a feddiannai yr uchafiaeth a'r gwaddol, a dygasedd gwreiddiol eilwaith at ddeiliaid yr Eglwys hono, mae Pabyddion Iwerddon wedi bod bob amser yn llawn chwerwder a digofaint; ac wrth gyfrif y wlad hono yn eiddo neillduol iddynt hwy, ac i fod felly, ffieiddient eu hisafiaeth yn anfesurol fwy. Ac nid y peth lleiaf i gynhyrfu dygasedd pobl Iwerddon

i'w eithafion tuag at yr Eglwys Esgobol, a fu ei hòniadau ynfyd a disail. Gwyddom rywbeth am hòniadau gwallgof yr Eglwys yn Nghymru, a pha mor dueddol i gynnyrchu diystyrwch y maent wedi bod. Hònir mai yr Eglwys Sefydledig yw gwrthglawdd y wlad rhag cael ei gorlifo gan Babyddiaeth, annuwiaeth, a phob ysgelerder pechadurus arall, tra y mae hi ei hun yn gronfa o'r drygau a'r cyfeiliornadau erchyllaf. Haerir mai yr Eglwys a estynodd ac a amddiffyna y rhyddid—hyny yw, y "goddefiad"—a fedd Ymneillduwyr i addoli yn ol llais eu cydwybodau, yr hyn nid yw amgen na cheisio lladrata anrhydedd a berthyn yn unig i allu arall, nid amgen senedd Lloegr; ac y mae yn wirionedd gofidus i'w adrodd, sicrhäwyd a noddir pob breintiau a fedd Ymneillduwyr, er gwaethaf Eglwys Loegr. Priodolir holl lwyddiant dirfawr Ymneillduaeth i'r Eglwys Sefydledig, tra y mae hi ei hunan wedi aflwyddo, hyd gael bron ei llwyr a'i hollol esgeuluso a'i hanghofio. Cyhuddir Ymneillduaeth Cymru o addysgu pob anfadwaith a drygioni i'r bobl, o fagu ei phlant yn anwariaid perffaith, ac o ddwyn i fyny ei merched hawddgar "bron heb un eithriad, yn anniwair;" ïe, gelwir hi yn "felldith Cymru;" a thrachefn ymffrostir mai yr Eglwys Sefydledig yw ei nawdd a'i hattegydd i gyflawni ei holl weithredoedd. Os oes rhyw gyfrinystyr yn bod yn ôl yr hwn y gellir yn dêg edrych ar yr Eglwys Sefydledig yn gefn ac amddiffyn i Ymneillduaeth, cyll pob hawl a theilyngdod i ddiolchgarwch yn ei gelyniaeth ddofn tuag ati. A thra y cofia Ymneillduaeth y brwydrau meithion a chelyd a ymladdwyd i ennill iddi ei hiawnderau cyfiawn a chyfreithlawn, ai ni thuedda hòniadau gorphwyllog a sarhäus yr Eglwys Sefydledig i greu dirmyg ac anghariad tuag ati? Maent wedi creu *dibrisdod* yn mynwesau Ymneillduwyr Cymru; maent wedi creu *dygasedd ffyrnig* yn mynwesau Pabyddion Iwerddon. A gallwn sicrhâu ffaith arall, sef ddarfod i'r Eglwys Esgobol yn Iwerddon, trwy ei huchafiaeth, ei gwaddol, a'i hòniadau, yn lle bod yn amddiffyn a gwrthglawdd i'w chydenwadau Protestanaidd, fod yn rhwystr ac attalfa anfesuradwy ar ffordd eu llwyddiant hwythau, o herwydd pan y casai y brodorion Pabyddol hi, casäent hefyd bob enwad Protestanaidd; ac oni buasai am elyniaeth ddofn yr Hiberniaid at y chwaer hynaf, llwyddasai cenadaethau y chwïorydd ieuangach yn llawer mwy gyda hwy. Gosodwn ger bron yn awr daflen nas gall lai nag arddangos ar unwaith nad oedd yn ddichonadwy i anghydraddoldeb crefyddol beidio esgor ar fynteioedd o ddrygau, a llenwi Iwerddon âg anfoddlonrwydd.

YSTADEGAU DIRPRWYWYR Y LLYWODRAETH O NIFER PLEIDIAU CREFYDDOL IWERDDON YN 1861.

| | Cyfanswm. | Nifer y cant. |
|---|---|---|
| Pabyddion | 4,505,265 | 77 |
| Eglwys Esgobol | 693,357 | 11 |
| Henaduriaethwyr | 523,291 | 9 |
| Enwadau eraill, sef Wesleyaid, Annibynwyr, Bedyddwyr, &c. | 76,661 | 1 |

Ar adeg dadsefydliad a dadwaddoliad yr Eglwys Esgobol yn Iwerddon, nis gellid dwyn ymlaen resymau safadwy a thêg paham na ddylesid gwneyd hyny. Ni feiddid dywedyd fod yn gyfiawn i'r Hiberniaid

anghenus gynnal eglwys nad oedd ei deiliaid ond prin 1 o bob 10 yn eu mysg, ac nad oedd a fynent â hi. Ceisid dadleu y dylasai Protestaniaeth fod yn sefydledig a gwaddoledig yn Iwerddon dlawd yn arbenig; ond atebid y cyfryw ddadl yn derfynol gyda y ffaith fod yr enwadau Protestanaidd ansefydledig ac anwaddoledig yn llwyddo yno eisoes yn llawer iawn mwy. Yr unig ddadl, gan hyny, a feddai y rhith lleiaf o sail yn erbyn dadsefydliad a dadwaddoliad yr Eglwys Esgobol yn Iwerddon oedd, fod yn anghyfiawn yn y Llywodraeth gymeryd ymaith yr hyn a roddasai iddi unwaith, ac y gadawsai iddi ei fwynhâu am gyhyd o amser; ond atebid y ddadl hon â'r gosodiad têg fod yn berffaith gyfiawn yn y Llywodraeth gymeryd ymaith yr hyn a ddyry, pan eilw llesiant cyffredinol am hyny.

Nid allesid ymresymu yn erbyn dadsefydliad a dadwaddoliad Eglwys Esgobol Iwerddon o herwydd unrhyw lwyddiant a gyrhaeddasai. Gan na wnelid ystadegau cyflawn yn yr hen amseroedd o sefyllfa enwadau Iwerddon, mae yn anmhosibl dangos yn fanwl pa beth a wnaed gan, na pha faint a fu, cynnydd yr Eglwys Esgobol. Dywedai Iarll Granville yn nhŷ yr Arglwyddi, Mai 14eg, 1869, wrth gynnyg ail-ddarlleniad "Mesur yr Eglwys Wyddelig," y cafwyd y wlad yn cynnwys 131 o deuluoedd Protestanaidd ar gyfer pob 305 o deuluoedd Pabyddol, yn ol cofrifiad a wnaeth y llywodraeth Seisonig yn 1767; ond nis gwyddys pa faint o'r 131 teuluoedd hyny a berthynent i'r Eglwys, a pha faint i'r Ymneillduwyr Protestanaidd; mae yn hysbys fod nifer yr Ymneillduwyr Protestanaidd yn dra bychan y pryd hwnw, a thybiem na chyfeiliornem lawer pe rhoddem 100 o'r 131 hyny yn deuluoedd Eglwysig. Felly, yn ol cyfrifiad y Llywodraeth yn 1767, yr oedd deiliaid yr Eglwys yn Iwerddon yn 1 o bob 4 o'r Pabyddion; hyny yw, o bob 436 o deuluoedd, yr oedd 100 yn Eglwyswyr, 305 yn Babyddion, a 31 yn Ymneillduwyr. Ond yn ol cofrifiad y Llywodraeth yn 1861, cyfartaledd deiliaid yr Eglwys Esgobol oedd 1 o bob 10 o'r boblogaeth, yr hyn sydd yn dangos *lleihâd* mawr. Ond gan nad ellid pwyso llawer ar ystadegau yr hen amseroedd, cymerid ffordd arall i olrhain yr hyn a wnaethai yr Eglwys Esgobol yn Iwerddon. Hònir am Eglwys gyntaf Iwerddon, fel y sylfaenwyd hi gan Padrig Sant yn y bummed ganrif, ac am yr un a fu yn meddiannu y wlad yn ddilynol, ei bod yr un â'r Eglwys Wyddelig bresennol, sef yr Eglwys Esgobol; felly esbonia llwyddiant yr Eglwys hon ei hun trwy y ffaith nad yw ei deiliaid yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg ond y ddegfed ran o'r boblogaeth. Os bu yr Eglwys Esgobol yn unig eglwys Iwerddon, fel yr hònir, yna y mae, nid wedi *ennill* y ddegfed ran o'r boblogaeth, ond yn hytrach wedi eu *colli* ond y *ddegfed ran*. Ac wrth edrych ar nifer bychan deiliaid yr Eglwys Esgobol yn Iwerddon, dylem gofio ymhellach ei fod yn gynnwysedig o Saeson, Scotiaid, ac eraill o darddiad estronol, ac felly fod hyd yn nôd y ddegfed ran o boblogaeth wirioneddol y wlad ymhell o fod yn eiddo iddi. Pe tỳnid allan yr oll ydynt o darddiad estronol, y rhai a wnant i fyny ran mor fawr o ddeiliaid yr Eglwys Esgobol yn Iwerddon, dïau na fyddai cyfartaledd y nifer gweddill uwchlaw 1 o bob 15 o'r boblogaeth,

Dangosid aneffeithiolrwydd ac aflwyddiant Eglwys Esgobol Iwerddon, gyda'i huchafiaeth a'i gwaddol mawr, mewn ffordd arall. Profid na fu ei huchafiaeth ond creydd ffieidd-dod a dygasedd; na fu ei chysylltiad

â'r llywodraeth ond casglydd pob math o gyfeiliornadau o'i mewn hi ei hun; ac na fu ei gwaddol ond achosydd diofalwch a segurdod. Ceisiai pleidwyr gwaddol ddangos angenrheidrwydd arbenig am dano mewn gwlad dlawd a Phabyddol fel Hibernia; ond profid o'r ochr arall, ei fod yn achlysur i dynu allan fel ymgeiswyr am y weinidogaeth, yn unig bron rai wedi eu magu mewn moethau ac esmwythyd, ac heb ddymuno ond yn unig am barhâd o'r cyfryw fywyd; a chyda y fath weinidogion, er gyda rhai eithriadau anrhydeddus, nad oedd yn ddichonadwy i'r Eglwys Esgobol lwyddo llawer yn Iwerddon. Ond i adael heibio ganlyniadau niweidiol uchafiaeth, gwaddol eglwysig, a chysylltiad crefydd â llywodraeth, edrychwn yn unig pa mor hollol ddifudd fu y naill a'r llall i'r Eglwys Esgobol yn Iwerddon. Cymerwn ffordd seml, sef cymhariaeth, i ddangos anfuddioldeb yr arfau tlodion a enwyd. Yn ol ystadegau y llywodraeth am Iwerddon yn 1861, yr oedd aelodau yr Eglwys Esgobol yn 693,357, neu 11 y cant o'r boblogaeth; ac eiddo yr Henaduriaethwyr yn 523,291, neu 9 y cant o'r boblogaeth. Gwelir nad oes ond gwahaniaeth bach rhwng eu nifer—yr Henaduriaethwyr wedi dyfod i'w nifer presennol mewn 300 mlynedd, yr eglwys mewn, nid 300 mlynedd fel yr hònir pan fyddo hyny oreu, ond fel yr hònir ar adegau eraill, mewn pedair canrif ar ddeg, sef er dyddiau Padrig Sant. Yn awr, os dywedir y derbyniai yr Henaduriaethwyr, hwythau, gymhorth gan y Llywodraeth, sef y 40,000p.—Rhodd Frenhinol—swm anghymharol lai nag eiddo yr Eglwys—ni wasanaetha adgofio hyny ond i awgrymu mai goreu *po leiaf* fyddo cymhorth llywodraeth i grefydd. Deuwn eto at ystadegau yr enwadau eraill i gymhariaeth âg eiddo yr Eglwys am y chwarter canrif blaenorol i gyfrifiad olaf y Llywodraeth. Yn 1834, cafodd dirprwywyr y Llywodraeth aelodau Eglwys Esgobol Iwerddon yn 853,160; ac yn 1861 wedi *lleihâu* i 738,756 (yn cynnwys yn y ddau gofrifiad aelodau y Wesleyaid, y rhai na fynent eu gwahanu); ac yn 1834, cawsant aelodau enwadau eraill (Annibynwyr, Bedyddwyr, Crynwyr, ac eraill) yn 21,822; ac yn 1861, wedi *cynnyddu* i 31,262; ac erbyn cyfrif lleihâd poblogaeth y wlad yn y cyfnod hwnw, dengys yr ystadegau crybwylledig i'r enwadau eraill gynnyddu yr hanner yn gyflawn, a chodi o fod yn 3 y cant o'r holl boblogaeth i fod yn 6. Oddiwrth yr ystadegau blaenorol, canfyddir yn eglur yn achos yr Eglwys Esgobol fod cysylltiad â llywodraeth, uchafiaeth, a gwaddol, yn niwed a rhwystr i grefydd; yn achos yr Henaduriaethwyr mai lle y bydd y cyfryw wanaf a lleiaf, y bydd y niwed a'r rhwystr leiaf; ac yn achos yr enwadau eraill mai goreu oll o lawer yw bod yn llwyr a hollol lân oddiwrth y naill a'r llall.

Nodwn un anhawsder pellach oedd ar ffordd pleidwyr yr Eglwys Esgobol Wyddelig i ddadleu yn erbyn ei dadsefydlu a'i dadwaddoli: profai Iwerddon ei hun allu ac effeithiolrwydd dirfawr a digonol yr egwyddor wirfoddol. Yn ofer yr haerid nad yw yr egwyddor hono i ymddiried ynddi; oblegid os nad ydyw i ymddiried ynddi, pa reswm ellir roddi, gofynid, ddarfod i'r enwadau eraill gynnyddu gymaint yn fwy na'r Eglwys, yn yr hanner canrif diweddaf yn Iwerddon? Ac os nad yw yn egwyddor i ymddiried ynddi (gallesid rhwng cromfachau ofyn), pa reswm ellir roddi ddarfod i Henaduriaethwyr Cymru ennill 2 o bob 10 o'r boblogaeth yn eiddo iddynt mewn canrif a hanner, ac i'r Annibynwyr ennill 2 eraill o bob 10 mewn un ganrif yn ychwaneg, tra y bu yr

Eglwys Esgobol, gyda'i gwaddol a'i huchafiaeth, dair canrif, a chyda holl fanteision yr enwadau eraill, bedair canrif ar ddeg, yn ennill ond 1 o bob 10 o boblogaeth Iwerddon? Ond yr oedd man arall yn Iwerddon i weled gallu yr egwyddor wirfoddol. Gosodwn yma rai ffigyrau a ddangosant yr hyn a wna gwirfoddoliaeth yn yr Eglwys Babaidd yn Iwerddon yn unig. Derbynia offeiriaid Pabaidd Iwerddon yn flynyddol 30,000p. oddiwrth gyffesiadau; 33,333p. oddiwrth fedyddiadau; 60,000p. oddiwrth enaint-fendithion a chladdiadau; 360,000p. oddiwrth brïodasau; 100,000p. oddiwrth weddïau dros rai yn y Purdan; 541,632p. oddiwrth gasgliadau wrth ddrysau eglwysi. Felly mae y swm anferth o yn agos i *filiwn a chant a hanner o filoedd o bunnau* yn cael eu cyfranu yn flynyddol gan y Gwyddelod tlodion at wasanaeth eu Heglwys Babaidd, yr hyn a rydd 365p. yn flynyddol, neu bunt y dydd ar gyfer pob offeiriad a gweinidog o'i mewn. Sieryd y ffigyrau uchod drostynt eu hunain am allu anferth gwirfoddoliaeth yn yr Eglwys Babaidd. Ac yr oedd ffaith nodedig arall a siaradai yn eglur a chröew o blaid dadsefydliad a dadwaddoliad, nid amgen mai y gwledydd y mae Pabyddiaeth fwyaf blodeuog ynddynt yw y rhai hyny y mae Protestaniaeth mewn uchafiaeth ac yn waddoledig ynddynt. Ni chynnydda Pabyddiaeth yn fwy mewn unrhyw wlad nag yn Lloegr, gyda'i Heglwys Sefydledig a gwaddoledig, ac ni leihâ lai mewn un wlad nag yn Iwerddon, gyda'i Heglwys sydd er ys cyhyd o amser yn meddu yr un gwrthgloddiau gwaelion. Gwir fod Pabyddiaeth yn lleihâu yn Iwerddon, ond yn araf, cyfaddefir. Yn 1834, yr oedd y Pabyddion yn 80 o bob cant o'r holl boblogaeth; erbyn 1861, yr oeddynt wedi lleihâu i 77 y cant; ac o'r 3 y cant a gollodd Pabyddiaeth yn y cyfnod hwnw, ni ennillodd yr Eglwys Sefydledig a gwaddoledig ond 1; cafodd yr enwadau Protestanaidd eraill y 2 gweddill. Nid fel hyn y saif pethau yn America, lle y cyferfydd Pabyddiaeth Brotestaniaeth ansefydledig ac anwaddoledig. Yn y wlad rydd hono, diflana Pabyddiaeth yn y modd mwyaf dymunol. Yn ôl ystadegau awdurdodedig Llywodraeth yr Unol Daleithiau, nifer Pabyddion y deyrnas hono yw 1,500,000, neu tua 1 o bob 20 o'r boblogaeth. Deua y cyfryw o wahanol wledydd Pabaidd, megys Germany, Ffrainc, Spaen, &c., a dïau nad ellir amcangyfrif mwy na'u hanner yn Wyddelod; ond cyfrifer y Gwyddelod Pabaidd yn un filiwn, ni fydd hyny ond 1 Gwyddel Pabaidd ar gyfer 7 o Wyddelod Protestanaidd, o herwydd cyfrifir nad yw nifer Gwyddelod yr Unol Daleithiau islaw wyth miliwn; o ganlyniad mae y cyfartaledd yn hollol wrthwyneb yn y ddwy wlad; yn Iwerddon mae y Gwyddelod Pabaidd yn 4 am bob 1 Protestant; yn America mae y Gwyddelod Protestanaidd yn 7 am bob 1 Gwyddel Pabaidd. Yn Iwerddon, cashâ a ffieiddia yr Hiberniaid Brotestaniaeth; yn America cofleidiant hi yn fynteioedd cyfain. Dyma gŵyn yr "*Universe*," cyhoeddiad Pabaidd pwysig:—"Fe allai fod yn eithaf cyfreithlawn i ni fostio mewn hunan-foddhâd am gynnydd yr Eglwys Babaidd yn America. Ond o'n rhan ni yr ydym yn ammheu. Ammheuent yn Rhufain pe gwyddent y gwir ffigyrau. Mae yr Eglwys Babaidd yn America yn Eglwys dorcalonus. Fel y dywedodd offeiriad yn ein rhifyn diweddaf, mae yn cyfranogi o glwyf Iwerddon, ac nid yw yn alluog i gadw yr hyn a dderbynia. Edrychwch! mewn un ddinas yn unig, cyll, ar un ddyrnod, ugain mil o eneidiau! Pwy, yn

wyneb y fath wirionedd brawychus a fedr ddywedyd yr ennilla yr Eglwys Babaidd fwy nag a gyll yma—nac hyd yn nôd y ceidw ei chyfanrwydd prïodol? A! na! na! ped arosasai rhïeni tlodion yr 20,000 plant hyn gartref yn Iwerddon, ni chollasent eu ffydd, o herwydd er iddynt farw yn fuan heb adael dim i'w plant, nid arweinia cardotyddiaeth yn Iwerddon i wadiad y ffydd. Y fath yw cymeriad crefyddol y wlad hono fel y pelydrai tân y ffydd ynddi yn wastadol. Ac nid New York yw unig *via crucis* yr Eglwys Babaidd yn America. Nid llawer llai poblog yw Philadelphia na New York. Pa faint o blant a gollant y ffydd yn y ddinas hon yn flynyddol? Rhifwn ein dinasoedd mawrion—New York, Philadelphia, Boston, Baltimore, New Orleans, Cincinnati, Chicago, Pittsburgh, Charlestown, Washington, &c.; ac at y rhai hyn gellir ychwanegu nifer enfawr o lai lleoedd tra phoblog. Wrth dybio ffigyrau New York yn gywir, a'r awdurdod a'u dyry yn gredadwy, mae yn ffaith sicr na chyll dim llai na *dau gan' mil* o blant bedyddiedig yr Eglwys Babaidd Wyddelig, y ffydd yn flynyddol yn America. Mor gywir oedd yr ardderchog Archesgob Kendrick, pan ddaliai y cyll yr Eglwys Babaidd yma yn barhäus fwy nag a ennilla! Beth ennilla hi? Ymfudwyr, dim ond ymfudwyr. Beth gyll hi? Cyll bob blwyddyn ddau gan' mil o blant y cyfryw ymfudwyr tlodion. Beth all fod yn fwy anffodus neu ddirywiol na hyny? Dau gan' mil o blant Iwerddon—yr eiddo Pabaidd goreu yn y byd—yn colli bob blwyddyn! Siarad am eich tröedigion a'ch haelfrydedd cynnyddol at Babyddion! Wel, rhynged bodd i Brotestaniaid America fod yn haelfrydig at yr Eglwys Babaidd, pan y cyll bob blwyddyn, er eu mantais, ddau gan' mil (ffigyrau llawer rhy isel) o'r eiddo Pabyddol goreu a dderbyniodd fedydd erioed! Nid oes dim yn fwy allan o'i le, yn fwy annaturiol, neu fwy digalon, na'r fôst uchel a wna yr Eglwys Babaidd yma yn America." Dyna ymadroddion cwynfanus a lefarwyd, cofier, o enau Pabaidd; a chân belled ag y gall iaith wneyd, arganmola Brotestaniaeth ansefydledig ac anwaddoledig America, a chyhudda Brotestaniaeth gynt-sefydledig a gwaddoledig Iwerddon. Os nad cydraddoldeb crefyddol yw dinystrydd goreu Pabyddiaeth, ac os nad yn wyneb Protestaniaeth ansefydledig ac anwaddoledig y diflana gyflymaf, mae yr alargŵyn bruddaidd a ddyfynwyd yn anesboniadwy. Ond nid yw anesboniadwy; mae yn gyfrol werthfawr ar effeithiau niweidiol uchraddio a gwaddoli crefydd yn Iwerddon, yn gystal ag ymhob gwlad arall.

Gwedi dadsefydlu a dadwaddoli yr Eglwys Esgobol yn Iwerddon, erys llawer o'r effeithiau poenus ar ôl, ac nid oes dadl nad arosant yn hir. Yr oedd y tramgwydd mor fawr, mor anghyfiawn, mor wrthodedig, a chafodd aros gyhyd, fel mai ofer dysgwyl yr anghofir ef mewn diwrnod. A dïau nad y lleiaf o achosion hirarosiad ei effeithiau poenus a fydd yn yr ymdrech egnïol a wnaeth ei bleidwyr i wrthwynebu ei symudiad ymaith. Nid yw ond peth a genfydd y meddylgar ar unwaith, y bydd i'r effeithiau niweidiol hyny, er symud ymaith eu hachos, roddi i Iwerddon anfantais fawr am lawer o amser mewn cymhariaeth i wledydd na wybuasant erioed am ddrygau llïosog anghydraddoldeb crefyddol.

Un arall o brif achosion gwywdra ac anfoddlonrwydd yn Iwerddon yw sefyllfa afreolaidd tir-ddaliadaeth. Yn gymaint ag mai Amaethyddiaeth yw prif alwedigaeth y bobl, nid all y cwestiwn hwn lai na bod o'r pwys

mwyaf. Gwir fod yn Iwerddon ffynnonellau eraill o gyfoeth, ond, mewn cymhariaeth, nid ydynt ond bychain ac ansicr. Ni fedd Hibernia un dref enwog am ei gweithfëydd arfau, nac un dref arall enwog am ei gweithfëydd dillad fel Lloegr; ac ni fedd un parth cyfoethog am ei weithiau glô, nac un parth arall cyfoethog am ei weithiau llechau fel Cymru; yna, tra byddo pethau mewn annhrefn mewn cysylltiad â thirdriniaeth yr Iwerddon, bydd y wlad oll mewn cyflwr o anffyniant ac anesmwythdra. Er dangos pwysigrwydd i Iwerddon gael y mater hwn wedi ei drefnu yn fuan a therfynol, gosodwn yma

YSTADEGAU DIRPRWYWYR Y LLYWODRAETH O ALWEDIGAETHAU LLOEGR, SCOTLAND, AC IWERDDON, AM 1861.

| Galwedigaethau. | Cyfartalrwydd y Cant. | | |
|---|---|---|---|
| | Lloegr. | Ysgotland. | Iwerddon. |
| Addysgol.................. | 2.4 | 1.7 | 1.8 |
| Teuluol..................... | 57.4 | 57.0 | 56.8 |
| Trafnidiol.................. | 3.1 | 2.8 | 2.2 |
| Amaethyddol................. | 10.1 | 12.5 | 18.3 |
| Llaw-weithfäol.............. | 24.3 | 22.8 | 12.3 |
| Anmhenodol.................. | 2.7 | 3.2 | 8.6 |

Canfyddir nad oes wahaniaeth o nemawr bwys rhwng gwahanol alwedigaethau y tair teyrnas, ond yn unig y rhai amaethyddol a llaw-weithfäol, rhwng y rhai y canfyddir gwahaniaeth dirfawr. Canfyddir fod y nifer cysylltiedig â thirdriniaeth yn agos cymaint ddwywaith yn Iwerddon â nifer y cyfryw, mewn cymhariaeth, yn Lloegr; tra y mae y nifer cysylltiedig â gwahanol fathau o law-weithfëydd yn gymaint ddwywaith yn Lloegr â nifer y cyfryw, mewn cymhariaeth, yn Iwerddon. A dyma un o brif anffodion Iwerddon er ys amseroedd, fod drwg wedi myned i le mor agos at ei bywyd, ac mae y canlyniadau niweidiol yn llïosog. Mae nifer dirfawr o'r tirberchenogion yn breswylwyr gwledydd eraill, ac felly yn dwyn ymaith gyfoeth Iwerddon gyda hwy, gan ei ledanu er mantais y gwledydd hyny; a gadawant y rhai a lafuriant i estyn iddynt eu cyfoeth, wrthynt eu hunain, i gynnal eu sefydliadau, i gynnorthwyo eu tlodion, ac i dalu eu trethoedd. Ac wrth fod yn absennolwyr o'r wlad, rhydd y tirfeddianwyr bob awdurdod yn nwylaw goruchwylwyr, y rhai sydd yn fynych yn anghyfiawn, cribddeilgar, ac annhrugarog; a chaiff yr amaethwyr eu tiroedd ar delerau mor uchel fel nad yw ddichonadwy iddynt feddu na gallu na chalon i ymdrechu eu gwellhâu a'u diwyllio yn ddyladwy. Ac heblaw fod telerau tirddaliadaeth mor uchel, y maent hefyd yn nodedig anffafriol ac ansicr i'r tirddeiliaid. Yn gyffredin yn Iwerddon, gosodir holl gostau tir ac adeiladau ar y deiliaid, ac ymhen chwe' mis gellir ei anfon ymaith yn ddiseremoni, ac heb estyn iddo un math o iawn am na'i lafur na'i arian; ac fel y saif pethau yn awr, yn y rhan lïosocaf o amgylchiadau, ni osodir tiroedd ynddi ond ar y cyfryw delerau anffafriol ac anghyfiawn. Mewn canlyniad, mae y wlad oll yn farw; ni roddir cyflog brïodol i weithwyr na phris dyladwy am gynnyrchion; mae ei masnach yn wywedig, a'i thrafnidiaeth yn anffyniannus. A lle byddo tlodion yno y bydd anesmwythder. O herwydd y sefyllfa annymunol hon ar bethau yn eu

gwlad, cefna ei meibion goreu arni yn fynteioedd o fwy na chan' mil bob blwyddyn, am wlad y cânt diroedd i'w llafurio yn ol iawnderau dynoliaeth, yn gystal a gwaith i'w wneyd, a thâl cyfaddas am lafur eu dwylaw; a chefna mynteioedd eraill—llai eu nifer ac îs eu cymëriad, mae yn wir—i gardota eu bara, neu i gyflawni caledwaith a budrwaith eu gwahanol gymydogion. Gadewir y famwlad i ymdaraw â'i hanffodion yn nwylaw y diwerth a'r methiantus, yr hyn a wna ei chyflwr yn adfydus o angenrheidrwydd.

Tra yn sôn am dirddaliadaeth yn Iwerddon, dichon y dylem sôn rhywbeth am ei nodwedd foesol. Dywedir wrthym mai drygioni ac ysgelerder pobl Iwerddon eu hunain yw yr achos y dŵg eu tirfeddianwyr gyfoeth y wlad gyda hwy ymaith i wledydd eraill, ac yr ymddygant mor annheg a chreulawn at eu tirddeiliaid. Rhoddwn yma daflen o ystadegau, o herwydd llefarant hwy bob amser yn gywir a diragfarn ar faterion fel yma.

YSTADEGAU DIRPRWYWYR Y LLYWODRAETH O DROSEDDAU Y DEYRNAS GYFUNO YN 1864.

| | Iwerddon. | Scotland. | Lloegr a Chymru. |
|---|---|---|---|
| Cosbwyd dan flwyddyn........ | 2,585 | 2,160 | 12,249 |
| Cosbwyd am flynyddau........ | 406 | 196 | 2,433 |
| Cosbwyd am oes ............ | 2 | 1 | 12 |
| Dienyddiwyd ..... ......... | 2 | 2 | 19 |
| Cosbwyd o gwbl............... | 3,000 | 2,359 | 14,726 |
| Poblogaeth .................. | 5,673,424 | 3,118,701 | 20,772,308 |

Yn awr mae ger bron y darllenydd yr unig foddion cywir i ddeall gwir gymeriad Iwerddon o ran troseddau. Dengys y daflen flaenorol ar unwaith yr arferir edrych yn llawer rhy galed ar yr Hiberniaid yn y peth hwn. Arferir barnu cymeriad a nodwedd Iwerddon oddiwrth yr engreifftiau o grwydriaid a llafurwyr a welir yn Lloegr, yr hyn sydd hollol annhêg, yn gystal ag anghywir. Yn 1864 yr oedd troseddwyr Lloegr yn 1 o bob 1410 o'r boblogaeth, tra nad oedd troseddwyr Iwerddon ond 1 o bob 1891 o'r boblogaeth; ac yn yr un flwyddyn dienyddiwyd 19 yn Lloegr, ond ni ddienyddïwyd ond 2 yn Iwerddon, tra, yn ol cyfartaledd y boblogaeth, büasai ganddi 5 i'w dienyddio. Nid yw tirddeiliaid Iwerddon i'w harswydo, ynte, ond pan gythruddir hwy. A phan wyddys y dŵg yr oll bron o ebyrth ei llofruddiaethau ryw gysylltiad â thirddaliadaeth, mae yn rhy sicr mai temtasiynau a roddir; ac os na roddir temtasiynau, pa reswm a eglura y ffaith fod y cyfan bron o'r gweithredoedd llofruddiog ac ysgeler yn gysylltiedig â thirddaliadaeth? Y gwirionedd ydyw, rhoddir y temtasiynau cryfaf i greulonderau o ddïaledd gael eu cynllunio a'u cyflawni. Pan dröir ymaith y deiliad wrth ewyllys y meddiannydd o'i dir, ar yr hwn y treuliodd ei arian, ei lafur, a'i nerth, ac ar yr hwn y gwnaethai ei henafiaid er ys canrifoedd yr un peth, a ydyw yn beth hynod fod yr Iwerddon yn dyfod yn aml yn faes llofruddiaethau ac ysgelerderau dïaleddol? Meddylier am weithredoedd diweddar tirfeddianwyr anghyfiawn ac annhrugarog Sir Aberteifi! Mewn canlyniad i'r fath weithredoedd croes i ddeddfau nefoedd a daear, ai rhyfedd fyddai i'r wlad hono droi allan yn derfysglyd a dïalgar? Ai nid yw digartrefu teulüoedd,—yn wŷr, gwragedd, a phlant, yn weddwon ac amddifaid, yn oedranus a methedig, megys y

dygwyddont fod, er boddio cynddaredd tirberchenogion—yn un o'r golygfëydd mwyaf dychrynllyd, annhrugarog, a dïal-gynhyrfiol, y gall llygad dynol edrych arni? Pob clod i werin Cymru am ddangos, mewn amgylchiadau mor brofedigaethus, y fath ffyddlondeb i'w crefydd, a'r fath allu i ddyoddef! Ond mae hanes y blynyddau diweddaf yn dangos fod amynedd tirddeiliaid Celtaidd Iwerddon ar gyraedd ei derfynau, ac os na attelir traha perchenogion tiroedd a'u goruchwylwyr, eu bod yn benderfynol o gymeryd y gyfraith i'w dwylaw eu hunain. Os yw anrhydedd Lloegr yn werth ei amddiffyn, os yw ffyniant a thawelwch Iwerddon yn werth eu ceisio, os yw iawnderau dynoliaeth yn werth eu dïogelu, ac os yw gwaed yn rhy ddrud i'w dywallt ar hyd meusydd a phrif-ffyrdd, y mae yn bryd ailystyried deddfau tirddaliadaeth trwy y deyrnas oll, ac yn arbenig felly yn yr Iwerddon.

Mae amryw gynlluniau wedi bod yn cael eu dadleu fel moddion i sefydlu cwestiwn y tir yn yr Iwerddon. Cynllun rhai yw gorfodi y tirberchenogion i ddyfod i breswylio ymysg eu tirddalwyr, yr hyn, meddir, a roddai derfyn ar bob ymddygiadau anghyfiawn a gormesol o'r eiddynt, yn gystal a bod yn foddion i'r wlad flodeuo ac ymdawelu, yn gymaint ag y cai felly fwynhâu y cyfoeth a gynnyrcha. Cynllun eraill yw gorfodi y tirberchenogion i werthu eu tiroedd, ac i'r Llywodraeth gynnorthwyo y tirddalwyr i'w prynu, fel ag i wneyd ymddygiadau anghyfiawn a gormesol yn annichonadwy trwy wneyd i ffordd â thirddaliadaeth. Cynllun eraill yw ffurfio cyfreithiau tirddaliadaeth yn gyfryw a sicrhäont eu hawliau a'u hiawnderau yn dêg i'r tirberchenogion a'r tirddalwyr, i'r naill blaid yn gystal a'r llall. Hònir fod y ddau gynllun cyntaf yn anghyfiawn ac anymarferol, tra y mae yr olaf yn bobpeth sydd yn ofynol. Dywed pleidwyr y cynllun olaf mai yr oll a ofyn y tirddalwyr yw cael moddion o amddiffyniad rhag gorfaeliaeth a throion anghyfiawn tuag atynt, ac mai yr unig achos o wywdra ac anesmwythder y wlad, ynghyda yr ymfudiad anferth o hóni, càn belled ag y mae a fyno hyny â chwestiwn y tir, yw fod yr ardrethoedd mor hynod o uchel, yr ammodau mor gaeth a gormesol, na fedd y deiliad un sicrwydd am arosiad yn y tir a ddalia, nac am unrhyw iawn am unrhyw welliant a wna arno. Amlwg yw y rhaid ymaflyd mewn rhyw gynllun, neu adael y wlad yn wywedig a therfysglyd, neu adael i'r preswylwyr ymfudo ymaith yn fynteioedd i geisio gwlad lle y cânt diroedd i'w llafurio ar ammodau amgenach, sicrach, a chyfiawnach. Yn wir, ni faidd un blaid wadu nad yw pethau wedi myned i sefyllfa eithafol o boenus gyda thirddaliadaeth yn yr Iwerddon: yr unig beth na chydwelir arno yw y feddyginiaeth i wellâu y clwyf ysol. Ond hyderwn nad yw yr adeg ymhell pryd yr arddengys Hibernia fod meddyginiaeth brïodol wedi ei chymhwyso o'r diwedd at afiechyd a fu cyhyd, megys darfodedigaeth, yn gwneuthur ei gwêdd yn annymunol, ei chyfansoddiad yn wan, a'i hysbryd yn anhydrin. Mae yn achos o lawenydd mawr genym ddeall fod y Weinyddiaeth bresennol yn ymbarotôi at ddwyn ymlaen fesur ar hyn yn eisteddiad nesaf y Senedd. Fe deimla Rhyddfrydwyr y deyrnas ymddiried tawel y bydd y mesur hwnw yn un cyfaddas a gorphenol oddiwrth y dwylaw dïogel i ba rai y mae y gwaith o'i barotôi wedi ei adael. Ni fu Prifweinidog erioed wrth y llyw ag y teimla y deyrnas y fath ymddiried ynddo ag a wna yn Mr. Gladstone. Y mae

ei lygad yn glir i weled, ei feddwl yn gryf i farnu, a'i law yn anorchfygol i gario allan ei olygiadau. Mae areithiau ein seneddwyr ar eu hymweliad â'r lleoedd a gynnrychiolant, yn dangos y brwdfrydedd mwyaf mewn ymlyniad wrtho; ac nid ydynt yn petruso na fydd i'r gŵr a ddangosodd yn yr eisteddiad diweddaf y fath allu meistrolgar gyda'r naill gwestiwn Gwyddelig dyrys, sef yr Eglwys, ddangos gallu cyffelyb yr eisteddiad nesaf wrth ymwneyd â'r cwestiwn Gwyddelig dyrys arall, sef pwnc y Tir. Mae yn wir fod tôn Mr. Gladstone ei hun, wrth gyfeirio at hyn yn ei araeth ddiweddar yn nghiniaw Maer Llundain, dipyn yn wahanol; dëonglai y papyrau Ceidwadol hyny fel anobaith; ond ymddangosai y peth i ni yn dra gwahanol. Yr oeddym yn casglu yn ddibetrus oddiwrth y difrifwch â pha un y cyfeiriai at yr anhawsderau oedd o'i flaen, y dull llym trwy ba un y rhybuddiai y terfysgwyr yn yr Iwerddon mai nid trwy eu terfysgiadau y sicrhäent yr hyn a ddymunant, ynghyda'i ddiysgogrwydd canmoladwy yn gwrthod rhyddhâu y carcharorion Ffeniaidd, ei fod yn gweled ei ffordd yn glir i roddi terfyn ar yr holl ddyryswch.

Un arall o brif achosion gwywdra ac anfoddlonrwydd yn yr Iwerddon yw anwybodaeth. Nis gall pobl anwybodus fod yn bobl ffyniannus a thawel. Tlodion a chwerylgar yw holl genhedloedd anwybodus y byd. Ni fedr pobl anwybodus wneyd y goreu o'u meusydd na'u mynyddau, o'u gweithfëydd na'u llongau, o'u llafur na'u masnach. A phan ddaw estroniaid rhagorach mewn dysg a gwybodaeth i'w mysg, i roddi bywyd yn eu gweithiau a'u trafnidiaeth, edrychant arnynt gyda chilwg a dygasedd. Y cwbl y gall pobl isel eu gwybodaeth fod, yw gweithwyr, ac y mae yn lled naturiol i weithwyr ymchwerwi, gan ddymuniad am safle uwch. A chenedl a gwybodaeth yn isel yn eu mysg yw pobl Iwerddon. Dangoswn sefyllfa addysg ynddi mewn cymhariaeth i Scotland. Yn ol ystadegau y Cofrestrydd Cyffredinol am 1864, allan o 54,812 a brïodwyd yn Iwerddon, arwyddwyd y cofrestrlyfr â chroes yn lle ysgrifen, gan 24,352, sef 10,573 o ddynion, a 13,778 o ferched; felly yr oedd yn agos yr hanner yn analluog i wneyd un math o ysgrifen; hyny yw, yn Iwerddon, ni fedrai 1 o bob 3 o ddynion ysgrifenu o gwbl, tra nad oedd yn Scotland ond 1 o bob 8 o ddynion na fedrent ysgrifenu; a thra nad oedd ond 1 o bob 2 o ferched Iwerddon a fedrent ysgrifenu, nid oedd ond 1 o bob 4 o ferched Scotland na fedrent. A dylid cofio nad yw ysgrifenu ond un o ganghenau isaf dysgeidiaeth, ac o ganlyniad na ddyry y ffigyrau blaenorol ond awgrymiad anmherffaith iawn am y gwahaniaeth yn sefyllfa gwybodaeth y ddwy wlad; a thra y dysgwylid i bob gweithiwr fedru ysgrifenu, dengys y ffigyrau blaenorol nad yw ond prin hanner pobl Iwerddon yn alluog yn y peth bach hwn mewn gwybodaeth—ysgrifenu. Ychwanegir llawer hefyd at eu hanfantais, am nad yw y Saesoneg wedi dyfod yn gyflawn hysbys trwy y wlad. Rhoddwn yma daflen yn dangos, yn ol cyfrif Dirprwywyr y Llywodraeth,

NIFER SIARADWYR GWYDDELIG YN YR IWERDDON YN 1861.

| | |
|---|---|
| Rhai a siaradent Wyddelaeg yn unig ... ... ... .. ... ... ... ... ... ... | 163,275 |
| Rhai a siaradent Wyddelaeg a Saesoneg ... ... .. ... ... ... ... ... | 942,261 |
| Yr oll a siaradent Wyddelaeg ... ... ... ... ... ... ... ... ... ... | 1,105,536 |
| Cyfartalrwydd y cant o'r boblogaeth ... ... .. ... ... ... ... .. ... | 19 |

Mewn canlyniad, mae antantais Iwerddon yn fawr. Pe medrasai hi wneyd cyfnewidiad cyfartal gyda chenhedloedd eraill, ni fuasai ganddi achos cyfiawn i gwyno nac anesmwytho. Ond ni fedr. Lleinw estroniaid ei swyddau, arolygant ei gweithfeydd a'i hetifeddiaethau, tra nad yw ei meibion hi ond llafurwyr a chrwydriaid ymysg ei chymydogion. Nid digon dwyn ar gôf mai y cyfryw estroniaid yw prif gynnyrchwyr cyfoeth a bywyd y wlad, ac mai ei bendith fwyaf ydynt. Nid digon dwyn ar gôf mai hollol gyfiawn, yn gystal a bendith ddirfawr, yw dyfodiad estroniaid i sefyll yn lleoedd pwysicaf y wlad, gan nad yw ei meibion hi ei hunan yn alluog. Tra y rhaid i Hibernia edrych ar ei meibion yn y fath israddiaeth i eraill, ni fydd iddi byth ymdawelu mwy na llwyddo. Mae y telerau yn rhai llawer rhy gelyd. Tra yr aroso yr anallu hwn—anallu anwybodaeth—yn ei chyfansoddiad, yn hollol ofer y dysgwylir ei gweled mewn sefyllfa foddhäol. Yr oedd sefydlu cydraddoldeb crefyddol yn weithred anhebgorol angenrheidiol i sicrhâu ei llwyddiant; mae sefydlu cyfreithiau tirddaliadaeth yn gyffelyb angenrheidiol; ond hollol mor bwysig â'r naill a'r llall yw sefydlu moddion effeithiol i'w dyrchafu mewn gwybodaeth. Rhoddi y ddau anhebgorion cyntaf heb y trydydd a fyddai ei gadael yn y ffôs gydag yn unig ryddid ac amddiffyniad i adgyfodi os gall. Pa beth a ddaw o'r Hiberniaid nodedig-eu-hanes, nid ydym yn hysbys; ond hyn a wyddom yn dda, nad ellir o honynt ond cenedl anffyniannus, anesmwyth, a dirmygedig yn ngolwg y byd, hyd oni ddyrchefir dysg a gwybodaeth i'w safle prïodol yn eu mysg. Gwir nad all y Senedd ei hunan, trwy ddim a wna, gyfodi dysg a gwybodaeth i'w safle prïodol yn Iwerddon; ond mor wir a hyny, nad all hithau ei hunan wneyd; a phan ystyrir ei sefyllfa dlawd, yn gystal a mathredig gan ei hathrawon crefyddol, noddfa ddïogelaf y rhai yw y tywyllwch trwchaf, daw yn wir wrthddrych tosturi a chymhorth. Cynnyrcha ei thlodi anwybodaeth, a chynnyrcha ei hanwybodaeth dlodi; cynnyrcha ei Phabyddiaeth dywyllwch, a chynnyrcha ei thywyllwch Babyddiaeth. Nid ellir wrth ewyllys ei gwared o ddwylaw y cyfryw elynion marwol i wybodaeth a goleuni, ag ydyw tlodi a Phabyddiaeth; ond gellir ei harwain a'i chynnorthwyo.

Yn ein hymchwiliad i amgylchiadau Iwerddon, canfyddasom anffodion a blinderau gwirioneddol. Gellir yn naturiol ofyn yn awr, a ymddygasai gwledydd eraill yn llawer amgenach o dan yr un anffodion a blinderau? Dichon y gwnaethai rhai: gwyddom na wnaethai eraill. Hyn a ddysgwyliwn yn gryf, y rhifir dyddiau terfysg ac aflonyddwch yn Iwerddon gyda'i dyddiau cwynion a blinderau. Ond megys cleifion eraill, rhaid iddi wrth amser i ennill tegwch, höewder, a nerth; nid digon lladd yr anhwylderau, rhaid wrth amynedd i weithio ymaith yr effeithiau drygionus a arosant. Os gallwn ddysgwyl fod yr adeg yn ymyl pan nad all y genedl Hibernaidd gŵyno, yr erys un rhwystr i'w lluddias yn nghydredegfa cenhedloedd, dylem gofio ei bod, er ei hanfantais fawr, lawer ar ol yn y cychwyniad presennol. Ac wrth edrych ar y genedl hon, nac anghofier ffaith arall, sef ddarfod iddi gael ei thwyllo i goleddu yn ei mynwes ei hun elyn marwol i ryddid llwyddiant a dyrchafiad; yr ydym yn cyfeirio at Babyddiaeth, llwyddiant yr hon a hanfoda mewn llyfetheirio, tywyllu, tlodi, a darostwng cenhedloedd a phobloedd hyd yr eithaf. Crybwyllasom yr ystyriaethau blaenorol, fel na choledder yn

y dyfodol ddysgwyliadau annhêg wrth y genedl hon, sydd wedi bod er ys cyhyd o amser yn ymladd â chynifer o rwystrau ac anfanteision. Nid ar unwaith, dylem ystyried, y medr cenedl yn teimlo oddiwrth gynifer o anffodion, adgyfodi.

Ond amser yn unig a ddengys yn gywir pa beth a ddaw o'r Iwerddon yn y dyfodol. Os na ddaw yn wlad breswyliedig gan ond gweddillion ymfudiaeth, erys byth yn wlad dlawd a therfysglyd. Ond y tebygrwydd cryf ydyw, na fydd i'r Gwyddel—yr hwn a gâr ei wlad a'i genedl mor angerddol—edrych am estronwlad yn ddim hŵy nag y gorfodir ef i wneyd hyny. Hyn sydd sicr, na fwriadodd y Nefoedd i'r Hiberniaid fod yn wawd a chasineb eu cymydogion byth. Os ydynt yn genedl yn meddu diffygion a beïau, maent hefyd yn genedl yn meddu rhagorion a rhinweddau. Nid yw gwir gymeriad yr Hiberniad wedi bod yn amlwg trwy y canrifoedd diweddaf, ac mewn llawer amgylchiad, mae wedi bod yn cael ei gambortrëadu yn y modd mwyaf annhêg gan ragfarn ac anwybodaeth. Dyfynasom ystadegau a ddangosant yn anwrthwynebol nad yw y genedl hon, er ei haml anffodion, ac er mor wahanol y synir yn rhy fynych, yn amlach ei throseddwyr na'i chymydogion. A chyferfydd pawb a ymgydnabyddant yn helaeth â hi, engreifftiau o gymeriadau prydferth a rhagorol, heb fod yn ôl i eiddo un genedl ar y ddaear. Mae y genedl hon yr hyn yw, o herwydd cael ei darostwng a'i maeddu er ys cyhyd o amser gan dlodi, anwybodaeth, a Phabyddiaeth. Gwareder y genedl Wyddelig oddiwrth y pethau hyn, a bydd yn adgyfodiad o feirw iddi, ac yn ddyrchafiad i dir a rydd iddi gyfle i ddadlenu ei gwir gymeriad ger bron y byd. Ond nid gwaith disymwth fydd bwrw ymaith faich oesau o gamdriniaeth a diraddiad.

# MARWOLAETH PICTON.

*(I Fiwsig.)*

I.

"Yn uwch!" ebai Picton, "i'r mŵg sydd yn gwŷnu,
Gwŷr meirch a magnelau sydd yn ein cylchynu;
Rhwygwch eich ffyrdd,
Pe baent fil ac yn fyrdd,
Trwy 'r byw a thrwy 'r marw, rhuthrwch i fyny!"

II.

O! fynyd ofnadwy
Rhwng bywyd a bedd;
A mûr annirnadwy,
Bidog a chledd.
Mae 'r gelyn yn nesu
Ei luoedd aneiri':
Mae gŷnau 'n cynesu,
A dynion yn oeri.
"Gwânwch, gwânwch! cedwch y gŷnau:
Yn awr trwy fûr o danllyd ddûr,
Ddewrion, cloddiwch hyd ddwrn y cleddau!"
O fynyd ofnadwy,
Rhwng bywyd a bedd:
Adwy! caed adwy!
A'r Angel Dinystriol a weiniodd ei glêdd.

III.

Ennillwyd y dydd, ac wrth ymwasgaru,
Bloedd "*Buddugoliaeth*," fel sŵn y môr mawr,
Daranai trwy lef deng mîl yn galaru—
Picton adawodd ei fyddin yn awr!
Cwympodd y dewr dan ei faner fuddugol,
Tra 'r dufwg o Waterloo 'n esgyn i'r nen:
Gwasgodd hen ddwrn ei gleddyf gorchfygol,
A chauodd ei amrant yn isel ei ben.

# ATHRAWIAETH Y DRINDOD.

## I

### HANESYDDOL.

O'R holl ddadleuon a gymerodd le erioed ymysg dynion, y mae y ddadl ar Athrawiaeth y Drindod, ar amryw gyfrifon, y bwysicaf a'r fwyaf dyddorol. Parhäodd am bum' canrif; cymerodd meddylwyr galluocaf y canrifoedd hyny ran ynddi—a chewri oedd ar y ddaear yn y dyddiau hyny; yr esgynlawr ar ba un y dygid y ddadl ymlaen oedd yr Eglwys Gristionogol; ac yr oedd y pwnc y mwyaf goruchel a'r pwysicaf a fu eroed yn wrthddrych ymchwiliad y rheswm dynol. I lawer gall y r athraiwiaeth ymddangos fel yn meddu mwy o gywreinrwydd nac o bwysrigrwydd ymarferol; ond y gwirionedd ydyw y mae ein golygiadau ar yr athrawiaeth hon yn sicr o ddylanwadu, i raddau pell, ar ein golygaidau ar bob gwirionedd arall. Amcan yr efengyl, fel y sylwa Hodge, ydyw ein dwyn i adnabod Duw yn gymhwys fel y mae wedi gweled yn dda ei ddadguddio ei hun i ni yn ei air. Y mae pob syniad gwahanol am Dduw yn cyflwyno Duw gau i'r gydwybod a'r galon. Y mae Ariaid, Sociniaid, a Thridduwiaid, yn addoli duwiau gwahanol Nid ydyw eu duw mewn gwirionedd ond crëadur eu dychymyg hwy eu hunain. Ar yr athrawiaeth hon y mae holl drefn yr iachawdwriaeth yn sylfaenedig. Yn ei goleuni hi yn unig y gellir deall Cyfiawnhâd, Ailenedigaeth, Sancteiddhâd, a phob gwirionedd arall ag sydd yn gwneyd yr efengyl yn ddoethineb ac yn allu Duw er iachawdwriaeth i ddynion. Gan fod yr athrawiaeth mor bwysig, fe allai mai nid anfuddiol a fydd ychydig sylwadau ar ei hanes fel parotöad i ysgrif ar yr athrawiaeth ei hunan fel y sefydlwyd hi yn nghredo yr eglwys.

Y mae rhagluniaeth ddwyfol yn dyfod i'r golwg yn eglur yn y parotöad a gafodd y byd i dderbyn eglurhâd cyflawn ar yr athrawiaeth hon; oblegid yr ydym yn cael mewn amryw grefyddau paganaidd rywbeth tebyg i drindod. Gan fod syniadau y dysgawdwyr cristionogol cyntaf yn cael dylanwadu arnynt yn fawr gan ddamcaniaethau yr athronwyr paganaidd, fe allai y dylid yn y fan hon wneyd crybwylliad bŷr am rai o'u syniadau. Un o'r engreifftiau mwyaf tarawiadol ydyw y triawd *(trimurti)* Hindwaidd. Y mae y trindod Hindwaidd yn cael ei wneyd allan trwy bersonoli tri o alluoedd natur,—gallu crëadigol *(Brahama)*, gallu cynnaliol *(Visthnu)*, gallu dinystriol *(Siva)*; ac y mae y tri hyn yn deilliaw o Brahm. Y mae gan yr Aiphtiaid hefyd drindod, yn gynnwysedig o *Knuph* (enaid tragywyddol a bywiocäol y byd), yr hwn oedd yn gysylltiedig a *Phtha* (goleuni dechreuol), a *Neith* (doethineb). Y mae Cudworth yn gryf o'r farn y gellir cael trindod personol a gwirioneddol yn ysgrifeniadau Plato, a'i fod wedi derbyn y wybodaeth am dano oddiwrth yr Hebrëaid. Y mae efe yn sôn am y "Duw Goruchaf"

(πατὴρ), "deall dwyfol" (νοῦς, λόγος, σοφία), ac "enaid y byd." Ond ni ellir meddwl fod y deall dwyfol (λόγος) yn wahanol i Dduw ei hun, ac ni edrychai ar enaid y byd fel yn perthyn i hanfod Duw, nac yn egwyddor hunanfodol. Derbyniodd amryw Iuddewon dysgedig ag oeddynt yn byw oddiallan i derfynau Palestina y syniadau hyn o eiddo Plato, a chan eu bod yn glynu wrth eu hen ysgrifeniadau ysbrydoledig eu hunain, ymdrechasant eu cydgorffori a'u cyfuno, fel ag i wneyd un gyfundrefn o honynt. Yr oedd rhyw bethau yn nghyfundrefn Plato yn *ymddangos*, o leiaf, yn debyg i'r arddangosiadau a geir yn yr Hen Destament. Yn Gen. xviii., cawn un o'r angelion yn cynnrychioli y lleill. Cyfododd y drychfeddwl am angel y cyfammod. Efe oedd Gair, Doethineb Duw, trwy yr hwn y mae Duw yn crëu ac yn ei ddadguddio ei hunan i'w grëaduriaid. Ymwrthodai yr Iuddewon dysgedig hyn â'r syniad Pharisëaidd am y Messïah fel tywysog tymmorol. Edrychent ar y *Logos* fel yn bod cyn creu y byd, ac fel yr offeryn trwy yr hwn y gwnaeth Duw bob peth. Sonia Philo am dano gan ei alw yn "Fab Duw," "Cyntafanedig Fab Duw," "Cyfryngwr," "Archoffeiriad," &c., a dywed mai trwyddo ef yn unig y mae Duw yn ei ddadguddio ei hun. Ond nid ydyw yn cyfeirio at un ymddangosiad hanesyddol o'r *Logos*, ond yn cymeryd i mewn bob dadguddiad o Dduw mewn natur a hanesiaeth. Bu y tybiau hyn yn foddion i barotôi y ffordd i Gristionogaeth; oblegid cyfeiriodd hi y drychfeddwl am y *Logos* i'r dadguddiad perffaith o Dduw mewn cnawd yn y dyn Crist Iesu. Gyda golwg ar syniadau athronwyr Iuddewaidd a Phaganaidd ar y pwnc hwn, y mae Dr. Knapp yn gwneyd y sylwadau canlynol:—

"1af. Nis gellir ammheu fod llawer o'r hen athronwyr paganaidd (megys y Platoniaid) yn credu mewn Trindod yn yr hanfod dwyfol; a'u bod yn cael eu harwain i ddal y grediniaeth hon gan egwyddorion y gyfundrefn ddeilliadol yr hon a dderbyniasant gyntaf. O'r ffynnonell hon y cafodd llawer o Iuddewon dysgedig a breswylient oddiallan i derfynau Palestina eu golygiadau, megys Iuddewon Alexandria, Philo, a'r Cabbalistiaid. Pa fodd bynag, nid mabwysiadu syniadau pur Plato—y rhai oeddynt yn cael eu harddangos mewn gwahanol ddulliau hyd yn nôd gan y Platoniaid Newydd—a wnaeth yr Iuddewon Groegaidd yn unig, ond hwy a'u cyfunasant ac a'u cymysgasant â'u syniadau cenhedlaethol ac â'u hegwyddorion crefyddol eu hunain, ac felly ymdrechasant gymmodi Platoniaeth âg iaith ac athrawiaethau y Bibl. Fe addefir bod Trindod, *yn yr ystyr hwn*, yn adnabyddus i athronwyr ac Iuddewon oedd heb fod yn Gristionogion, ac yn cael ei broffesu ganddynt. Ond, 2il. Nid yw yr arddangosiadau o'r pwnc hwn sydd i'w cael yn ysgrifeniadau Plato a'i ganlynwyr, pa un bynag ai paganaidd ai Iuddewaidd, mewn un modd yn cytuno â'r arddangosiadau syml o'r Drindod sydd i'w cael yn ngair Duw, nac hyd yn nôd â'r rhai hyny a ffynent ymhlith Cristionogion trwy yr ymherodraeth Rufeinig ar ol Cynghor Nice, yn y bedwaredd ganrif. Oblegid yr oedd yr ail a'r drydedd egwyddor yn y Duwdod, yn ol y Platoniaid, yn dra gwahanol i'r Duw Goruchaf; yr oeddynt yn deilliaw oddiwrtho ef, yn israddol iddo ef, ac ymhob peth yn llai nag ef; er eu bod, o herwydd eu bod yn dyfod oddiwrtho ef, yn cael eu hystyried fel yn perthyn i'r Bôd Dwyfol, ac yn fynych yn cael eu galw yn *Dduw*. Pa fodd bynag, nid fel yna yr arddangosir y Drindod

yn y Bibl, nac yn y penderfyniadau a wnaed yn Nghyngor Nice. Ond er fod y drindod Platonaidd yn gwahaniaethu yn fawr fel hyn oddiwrth yr athrawiaeth ysgrythyrol, ac hefyd oddiwrth gyfundrefn sefydledig yr eglwys, er hyny y mae yn bosibl fod Cristionogion wedi cael yr iaith ysgolaidd a chelfyddydol a ddefnyddir ar y pwnc hwn ar y cyntaf o'r dduwinyddiaeth Blatonaidd."

Y mae dyn wrth feddwl am Dduw fel Ysbryd pur ac fel Bôd anfeidrol, ac eto yn dal cysylltiad â'r grëadigaeth, yn dyfod i ymdeimlo â'r angenrheidrwydd am gyfrwng o ddadguddiad rhwng yr Anfeidrol a'r meidrol. Yr oedd amryw athronwyr, fel y gwelsom, yn ymbalfalu yn y tywyllwch tua'r gwirionedd; ond yr oedd y pwnc hwn yn ddirgelwch mawr, ac iddynt hwy yr oedd tywyllwch ar wyneb y dyfnder. Wrth droi i'r Bibl ni a gawn oleuni ar y mater hwn—rhyw wawr anmherffaith ar y cyntaf, mae yn wir; ond y mae y goleuni yn cryfhâu hyd nes yr ymddangosodd "Haul y Cyfiawnder", ei hunan. Dadguddiai Duw ei hun i genedl Israel trwy y prophwydi. Yr oedd y cymundeb hwn rhwng Duw a'r prophwpdi yn cael ei gario ymlaen trwy gyfrwng gair yr Arglwydd, yr hwn a ddisgynai arnynt. Y mae y gair (λόγος) hwn yn cael ei bersonoli mewn amryw leoedd; Salm cxlvii. 13; xxxiii. 4; cxix. 89, 104, 105; Esa. lv. 4. Fel gair Duw, y mae ei ddoethineb hefyd yn cael ei bersonoli; Job xxiii. 12—28; Diar. viii. a ix. Yn y Testament Newydd ceir y drychfeddwl am y *Logos* yn cael ei gymhwyso at Grist. Yn y tair Efengyl gyntaf cawn yr un olwg ar ei berson ag a ddadblygir yn helaethach yn Efengyl Ioan. Y mae Epistolau Paul, yn enwedig at y Colossiaid a'r Philippiaid, yn cynnwys yn gymhwys yr un syniadau ar y mater hwn ag a gawn yn yr Efengylau. Y mae Ioan yn cysylltu y drychfeddwl sydd yn rhedeg trwy yr oll o'r Testament Newydd â'r geiriadaeth athronyddol ag oedd yn ffynu ar y pryd, ac yn dysgu yn eglur unoliaeth y *Logos* â'r Crist hanesyddol. Yr oedd y Gair yn y dechreuad gyda Duw, ac yr oedd y Gair yn Dduw. Y Gair, yr hwn oedd oleuni dynion, a wnaethpwyd yn gnawd yn y dyn Crist Iesu. "Nis gallasai athrawiaeth y *Logos*," ebe Neander, "ennill y fath dderbyniad cyffredinol yn yr Eglwys oni bae ei bod wedi ei dwyn i mewn gan awdurdod fel yr eiddo Ioan. Nid oes dim ond dylanwad y fath enw a all esbonio pa fodd y daeth drychfeddwl a dderbynid o'r blaen mewn rhan yn unig i gael derbyniad cyffredinol."

Yr oedd yr addysg a roddid i Gristionogion ar y cyntaf yn hollol syml ac yn amddifad o bob neillduolion a thermau athronyddol. Ymfoddlonai y Tadau Apostolaidd, Polycarp, Ignatius, Barnabas, a Clement o Rufain, ar arfer iaith syml y Testament Newydd ar yr athrawiaeth hon, heb un ymgais at gysylltu gwahanol fynegiadau yr Ysgrythyr fel ag i ddwyn allan yr athrawiaeth yn ei chyfanrwydd a'i chysondeb: a chan eu bod yn byw cyn codiad y ddau brif gyfeiliornad y cawn sylwi arnynt ymlaen, yr oedd hyn yn ddigonol i gyfarfod âg anghenion yr Eglwys yn y cyfnod boreuol hwn. Proffesai yr ymgeisydd *(catechumen)* ei ffydd yn "Nuw y Tad Hollalluog, ac yn ei Fab Iesu Grist, ac yn yr Ysbryd Glân," ac yr oedd hyny yn ddigonol. Ond nid hir y parhäodd yr agwedd syml hon ar bethau. Ymddangosodd cyfeiliornadau pwysig, yr hyn oedd yn gwneyd yn angenrheidiol i'r Tadau uniongred osod eu golygiadau i lawr yn fwy manwl a chyflawn. Gan fod y byd paganaidd yn addoli llawer o dduwiau, yr oedd yn naturiol i'r gwirionedd nad oes

ond un Duw i gael lle mawr yn nghredo yr Eglwys. Teimlai y Cristionogion zêl mawr dros y gwirionedd hwn, ac yr oedd dynion syml ac annysgedig yn ofni fod athrawiaeth y Drindod yn arwain i amldduwiaeth. Nis gallent gysoni undod a thrindod â'u gilydd. "Y mae pobl anwybodus," meddai Tertullian, "yn dychrynu wrth enwau y Drindod, ac yn ein cyhuddo o ddysgu fod tri o Dduwiau." Yr oeddynt yn osgoi y cyfeiliornad hwn trwy ddal—un ai mai un Person oedd y Tad a'r Mab, neu trwy wadu Duwdod y Mab, ac edrych ar yr Iesu fel dyn yn unig, wedi ei gynnysgaeddu mewn rhyw ddull â galluoedd dwyfol. Yr oedd gan hyny ddau ddosbarth o gyfeiliornwyr, pa rai a gymerid i mewn dan yr enw cyffredinol Unbenaethwyr.

I. Gwadai y dosbarth cyntaf o'r cyfeiliornwyr hyn Dduwdod Crist, ond prïodolent ryw fath o ddwyfoldeb iddo. Y mae y Duw cuddiedig yn ei ddadguddio ei hun trwy gyfrwng dau Allu sydd yn rhedeg allan o hóno fel pelydrau o'r haul: un yn allu goleuol, a'r llall yn allu bywhäol. Y gallu goleuol ydyw y *Logos*, a'r gallu bywhäol ydyw yr Ysbryd Glân. Gyda y *Logos* dwyfol, y gallu goleuol—yr hwn nid yw berson, ond yn unig yn ddeilliad (*emanation*) o'r Hanfod Dwyfol—fe unwyd y dyn Iesu o'i enedigaeth mewn modd arbenig, ac mewn gradd uwch nag ysbrydoliaeth yr un o'r prophwydi; ac fel dyn ag sydd mewn modd neillduol dan arweiniad y *Logos*, y mae yn cael ei alw yn Fab Duw. Dysgid yr athrawiaeth hon gan—

1. Theodotus. Ymwrthodai ef â'r syniad o ymgnawdoliad gwirioneddol y Bôd Dwyfol; ond eto cydnabyddai weithrediad y gallu Dwyfol ar Grist o'i enedigaeth. Apeliai at y rhanau hyny o'r Hen Destament a'r Newydd ymha rai y mae yr Iesu yn cael ei alw yn ddyn.

2. Artemon. Safai Artemon yn ben y dosbarth hwn o Unbenaethwyr yn Rhufain tua diwedd yr ail ganrif; gelwid ei ddilynwyr yn Artemoniaid, pa rai, yn ol barn Neander, a ddalient fod Crist wedi ei oleuo yn neillduol trwy allu Duw. Yr oedd yr Artemoniaid o duedd feirniadol, a chawsant eu harwain i'r cyfeiliornad hwn trwy eu bod yn cymeryd golwg unochrog a hanerog ar yr Ysgrythyrau.

3. Paul o Samosata. Esgob Antioch, oddeutu y fl. 260 ydoedd y gŵr hwn. Condemniwyd ef yn y ddau gynghor a gynnaliwyd yn Antioch, B.A. 264 a 269. Cafoddd amddiffyniad gan Zenobia hyd nes y gorchfygwyd hi yn y fl. 272 gan Aurelian. Bu Paul yn llechu am beth amser dan gysgod ymadroddion amwys; ond mewn amser daeth ei gyfeiliornad i'r golwg. Y mae sylwedd ei gyfundrefn rywbeth yn debyg i hyn:—Y *Logos* oedd y rheswm Dwyfol, yr hwn a ddaeth allan yn weithgar pan y crëwyd y byd. Fel y cyfryw nid oedd y *Logos* ond gallu, neu brïodoledd, heb bersonoliaeth. O ganlyniad yr oedd yn gwrthwynebu yr athrawiaeth am ymgnawdoliad neillduol y Gair. Yr oedd Crist fel dyn yn cael ei wahaniaethu gan reswm a doethineb; oblegid yr oedd y *Logos* Dwyfol yn gweithredu arno, a doethineb Dwyfol yn aros ynddo mewn graddau helaethach nag yn yr un dyn arall. Prïodolai yr enw *Mab Duw*, nid i'r *Logos* ei hunan, ond i'r dyn yn unig, a chyhuddai ei wrthwynebwyr o ddysgu fod dau Fab, y *Logos* a'r dyn.

II. Yr oedd yr ail ddosbarth o gyfeiliornwyr yn dal yr Undod ond yn gwadu y Trindod. Yr oeddynt hwy yn credu nad oes ond un Person Dwyfol, a bod yr un Person hwn yn myned dan wahanol enwau yn ei

wahanol berthynasau. Fel Person tragywyddol ac anamgyffredadwy, gelwir ef Duw y Tad; yn ei ymgnawdoliad, gelwid ef Duw y Mab. Yn Nghrist gwelent arddangosiad cyflawn o'r Duwdod. Yr oedd yr un Person Dwyfol hwn fel Mab yn bywhâu corff Crist ac yn dal lle enaid rhesymol ynddo; ac felly yr hanfod Ddwyfol ei hunan mewn undeb â chorff dynol a ddyoddefodd am bechodau dynolryw. O herwydd hyn dywedid eu bod yn credu fod y Tad wedi dyoddef, ac am hyny gelwid hwy Patripassiaid *(ipsum patrem passum esse)*. Yr oedd y dosbarth hwn yn cynnwys corff mawr Cristionogion syml y gwledydd, pa rai oeddynt yn teimlo yn eiddugus tros anrhydedd Crist, ac yn tybio fod yn rhaid iddynt gredu fel yr oeddynt yn gwneyd, neu gredu mewn tri o dduwiau. Dywed Neander na wnaeth y Tadau uniongred eu dyledswydd tuag at y dosbarth hwn yn hollol.

Taenid yr athrawiaeth gyfeiliornus hon gan—

1. Praxeas. Daeth Praxeas i Rufain oddeutu y fl. 190. Ymddengys nad oedd yn gwneyd un gwahaniaeth rhwng y Tad a'r Mab. Ysgrifenodd Tertullian yn erbyn ei gyfundrefn.

2. Noetus. Yr oedd y gŵr hwn yn byw yn Smyrna oddeutu y fl. 230. Dygwyd ei athrawiaeth i Rufain gan Epigonus, ei ddysgybl, yn y fl. 215. Ei brif wrthwynebydd ydoedd Hippolytus.

Nid oedd Beryl o Bostra a Sabellius yn perthyn yn brïodol i'r un o'r ddau ddosbarth a enwyd, ond yn hytrach yn sefyll yn y canol rhyngddynt. Caniatäi Beryl fath o adlewyrchiad o'r sylwedd Dwyfol trwy yr hyn yr oedd personoliaeth yn Nghrist yn cael ei ffurfio, a'r hyn oedd yn dal lle enaid dynol ynddo; ac felly yr oedd ei ymwybyddiaeth ddynol yn deilliaw yn wastadol o'r sylwedd Dwyfol. Argyhoeddwyd ef o'i gyfeiliornad gan Origen yn y fl. 244, a derbyniodd mewn canlyniad yr athrawiaeth uniongred fel yr oedd yn cael ei deall y pryd hwnw. Yr oedd Sabellius y meddyliwr craffaf a mwyaf gwreiddiol o'r holl Unbenaethwyr. Yr oedd ei gyfundrefn ef yn rhagori ar eiddo y cyfeiliornwyr eraill a enwyd, trwy ei bod yn rhoddi lle neillduol ac angenrheidiol i'r Ysbryd Glân. Dywed Epiphanius fod ei athrawiaeth wedi ei hawgrymu iddo gan yr efengyl a ysgrifenwyd at yr Aiphtiaid, ymha le y mae Crist yn dyweyd wrth ei ddysgyblion, mewn cyfrinach, ei fod, pan yn son am y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, yn meddwl yr un Person. Dysgai nad oedd y Drindod yn parhâu o hyd; ond gan ei fod wedi dyfod o'r Undod *(Monad)*, y bydd eto yn dychwelyd yno yn ol. "Fel y dywed Paul, 'Y mae amryw ddoniau, eithr un Ysbryd,' felly gallwn ninnau ddyweyd, y mae yr undod yn ei ddadblygu ei hun i'r drindod yn y Mab a'r Ysbryd; ac eto nid oes ond un sylwedd mewn tair o wahanol berthynasau. Trindod o ddadguddiad yn unig ydyw ei Drindod ef; un Duw digyfnewid, ond yr hwn sydd yn cael ei bersonoli yn wahanol yn yr ysgrythyrau, ac yn siarad fel Tad, Mab, ac Ysbryd Glân." Gyda golwg ar berson Crist, yr oedd yn dal syniadau tebyg i'r eiddo Beryl. Edrychai ar y *Logos* yn ei ffurf wreiddiol, nid fel person, ond fel gallu Duw. Personolwyd ef gyntaf yn Nghrist. Nid oedd personoliaeth Crist yn ddim ond adlewyrchiad o allu y *Logos* yn y corff. Nid oedd Sabellius yn rhoddi yr enw *Mab* i'r *Logos;* ond i'r person a ffurfiwyd trwy undeb y *Logos* â'r dyn Iesu. Gwahaniaethai Sabellius oddiwrth Beryl yn hyn,—credai ef nad oedd personoliaeth

Crist i barhâu ond am dymmor yn unig; dychwelodd y *Logos* fel pelydryn yn ol, ar esgyniad Crist, a chymerodd yr Ysbryd ei le. Dywed Theodoret ei fod yn dysgu fod Duw yn yr Hen Destament yn ei osod ei hun allan fel y Tad a'r deddfroddwr, yn amser dyfodiad Crist fel y Mab, ac yn yr Eglwys Gristionogol fel yr Ysbryd Glân. Yn y diwedd, dychwela y ddau i'r undod yn ôl. Darlunia Athanasius ei gyfundrefn fel "ymestyniad a chwtogiad" y sylwedd Dwyfol.

Yr oedd golygiadau y ddau ddosbarth hyn o gyfeiliornwyr mewn gwirionedd, fel y sylwa Shedd, yn arwain i'r un pwynt; oblegid yr oedd y naill a'r llall yn cytuno i wadu Trindod hanfodol.

Mewn gwrthwynebiad i'r cyfeiliornadau hyn y gosododd y Tadau cyntefig eu golygiadau i lawr; ac er fod eu syniadau ar yr athrawiaeth hon yn dywyll a chymysglyd, eto yr oeddynt yn cyfeirio tua'r gwirionedd. "Yr oedd y Tadau hyn," ebe Stoughton yn ei *Ages of Christendom*, "yn ymdrin âg athrawiaeth y Drindod,—hwn oedd y pwnc mawr yr ymdrechent ei ddwyn i oleuni; ond wedi yr oll a ysgrifenwyd gan Bull ac eraill ar y pen hwn, mae yn anmhosibl gosod eu syniadau mewn un drefn, fel ag i wneyd cyfundrefn reolaidd a chyson o honynt. Yr oedd Cristionogion yn credu yn gyffredinol, mewn rhyw ystyr, yn rhaghanfodaeth Crist. Nis gellir profi fod, ymysg cyfeiliornwyr y ddwy ganrif gyntaf, lawer ag oedd yn credu nad oedd Crist ond dyn yn unig." Dylid cofio mai yn y cyfnod hwn yr oedd yr athrawiaeth yn ei manylion yn cael ei hadeiladu, ac nid yw unrhyw adeilad yn edrych yn hardd a golygus hyd nes y bydd wedi ei gorphen. Mae llawer o feïo ar y Tadau hyn o herwydd fod eu syniadau yn dywyll, a'u gosodiadau yn anorphenol; ond y mae yn hollol afresymol dysgwyl yr un eglurdeb a chysondeb yn eu gosodiadau hwy ag a geir mewn duwinyddion mwy diweddar, ag oedd yn cael y fantais o sefyll ar eu hysgwyddau hwy i edrych ar y gwirionedd hwn. Mae geiriau Macaulay, mewn amddiffyniad i awdwyr Chwyldröad 1688, yn hynod brïodol ar y pen hwn:—"The men to whom we owe it, that we have a House of Commons, are sneered at because they did not suffer the debates of the House to be published. The authors of the Toleration Act are treated as bigots, because they did not go the length of the Catholic Emancipation Act. Just so, we have heard a baby, mounted on the shoulders of its father, cry out, 'How much taller I am than papa!'"

Yr ydym wedi sylwi o'r blaen fod syniadau y Tadau Apostolaidd ar y Drindod yn hynod syml, a'u hiaith yn ysgrythyrol; ond tua diwedd y ganrif gyntaf a dechre yr ail, daeth amryw ddynion dysgedig drosodd at Gristionogaeth oddiwrth Iuddewiaeth a phaganiaeth, a dygasant eu geirweddiad athronyddol gyda hwy. Gan fod yr enw *Logos* yn cael ei roddi i Grist yn y Testament Newydd, a chan eu bod hwythau yn gydnabyddus â'r enw hwn trwy ysgrifeniadau yr athronwyr Platonaidd, yr oedd yn naturiol iddynt gyfyngu eu sylw yn benaf ato. Yr oeddynt i raddau pell yn coleddu yr un syniadau am y *Logos* â'r athronwyr paganaidd, ond eu bod hwy yn cymhwyso'r oll at Grist. Cenhedlwyd y *Logos* yn y dechreuad o'r Tad, ac y mae yn israddol i'r Tad. Trwyddo ef y mae y Tad yn creu ac yn ei ddadguddio ei hun. Yr oeddynt yn gwneyd gwahaniaeth eglur rhwng tragywyddol genhedliad y Mab a chrëu o ddim. Arferent amryw gymhariaethau, i eglüro i ryw raddau

fodolaeth bersonol y *Logos*, a'i berthynas â'r Tad ond nid oedd y cymhariaethau hyn wedi eu bwriadu i esbonio yr holl ddirgelwch, ond yn unig ryw ran o hóno. Y mae gair dynol yn cael ei ddyweyd, ei fwrw allan o'r enaid, heb i'r enaid drwy hyny golli dim o'i sylwedd. Y mae y pelydryn yn dyfod allan o sylwedd yr haul, heb i'r haul golli dim o'i ddysgleirdeb. Yr oedd y cymhariaethau hyn yn dangos nad oedd cenhedliad y Mab yn dinystrio Undod y Duwdod; ond nid oeddynt yn cario drychfeddwl clir a chywir am bersonau gwahaniaethol. Tuag at i'r cymhariaethau fod yn gyflawn, dylai y gair fod yn enaid, a'r pelydryn yn gorff goleu fel yr haul; ond tra y cedwid mewn côf mai rhan yn unig o'r athrawiaeth a eglurid ganddynt, nid oedd berygl iddynt arwain i gyfeiliornad. Edrychid ar genhedliad y Mab, nid fel yn dragywyddol ac angenrheidiol, ond fel gweithred yn tarddu o ewyllys y Tad, ac mewn rhyw ffordd yn dwyn cysylltiad â chrëadigaeth y byd. Cenhedlwyd ef yn y dechreuad pan y crëodd Duw bob peth trwyddo. Dywed Justin Ferthyr fod Duw yn y dechreuad, trwy ei nerth a'i ewyllys, wedi cenhedlu gallu rhesymol o hóno ei hun. Dywed Neander mai yn Clement o Alexandria y gwelir gyntaf yr ymgais i roddi o'r neilldu y drychfeddwl o amser gyda golwg ar genhedliad y Mab. Aeth Origen gam ymhellach, ac ynddo ef y gwelir y "tragywyddol genedliad" yn cael ei ddysgu yn eglur. Tuag at wrthwynebu cyfeiliornad y Patripassiaid, yr oedd y Tadau yn y cyfnod hwn yn rhoddi pwys mawr ar y gwirionedd fod y Tad a'r Mab yn bersonau gwahaniaethol, ac arweiniodd y gwahaniaethiad manwl a wneid rhyngddynt i'r grediniaeth fod y Mab yn israddol i'r Tad, a'r Ysbryd yn israddol i'r Tad a'r Mab. "Prïodolid hanfod gwirioneddol y Duwdod yn hytrach i'r Tad, ac nid oeddynt yn credu fod y Mab yn meddu y prïodoliaethau Dwyfol yn yr un ystyr ag y mae y Tad yn eu meddu. Yr oeddynt yn cymhwyso geiriau Crist (Ioan xiv. 28), 'Y mae y Tad yn fwy na myfi,' at Grist cyn ei ymgnawdoliad." (Kurtz). Dywed Justin, "Yr ydym yn ei addoli ef (Iesu Grist), yr hwn sydd Fab i'r hwn sydd Dduw gwirioneddol, yn yr ail le; ac yr ydym yn anrhydeddu yr Ysbryd prophwydol yn y trydydd grâdd." Dywed Irenæus fod y Tad uwchlaw pob peth, ac uwchlaw Crist. Mewn lle arall y mae yn gosod y "Mab yn ogyfuwch â'r Tad." Nis gellir gwadu nad ydyw Irenæus yn ei wrthddyweyd ei hun, ac nid ydyw ond gwaith ofer ceisio esbonio ymaith y gwrth-ddywediad. (Hagenbach). Arweiniodd yr ymdeimlad o bwysigrwydd y gwirionedd fod y Tad a'r Mab yn bersonau gwahaniaethol Irenæus a Tertullian i wneyd defnydd o'r gair "Mab," a thrwy hyny dygwyd mwy o'r elfen bersonol i'r athrawiaeth. Nid oedd *Logos*, yr enw a roddid amlaf ar yr ail Berson cyn eu hamser hwy, yn gosod allan ei bersonoliaeth yn agos mor eglur a'r gair Mab. Cymerodd Origen afael ar y drychfeddwl sydd yn y gair hwn, ac adeiladodd ei gyfundrefn arno. Gan fod Shedd yn rhoddi golygiadau Origen mewn dull eglur a chryno, yr ydys wedi cymeryd y brawddegau canlynol gan mwyaf o hóno ef. "Gan fod Origen yn gwrthwynebu y Patripassiaid, pa rai oeddynt yn dal yr Undod, ond yn gwadu y Trindod, yr oedd yn naturiol iddo roddi pwys ar y gwirionedd fod y Tad a'r Mab yn bersonau gwahaniaethol a gwirioneddol. Ond os ydyw Duw yn un, pa fodd y gall fod yn dri Pherson? pa fodd y gellir cysoni Undod a Thrindod â'u gilydd? Dygodd yr ymgais i ateb y cwestiynau hyn y diffyg

mawr i gyfundrefn Origen. Ceisiodd Origen gysoni yr athrawiaeth o dri Pherson â'r athrawiaeth o un Hanfod trwy ddefnyddio y drychfeddwl o *dragywyddol genhedliad*, wedi ei awgrymu gan yr enw Mab, yr hwn a ddefnyddir mor gyffredinol yn y Testament Newydd i ddynodi yr ail Berson yn y Drindod. Wrth wneuthur hyn, yr oedd yn cymeryd yr un dull â'r duwinyddion Nicëaidd. Ond darfu iddo ef, yn wahanol iddynt hwy, ddarnodi yr ymadrodd hwn fel ag i ddysgu israddoliaeth yr ail Berson i'r cyntaf *gyda golwg ar sylwedd*. Eglurai ei olygiadau yn y dull canlynol: "Dylid," meddai, "gwneyd gwahaniaeth rhwng Θεός a ὁ Θεός. Y Tad yn unig sydd yn ὁ Θεός; Θεός yw y Mab. Nid ydyw y Mab yn Dduw yn ystyr gyntaf a goruchaf y gair; ac am hyny y mae Ioan yn gadael allan y fanod (Ioan i. 1) pan yn dynodi Duw y Gair, ond yn ei harfer pan yn siarad am y Duw goruchaf yn yr un adnod. Nid ydyw y Mab yn cyfranogi o sylwedd hunanfodol y Duwdod, ac am hyny nis gellir dyweyd ei fod yn gydsylweddol (ὁμοουσιος) â'r Tad." Y mae y Mab yn Dduw trwy ei fod wedi derbyn math o ddwyfoldeb ailraddol oddiwrth y Tad. Ar yr un pryd daliai Origen nad oedd y Mab yn grëadur. "Y mae yn meddu natur yn y canol rhwng yr Anghrëedig a phob crëadur." Y mae y gwahaniaeth rhwng y Mab a'r grëadigaeth yn gorwedd yn y ffaith ei fod wedi derbyn ei ddwyfoldeb (ailraddol) yn *uniongyrchol* oddiwrth y Duw goruchaf, tra y mae pob crëadur yn derbyn ei fodolaeth o'r un ffynnonell trwy y Mab. Edrychai ar yr Ysbryd Glân fel crëadur yn ystyr lythyrenol y gair, a'r crëadur cyntaf a ddygwyd i fod gan y Tad trwy y Mab.

Rhydd Baur y crynodeb canlynol o'i olygiadau:—1. Y mae Origen yn cychwyn o'r ffaith fod y Tad a'r Mab yn bersonau gwahanol. 2. Y mae y gwahaniaeth rhyngddynt yn cael ei ddangos gan Ioan trwy arfer y fanod pan y mae'r Anghenedledig yn cael siarad am dano, a thrwy ei gadael allan pan yn siarad am y Cenhedledig. 3. Y mae y gwahaniaeth hwn yn cynnwys israddoliaeth y Mab i'r Tad gyda golwg ar sylwedd. Dysgai fod y cylch y mae y Mab yn gweithio ynddo yn ail i'r cylch y mae y Tad yn gweithio, a'r cylch y mae'r Ysbryd yn gweithio yn ail i gylch y Mab—cylch y Tad yn cymeryd i mewn bob peth, yn cynnwys yr eiddo y Mab a'r Ysbryd—cylch y Mab yn cynnwys y grëadigaeth, cylch yr Ysbryd yn cynnwys credinwyr yn unig. 4. Y mae yr Undod, fel y mae ef yn ei osod allan, yn gynnwysedig, nid mewn undod sylwedd, ond mewn unfrydedd. Y mae diffygion ei gyfundrefn yn dyfod i'r golwg—1. Yn y gwahaniaeth y mae yn ei wneyd rhwng Θεός a ὁ Θεός. Y mae yn dal dau fath o ddwyfoldeb—dwy radd o fodolaeth ddwyfol. Yn lle gadael y drychfeddwl o Dduwdod yn y ffurf syml y mae i fod, dygodd Origen ddamcaniaethau yr Amldduwiaid i'r cwestiwn. Nid ydyw Duwdod ond peth o raddau yn ei gyfundrefn ef. Y mae y Tad yn ei feddu mewn ffurf uwch na'r Mab, ac y mae y Mab yn ei feddu mewn graddau helaethach na'r Ysbryd. Y mae y gagendor rhwng y meidrol a'r anfeidrol yn cael ei lanw i fyny gan lechres ddisgynedig o fodau dyrchafedig. Mewn gwirionedd, nid ydyw ei gyfundrefn yn gwahaniaethu oddiwrth ddeilliadaeth baganaidd. 2. Dysgai fod cenhedliad y Mab, fel crëadigaeth, yn tarddu o ewyllys y Tad, ac nid o angenrheidrwydd natur. Ennillodd golygiadau Origen dderbyniad lled gyffredinol yn y Dwyrain. Yr oedd ei gyfundrefn yn cynnwys hadau cyfeiliornadau dinystriol, pa

rai a barasant lawer o flinder i'r Eglwys. O hóni hi y cafodd Arius amryw o'i syniadau cyfeiliornus. Nid oedd ef yn meddu y duedd na'r dalent i ffurfio golygiadau newyddion. Yr oedd yn feddyliwr clir o fewn terfynau cyfyngedig; ond yr oedd yn amddifad o'r dyfnder a'r ehangder meddwl hwnw ag sydd yn angenrheidiol i gymeryd i mewn wirioneddau cyferbyniol, ac i roddi i bob rhan o'r athrawiaeth hon ei lle a'i phwysau prïodol ei hun. Credai ef nad oedd yn gwneyd dim ond amddiffyn hen gredo yr Eglwys. Yr oedd Origen wedi bod yn dysgu fod y Mab yn gyfranog trwy "dragywyddol genhedliad" o sylwedd ailraddol. Nid ydyw natur yr ail Berson yr un a'r unrhyw â'r eiddo y Person cyntaf. Dadleuai Arius, yn hollol gywir, nad oes natur yn y canol rhwng Duw a chrëadur; ac oddiwrth hyn y mae yn tynu y casgliad nad yw y Mab yn ddim ond crëadur yn ystyr brïodol y gair. Nid oes iddo ond natur a bodolaeth amserol, er ei fod yn rhedeg yn ol ymhell i dragywyddoldeb. Fel y crëadur cyntaf a mwyaf, gellir ei alw mewn ystyr ffugyrol yn Dduw. Gwrthwynebwyd y golygiadau cyfeiliornus hyn o eiddo Arius gan Alexander, esgob Alexandria, yr hwn a ddaliai wir a phrïodol Dduwdod y Mab, ac ar yr un pryd ei dragywyddol genhedliad. Yn y fl. 321, cynnaliwyd cynghor yn Alexandria, ymha le y condemniwyd golygiadau Arius. Ond gan fod rhai dynion dylanwadol yn ffafriol iddo, a'r bobl gyffredin yn cymeryd ei blaid, yr oedd yn alluog i beri blinder a therfysg yn yr Eglwys. Parai yr aflonyddwch hwn gryn flinder i'r Ymherawdwr Cystenyn Fawr, ac anfonwyd Hosius, Esgob Cordova, i Alexandria, gyda gorchymyn ar fod i'r ddwy blaid ymattal oddiwrth y fath "ddadleuon difûdd." Yn ystod ei arosiad yn Alexandria, deallodd Hosius bwysigrwydd y cwestiwn mewn dadl, ac ar ei ddychweliad perswadiodd yr Ymherawdwr i alw Cynghor cyffredinol. Yn y flwyddyn 325, cyfarfu Cynghor Cyffredinol Nice, ymha un yr oedd 318 o esgobion. Yr oedd yn y Cynghor hwn dair plaid—yr Ariaid, yr Hanner Ariaid, a'r blaid Uniongred, yr hon, er nad oedd ei nifer ond bechan mewn cymhariaeth, a ennillodd y fuddugoliaeth trwy hyawdledd tanbaid Athanasius a dylanwad yr Ymherawdwr. Dysgyblion Origen ydoedd yr Hanner Ariaid, a chynnrychiolid hwy yn y Cynghor hwn gan Eusebius o Cesarea, ac Eusebius o Nicomedia. Dygodd Eusebius o Cesarea gredo i mewn i'r Cynghor ymha un yr oedd yn caniatâu pob peth a ofynid gan y blaid Uniongred, ond fod y Mab o'r un a'r unrhyw sylwedd â'r Tad. Yn ei gredo ef, y mae y Mab o sylwedd "cyffelyb" (ὁμοιουσιος) i'r Tad. Nid ydyw hyn mewn gwirionedd yn gwahaniaethu y Mab oddiwrth grëadur; oblegid gellir dyweyd fod enaid dynol o sylwedd "cyffelyb" i'r Duwdod. Gan fod cyfeiliornadau wedi cyfodi wrth edrych yn unochrog ar yr Ysgrythyrau, yr oedd gan y Cynghor hwn i osod i lawr yr athrawiaeth yn ei chyfanrwydd—i gymeryd i mewn yr holl fynegiadau Ysgrythyrol gyda golwg ar undod ar y naill law a thrindod ar y llaw arall. Cyfyngai y Patripassiaid eu hunain at y rhanau hyny o'r gwirionedd ag sydd yn dysgu undod Duw, ac yr oeddynt yn esgeuluso y rhanau hyny ag sydd yn dysgu ei fod yn dri pherson. Yr oedd Origen ac Arius, o'r ochr arall, yn cyfyngu eu sylw at y dosbarth hwnw o Ysgrythyrau ag sydd yn dangos personoliaeth wahaniaethol y Mab, gan esgeuluso rhanau eraill ag sydd yn dangos ei Dduwdod gogyfuwch â'r Tad, ac undod sylwedd. Yr oedd y naill gyfundrefn a'r llall yn cynnwys gwirionedd a chyfeiliornad.

Gyda golwg ar Undod, yr oedd yr Unbenaethwyr yn gywir ac ysgrythyrol. Cydnabyddodd y duwinyddion Nicëaidd hyn, a defnyddiasant yr ymadrodd nodweddiadol (ὁμοούσιος) a arferent hwy i osod y syniad hwn allan: a thra yn gwneuthur hyn ar y naill law, derbyniasant ddrychfeddwl Origen am y tragywyddol genhedliad ar y llaw arall. Y mae y credo a gymeradwywyd gan y Cynghor hwn yn sylfaenedig ar yr "holl Ysgrythyr," ac yn cymeryd i mewn hyny o wirionedd ag oedd yn y cyfundraethau cyfeiliornus y cyfeiriwyd atynt o'r blaen. Penderfynwyd fod "y Mab wedi ei genhedlu o hanfod y Tad, Duw o Dduw, Llewyrch o Lewyrch, gwir Dduw o wir Dduw (Θεὸν ἀληθινὸν, yn cyfateb i ὁ Θεὸς yn Origen), cenhedledig nid crëedig, o'r un sylwedd (ὁμοούσιος) â'r Tad." Er i'r blaid uniongred lwyddo yn Nice, eto yr oedd mwyafrif mawr o'r Cristionogion yn y Dwyrain yn anfoddlawn i dderbyn yr athrawiaeth fod y Mab "o'r un sylwedd a'r Tad;" oblegid yr oeddynt yn credu fod hyn yn arwain i Sabelliaeth. Wedi llawer o gyffro a therfysg, cyfarfu Cynghor cyffredinol Caercystenyn yn y fl. 381, ymha le y cadarnhäwyd penderfyniadau Cynghor Nice ar yr athrawiaeth hon.

Gyda golwg ar yr Ysbryd Glân, gellir sylwi na phenderfynwyd dim yn ystod y tair canrif cyntaf mewn perthynas i'w natur, nodweddion ei Berson, neu ei berthynas â'r Tad a'r Mab. Y mae Justin Ferthyr yn gwahaniaethu yr Ysbryd oddiwrth y Mab, ond yn prïodoli y gwaith o ysbrydoli y prophwydi i'r ail Berson. Edrycha Tertullian ar yr Ysbryd fel yn dyfod o'r Tad drwy y Mab. "Y trydydd ydyw yr Ysbryd, o Dduw a'r Mab; fel y mae y ffrwyth o'r gangen yn drydydd o'r gwreiddyn." Yn Nghynghor Nice yr oedd y blaid uniongred yn anfoddlawn, heb eu gorfodi, i wneyd y pwnc dyrys oedd o'u blaen yn fwy dyrys trwy ddwyn cwestiwn newydd i'r ddadl. Heblaw hyny, buasai'r Hanner Ariaid yn petruso mwy estyn yr athrawiaeth o *gydsylweddolrwydd* at yr Ysbryd. O herwydd y rhesymau hyn nid ydyw y credo Nicëaidd yn cynnwys ond y crybwylliad byr, "Credaf yn yr Ysbryd Glân." Yn fuan ar ol y Cynghor hwn aeth y rhan hono o'r Hanner Ariaid a elwid Macedoniaid (oddiwrth Macedonius eu blaenor), mor bell fel ag i ddal nad oedd yr Ysbryd ond crëadur yn unig, gweinidog y Tad a'r Mab. Yn Nghynghor Caercystenyn condemniwyd y cyfeiliornad hwn, ac ychwanegwyd ychydig at y credo Nicëaidd. Y mae y rhan hono o'r credo hwn ag sydd yn cyfeirio at yr Ysbryd fel y canlyn: "A chredaf yn yr Ysbryd Glân, yr Arglwydd, y Bywiawdwr, yr hwn sydd yn deilliaw o'r Tad, yr hwn sydd i'w addoli a'i ogoneddu gyda'r Mab, a'r hwn a lefarodd trwy y prophwydi." Ond yn fuan fe gyfododd dadl frŵd gyda golwg ar ddeilliad yr Ysbryd. Yr oedd eglwysi y Dwyrain yn barnu ei fod yn deilliaw o'r Tad yn unig. "Ond yr oedd llawer, yn enwedig yn yr Eglwys Ladinaidd yn dal nad oedd yr Ysbryd Glân yn deilliaw oddiwrth y Tad yn unig, ond 'oddiwrth y Mab hefyd.' Apelient at Ioan xvi. 13, ac at yr ymadroddion lle y mae yr Ysbryd Glân yn cael ei alw yn 'Ysbryd Crist;' megys Rhuf. viii. 9, &c. Yr oedd y Groegiaid gan mwyaf yn erbyn yr athrawiaeth hon, am nad oeddent yn cael bod y Testament Newydd o gwbl yn dyweyd fod yr Ysbryd Glân yn deilliaw oddiwrth y Mab. Pa fodd bynag, yr oedd yn ffynu yn barhäus yn yr Eglwys Ladinaidd; a phan yn y bummed a'r chweched ganrif y darfu i'r Ariaid, y rhai a ffynent yn fawr y pryd hwnw yn Spaen, ddwyn ymlaen yr athrawiaeth mai oddiwrth y Tad yn unig yr oedd yr

Ysbryd Glân yn deilliaw, ac nid oddiwrth y Tad a'r Mab, fe dechreuodd yr eglwysi catholig yn y parthau hyny ddal allan yn fwy penderfynol bod yr Ysbryd Glân yn deilliaw oddiwrth y ddau, ac a ychwanegasant y frawddeg 'o'r Mab' at y gair 'Tad' yn Nghredo Nice a Chaercystenyn. Dilynwyd eglwysi Spaen yn hyn gan eglwysi Ffrainc, ac wedi hyny gan holl eglwysi y Gorllewin o'r bron. Ond gan fod eglwys y Dwyrain yn parhâu i ymlynu yn gadarn wrth yr hen ffurf, hi a gyhuddodd eglwys y Gorllewin o ŵyrdroi y credo Nicëaidd; ac felly fe gyfododd dadleuon ffyrnig rhyngddynt, ar wahanol amserau." (Knapp). Y mae credo y blaid uniongred ar yr athrawiaeth hon, fel y deallir hi yn y Gorllewin, yn rhedeg fel y canlyn: "Yr ydym yn credu yn Nuw Dâd Hollalluog, Crëawdwr nef a daear, a phob peth gweledig ac anweledig. Ac yn un Arglwydd Iesu Grist, unig genhedledig Fab Duw, cenhedledig gan ei Dad cyn yr holl oesoedd; Duw o Dduw, Llewyrch o Lewyrch, gwir Dduw o wir Dduw, cenhedledig nid crëedig, yn un hanfod â'r Tad, gan yr hwn y gwnaethpwyd pob peth. Yr hwn erom ni ddynion, ac er ein hiachawdwriaeth, a ddisgynodd o'r nefoedd, ac a wnaethpwyd yn gnawd trwy yr Ysbryd Glân o Fair Forwyn, ac a wnaethpwyd yn ddyn, ac a groeshoeliwyd hefyd drosom dan Pontius Pilat. Efe a ddyoddefodd ac a gladdwyd, a'r trydydd efe a adgyfododd yn ol yr Ysgrythyrau, ac a esgynodd i'r nef, ac y mae'n eistedd ar ddeheulaw y Tad. A thrachefn y daw efe trwy ogoniant i farnu y byw a'r meirw, ac ar ei deyrnas ni bydd tranc. A chredwn yn yr Ysbryd Glân, yr Arglwydd a'r Bywiawdwr, yr hwn sy'n deilliaw o'r Tad a'r Mab; yr hwn ynghyda'r Tad a'r Mab a gydaddolir ac a gydogoneddir. Yr hwn a lefarodd trwy y prophwydi. A chredwn fod un gatholig ac apostolig eglwys. Addefwn un bedydd er maddeuant pechodau; ac edrychwn am adgyfodiad y meirw, a bywyd y byd sydd ar ddyfod."

Gan nad oeddym yn bwriadu dim ond rhoddi y prif ffeithiau yn hanes yr athrawiaeth y tro hwn, a chan ein bod yn gobeithio cael dychwelyd yn fuan i edrych ar y pwnc mewn gwêdd athrawiaethol, yr ydym wedi gadael rhanau pwysig o'r athrawiaeth heb wneyd ond crybwylliad bŷr am danynt. Cyn terfynu, gallwn sylwi fod yr athrawiaeth hon wedi derbyn dadblygiad cyflawn cyn diwedd y cyfnod sydd wedi bod dan sylw, ac na ysgrifenwyd dim eglurach na chyflawnach arni mewn amseroedd dilynol. Nis gallwn ddiweddgloi ein nodiadau yn well na thrwy ddyfynu sylwadau bywiog Hagenbach ar yr hyn a adnabyddir yn gyffredin wrth yr enw Credo Athanasius. "The doctrine of the church concerning the Trinity appears most fully developed, and expressed in its most perfect symbolical form, in what is called the *symbolum quicumque* (commonly but erroneously called the Creed of St. Athanasius). It originated in the school of Augustine, and is ascribed by some to Vigilius Tapsensis, by others to Vincentius Lerinensis, and by some again to others. By the repitition of positive and negative propositions, the mysterious doctrine is presented to the understanding in so hieroglyphical a form, as to make a man feel his own weakness. The consequence was, that all further endeavours of human ingenuity to solve its apparent contradictions by philosophical arguments, must dash against this bulwark of faith, on which salvation was made to depend, as the waves against an impregnable rock."

# TAITH I ITALY

## I.

GADAWODD yr ysgrifenydd un o drefi Gogledd Cymru fore Gwener, Medi 11eg, 1868, am Lundain; ac yno ymunodd âg *excursion party* Mr. Cook, rhan o ba un oedd wedi cychwyn er ys tri diwrnod yn flaenorol am Switzerland trwy Belgium, ac i fyny y Rhine; a'r rhan arall i gychwyn bore drannoeth am yr un lle trwy Paris.

Gadawsom y London Bridge Station bore Sadwrn am Newhaven, ac yma yr oedd agerlong yn barod i'n cymeryd dros y *channel*, yr hon sydd yma yn 73 milldir o lêd, i Dieppe yn Ffrainc. Buom saith awr yn croesi drosodd. Cymaint a ddywedwn am y fordaith hon yw, ein bod yn gobeithio y bydd naill ai pont trosodd, neu *dunnel* odditanodd, cyn y byddwn yn croesi y lle hwn eto. Mae genym oddiyma i Paris 125 milldir. Cyrhaeddasom yno yn hwyr nos Sadwrn, ac yma y treuliasom y Sabbath. Mae amryw eglwysi a chapelau Seisonig yn Paris. Aeth amryw o honom i gapel yr Annibynwyr, capel bychan, destlus, am ba un y dywedent eu bod yn talu 200p. yn flynyddol o ardreth.

Mae Paris yn dref hynod o hardd, yr harddaf, meddir, yn y byd, ac y mae yn gwellâu yn barhäus, trwy fod cannoedd lawer o dai bychain a heolydd culion yn cael eu chwalu, er adeiladu tai mwy a heolydd lletach yn eu lle.

Gadawsom Paris prydnawn Llun, Medi 14eg, gyda'r rheilffordd am Dijon, tref fawr tua chanol Ffrainc; ac wedi cyraedd yma tua hanner nos, yr oeddym yn cymeryd llinell arall am Switzerland; a thua thòriad y wawr, yr oeddym yn croesi y terfyn rhwng y ddwy wlad mewn tref fechan a elwir Pontarlier.

Mae y golygfëydd yn awr yn dechreu newid; yn lle tir gwastad fel yr oeddym wedi bod yn teithio drosto am gannoedd o filldiroedd, dyma fynyddoedd Jura yn y golwg; dywedir fod y llinell yr ydym yn rhedeg ar hyd-ddi y bore hwn yn un o'r rhai anhawddaf ei gwneyd yn Ewrop. Mae yn myned trwy lïaws mawr o *dunnels*, ac weithiau ar ochr un o'r mynyddoedd a'r fin dibyn serth, a dyfnder mawr o danom, ac afon gref yn rhedeg yn chwyrn yn ngwaelod y dyffryn. Gorchuddir ochrau y mynyddoedd oll â choed, ac ymddengys y dyffrynoedd o danom fel carpet mawr o wahanol liwiau, gan yr amrywiol feusydd o lysiau, ffrwythau, &c., a dyfent arnynt. Mae y golygfëydd yma yn dra phrydferth a mawreddog, ac yn cyfnewid yn wastadol fel yr ydym yn myned ymlaen.

Oddeutu 10 y bore, cyrhaeddasom Neuchatel, tref fechan lanwaith, ar làn llŷn o'r un enw, a bryniau Jura yr ochr arall iddi. Yr oedd y meusydd oll o'i hamgylch yn orchuddiedig â gwinwydd, a channoedd o'r trigolion ar y pryd yn casglu y *grapes*. Aethom i'r Belle View Hotel—un o'r rhai harddaf yn Switzerland—sydd ar làn y llŷn; yno yr

oedd boreufwyd yn dysgwyl am danom; wedi wneyd cyfiawnder â hwnw, ac edrych ychydig o'n hamgylch, aethom ymlaen drachefn nes cyraedd Berne, prif dref Switzerland.

Gwlad led fechan yw Switzerland, oddeutu 200 milldir o hŷd, a 130 o lêd. Gorwedda rhwng Ffrainc, Germany, ac Italy; nid yw yn cyffwrdd â'r môr; hi yw y wlad fwyaf mynyddig yn Ewrop; rhyngddi ac Italy gorwedda mynyddoedd mawrion yr Alps, sydd dros 600 milldir o hŷd; ac y mae yr uchaf o honynt, sef Mont Blanc, yn 15,760 tr. o uchder. Mae yn hynod am ei llŷnau hefyd, megys llyn Geneva, Constance, Neuchatel, Lucerne, Zurich, &c.; rhai o honynt ugain i ddeg ar hugain milldir o hŷd. Mae yn gyffredin ddwy neu dair o agerlongau ar bob llŷn, yn cludo y teithwyr o'r naill ben i'r llall bob dydd, a lliaws mawr o gychod hefyd.

Mae yr hinsawdd yn dra amrywiol mewn gwahanol ranau o'r wlad; yn y dyffrynoedd yn boeth iawn yn yr hâf, tra y mae y rhew a'r eiraoesol braidd yn eich ymyl ar benau y mynyddoedd.

Tir pori ydyw gan mwyaf; tybiem mai ychydig o ŷd a godir; nid oes y fath beth ag ydlan i'w gweled yn un man yn y wlad, na dâs na chyrnan o ŷd na gwair yn unlle; mae nifer o adeiladau yma a thraw ar ganol y meusydd ac ochrau y mynyddoedd: yn y rhan isaf y cedwir ac y porthir yr anifeiliaid, ac yn y rhan uchaf y cedwir yr ŷd, y gwair, &c. Nid oes na brenin na brenhines yn y wlad, o herwydd gwerinlywodraeth yw; mae yn enwog am ei rhyddid gwladol, masnachol, a chrefyddol. Ymddengys fod y trigolion yn ddiwyd a darbodus, eu tai a phob peth o amgylch yn lanwaith a threfnus. Töir y tai â choed wedi eu tòri yn ddarnau bychain, llai na'r llechi lleiaf yn y wlad hon; ond ymddengys y tô fel yn rhy fawr i'r tŷ, nes y mae yn ymddangos yn dra thebyg fel y gwelsom y bachgen bach ar ol rhoi *hat* fawr ei dad am ei ben. Ychain sydd yn tŷnu y troliau a'r wageni, ac yn aredig hefyd; gwelir weithiau ŷch a cheffyl ynghyd yn aredig. Mae y rhan lïosocaf o lawer o'r trigolion yn Brotestaniaid.

Berne yw y brif dref ac eisteddle y llywodraeth; cynnwysa 30,000 o drigolion. Amgylchynir hi agos oll gan yr afon Aar. Mae math o *arcades* o flaen y tai yn y prif heolydd, tebyg i ddinas Caer; ac y mae ffrŵd o ddwfr yn rhedeg drwy ganol pob heol, i'r dyben o gludo ymaith bob budreddi. Nid oes neb yn meddwl am fyned o Berne heb weled yr Eirth. Mewn adeilad mawr pwrpasol wrth ochr y dref, gwelir tair o eirth mawrion, tewion, a dioglyd iawn. Mae gan y trigolion barch mawr iddynt, o herwydd rhyw hen draddodiad ddarfod i sylfaenydd cyntaf y ddinas ladd arth ar y fan cyn dechreu adeiladu; ac ystyrir yr arth byth wedyn yn dra chysegredig, a rhyw berthynas agos rhyngddi âg annibyniaeth ac iawnderau eu dinas. Oddeutu 100 mlynedd yn ol, gadawodd boneddiges o hen ferch ei holl gyfoeth yn ei hewyllys at gynnaliaeth yr eirth. Ar ol iddi farw, ceisiodd rhai o'i pherthynasau dòri yr ewyllys, a bu cyfraith dost rhyngddynt â'r eirth; yr oedd rhai o brif *counsels* y wlad yn dadleu dros yr eirth, ac eraill dros y perthynasau; a dyfarnodd y llŷs mai yr eirth oedd y cyfiawn aerod; yna dïogelwyd yr eiddo fel y byddai y llôg at eu cadwraeth. Ond pan orchfygodd y Ffrancod y Swissiaid, a chymeryd eu dinas tua 70 mlynedd yn ol, yspeiliasant eiddo yr eirth, ac aethant â hwythau yn garcharorion

rhyfel i Paris. Ymhen blynyddau, pan sefydlwyd heddwch, a phan adfeddiannodd y Swissiaid eu hannibyniaeth, un o'r pethau cyntaf a wnaethant oedd cyrchu yr eirth yn ol; ond ni adfeddiannwyd eu cyfoeth. Yna gwnaeth y trigolion gasgliad mawr, ac â hwn prynwyd etifeddiaeth i'r eirth, ac ardreth hono sydd bob blwyddyn yn cael ei defnyddio at eu cynnaliaeth. Yn achlysurol pesgir a lleddir un o honynt er gwneyd gwledd ardderchog i'r seneddwyr.

Yn nghanol y dref mae y *clock tower*, yn yr hwn y mae awrlais tra rhyfedd. Un mynyd cyn taro pob awr, gwelir ceiliog pren yn dyfod allan o ochr y ddeial, yna mae yn cânu ddwywaith ac yn ysgwyd ei adenydd; wedyn gwelir y brenin yn d'od allan âc yn taro yr awr ar y gloch â'i deyrnwïalen; yna y mae gorymdaith o eirth yn dilyn; ac wedi ychydig o gânu a thwrf ychwanegol, ânt i'w llochesau i orphwys hyd yr awr nesaf.

Oddiyma aethom gyda'r rheilffordd i Zurich, tref led fechan ar lân llŷn o'r un enw, lle dymunol iawn; tawel, glanwaith, ac iachus. Hon yw y dref fwyaf llaw-weithfäol yn Switzerland; dyma eu Birmingham hwy. Yma yr oedd Zwingle y diwygiwr enwog yn byw. Dywedir mai yma y tòrodd gwawr y Diwygiad Protestanaidd gynt.

Yma yr oedd yr holl *barty*, sef y rhai a ddaethant i fyny y Rhine, a'r rhai trwy Paris, yn cyfarfod gyntaf. Ar ol ciniaw y noswaith hon, cawsom gyfarfod mewn ystafell fawr yn yr Hotel, pryd y dewiswyd llywydd, ac y rhagdrefnwyd am ein symudiadau yn y dyfodol. Am y cwmni, gellir crybwyll eu bod oll yn bobl barchus. Yr oedd o honom rai yn hen a rhai yn ieuainc, gwŷr a gwragedd, merched ieuainc a hen ferched, &c.; rhai o Loegr, Ysgotland, Iwerddon, ac America. Yr oedd yn eu mysg ddau weinidog yr efengyl, dau feddyg, un cyfreithiwr, ac un *professor*, wedi bod mewn cysylltiad â'r London University am lawer o flynyddoedd. Yr oedd yn ein plith un bachgen drwg; sef un wedi bod yn California, ac wedi llwyddo i gasglu cryn lawer o'r aur yno, ond heb fod yn ddirwestwr; methodd â'n dilyn i ben pellaf ein taith; bu gorfod i ni ei adael ar ol yn Rhufain, lle yr oedd ar ei *derm* er ys dros wythnos.

Yr oedd yn ein cyfarfod ar y daith fechan hon, fel ar daith faith bywyd trwy y byd, aml i brofedigaeth; ond yr oedd cryn wahaniaeth rhwng y naill a'r llall yn myned drwyddynt. Tòrodd rhai eu calonau, a throisant yn ôl cyn cyraedd pen y daith. Yr oedd rhai yn mwynhâu pobpeth, ac eraill yn grwgnach yn barhäus. Tŷnai ambell un rhyw helbul arno ei hun o hyd. Yr oedd y *Professor* yn neillduol felly; byddai naill ai wedi colli ei lyfr, anghofio rhai o'i ddillad, neu ryw helynt arall bob dydd, nes oedd yn fath o acen ymysg y cwmni fod y *professor in trouble again*.

Cwyn parhäus un cyfaill o America oedd ei fod ef yn cael rhyw "gam" oddiar law pawb. Byddent ymhob Hotel, meddai, yn ei anfon ef i gysgu i nèn y tŷ, rywle i gymydogaeth y sêr a'r planedau, er ei fod yn talu cymaint a neb; ac nid oedd ef mewn na cherbyd nac unlle yn cael cystal lle a phobl eraill. Barnem fod hwn yn berthynas agos i deulu y "mawr gam" y byddai y diweddar Mr. Humphreys o'r Dyffryn yn sòn am danynt.

Cyn y gall dyn fwynhâu teithio, rhaid ei fod yn meddu gradd helaeth o bwyll a hunan-feddiant, a rhaid iddo foddloni i gymeryd ei dwyllo a'i

yspeilio i gryn raddau. Wrth newid arian am rai gwledydd dyeithr, yr ydys yn sicr o gael llai na'u gwerth, ac wrth brynu rhywbeth rhaid talu yn llawer rhy ddrud am dano. Gwell i ddyn beidio cychwyn o gartref i wlad ddyeithr, at bobl nad yw yn deall eu hiaith, os na all foddloni i gymeryd ei dwyllo oddeutu yr hanner ymhob peth.

Yn foreu drannoeth gadawsom Zurich gyda'r rheilffordd, yr hon oedd yn rhedeg trwy ran o'r wlad ag oedd yn cynnwys golygfëydd tra ardderchog. Yr oeddym yn myned heibio i lŷn bychan, prydferth, Wallenstad, ac erbyn deg y bore cyrhaeddasom bentref Coire. Dyma y fan bellaf y gallem fyned gyda y rheilffordd yn y cyfeiriad hwn. Dyma ni yn awr wrth ochr mynyddoedd yr Alps, ac y mae genym bedwar ugain a deg o filldiroedd i'w croesi mewn cerbydau, cyn y cyrhaeddwn reilffordd eto yr ochr draw yn Italy.

Cyn gadael y rheilffordd, gellir crybwyll ychydig am helynt y teithio gyda hwynt ar y cyfandir. Mae y cerbydau yn well na rhai y wlad hon; yr ail ddosbarth agos cystal ag yw y dosbarth cyntaf yma. Teithiant ychydig yn arafach. Mae y cerbydau yn Switzerland yn debyg i'r rhai yn America,—mynedfa drwy eu canol, a drysau ymhob pen, fel y gellir myned o'r naill gerbyd i'r llall ar hyd y *train*.

Yr helbul mwyaf sydd gyda'r *luggage*. Ni chaniateir myned âg ond ychydig gyda chwi i'r cerbydau; rhaid *registro* y *luggage* cyn cychwyn, yr hyn ar y rheilffyrdd Italaidd sydd dra chostus. Dylid bod yn y *station* hefyd hanner awr cyn amser cychwyn, onidê mae yn dra thebyg y bydd naill ai y teithiwr neu ei *luggage* yn gorfod aros yno hyd drannoeth, gan yr amser mawr a gymerir at hyn. Wedi eu dïogelu felly, ni cheir cyffwrdd â hwy na'u gweled hyd nes y cyrhaeddir pen y daith, pryd y rhaid dysgwyl am hir amser mewn ystafell fawr, tra y byddont yn eu cludo a'u trefnu mewn ystafell fawr arall.

Ar ol cael tocyn cyn cychwyn, ni chaniateir i'r teithwyr fyned ar y *platform* i ddysgwyl am y *train*, ond arweinir hwy i wahanol ystafelloedd yn ol y *class* y perthyna y tocyn iddo; a phan ddaw y *train*, gollyngir teithwyr y dosbarth cyntaf allan yn gyntaf; ar ol iddynt hwy oll gymeryd eu heisteddleoedd, agorir drŵs ystafell yr ail ddosbarth; ac ar ol iddynt hwythau ganfod eu lleoedd, gollyngir y trydydd dosbarth o'u caethiwed.

Cyfarfyddir â chryn helbul hefyd bob tro yr ydys yn myned dros y terfyn o'r naill deyrnas i'r llall, gan y bydd raid agor ac archwilio yn fanwl yr holl *luggage*, i edrych a fydd unrhyw nwyddau â *duty* arnynt yn eu mysg. Teithiasom gryn lawer yn y nos, ac y mae i hyny ei brofedigaethau. Yr oedd yn anhawdd peidio cysgu, ond yr oedd cryn berygl gwneyd hyny, rhag nad oedd yr holl gymdeithion fyddai o'n hamgylch yn dygwydd bod yn hollol onest. Hefyd byddai cryn berygl wrth gysgu o anghofio disgyn yn y *station* brïodol; ond o ran hyny ychydig iawn fwy o fantais oedd bod yn effro, er deall ymha *station* y byddem, gan y bloeddient yr enwau mewn dull mor wahanol i'r hyn fuasem ni yn ei ddeall wrth yr enw ar y tocyn, yn dra thebyg fel y teimlai Cymro wrth glywed *porter* o Sais y nbloeddio Rhosllanerchrugog neu Lanfairfechan.

Nid ymhob man y mae *refreshment rooms* yn y *stations*. Buom rai troion ddeuddeng awr olynol yn y *train*, heb gael na thamaid na llymaid.

Helynt arall wrth deithio yw, fod yr amser yn newid fel yr ydych yn myned i'r Dwyrain. Mae amser Ffrainc yn wahanol i amser ein gwlad ni; a phan aethom drosodd o Ffrainc i Switzerland, yn Pontarlier, gwelem ddau *gloc* wrth ochrau eu gilydd yn y *station*, a *Paris time* ar un, a *Berne time*—yr hwn oedd ryw ugain mynyd yn fuanach—ar y llall; pan eir i Italy newidia yr amser drachefn. Cofus genym i ni weled tri *cloc* ar wyneb y *station* yn Geneva, un yn dangos amser Paris, y llall amser Berne, a'r llall amser Italy, a rhyw ugain mynyd o wahaniaeth rhwng y naill a'r llall; ac y mae yn anmhosibl i ddyn, oddieithr ei fod yn ddewin, wybod wrth ba un o honynt y mae y *trains* i gychwyn.

Gellir sylwi fod swyddogion y rheilffyrdd—y *Porters, Policemen*, a'r *Station Masters*, yn dra moesgar, caredig, a boneddigaidd eu hymddygiadau at ddyeithriaid; yn tra rhagori felly ar rai y wlad hon. Y rheol gyffredin yma yw, fod braidd bob dyn, ar ol cael tipyn o swydd o dan ryw gwmni mawr, neu o dan y Llywodraeth, yn dòrsyth, cawraidd, anniolchgar, digymwynas, *saucy*, fel na wiw i ddynionach cyffredin ofyn dim iddynt.

Cychwynasom o Coire mewn wyth neu ddeg o *diligences*, math o *goaches* uchel yn cael eu tŷnu gan bedwar neu chwech o geffylau. Yr oedd ymryson mawr am gael bod oddiallan iddynt er mwynhâu y golygfëydd ardderchog sydd i'w cael wrth groesi yr Alps.

Yn fuan aethom drwy bentref bychan Reichenau. Dangosid i ni yno dŷ bychan lle y bu Louis Phillippe, diweddar frenin Ffrainc, am tua blwyddyn, pan yn ddyn ieuanc, yn cadw ysgol o dan y ffugenw Chabot, pan yn fföadur adeg y *French Revolution*. Yr oeddym yn esgyn am oriau trwy ddyffryn lled gul, yr afon Rhine o danom, a mynyddoedd uchel, a'u penau yn orchuddiedig âg eira, ar bob llaw; ac yn fuan cyrhaeddasom bentref Thusis, lle y newidiasom ein ceffylau. Ymddangosai y mynyddoedd uchel fel wedi ymgau am danom yma, fel nad oedd yn bosibl myned gam ymhellach; ond canfyddem, wedi myned ychydig o'r pentref, fod un fynedfa gul yn ymagor o'n blaen, ac yr ydym yn awr ar fyned trwyddi; a dyma y lle rhyfeddaf o'r natur yma yn holl Switzerland, ie, meddir, yn yr holl fyd, sef y Via Mala. Nid oes nemawr ddim yn y byd nas gellir dangos rhyw ail, yr hwn sydd gyffelyb iddo; ond nid oes y fath beth yn unlle âg ail Via Mala. Mae yn dra anhawdd ei desgrifio, na ffurfio unrhyw ddirnadaeth am dani, heb ei gweled. Tybier fod mynydd o'n blaen 1,600 troedfedd o uchder, sef hanner uchder y Wyddfa, a bod hwnw yn hollti ar ei draws o'i ben i'w waelod, a bod y ddwy ran yn symud ryw 20 neu 30 llath oddiwrth eu gilydd, a bod ffordd gul, fel *shelf* ar bared, ar un o'r ochrau yna; tua mil neu fwy o droedfeddi o graig sŷth uwch ei phen, ac o chwech i saith cant o droedfeddi o ddyfnder o hóni i'r afon sydd yn rhedeg yn chwyrn yn ngwaelod y nant, a hono yn aml yn anweledig o'r ffordd, trwy ei bod wedi treulio y graig a gwneyd ffôs ddofn i redeg ar hyd-ddi. Mae y ffordd grybwylledig yn myned trwy amryw *dunnels*, ac yn croesi yr afon dair gwaith o'r naill ochr i'r llall dros bontydd bychain sydd wedi eu hadeiladu rywfodd uwch ben y dyfnder dychrynllyd. Mae y bwlch neu yr hollt hwn tua phum' milldir o hŷd. Am ryw ddwy awr yn unig ganol dydd y gall yr haul daflu ei belydrau i'r lle. Disgyna y teithwyr yn gyffredin o'r cerbydau, a

cherddant yn araf er cael hamdden i syllu ar yr olygfa wir fawreddog a dychrynllyd. Ca y daith trwy y lle hwn effaith annilëadwy ar y meddwl.

Cyn pen hir yr oeddym yn myned trwy Zillis ac Andeen; ac erbyn yr hwyr cyrhaeddasom Splugen, lle yr oeddym i aros dros nos. Yr oedd yma *Inn* lled fawr; barnem eu bod wedi benthyca pob gwely oedd yn y pentref erbyn ein dyfodiad, o herwydd yr oedd tri neu bedwar o honynt ymhob ystafell braidd yn y tŷ. Y bore hwnw, ar y gwastadedd wrth droed yr Alps, yr oedd yr hîn yn boeth iawn; ond erbyn dringo yma, yr oedd yn hynod o oer. Saif y pentref hwn 4,800 troedfedd yn uwch na gwyneb y môr, ac felly yr oeddym yn cysgu y noswaith hon 1,300 troedfedd yn uwch na phen y Wyddfa. Goleuai mellt braidd drwy y nos, oddeutu tair bob mynyd, yr hyn sydd yn beth tra chyffredin yn y cymydogaethau hyn.

Cychwynasom yn dra bore drannoeth,—diwrnod gwlawog iawn. Yr oedd llawn cymaint o helynt am fyned o fewn y cerbydau y dydd hwn ag oedd am fyned oddiallan iddynt y dydd blaenorol.

Yn awr yr oeddym yn dechreu esgyn neu ddringo o ddifrif; yr oedd y mynydd o'n blaen yn dra serth, a'r ffordd wedi ei gwneyd yn igam-ogam, yn ol ac ymlaen, fel yr oeddym yn gorfod teithio amryw filldiroedd er ennill ychydig o wir bellder. Esgyn felly yr oeddym am oriau, nes yr oedd y tai yn Splugen yn ymddangos ar y dyffryn o danom mor fychain â theganau plant. Gadawsom fro yr ŷd, wedyn y llysiau, yna aethom heibio i'r goeden unigol uchaf; o'n blaen bellach nid oedd ond diffrwythdra hollol ac eira. Gwedi hir ddringo, cyrhaeddasom o'r diwedd ben uchaf y Splugen Pass, yr hwn sydd 7,000 o droedfeddi uwch wyneb y môr, sef uchder y Wyddfa ddwywaith.

Yn y fan hon mae càreg ar ei phen yn ochr y ffordd a'r gair *Swisse* wedi ei gerfio ar un ochr iddi, a'r gair *Italia* ar yr ochr arall. Yr oedd mynyddoedd lawer uwch ar bob llaw i ni, yn orchuddiedig âg eira oesol. Bydd y ffordd hon am fisoedd yn y gauaf âg amryw latheni o drwch o eira trosti. Yr adeg yna mewn *sledges* y byddys yn teithio, ar wyneb yr eira, ymhell uwchlaw y ffyrdd a'r cloddiau.

Mae y perygl mwyaf i'w ofni wrth deithio yn y gauaf a dechre hâf, oddiwrth yr *avalances*, sef llithriadau tomenydd anferth o eira oddiar ochrau y mynyddoedd, rhag iddynt gladdu y cerbydau a'r teithwyr, yr hyn sydd wedi dygwydd yn fynych. I ochel hyn, maent wedi adeiladu cannoedd o latheni o *galleries* yma a thraw mewn manau peryglus, sef math o *dunnels* o waith maen cadarn, a thrwy y rhai hyn yr oeddym yn myned, fel os disgynai tomen fawr o eira, y byddai y teithwyr yn ddïogel o fewn i'r *tunnel*.

Ymhen oddeutu hanner awr wedi croesi y terfyn, gorfodwyd ni oll i ddisgyn o'r cerbydau, wrth hen adeilad mawr oedd ar ochr y ffordd, sef y *Custom House*. Dygwyd ein holl *luggage* i ystafell fawr i'w hagor a'u chwilio yn fanwl gan y swyddogion, rhag y gallai fod genym ryw nwyddau â tholl i'w dalu drostynt. Costiodd i rai o'n cyd-deithwyr yn lled ddrud am *fox* neu ddau o *cigars*.

Canfyddasom yn fuan wedi croesi y terfyn wahaniaeth amlwg yn y trigolion a'u tai; y naill yn dlotach, butrach, a mwy begerllyd, a'r lleill yn llawer gwaelach.

Yr oedd y golygfëydd yr ochr hon yn fwy mawreddog ac ardderchog

na'r ochr arall, a'r disgyniad yn fwy serth; gyrai y cerbydwyr yn enbyd i lawr y *zig-zags*, ac ymhob tröad sydyn, byddem yn dysgwyl cael ein hunain, yn feirch, cerbydau, a theithwyr, yn cymeryd ein cwymp dros ochr y ffordd—gan nad oedd un clawdd arni—i lawr i lawr i'r dyffryn dychrynllyd a orweddai ryw fil neu ddwy o droedfeddi o tanom. Nid yw hyn ond peth sydd yn dygwydd yn lled aml. Yr un diwrnod ag yr oeddym yn croesi yr Alps yn ol, gwelsom hanes ddarfod i gerbyd a 6 neu 7 o bersonau ynddo syrthio felly dros ochr y ffordd—ar y St. Gothart Pass,—i lawr i ddyfnder o fil o droedfeddi. Yr oeddym yn myned heibio i rai *waterfalls* tra hardd ac uchel. Edrychai y tai a'r pentrefi ar y dyffrynoedd o danom yn fychain iawn, a'r creigiau crogedig uwch ein penau yn dra dychrynllyd. Cynnyrchai yr olwg ar y mynyddoedd anferth hyn oedd o'n hamgylch, ryw deimladau anarferol yn ein meddwl: meddyliasom am y Beirdd Cymreig, fod gresyn na chaent roi tro trwy y bröydd hyn, er cael golwg ar arucheledd ac ardderchogrwydd natur, yn enwedig pan fyddont yn parotôi ar gyfer yr Eisteddfod Genedlaethol. Credem pe meddai un ond gradd fechan o awen neu athrylith, y buasai y golygfëydd hyn yn sicr o dŷnu ei enaid ef allan, ac y buasai yn dra thebyg o ennill ar destun y Gadair.

Fel yr oeddym yn parhâu i ddisgyn, gwelem ddyffrynoedd prydferth Piedmont yn ymagor o'n blaen, cartref yr hen Waldensiaid gynt, pa rai a ddyoddefasant y fath erlidigaethau o achos eu crefydd. Y mae i'w sylwi fod llawer o'u holafiaid y dyddiau hyn yn Brotestaniaid trwyadl, yn byw mewn amryw o'r dyffrynoedd hyn.

Yn fuan cyrhaeddasom Campo Dolcino, pentref bychan tlodaidd, lle yr oeddym yn newid ein ceffylau. Mae llawer mwy o ryw fath o arwyddion o grefydd yr ochr hon i'r Alps. Nid oes nemawr dŷ nad yw llun y forwyn Fair a'r Mab bychan ar ei breichiau wedi baentio ar y pared oddiallan; llun y groes ar rai eraill, ac yn aml ar y croesffyrdd; yn y meusydd gwelir croes fawr dair i bedair llath o uchder, ac weithiau ddelw fawr o ddyn wedi ei hoelio arni.

Cyn canol dydd, cyrhaeddasom dref Chiavenna, lle yr oedd boreufwyd da yn dysgwyl am danom ar y bwrdd yn yr Hotel. Golygfa dra dyddorol oedd gweled rhyw driugain o bobl wedi bod yn teithio dros, ac yn yfed awyr iach, mynyddoedd yr Alps am ryw bum' awr yn y bore, yn rhedeg ac yn ymwthio at y bwrdd, ac yn llyncu y trugareddau oedd arno, yn enwedig gan nad oedd ond deg mynyd o amser i'w gael at hyny. Nid oedd eisieu cymhell dim ar neb i gyflawni y ddyledswydd hon.

Gwedi teithio rhai oriau drachefn, cyrhaeddasom Colico, tref fechan ar ben llŷn Como. Yma yr oeddym yn cymeryd agerlong i fyned ar hyd y llŷn—oddeutu deugain milldir—i dref Como, sydd ar y pen arall iddo. Hwn yw y llŷn prydferthaf, meddir, sydd yn y byd. Yr oedd ei ddwfr ar y pryd yn hollol dawel, fel yr oedd ei wyneb mor llyfn â gwydr; yr hîn yn hyfryd, a'r awyr yn hynod ddysglaer. Amgylchynir ef oll â mynyddoedd heb fod yn uchel, a'r rhai hyny yn orchuddiedig oll o'u gwaelod i'w penau â choed o wahanol liwiau. Ar ei lànau, bob ochr, y mae pentrefi bychain tlysion, a llawer o balasdai heirdd. Paentir y tai yma oddiallan yn wahanol liwiau, nes y maent yn ymddangos yn dra phrydferth. Croesai yr agerlong y llŷn yn barhäus o'r naill ochr i'r llall, i godi teithwyr o'r gwahanol bentrefi oedd ar ei lànau.

Llettŷem y noswaith hon yn nhref Como, lle genedigol yr enwog Pliny gynt.

Drannoeth, gadawsom orsaf Camerlata am Milan, pellder o wyth ar hugain o filldiroedd. Mae Milan yn dref fawr; cynnwysa agos i ddau can' mil o drigolion, ac y mae yn un o'r trefi harddaf, os nad yr harddaf, yn Italy. Arosem yma mewn *Hotel* fawr, *De La Ville*. Mae yr *Hotels*, fel rheol, yn Italy, yn gystal ag yn Switzerland a Ffrainc, yn fawrion iawn.

Cryn helynt fu arnom lawer gwaith yn ein cysylltiad â'r *Hotels*. Yr oedd genym un benodol ymhob tref i fyned iddi, ac yr oeddym oll yn gyffredin yn llettŷa yn yr un; byddent yn gwybod am ein dyfodiad, ac yn parotôi ar ein cyfer. Ar ol cyraedd i unrhyw orsaf, byddem yn llenwi tair neu bedair o *omnibuses;* ac wedi cyraedd gyda'n *luggage* at ddrŵs yr *Hotel* a disgyn, byddai yr helynt fawr yn dechreu; pob un o honom eisieu cael gweled ei ystafell wely yn y fynyd, a chael un dda, a hono heb fod yn uchel; byddai y tai o bump i saith uchder llofft, ac yr oedd y cwestiwn o ddringo saith uchder o risiau bob tro y byddid yn myned i'n hystafell, mewn gwlad mor boeth, a phawb mor flinedig, yn bwnc pwysig iawn i bawb, ond yn neillduol felly i dri dosbarth o bobl—pobl seilion, pobl dewion, a phobl ddïog. Byddai cythrwfl mawr am gryn amser—pob *porter* â baich o *luggage* ar ei gefn—pob cloch yn y tŷ yn cânu ar unwaith—pawb yn gwaeddi, a'r rhan fwyaf wedi gwylltio a cholli eu tymher, a braidd neb yn deall iaith eu gilydd: anhawdd genym gredu fod wrth dŵr Babel gynt y bore hwnw y cymysgwyd yr ieithoedd, fwy o helynt nag a welsom ar lawer o'r adegau hyn.

Wedi cael tawelwch, byddem yn dechreu chwilio am ystafell fawr sydd yn gyffredin ar y llawr isaf ymhob *Hotel*, a'r geiriau *Salle a manger* yn argraffedig uwch y drŵs. Er nad oeddym yn deall yn dda ystyr y geiriau, yr oeddym yn bur hoff o'u gweled, ac o'r ystafell y byddent uwch ei drŵs, o herwydd yn hon yr oedd y darpariaethau at gynnal natur dyn i'w cael. Gellid sylwi mai dau bryd o ymborth yn y dydd oeddym yn gael ar hyd y daith,—boreufwyd tuag wyth y bore, a chiniaw am chwech yn yr hwyr. Nid oedd hyny ond tua hanner y nifer a fwytaëm yn y wlad yma; a'r modd yr oeddym yn cyfarfod â'r brofedigaeth hon oedd hyn; gwneyd i fyny yn y swm am y lleihâd yn y nifer; talu iddi yn dda y ddau bryd a gaem, ar gyfer y ddau arall a gollem.

Mae y ciniaw, neu y *Table d' Hôte*, fel y gelwir ef, yn bryd pwysig iawn ar y Cyfandir, a thipyn yn wahanol i giniaw yr *Hotels* yn y wlad hon. Yno y mae pawb yn ciniawa gyda'u gilydd yn yr un ystafell, ar yr un adeg; o ganlyniad gellir gwneyd ciniaw llawer gwell, a hyny am lai o bris nag a ellir wrth wneyd ciniaw i bob person ar wahân. Mae y dull hwn, ynghyda rhagoriaeth mawr y Ffrancod a'r Italiaid fel cogyddion, yn peri y gellir byw yn rhyw hanner gŵr bonheddig ar y Cyfandir yn llawer rhatach nag yn y wlad hon. Rhaid addef fod y Ffrancod yn neillduol yn tra rhagori arnom ni yn eu gofal am y dyn oddifewn.

Ein dull cyffredin o dreulio y dydd tra yn y trefi oedd fel hyn:—boreufwyd am wyth, yna erbyn naw byddai lliaws o gerbydau wrth y drŵs yn ein dysgwyl; rhanem yn ddau neu dri o gwmnïau gwahanol, a *guide* gyda phob cwmni; aem o'r naill fan i'r llall i weled y rhyfeddodau ar hyd y dydd; crynöem o amgylch y *guide* tra y byddai yn eglurhâu i ni

y gwahanol wrthddrychau a welem; a thrwy y dull hwn yr oeddym yn gallu myned i lawer o fanau, a gweled llawer o bethau mewn un diwrnod.

Y prif ryfeddod yn Milan yw yr eglwys. Mae yn fwy nag Eglwys St. Paul yn Llundain, ac yn nesaf mewn maintioli i Eglwys St. Pedr yn Rhufain, ac oddiallan yn llawer harddach na'r naill na'r llall. Mae wedi ei hadeiladu o fynor gwŷn, ac yn cynnwys peth afrifed o *spires*, ac y mae oddiallan iddi 4,500 o *statues*, sef cerf-ddelwau o fynor. Dywedir fod deg o ddynion yn wastadol yn ei golchi, ac y byddant bymtheg mlynedd yn myned drosti oll, pryd y bydd yn llawn bryd ail ddechreu drachefn.

Dringodd amryw o honom i ben y pinacl uchaf arni, ac y mae oddiyno olygfa dra ëang i'w chael ar wastadedd Lombardy am haner càn milldir bob ffordd. Edrychai y wlad fel gardd mewn ffrwythlondeb a harddwch. Yr oeddym yn gorfod talu am fyned i'r *Vault* o dan yr eglwys i weled corff San Carlo, yr hwn a gedwir mewn math o arch o wydr, a'i wisg archoffeiriadol yn dysgleirio gan berlau am dano. Mae amryw greiriau (*relics*) pwysig yn nghadw yn yr eglwys hon, pa rai a ddangosir ar rai o'r gwyliau; megys cryd Crist a'r cadachau ynddo—rhan o'r tywel â pha un y sychodd draed ei ddysgyblion—pedair draenen o'r goron ddrain—rhanau o'r gorsen, y groes, yr yspwng, a'r waewffon—un o'r hoelion—darn o wïalen Moses—dau o ddannedd y prophwyd Elias, &c.

Mewn eglwys arall yn yr un dref gwelsom ar ben colofn o *granite* sarph brês. Dywedir, a chredir yno, mai hon yw y wir sarph a ddyrchafwyd gan Moses yn yr anialwch gynt.

Y prif leoedd y talasom ymweliad â hwy oedd y *Meuseum*, yr *Ambrosian Library*, yr *Arch of Peace*, yr *Arena*, a'r palas brenhinol, yn yr hwn y triga Victor Emanuel pan yn y dref. Dangoswyd i ni yn hwn y gwely y cysgodd Louis Napoleon ynddo noswaith brwydr fawr Magenta, ryw ddeng mlynedd yn ol. Mae palasau Victor Emanuel, yma ac yn Florence, yn annesgrifiadwy hardd o fewn, yn llawer mwy felly, meddir, nag yw un o balasau ein grasusaf frenhines Victoria.

Mae yr hinsawdd yma yn dra hyfryd. Canfyddir cannoedd o'r trigolion ar fin yr hwyr yn rhodiana yn y parciau a'r gerddi prydferth sydd ar gŵr y dref. Nid yw y merched yn gwisgo un math o *fonnet* na het, dim ond *veil* ddu wedi ei thaflu dros y pen. Ystyrir Milan yn lle *fashionable* iawn, yr ydoedd yn fwy felly gynt na Paris. O'r gair Milan y tarddodd y gair milliner.

Yr oeddym yn awr yn agos i'r cymydogaethau hyny lle y cymerodd y brwydrau pwysig hyny le ryw ddeng mlynedd yn ol, rhwng y Ffrancod a'r Awstriaid. Ryw ddeg milldir o Milan, yr oeddym yn myned trwy orsaf Magenta; ac ar faes gerllaw gwelir colofn wèn wedi ei chodi uwch y fan y claddwyd amryw filoedd o'r milwyr a laddwyd yn y frwydr hono.

Gwedi treulio Sabbath a rhyw ddau ddiwrnod gyda hyny yn Milan, gadawsom hi gyda'r rheilffordd am Venice, pellder o 176 milldir. Yr oedd ein taith trwy wlad brâf a ffrwythlawn iawn, ond yr oedd braidd bob llanerch o hóni wedi bod yn ddiweddar yn faes y gwaed. Yn y cymydogaethau hyn y cyflawnodd Garibaldi lawer iawn o'i wrhydri. Yr oeddym yn myned trwy Solferino, lle yr ymladdwyd y frwydr ofnadwy hono, pryd y lladdwyd ac y clwyfwyd o'r Ffrancod, Sardiniaid, a'r Awstriaid, dros 40,000.

Disgynasom am ryw dair awr yn Verona, hen dref enwog gynt. Y

prif ryfeddod yma yw yr *Amphitheatre*, yr hon sydd wedi ei hadeiladu er ys deunaw cant o flynyddoedd, a braidd oll yn gyfan yn bresennol. Cynnwysa le i 25,000 o bobl i eistedd ynddi ar unwaith. Gwelsom y tŷ lle y bu yr enwog fardd Dante yn byw.

Oddiyno aethom trwy Vicenza, a Padua, a heibio i lŷn Garda, nes o'r diwedd y cyrhaeddasom Venice. Tref ryfedd iawn yw hon,—tref yn y môr, agos ar ben uchaf yr *Adriatic Sea*. A y *train* iddi ar *embankment* trwy y môr am 2 filldir. Mae wedi ei hadeiladu ar 117 o ynysoedd bychain mewn dwfr bâs, ac y mae cannoedd o'r tai wedi eu hadeiladu ar bolion wedi eu gwthio i'r llaid. Y mae oddeutu naw milldir o amgylchedd. Nid oes dim heolydd ynddi fel trefydd eraill; ffosydd o ddwfr neu *canals* sydd yn lle heolydd,—oddeutu 157 o honynt drwy y dref oll. Nid oes unrhyw lwybr rhwng y tai a'r dwfr; mae muriau y tai yn y dwfr, a'r drŵs yn agor i'r *canal*. Dywedir fod llawer o'r trigolion heb weled na buwch na cheffyl yn eu hoes. Gyda math o gychod hirion, culion, duon, tebyg i *canoes*, a elwir *gondolas*, y bydd y trigolion yn symud o'r naill ran o'r dref i'r llall. Mae dros 4,000 o'r *gondolas* hyn ar waith ynddi yn wastadol. Pan gyrhaeddasom yno, yr oedd oddeutu dwsin o'r rhai hyn wrth ddrŵs yr orsaf yn ein dysgwyl, ac ymaith â ni ynddynt trwy lïaws mawr o'r *canals* hyn, hyd nes y cyrhaeddasom ddrŵs ein *Hotel*, i'r hon yr oeddem yn gallu camu o'r *gondola*. Mae yn wir fod yn bosibl myned o'r naill fan i'r llall yn y dref ar draed, trwy fynedfëydd culion rhwng y tai a thros y *canals* hyn, ar bontydd bychain, o ba rai y mae 378 yn y dref oll. Mae yma un *square* tra hardd—St. Mark's Square—a siopau mawrion o'i hamgylch; bydd hon at yr hwyr yn llawn o'r trigolion. Mewn un ochr iddi y saif hen eglwys enwog a thra hardd, St. Marc. Dywed un teithiwr enwog, sef Laing, mai Venice yw yr unig dref yn y byd nad yw byth yn siomi dysgwyliadau y teithiwr. Bu yn enwog iawn gynt yn ei masnachwyr a'i chyfoeth, pryd yr oedd holl fasnach India'r Dwyrain âg Ewrop yn cael ei chario drwyddi. Mae ynddi yn awr lawer o balasau gwychion, yn neillduol ar bob ochr i'r *Grand Canal*, yr hwn sydd yn llawer lletach na'r *canals* eraill, ac yn rhedeg drwy ei chanol yr un ffurf a'r lythyren S. Dangoswyd i ni y palas y bu Arglwydd Byron yn byw ynddo.

Treuliasom amryw ddyddiau yma, mewn myned gyda'r *gondolas* i weled rhyfeddodau y lle. Aethom un diwrnod trwy y *Doge's Palace*. Doge oedd enw ar brif swyddog y llywodraeth gynt, yn amser y werinlywodraeth, tebyg i'r *President* yn yr Unol Daleithiau yn awr. Mae y palas yn fawr a hardd, ac yn gyfoethog iawn o ddarluniau, llyfrau, &c. Defnyddid yr ystafelloedd uchaf yn yr adeilad, yn gystal a'r *dungeons* tanddaearol, yn garcharau. Yn ystafelloedd yr arteithio, gwelsom y blociau â pha rai y byddid yn tŷnu y carcharorion i fyny â phwysau yn rhwym wrth eu traed, gan eu gollwng i lawr yn sydyn bob yn ail; hefyd yr arteithglwyd ar yr hon y rhoddent ddynion i orwedd pan yn tŷnu eu haelodau oddiwrth eu cyrff. Wrth fyned i'r celloedd tanddaearol, yr oedd gan bob un o honom ganwyll; äem trwy fynedfëydd hirion, culion, a hollol dywyll; yn ochrau y *passages* hyn yr oedd drysau yn arwain i'r celloedd y cedwid y carcharorion ynddynt. Yr oedd y celloedd hyn yn rhy isel i un allu sefyll yn syth ynddynt; ryw dair llath o hŷd a dwy lath o lêd; rhywbeth tebyg i fwrdd bychan i

un orwedd arno, ac un *shelf*, oedd yr holl ddodrefn a gynnwysant. Yr oedd twll crwn oddeutu troedfedd o dryfesur yn y pared, trwy yr hwn yr estynid ymborth i'r carcharor; a chan y byddai y drŵs bob amser, o angenrheidrwydd yn nghauad, trwy y twll hwn yn unig yr oedd yn rhaid i'r holl awyr fyned i mewn; am oleuni, nid oedd yno ddim o hóno, na lle i'w ollwng i mewn, pe y buasai; a'r peth y rhyfeddem ato yn fwyaf o ddim oedd deall fod rhai wedi gallu byw yn y tyllau hyn o deuddeg i bymtheg mlynedd heb fod allan o honynt unwaith. Mae genym hanes am amryw felly, y rhai, pan ollyngwyd hwy allan, a fuont farw yn y fan gan awyr iach; eraill pan ryddhäwyd hwy yn myned yn ddall yn y fan pan ddaethant i'r goleuni. Da genym allu hysbysu nad oes neb yn y carcharau hyn yn awr. Ymddengys mai tra thebyg i'r carcharau hyn oedd carcharau Naples, pan dalodd Mr. Gladstone ymweliad â hwy ychydig flynyddoedd yn ôl. Ond y mae y rhai hyny hefyd erbyn hyn wedi eu gwaghâu o'r miloedd carcharorion politicaidd oedd yn dihoeni ynddynt y pryd hwnw. Y diwrnod y daeth Garibaldi yno, fe'u rhyddhäwyd oll.

Dïau mai y prif rhyfeddodau yn Italy ydyw ei chynnyrchion yn y celfyddydau breiniol; saif ar y blaen i holl wledydd y byd yn y rhai hyn er ys canrifoedd, ac y mae yn parhâu felly hyd heddyw,—megys Adeiladaeth *(Architecture)*, Arluniaeth *(Painting)*, Cerfiadaeth *(Sculpture)*, *Mosaics*, *Frescoes*, Cerddoriaeth, &c. Os mynir gweled gorchestion celfyddydwyr enwocaf y byd, megys Michael Angelo, Raphael, Canova, Palladio, &c., rhaid myned i Italy; dyna lle y maent. Pa le yn y byd y mae unrhyw adeiladau a ddeil eu cystadlu â'r Pantheon, y Colosseum, a St. Peter yn Rhufain? a pha le y mae *paintings* cyfartal i'r hen weithiau enwog sydd yn y Vatican? Yn wir, nid ystyrir neb yn y wlad hon wedi cyraedd y graddau uchaf o berffeithrwydd yn y celfyddydau yna yn y dyddiau hyn oni fydd wedi gorphen ei efrydiaeth yn Rhufain.

Mae i'w sylwi mai yn yr eglwysi, yn benaf, y cedwir y trysorau gwerthfawr yna. Mae yr eglwysi yn Italy yn lliosog ac yn fawrion iawn, ac yn adeiladau heirdd oddiallan, ond oddifewn mae eu gwychder a'u hardderchogrwydd yn annesgrifiadwy, ac yn anamgyffredadwy, heb eu gweled. Gellid barnu fod cyfoeth oesau, a chyfoeth gwledydd lawer wedi eu cydgasglu iddynt, yn *paintings*, *sculptures*, *mosaics*, pob math o golofnau o *farble* ac *alabaster* o wahanol liwiau; meini gwerthfawr; aur ac arian yn lampau ac yn addurniadau diddiwedd ymron. Mae lliaws mawr o'r Eglwysi hyn yn Venice, a llawer o honynt yn dra hardd. Treuliasom amryw ddyddiau i'w hedrych.

# Y FASNACH FEDDWOL.

*At Olygydd y* TRAETHODYDD.

ANWYL SYR,—Gan ei fod yn ddigon dealladwy eich bod chwi, law a chalon, yn barod i gynnorthwyo pob symudiad daionus, a hyny ar bob achlysur, yr wyf yn gobeithio y caniatewch i mi alw eich sylw at y mater pwysig sydd uwchben yr ysgrif hon, a hyny mewn ffordd dipyn yn wahanol i'r cyffredin, sef mewn ffurf o lythyr. Fy rhesymau am y dull hwn ydyw, y caniatëir i mi, fe allai, trwy hyn, i draethu fy syniadau yn fwy rhydd ac agored, ac hefyd, er mwyn i'r cwbl a draethir gael eu cyflwyno i chwi mewn ffordd awgrymiadol, gan hyderu y bydd i chwi, yn ol eich craffder a'ch doethineb arferol, wneyd rhyw sylwadau ymarferol ar y llythyr, neu yn hytrach ar y mater oll-bwysig a gynnwysa.

Y mae pob dyn meddylgar yn barod i addef ar unwaith fod y fasnach mewn dïodydd meddwol yn galw sylw arbenig ati yn y deyrnas hon y dyddiau presennol; ac nid y peth lleiaf dyddorol ydyw y ffaith fod pob dosbarth o ddynion difrifol yn ein gwlad, yn gystal yn y Senedd ag allan o hôni, yn dechreu gwrando ar lais anghenion y miloedd sydd yn dyoddef dirfawr drueni o'i herwydd.

Ond pa beth sydd i'w wneyd yn yr achos sydd anhawdd iawn i'w benderfynu; er y gellid meddwl wrth wrando ar y naill opiniwn gan un, ac arall gan y llall, fod unrhyw welliant angenrheidiol yn ddigon cyrhaeddadwy: ond erbyn dwyn pob cynllun i brawf, hyd yn nôd yn y meddylddrych o hóno, gwelir fod yn llawer haws dychymygu a siarad na gweithredu, er dwyn diwygiad têg a thrwyadl i mewn i'r cyfansoddiad tuag at reoleiddio y fasnach hon.

Gan fod tebygolrwydd y bydd i ryw gynllun o ddiwygiad gael ei gynnyg i sylw gan y Weinyddiaeth bresennol yn yr eisteddiad nesaf o'r Senedd, onid dymunol fyddai dechreu ymdrin â'r pwnc mewn ffordd o gyffröi meddyliau y bobl, a gwneyd pob egni i iawn ddeall y mater, a chael allan y gwirionedd mewn perthynas i'w natur a'i gyfreithlondeb?

Gan fod camwri y fasnach hon mor enbyd, a sefyllfa y gyfraith mewn perthynas iddi mor anfoddhäol, bydd raid i'r feddyginiaeth a all wneyd i ffwrdd â'r trueni a'r anghysonderau hyn fod yn helaeth a thrwyadl; a digon prin yr ydym yn barod i gredu fod y cyfryw ddiwygiad llwyr a phenderfynol ar gael ei ddwyn oddiamgylch gan ein llywodraeth. Mae y ffaith fod pob cais at wellâu yr afiechyd hwn trwy hirfaith flynyddau, a chan seneddwyr pob cenhedlaeth, a hyny bellach trwy rai ugeiniau o ddeddfau Prydeinig, yn profi yn amlwg fod yr achos o hóno wedi gwreiddio yn ddwfn iawn yn nghyfansoddiad y genedl: ac er pob ymdrech a wnaed i geisio ei attal, y mae, nid yn unig wedi dal ei afael yn ei ysglyfaeth, ond hefyd wedi casglu nerth, oes ar ol oes, fel y saif y fynyd hon fel gorchfygwr unbenaethol.

Mae yn hyfryd, modd bynag, i feddwl fod y senedd ddiweddaf wedi rhoddi un prawf o'i didwylledd gyda y pwnc, trwy basio deddf yn rhoddi hawl i'r Ynadon yn unig i drwyddedu pob math o dai i werthu y dïodydd hyn, a thrwy hyny ddileu y gallu oedd gan yr *excise* i drwyddedu yr holl fân dafarnau. I'r sawl sydd yn dysgwyl i wawr diwygiad dòri allan o'r cyfeiriad hwn, sef trwy leihâu nifer y tai, a'u cael yn rhai gwell, dïau y dylai hyn fod yn achos o lawenydd mawr. Yr oedd sefyllfa y gyfraith, o'r blaen, yn hyn yn gwbl anfoddhäol, o herwydd fod yr *exciseman*, wrth ei swydd, yn rhwym o roddi trwydded i bawb a'i ceisiai yn rheolaidd; ond fe all yr Ustusiaid ei hattal, ac yr wyf yn credu na buasent yn caniatau trwyddedau i gannoedd, ïe, filoedd, o'r tai hyn, sydd wedi derbyn eu sefyllfa yn hollol ddidrafferth trwy ddwylaw yr *excise*. O'r blaen nid oedd rhoddiad trwydded i'r cyfryw dai ond rhan neillduol o waith swyddogion cyffredin a thaledig, ond bellach edrychir ar hyn nid fel gwaith ond fel ymddiriedaeth; nid i swyddogion cyffredin, ond i ddosbarth neillduol o wŷr detholedig a chyfrifol sydd wedi eu gosod mewn sefyllfa o ymddired ac anrhydedd. Yr wyf yn credu fod hyn, càn belled ag y mae yn myned, fel y dylai fod. Mae yn ddigon tebyg fod rhyw rai yn barod i ddadgan barn nad yw yn dwyn ond ychydig o glôd i'r cyfnewidiad hwn, oblegid nad ydynt hwy yn barod i gydnabod fod yr Ynadon nemawr gwell yn nghyflawniad eu swydd fel trwyddedwyr na'r *excise*; ond dylid cofio fod y gyfraith ar dir hollol wahanol; yr oedd yr *exciseman* dan rwymau, fel y dywedwyd, o roddi cynifer o drwyddedau ag a geisid ganddo, tra bydd yr Ynad yn gwbl at ei ryddid, yn unol â'i farn a'i gydwybod. O'r blaen nid oedd a fynai yr Ustusiaid ond â'r dosbarth uchaf o drwyddedau yn unig, yn erbyn pa rai ni byddai cwynion ond anfynych; ond am y tai isaf, nid oedd ganddynt hwy un llaw yn eu codi, nac un gallu uniongyrchol i'w tynu i lawr. Yr wyf yn ofni fod cymeriad Ynadon, weithiau, wedi cael cam oddiar ddwylaw rhai dynion zelog yn erbyn tafarndai: edrychid arnynt, yn y cyflawniad o'r ddyledswydd hon o'r eiddynt, fel gelynion sobrwydd, o herwydd eu bod yn caniatâu trwyddedau i werthu dïodydd meddwol; pryd y dylesid cofio mai eu gwaith hwy ydyw, nid cyfnewid y gyfraith, na gŵyrdroi ei hamcan i'r gradd lleiaf, ond ei chario allan, boed hi gam boed gymhwys. Amcan y gyfraith oedd trwyddedu, ac nid peidio trwyddedu; a'r unig le cyfreithlawn i attal trwydded oedd, pan na byddai y tŷ yn gymhwys i gynnal y fasnach. Ond yn ol y diwygiad diweddar, y mae lle i'r dybiaeth, o leiaf, o attal trwydded oddiar ystyriaethau eraill a allant ymgynnyg i feddwl yr Ustus, o herwydd gyda golwg ar y cyfryw ystyriaethau y cynnygiwyd ac y pasiwyd y gwelliant crybwylledig. Ond rhaid cofio fod trwyddedu tafarndai, eto, yn ffaith gyffredinol a chyfreithlawn yn ein cyfansoddiad, ac fel y cyfryw yn rhan neillduol ac anocheladwy o waith Ynadon y deyrnas: a thra byddo y gyfraith yn gyfryw ag ydyw yn hyn, rhaid cofio fod gan yr Ynadon, nid yn unig eu dyledswyddau i'w cyflawni yn ol amcan a natur y gyfraith, ond hefyd eu barnau personol ynghylch pa beth sydd yn dêg a chyfiawn gyda golwg ar ryddid a hawliau masnach yn gyffredinol, yn gystal a dynion eraill.

Fel canlyniad i dderbyniad y gallu newydd a roddwyd yn nwylaw yr Ynadon, fel y gallesid dysgwyl oddiwrth amcan y diwygiad, y maent, mewn

llawer o fanau, wedi dechreu arfer eu hawdurdod gyda manylrwydd anghyffredin; ac yn lle chwanegu at nifer y tai trwyddedig yn ol yr hen drefn, wedi tòri ymaith lïaws pwysig o'r rhai ammheus, oeddynt o'r blaen wedi derbyn eu sefyllfa oddiwrth yr *Excise Officer*. Mae hyn yn dangos nad ar yr Ustusiaid yr oedd y bai, ond ei fod yn gorwedd wrth ddrŵs y senedd. Ond o ran hyny, pa fodd y gallesid dysgwyl dim yn angen na chefnogi, i fesur, yn hytrach nag attal, masnach sydd yn dwyn y fath swm dirfawr i bwrs y Wladwriaeth, oddiwrth weinyddiaethau rheibus ac anghenus yn dilyn eu gilydd yn barhäus? Ond bellach, hyderwn, y gellir dysgwyl pethau gwell oddiwrth lywodraeth gynnil, onest, a phenderfynol. Y mae rhyw arwydd fod ein seneddwyr yn dechreu dyfod i'w pwyll, i ystyried mai er mwyn y bobl y cawsant hwy eu sefyllfa, ac nid y bobl er eu mwyn hwy.

Ond rhaid i ni edrych i mewn i'r achos yn ddyfnach na hyn, a chwilio am y feddyginiaeth, mae yn bur debyg, mewn hinsawdd arall; o herwydd nid yw yn ymddangos y gall y llysieuyn hwnw sydd yn ddigon rhinweddol i ddinystrio y fath anhwyldeb ystyfnig a hwn, fod yn tyfu yn awyr oer ac afiachus *trwyddedaeth*. Os na cheir hi yn rhyw ardal arall, byddwn hebddi. Mae y gyfundrefn drwyddedol ei hun yn bwnc o ammheuaeth mawr. A oes gan lywodraeth wladol, yn wyneb dealltwriaeth a rheswm, hawl i drwyddedu tai i werthu nwyddau sydd, a dyweyd y lleiaf yn y ffordd hon, yn effeithio mwy o ddrwg nag o lês i'r deiliaid? Mae gwahaniaeth mawr rhwng *trwyddedu* y fasnach a'i *goddef*. Wrth ei goddef ni byddai y llywodraeth ond yn peidio dyweyd yn ei herbyn, neu beidio cymeryd un sylw neillduol o hóni; ond wrth ei thrwyddedu yr ydys yn ei *chyfreithloni*, ac yn gyfranog ynddi, ac o ba herwydd yn gyfrifol uniongyrchol am ei chanlyniadau. Mae hyn nid yn unig yn taflu amddiffyn y gyfraith drosti, ond yn ei dyrchafu i sefyllfa llawer mwy anrhydeddus. Mae yn wir y gellid dadleu y byddai gadael y fasnach yn hollol rydd—ei gadael hi, fel masnachau eraill, i'w llywodraethu ei hunan—gwerthu cwrw fel gwerthu bara neu gîg—yn tueddu i amlhâu tafarndai. Wel, caniatäer mai dyna fyddai yr effaith trwy adael perffaith ryddid, fel mae yn debyg mai ê; ond nid yw hyny yn sicrhâu cadarnhâd y fasnach. Os effaith dilëad y gyfundrefn drwyddedol fyddai cael tafarndai yn fwy *cyffredinol*, byddai mor sicr a hyny o'u gwneyd yn fwy *cyffredin*, ac felly fe gollai y fasnach lawer o'i *respectability;* ac unwaith y cyll hi hwnw, hi gyll lawer o'i dylanwad. Pe nad elai neb i dafarndai ond y trueiniaid llymion hyny sydd yn cael eu dinystrio trwyddynt, buan y darfyddai y fath fasnach gan gywilydd a gwaradwydd! Ond pan y mae y cyfryw dai yn derbyn ymwelwyr o ddosbarth llawer iawn uwch, ïe, pob dosbarth o'r bron, ac yn neillduol pan y mae y fasnach a ddygir ymlaen ynddynt yn sefyll i fyny fel rhan amlwg, angenrheidiol, o'r cyfansoddiad Prydeinig, pa fodd nad edrychir arnynt yn barchus? Ond pa un bynag ai da ai drwg fyddai effaith dilëad y gyfundrefn drwyddedol, nid am hyny yr ydys yn awr yn cwestiyno, ond am hawl y llywodraeth i drwyddedu y fath fasnach. Pa beth ydyw, mewn effaith, ond rhoddi trwydded i'r naill ddyn i ddinystrio y llall, yr hyn beth sydd uniongyrchol groes i amcan llywodraeth wladol! Un peth sydd sicr, sef mai er mwyn elw yn unig y trwyddedir tai i werthu dïodydd meddwol gan y llywodraeth. Mae yn wir y

cymerid cyfleusdra gan yr Ustusiaid i edrych i mewn i drefn debygol y tai a drwyddedid ganddynt hwy, ond nid oedd un amcan i hyny yn nhrwyddediad y dosbarth gwaethaf, sef y *beershops.* Mae hyny yn dangos nad oedd gwaith yr Ynadon fawr gwell nag ymyraeth wrth wneyd ymchwiliad i'r angenrheidrwydd am y cyfryw dai yn y naill fan a'r llall cyn rhoddi trwydded iddynt, ac mai digon prin yr oeddynt yn cario allan amcan y gyfraith, ond yn hytrach yn ei gwrthweithio, pan yn gwrthod trwydded i ddyn diachwyn arno ar dŷ a fyddai ymhob peth i fyny â gofynion y ddeddf. Mae hyny yn ddigon amlwg, sef, pe dilëid y gyfundrefn drwyddedol, y rhyddhëid trwy hyny y llywodraeth oddiwrth y cyfrifoldeb uniongyrchol ofnadwy sydd arni hi o herwydd bodolaeth a chanlyniadau y fasnach. Deuai y canlyniadau, wrth gwrs, i sylw fel rhywbeth angenrheidiol arall—pa un a ddylid gwneyd deddf i attal y fasnach, naill ai yn gwbl neu mewn rhan, ac ymddygid ati yn ol haeddiant neu deilyngdod yr achos. Gall fod rhywun yn barod i ofyn, Ai nid oes gan lywodraeth gwlad hawl i drwyddedu ei masnach, neu pa fodd y gall hi ymgynnal heb dollau a threthi? I hyn yr atebir yn rhwydd, y gall y llywodraeth drwyddedu pob masnach os myn hi; ond ein dadl yw, na ddylai drwyddedu unrhyw fasnach fyddo yn niweidiol i'r deiliaid: y mae wrth wneuthur hyny, nid yn unig yn gweithredu heb hawl, ond hefyd yn milwrio yn erbyn amcan penaf ei bodolaeth ei hun.

Ond y mae cwestiwn arall yn ymgodi i'r golwg yn y fan yma, a dyna ydyw: A oes gan lywodraeth wladol hawl i roddi trwydded, neu oddef i un dyn i werthu unrhyw nwyddau, ac attal yr unrhyw fantais oddiwrth ddyn arall cystal âg yntau? Ai nid ydyw allan o le mewn llywodraeth wlad i ymyraeth ynghylch galwedigaethau ei deiliaid ymhellach nag edrych na byddo unrhyw gelfyddyd neu alwedigaeth yn groes i gyfraith y tir? O ba le y cafodd y llywodraeth hawl i benderfynu ar nifer y tai i werthu dïodydd, mwy na thai i werthu tê neu frethynau? Os yw y fasnach mewn dïodydd meddwol yn gyfreithlawn—ac y mae felly yn ngolwg ein llywodraeth—onid oes gan bob dyn a ewyllysia berffaith hawl i geisio gwneyd ei fywioliaeth trwyddi, heb i na llywodraeth na neb arall pwy bynag geisio ei attal na'i warafun? Byddai mor ddigrifol ag a fyddai o ynfyd yn llywodraeth ein gwlad ddyfod i'n trefydd a'n pentrefydd i geisio penderfynu pa nifer fyddai i werthu siwgr a thobaco, a pha sawl un gaffai ddelio mewn brethynau a chalicos, a phwy i fasnachu mewn halen ac ymenyn, a pha sawl siop i werthu lledr ac esgidiau, a phwy i fyw a'r dòri gwalltau a barfau dynion, ac wrth gwrs, er mwyn perffeithio'r cynllun, pa nifer gaffai yr anrhydedd o wisgo *moustaches!* Yr ydym oll yn deall cymaint a hyny, nad oes dim a all reoleiddio masnach ond masnach ei hun. Buan iawn y dywed hi ei hunan pa nifer, a pha rai, sydd arni anghen amdanynt er cario ymlaen ei holl ganghenau. Ac wrth edrych ar y fasnach feddwol fel masnach angenrheidiol a chyfreithlawn, y mae yn dyfod yn hollol dan yr unrhyw gwrs cyffredin o reoleiddiad a masnachau eraill. Ac fel rheol, fe ŵyr pawb mai goreu po fwyaf, i'r deiliaid, fyddo yn cario pob masnach ymlaen mewn gwlad, o herwydd fod i'r prynwr yr un rhyddid i ddewis ei siop, ag sydd i'r siopwr i ddewis ei fasnach; ac os oes gan un dyn hawl i fasnachu mewn dïodydd, pa fodd nad oes gan ddyn arall yr un hawl yn union? Y mae ganddo!

Heblaw hyny, tra yn caniatâu cyfreithlondeb y fasnach, y mae cyfyngu nifer y tai, ac attal personau a ewyllysiant rhag másnachu yn y nwyddau hyn, yn hollol groes i egwyddorion masnach rydd, ac fel y gallesid dysgwyl yn dwyn ffrwythau niweidiol—hollol anghyson â chyfiawnder, ac â hawliau addefedig deiliaid gwlad rydd a goleuedig. Effeithiau naturiol pob cyfryw gyfyngiad ar fasnach ydyw—gwaelder a drud-anrwydd y nwyddau, ynghyda gwneyd y masnachwyr hyny yn annyodd-efol o falch a chyfoethog, a hyny ar bwys gorfaeliaeth. Pe ar y telerau hyn y carid ymlaen bob math ar fasnach yn ein gwlad, byddai rhyddid càn belled a hyny wedi ei ddilëu, hawliau a lles y deiliaid yn cael eu diystyru, a chyfiawnder ei sathru dan draed!

Yr wyf eisoes wedi awgrymu, gyda bod y gyfundrefn drwyddedol yn anghyfiawn a gorthrymus, fod unrhyw ddiwygiad arni yn annhebyg o gael ei ddilyn gan lwyddiant trwyadl. Pa sicrwydd diammheuol sydd y byddai i leihâd yn nifer y tai trwyddedig gael ei ddilyn gan leihâd cyffredinol mewn yfed a meddwi? Mae yn sicr y cyrhaeddid un amcan trwy hyny, yr hyn na ddylai fod yn amcan o gwbl, ac nid all fod, sef chwanegu dylanwad y nifer a adewid. Mae yn ddiammheu fod y fasnach feddwol yn casglu dirfawr nerth o'r ffaith fod y darllawyr a'r tafarnwyr, ar y cyfan, yn ddosbarth o gyfoeth a dylanwad anghyffredin; a phe tòrid nifer ymaith o'r rhestr, dïau mai y rhai lleiaf eu dylanwad er cadw i fyny urddas a grym y fasnach, a fyddent; a byddai eu cwymp hwy yn olud i'r lleill. Y parchusrwydd y mae y fasnach yn ei feddu ydyw ei mawr nerth, ac nid nifer y tai y mae yn masnachu ynddynt; ac ni byddai taflu ymaith y rhanau mwyaf pydredig yn lleihâu dim ar ei dylanwad yn yr ystyr uchaf, ond yn hytrach yn ei chwanegu. Pa sicrwydd sydd y byddai llai o yfed mewn pentref gyda dwy dafarn na chyda thair? Yn ddïau nis gall y llywodraeth hono sydd yn trwyddedu tai i werthu unrhyw nwyddau, gyda dim eiliw o gysondeb, wrthod gwneyd y cyfryw dai mor gyfleus ag y byddo angenrheidrwydd am danynt; ac os gwneir hwy mor lïosog ag i fod yn gyfleus i'r cyffredin, pa wahaniaeth o bwys a wna eu bod yn amlach? Pa wahaniaeth a wna fod dau dŷ yn ymyl eu gilydd yn gwerthu dïod feddwol mwy nag un, os bydd yr un hwnw, fel mae yn sicr y bydd, yn cynnwys digon o le ynddo i bawb ddaw i mewn? Pa wahaniaeth a wna i'r dïotwr mai deuddeg tŷ tafarn sydd yn y dref lle y preswylia, ac nid deunaw, a golygu y byddai y nifer lleiaf, ïe, *un* o honynt, yn ddigon cyfleus iddo ef? Ond fe ddywedir wrthym, hwyrach, fod profiad yn gryfach nag ymresymiad; a'i fod wedi ei brofi fod cynnydd mewn anghymedroldeb wedi cydfyned â chynnydd y tai trwyddedig. Nid oes ammheuaeth nad allai hyny fod lawer gwaith; ond fe dywedir hefyd ei fod wedi ei brofi yn hollol i'r gwrthwyneb; a phaham na allasai fod felly, o herwydd mai yn *nghwmnïaeth* y dafarn y mae y swyn, yn fwy nag yn y ddïod ei hun; a pho leiaf o dai, mwyaf o gwmni; a pho lïosocaf y cwmni, cryfaf yr attyniad. Pe meddylid fod nifer y tai yn llïosog mewn unrhyw dref, byddai yn fwy tebygol y gallai y dyn ieuanc fyned i dafarn neillduol ar ddechreunos, ac heb gyfarfod yno y cwmni angenrheidiol er gwneyd ei ddifyrwch ef yn gyflawn; ïe, byddai yn fwy posibl na byddai yno neb, ac felly nad arosai ond ychydig. Ond pe meddylid na byddai nifer y tai hyn ond cyfyng, byddai felly yn sicrach o daro ar eraill nid ychydig, a thrwy

hyny byddai yr hudoliaeth yn llawer cryfach a'r arosiad yn llawer hŵy. Fel hyn yr ydys yn gweled nad yw nifer y tai a drwyddedir mor bwysig, ond i'r tafarnwyr eu hunain. Nid oes dim sydd yn ateb eu hamcan hwy cystal a gwaith dirwestwyr ac eraill yn ceisio attal cynnydd yr *opposition*. Buom yn cywilyddio cyn hyn wrth gael ein hunain, yn ddiarwybod, yn ymladd brwydr sobrwydd ochr yn ochr â thafarnwyr, ac yn cael ein hystyried ganddynt y cyfeillion goreu! Dïau fod y bobl dda a diniwed sydd yn ymdrechu fel hyn yn teilyngu parch ac edmygedd am eu zêl a'u penderfyniad—pethau hynod o'r prinion y dyddiau hyn—yn teithio ffordd mor arw, yn erbyn ystormydd mor gryfion. Ond nid oes un ammheuaeth nad yw hwn yn *wrong direction*. Nid myned yn erbyn y masnachwyr a ddylid, ond myned yn erbyn y fasnach; a hyny nid yn ei changhenau, ond yn ei gwreiddyn.

Mae yn ddïau y gellid nodi amgylchiadau y byddai chwanegu tai trwyddedig, yn debyg, os nid yn sicr, o chwanegu dïota; sef mewn ardaloedd na byddai un dafarn o'r blaen, ac y byddai eu dyfodiad yno yn debygol o lithio llawer un i yfed na buasent yn myned i ardaloedd eraill i'r cyfryw ddyben. Ond nid yw hyny yn profi dim os nad yw yn profi mai melldith pob ardal ydyw bodolaeth tafarndai o'u mewn, ac mai bendith ddirfawr yw bod hebddynt. Ond fel rhëol, y mae tafarndai trwy ein gwlad yn bur gyffredinol, ac os oes eu heisieu mewn un ardal, mae eu heisieu ymhob ardal; ac o'r tu arall, os na ddylent fod ymhob man, ni ddylent fod mewn un man, o herwydd yr unrhyw ydyw yr amgylchiadau *cyffredinol* ag y mae pob dyn trwy y deyrnas yn byw ynddynt; yn yr ystyr yma, yr un yw anghenion, manteision, a pheryglon pob dyn. Yr hyn sydd yn llês i un nis gall fod yn niwed i'r llall, a'r hyn sydd yn angenrheidiol i un person, nis gall neb fyw hebddo.

Ond y mae rhywun yn barod i ddyweyd fod y fasnach feddwol yn un beryglus a niweidiol, ac o herwydd hyny yn gofyn edrych ar ei hôl, a hyny gan ryw allu oddiallan iddi ei hun. Gwir fod y fasnach yn niweidiol yn ei heffeithiau, ond gan ei bod felly yn *gyffredinol*, y mae, yn ol natur pethau, yn anghyfreithlawn; ac fel y cyfryw fe ddylid, nid edrych ar ei hôl, ond ei *llwyr ddilëu*. Nid oes gan lywodraeth un wlad hawl i drwyddedu na goddef unrhyw fasnach a fyddo yn ddinystriol i'r deiliaid; nac unrhyw fasnachwr hawl i gario ei faelwriaeth ymlaen ar draul niweidio ei gyd-ddinasyddion; na pherson unigol chwaith hawl i fynu porthi ei flysiau ei hun ar gôst drygu ei gydgrëadur. "Na chaffed hudoles fyw." Nid oes lle prïodol i'r yspeilydd ond y carchar.

Er i ni ganiatâu mai llwyr ddilëad y fasnach ydyw yr unig ffordd lwyddiannus i ymwneyd â hi, rhaid addef fod rhwystrau mawrion iawn i'w gorchfygu cyn y gellir dwyn yr holl genedl i'w cherdded. Mae y fath ddylanwad ystrywgar gan y masnachwyr hyn ar y deyrnas, a'r fath afael gan y ddïod ar lïaws mawr o'r bobl, yn enwedig y Saeson, fel y tybiant eu bod yn cael dirfawr gam trwy eu hamddifadu o hóni. Ac yn wir, yn y modd yma y siaredir am dani gan ein seneddwyr yn fynych: ac nid yw y goleuni sydd wedi pelydru ar egwyddorion masnach yn gyffredinol mewn blynyddoedd diweddar, wedi llwyddo i ddim ond i ddallu mwy ar lygaid amryw o honynt gyda'r mater hwn, mae lle i ofni; mae y goleuni hwnw yn rhy gryf i'w golygon; maent yn gweled pob peth yr

un lliw; ac o ganlyniad ni thâl lliw yn y byd ond hwnw; ac nid yw yn annhebyg mai y rhai a alwant eu hunain yn Rhyddfrydwyr, yn fynych, sydd bellaf yn y camwedd hwn. Gallech feddwl eu bod mor hoff o ryddid, fel y gadawant y lladron yn rhyddion cyn bo hir! Dadleuant na byddai rhoddi ffrwyn ymhen y fasnach feddwol, heb sôn am ei dilëu, ond dychwelyd yn ol oddiwrth ryddid at gaethiwed; ac mai *non-sense* dynion penweiniaid ydyw sôn am sobri y meddwon trwy warafun iddynt y ddïod a garant mor fawr; mai *addysg* yn unig a all wellâu moesau y bobl, ac heb gofio unwaith, mae yn debyg, gynifer o'u dosbarth hwy eu hunain, er eu holl addysg, sydd yn pydru mewn llygredigaethau. Ni roddwn y goreu i neb am ein zêl dros addysg a rhyddid, ond ni chlywsom am gymaint ag un engraifft fod addysg wedi rhoddi egwyddor newydd yn nghalon neb, mwy na rhoddi ymborth yn ei ben—a hi yn unig: ac yn ein byw nis gallwn ddeall pa fodd y gellir cario rhyddid mor bell ag i oddef i'r naill ddyn niweidio y llall yn ei gysgod, heb i hyny fod yn fwy o gaethiwed nag o ddim arall. Digon tebyg fod rhywun yn barod i ddyweyd mai ar yr yfwyr y mae y bai, ac nid ar y ddïod; nid oes a fynir â hyny yma yn bresennol; ond pe caniatëid hyny er mwyn ymresymu, yr hyn nas gallwn mewn gwirionedd, yr ydym yma i edrych nid ar natur y ddïod, ond ar ei heffeithiau ar ein gwlad, o herwydd felly y rhaid i'r Senedd wneyd; ac wrth wneuthur hyny, yr ydym, ymhob cyfeiriad, yn cael ein taro â dychryn a braw! Heb i ni fyned i bentyru ffigyrau, â pha rai y beichiwyd ysbrydoedd darllenwyr y TRAETHODYDD lawer gwaith, pa un bynag a wnawn ai edrych ar effeithiau hyn mewn difrod ar eiddo, neu ynte mewn gwasgar trueni personol a chymdeithasol, pa un bynag ai yn wladol neu eglwysig, yr ydym yn cyfarfod â chymaint o gelanedd dynol ag a guddiai o'r golwg ddifrod holl bläau cenhedlaethau, a holl ryfeloedd Ewrop ar unwaith! Yr ydym wedi cael cyfleusdra yn rhy fynych i weled mor amddifad ydyw rhai dynion sydd wedi eu codi i sefyllfa deddfwneuthurwyr o ddealltwriaeth am wir hawliau dyn fel aelod o gymdeithas, ac yn neillduol mor ddyeithr ydynt i egwyddorion mawrion Cristionogaeth. Mae hyn yn dangos yr angenrheidrwydd sydd arnom, nid yn unig am ddynion gonest a goleuedig, ond hefyd am ddynion *crefyddol*, fel ein cynnrychiolwyr seneddol; gwn mai gwênu o wawd a wna llawer wrth yr ystyriaeth, ond gwênu neu ŵgu, bydd raid cael hyny. Pa beth a all fod yn fwy gwrthun na'r meddwl fod y wlad fwyaf crefyddol ar y ddaear yn dewis fel ei chynnrychiolwyr seneddol, rai o'r dynion mwyaf digrefydd—dynion sydd yn berffaith ddyeithr i ddim syniad na theimlad crefyddol?

Yr ydys, erbyn hyn, er heb yn wybod i ni ein hunain, wedi symud i rywle tua thiriogaeth y *Permissive Bill*, a da iawn, yn ddïau, fydd gan y darllenydd gael cilfach a glàn iddi yn rhywle. Hwyrach nad yw pawb o ddarllenwyr y TRAETHODYDD yn unfryd unfarn ynghylch y cynnyg hwn. Prin, fe allai, y gellir edrych arno fel yr hyn a ddylai cyfraith gyfansoddiadol fod, o herwydd nad yw trigolion pob ardal ar ei phen ei hun yn gymhwys i wneyd na dewis deddfau iddynt eu hunain, ac yn ddïau nid y ffurf uchaf ar gyfraith ydyw y ffurf werinol, canys y mae tuedd mewn cyfraith ansefydlog i wneuthur cenedl felly. Ond fel *prawf*, yn ddïau nis gellir cael ei gwell; ac yn sicr nid oes dim ond prawf amlwg an-

ac argyhoeddiadol yn y wlad cyn ei wneyd yn ddeddf unffurf a pharhäus trwy yr holl deyrnas. Beth a wneir yn y cyfamser? A oes dim i'w wneyd er rhoddi attalfa ar ddinystr enbyd y fasnach ofnadwy hon yn ein gwlad? Wrth ofyn fel hyn, ni fynwn awgrymu dim a fyddo yn ymyraeth â hawliau y cynnygiad crybwylledig, o herwydd, yn fy marn i, nid oes dim a all gyflawni holl raid y genedl, a rhoddi y dïogelwch angenrheidiol, ond llwyr ddilëad y fasnach; ac mai i hyn y rhaid dyfod sydd amlycach amlycach bob dydd. Ond, yn enw pob synwyr sydd mewn dyn, paham na ddygir y fasnach dan yr unrhyw drefn â masnachau eraill? Paham y caniatëir iddi adegau ac oriau na chaniatëir i un fasnach arall? Hefyd, oni ellid gwneyd y tai lle gwerthir y dïodydd fel siopau cyffredin, ac nid eu gadael yn llochesau i ddïotwyr i ymdrôi ynddynt trwy y dydd a'r dyddiau? Gwneyd y tai hyn yn hollol wahanol i'r hyn ydyw y *beershops* yn bresennol, ar *sign* pa rai yr argreffir—"*To be drunk on the premises;*" ond yn lle hyny argraffer ar bob tŷ tafarn—"*Not to be drunk on the premises.*" Fod y ddïod i'w gwerthu allan yn unig, ac na oddefir iddi gael ei hyfed, dan unrhyw amgylchiadau, yn y tai lle ei gwerthir. Gwnelai hyn ymaith ar unwaith â chwmni y dafarn, ac ni byddai yn ormes ar neb. Fe alwai y drefn yma ar bethau am fath arall o dai, sef math o dai i fasnachwyr ac eraill i ddisgyn ynddynt, lle gallent gael pob cyfleusdra i gael ymborth, dïod, a lletŷ. Ond nis gallai y cyfryw dai fod yn lloches i ddïotwyr. Gallai pawb gael y ddïod i'w dŷ ei hun, a'r un modd i *lodging houses*, trwy anfon am dani fel y gwneir yn bresennol; ond na oddefid i'r cyfryw dai i wneyd masnach o hóni. Pa rwystr cyfreithlawn sydd i gario allan gynllun fel hwn, un a roddai derfyn ar unwaith ar yr holl ddïotta afreidiol, sydd yn achos o gymaint o drueni dybryd? Nid y ffaith fod y dïodydd meddwol yn y wlad ydyw yr achos penaf o'r holl feddwi, ond bodolaeth a sefyllfa y tai lle y gwerthir y ddïod, llawer o ba rai sydd debycach i ffauau llewod, a llochesau llewpardiaid, nag i anneddau pobl ddiniwed! Chwaler y nythod ynte; a thrwy wneuthur hyny ceir gweled y caiff miloedd o'r trueiniaid sydd yn cael eu plüo ynddynt hyd y croen, egwyl i ddïanc fel yr aderyn o fagl yr adarwr. Er na byddai hyn yn cyfateb i'n dymuniadau llawnaf—nis gallai dim llai wneyd hyny, fel y dywedwyd, na llwyr ddilëad y fasnach,—eto credwn y gadawai hyn effaith hynod o'r iachusol ar gymdeithas. Os meddylir am wellâu y drwg mawr cenhedlaethol hwn yn ein gwlad, rhaid gwneyd hyny trwy newid ffurf ac amcan y gyfraith. Nid yw ceisio at welliant trwy leihâu nifer y tai trwyddedig, a goddef i'r rhai hyny yr unrhyw ryddid, ond tebyg i geisio dinystrio coeden trwy yn unig dòri nifer o'i changhenau lleiaf. Os na chawn lwyr ddadwreiddio yr hen goeden andwyol hon ar unwaith o'n tir, yn ol amcan y *Permissive Bill*, gadewch i ni gyfeirio ein bwyeill at rai o'i gwraidd, a chawn weled y gwywa y canghenau i'r un mesur. Myner cael y fasnach i oleu dydd. Bodder ei noddfëydd. Dadguddier ei chuddfanau. Gollynger ei chorbyllau, ac nis gall ei llyffaint a'i phenbyliaid fyw yn hir; ac iachëir awyr gymdeithasol a moesol ein gwlad yn gyfatebol.

Mae un gair arall y dymunwn ei grybwyll ar y mater hwn, sef y gwaradwydd a ddygir ar ein gwlad gan y ffaith drom fod y fasnach hon —y waethaf o bob un—yn cael ei chario ymlaen ar y Sabbath. Mae yr

wadadwy a all argyhoeddi pob dosbarth yn ein gwlad o fawr ddrygedd y fasnach feddwol, ynghyda y posiblrwydd o fyw hebddi. Mae yn rhaid weithiau wrth gyfraith amserol *(temporary)*, ac nid oes ammheuaeth genyf nad yw yr amgylchiadau hyny wedi ein dal ninnau gyda hyn. Nid wyf yn golygu fod natur yr hyn a geisir ei sefydlu yn amserol, ond y *dull* trwy ba un y ceisir ato, sef trwy lais uniongyrchol y bobl. Ond er i ni gefnogi y dull hwn fel y goreu i roddi prawf ymarferol ar unrhyw beth ammheus, eto, dylid cofio nad all unrhyw brawf wasanaethu ond am ei dymmor prïodol ei hun. Trwy y cyfryw fesur a hwn caiff y Senedd brawf o deimlad a barn y wlad yn y mater; a chaiff y wlad a'r Senedd brawf ymarferol o'r mesur cyn ei sefydlu yn gyfraith barhäus. Nid wyf yn hoffi cyfreithiau symudol; h.y., y cyfreithiau hyny sydd yn cynnwys y drychfeddwl o newid ynddynt eu hunain. Nis gall y cyfryw ddeddf gario y dylanwad uchaf—dylanwad prïodol cyfraith—ar feddwl dyn. Ond fel prawf amserol, dan rai amgylchiadau, nis gellir gwneyd heb y cyfryw. Nid yw hyn, mewn un modd, yn beth newydd yn ein gwlad. Fel hyn y bu gyda chyfraith newydd y tlodion flynyddoedd yn ôl, ac yn ddiweddarach gyda chyfraith ddiwygiedig y prif-ffyrdd: gadewid gwahanol ranau y wlad at eu rhyddid i'w derbyn a'u mabwysiadu neu beidio, hyd nes y ceid prawf argyhoeddiadol o'u rhagoriaeth; wedi hyny fe'u sefydlir yn ddieithriad. Ac yn hyn, yn ddïau, fe ddangosodd ein seneddwyr ddoethineb llywodraethol anghyffredin, yn gystal a pharch neillduol i deimladau y bobl. Mae yn debyg mai dyma amcan pleidwyr y *Permissive Bill;* ei gynnyg fel mesur o brawf i ddechre, a hyny mewn rhyw fanau a ewyllysiont ei fabwysiadu; yna, wedi cael prawf têg, a llwyddiannus gredant hwy, ei sefydlu yn gyfraith barhäus a diethriad i'r holl ymerodraeth. Pa beth a all fod yn annhêg nac yn annymunol yn hyn? Nid yw yn cael ei gynnyg ond fel mesur o *ganiatâd prawfiadol*, a hyny gydag arafwch dymunol. O ba le y gallodd yr Ysgrifenydd Cartrefol, yn ei le yn Nhŷ y Cyffredin, gasglu digon o wroldeb, neu ynte rywbeth arall, i alw y cyfryw gynnygiad â hwn yn *fesur eithafol*, nis gwyddom. Gyda yr un prïodoldeb yn hollol y gallesid galw pob mesur o ddiwygiad a basiwyd trwy Senedd Prydain er ys dwy oes, ar eu cynnygiad cyntaf, yn fesurau eithafol, ac felly y gwnaed. Edrycher ar ddilëad Deddfau yr Yd, Rhyddfreiniad y Pabyddion a'r Iuddewon, agor y Prifysgolion i Ymneillduwyr, ac yn neillduol dadgysylltiad a dadwaddoliad yr Eglwys Wyddelig; oni chawsant un ac oll, eu galw yn eithafol? Ond gan bwy? A ddymunai Mr. Bruce gael ei gyplysu gyda y cyfryw yn ol llaw? Beth oedd y boneddwr yn ei olygu wrth fod yn eithafol nid wyf yn gwybod; os efe ei hun a osodid ganddo yn safon i farnu pethau wrtho, gall mai nid mor anmhrïodol oedd galw cynnygiad Syr W. Lawson yn fesur eithafol; ond os cawn ni ddewis ein safon, ni a gymerwn yr hen un hwnw, sydd wedi cadw y byd yn ei le, a chyn hyn wedi galw Seneddwyr at eu meinciau, sef yw hyny—CYFIAWNDER! Mae yn wir fod y cynnygiad yn newydd, ond nid ydyw o herwydd hyny yn eithafol.

Ond a golygu y daw y *Permissive Bill* yn gyfraith sefydlog yn ein teyrnas, nis gall hyny ddyfod oddiamgylch am dymmor lled faith. Fe gymer amser i'w ddadleu a'i basio yn y Senedd, ac wedi hyny, nis gall beidio cymeryd yr un peth i'r mesur ei hun i sefydlu ei brawf ymarferol

ac argyhoeddiadol yn y wlad cyn ei wneyd yn ddeddf unffurf a pharhäus trwy yr holl deyrnas. Beth a wneir yn y cyfamser? A oes dim i'w wneyd er rhoddi attalfa ar ddinystr enbyd y fasnach ofnadwy hon yn ein gwlad? Wrth ofyn fel hyn, ni fynwn awgrymu dim a fyddo yn ymyraeth â hawliau y cynnygiad crybwylledig, o herwydd, yn fy marn i, nid oes dim a all gyflawni holl raid y genedl, a rhoddi y diogelwch angenrheidiol, ond llwyr ddilëad y fasnach; ac mai i hyn y rhaid dyfod sydd amlycach amlycach bob dydd. Ond, yn enw pob synwyr sydd mewn dyn, paham na ddygir y fasnach dan yr unrhyw drefn â masnachau eraill? Paham y caniatëir iddi adegau ac oriau na chaniatëir i un fasnach arall? Hefyd, oni ellid gwneyd y tai lle gwerthir y diodydd fel siopau cyffredin, ac nid eu gadael yn llochesau i ddïotwyr i ymdrôi ynddynt trwy y dydd a'r dyddiau? Gwneyd y tai hyn yn hollol wahanol i'r hyn ydyw y *beershops* yn bresennol, ar *sign* pa rai yr argreffir—"*To be drunk on the premises;*" ond yn lle hyny argraffer ar bob tŷ tafarn—"*Not to be drunk on the premises.*" Fod y ddïod i'w gwerthu allan yn unig, ac na oddefir iddi gael ei hyfed, dan unrhyw amgylchiadau, yn y tai lle ei gwerthir. Gwnelai hyn ymaith ar unwaith â chwmni y dafarn, ac ni byddai yn ormes ar neb. Fe alwai y drefn yma ar bethau am fath arall o dai, sef math o dai i fasnachwyr ac eraill i ddisgyn ynddynt, lle gallent gael pob cyfleusdra i gael ymborth, dïod, a lletŷ. Ond nis gallai y cyfryw dai fod yn lloches i ddïotwyr. Gallai pawb gael y ddïod i'w dŷ ei hun, a'r un modd i *lodging houses*, trwy anfon am dani fel y gwneir yn bresennol; ond na oddefid i'r cyfryw dai i wneyd masnach o hóni. Pa rwystr cyfreithlawn sydd i gario allan gynllun fel hwn, un a roddai derfyn ar unwaith ar yr holl ddïotta afreidiol, sydd yn achos o gymaint o drueni dybryd? Nid y ffaith fod y dïodydd meddwol yn y wlad ydyw yr achos penaf o'r holl feddwi, ond bodolaeth a sefyllfa y tai lle y gwerthir y ddïod, llawer o ba rai sydd debycach i ffauau llewod, a llochesau llewpardiaid, nag i anneddau pobl ddiniwed! Chwaler y nythod ynte; a thrwy wneuthur hyny ceir gweled y caiff miloedd o'r trueiniaid sydd yn cael eu plüo ynddynt hyd y croen, egwyl i ddïanc fel yr aderyn o fagl yr adarwr. Er na byddai hyn yn cyfateb i'n dymuniadau llawnaf—nis gallai dim llai wneyd hyny, fel y dywedwyd, na llwyr ddilëad y fasnach,—eto credwn y gadawai hyn effaith hynod o'r iachusol ar gymdeithas. Os meddylir am wellâu y drwg mawr cenhedlaethol hwn yn ein gwlad, rhaid gwneyd hyny trwy newid ffurf ac amcan y gyfraith. Nid yw ceisio at welliant trwy leihâu nifer y tai trwyddedig, a goddef i'r rhai hyny yr unrhyw ryddid, ond tebyg i geisio dinystrio coeden trwy yn unig dori nifer o'i changhenau lleiaf. Os na chawn lwyr ddadwreiddio yr hen goeden andwyol hon ar unwaith o'n tir, yn ol amcan y *Permissive Bill*, gadewch i ni gyfeirio ein bwyeill at rai o'i gwraidd, a chawn weled y gwywa y canghenau i'r un mesur. Mŷner cael y fasnach i oleu dydd. Bodder ei nodd-feydd. Dadguddier ei chuddfanau. Gollynger ei chorbyllau, ac nis gall ei llyffaint a'i phenbyliaid fyw yn hir; ac iachëir awyr gymdeithasol a moesol ein gwlad yn gyfatebol.

Mae un gair arall y dymunwn ei grybwyll ar y mater hwn, sef y gwaradwydd a ddygir ar ein gwlad gan y ffaith drom fod y fasnach hon—y waethaf o bob un—yn cael ei chario ymlaen ar y Sabbath. Mae yr

ŷch yn cael llonydd, a'r asyn orphwysdra, ar yr adeg neillduol hon; ond am y meddwyn, druan, y mae ef a'i waith o'i flaen, a'i gystuddwyr yn galw am dano heddyw eto! Pa hyd y goddefir hyn, ac y clwyfir miloedd o galonau mor ddiachos, ac y tarewir Cristionogaeth ar ei hwyneb mor ddigywilydd? Cyfodwn i fyny fel un gŵr i wrthdystio yn erbyn y fath ddirmyg ar ein crefydd, a'r fath anfri ar ein gwlad. Clywer ein llef ymhell; mŷnwn argyhoeddi ein haelodau Seneddol, ac na ildiwn hyd oni ddyger allan farn i fuddugoliaeth.

Pe na buasai ein cyfreithiau yn ymwneyd dim â chadwraeth y Sabbath—dim ond edrych ar hyny yn unig fel rhwymedigaeth foesol, a gadael rhwng y deiliaid, i fesur helaeth, âg ef fel y cyfryw—ni fuasai genym gymaint i'w gwyno o'i herwydd; ond am i lywodraeth sydd yn proffesu amddiffyn y Sabbath—pa un bynag ai oddiar safle foesol neu wladol—ganiatâu, ie, trwyddedu y fath fasnach, i gario ymlaen ei helw traws a'i hamcanion annheilwng ar ddydd yr Arglwydd, mae yn ymddangos mor anghyson ag ydyw o waradwyddus. Dadleuir mai o herwydd fod y ddïod yn cael ei hystyried yn un o angenrheidiau penaf bywyd, y caniatëir y fath ryddid i fasnachu ynddi ar ddydd yr Arglwydd. Yn sicr fe ddylid dwyn rhyw gadfridog o reswm i'r maes dros y fath ymarferiad anghristionogol—ymarferiad na chaniatäwyd mo hóno hyd yn nôd pan nad oedd dynion ond yn derbyn eu hymborth dogn dydd yn ei ddydd. Ond yn lle hyny, y fath gorach eiddil o reswm y rhaid fod hwnw a fŷn daeru fod rhyw ddïod neillduol mor anhebgorol angenrheidiol, fel y rhaid croesi ar draws llwybr y gorchymyn sanctaidd i'w chyrchu ar adeg hollol gysegredig, pan y mae miloedd lawer yn y deyrnas yn byw yn berffaith gysurus hebddi o gwbl. Nid yw y rhai hyny yn byw heb fara, ymenyn, chîg, &c.; ac eto, er fod y ddïod, heb yr hon y mae cynifer yn byw o gwbl, yn cael ei gwerthu ar y Sabbath, am nad ellir byw hebddi, er y gellir, nid yw y pethau hanfodol eraill i'w cael er nas gall neb fyw hebddynt! Y fath anghysondeb perffaith!

Ond a chaniatâu fod y ddïod mor lwyr angenrheidiol ag y mŷn archwaeth y mwyaf trachwantus ei bod, nid ydyw hyny, wedi'r cwbl, yn unrhyw fath o reswm dros fasnachu ynddi ar y Sabbath; o herwydd pa rwystr gwirioneddol sydd i'w phwrcasu hi, fel nwyddau eraill angenrheidiol, ar gyfer y Sabbath? Nid yw hyd yn nôd y dydd-weithiwr yn derbyn ei ennillion mor ddiweddar fel nad all wneyd hyny. Nid yw y rhesymau a ddygir dros yr halogiad anfad hwn ar ddydd yr Arglwydd, ond cynifer o esgusodion disylwedd er mwyn ceisio cuddio trachwant y Llywodraeth am arian, ynghyda rhaib y gigfran sydd yn nghalonau masnachwyr y ddïod, fel nad yw chwe' dydd o saith, gydag oriau hŵy na neb arall, yn ddigon ganddynt i lanw eu llogellau eu hunain, a hyny ar draul yspeilio eu cwsmeriaid; ond rhaid cael ganddynt hefyd y seithfed dydd, yr hwn yw Sabbath yr Arglwydd eu Duw, i gario ymlaen yr ymdrechfa, a cheisio dybenu Cristionogaeth ar ei thir ei hun!

Wyf, Anwyl Syr,

Yr eiddoch yn dra ffyddlawn,

R. HUGHES.

## NODIAD GAN Y GOLYGYDD.

YR oedd yn dda genym dderbyn y llythyr uchod, a theimlem wrth ei ddarllen fod ein cyfaill o Langernyw yn gwneyd yn ddoeth wrth alw ein sylw difrifol at y drwg mawr o feddwdod sydd yn ffynu mor arswydus yn ein plith. Mae meddwl am gau ein llygaid rhag y trychineb, fel pe byddai hyny yn ddigon i beri iddo beidio bod, allan o'r cwestiwn. Y mae meddwdod ein gwlad yn peri ei deimlo y dyddiau hyn i'r fath raddau fel y mae yn bygwth gwneyd y difrod mwyaf ofnadwy arnom. Nid allwn droi ein hwyneb i un cyfeiriad nad ydyw y felldith hon wedi bod yno o'n blaen, ac wedi peri colledion nad all calon dyn ddirnad eu maint. Mae yn naturiol i ddynion caredig feddwl y goreu am eu cyd-ddynion, a gobeithio pan y mae gobeithio ymron yn beth anmhosibl; ond pa bosiblrwydd meddwl y goreu pan yr ydym yn gweled meddwon yn llanw ein gwlad? a pha fodd y gellir gobeithio, pan y mae cynifer o'n cydwladwyr, ïe, o ddeiliaid ein Hysgolion Sabbothol, ac o blant ein heglwysi, yn ymollwng yn wirfoddol i nerth y llif nad all lai na'u cymeryd i golledigaeth? Mae y diarddeliadau am feddwdod yn lliosogi yn ein plith. Mae hyd yn nôd ein swyddogion eglwysig a gweinidogion yr Efengyl yn cael eu darostwng wrth gellwair â'r achlysuron iddo, a'u defnyddioldeb yn cael ei ddinystrio. A chymeryd golwg ar ymyfed y deyrnas oll, y mae wedi cyraedd i faintioli anferth, a hwnw flwyddyn ar ol blwyddyn yn myned ar gynnydd. Fe wariwyd yn y deyrnas hon gant a dwy o filiynau o bunnau y flwyddyn ddiweddaf am ddïodydd meddwol! Yr ydym yn ymffrostio yn ffigyrau mawrion ein haelioni crefyddol; ac eto mae yr arian a wariasom fel teyrnas y tair blynedd diweddaf am ddïodydd meddwol, yn fwy hanner cant o weithiau na'r holl gyllid a dderbyniodd Cymdeithas y Biblau mewn pump a thriugain o flynyddoedd tuag at ddiwallu y byd â gair y bywyd! Am y tlodi, yr anwybodaeth, y creulondeb, y troseddau o bob natur, y gwallgofrwydd, y marwolaethau, a phob math arall o drueni, a achosir gan yr ymyfed, yr ydym wrth geisio ffurfio rhyw syniad yn eu cylch yn teimlo ein calon yn llesgâu fel pe byddem yn edrych ar ddinystr anfeidrol. Os ydyw dirwestwyr a chrefyddwyr Cymru wedi myned i hepian gyda'r amcan mawr o waredu ein gwlad oddiwrth ei meddwdod, yn sicr y mae yr olwg ar y drwg sydd wedi ei wneyd *tra yr oedd y gweision yn cysgu*, yn galw arnynt oll bellach i ymddeffroi, ac i wneyd eu goreu i droi y felldith yn ei hôl.

Ac y mae yn dra gofidus ein bod wedi ymollwng yn ein hymdrech yn erbyn meddwdod. Flynyddoedd yn ol buasem yn dra hyderus yn dadgan ein gobaith y buasai ffynnonau y trueni yma, ymhell cyn hyn, wedi eu llwyr sychu yn ein gwlad; ac fe allai i ni fod yn llawer rhy brysur mewn udgânu buddugoliaeth. Gŵr doeth oedd hwnw a ddywedodd, "Nac ymffrostied yr hwn a wregyso ei arfau, fel yr hwn sydd yn eu dïosg." (1 Bren. xx. 11.) Y mae yn ffaith, pa fodd bynag, fod dirfawr wahaniaeth rhwng yr olwg a gymerir yn gyffredin yn awr ar beryglon ymyfed, a'r wêdd yr edrychid ar hyny flynyddoedd yn ol. Rywfodd fe deimlir yn fynych fel pe byddai yna ryw gamgymeriad mawr wedi ei wneuthur y pryd hyny, camgymeriad mor fawr fel ag y dylid o'i herwydd oddef llawer o gamgymeriad yn yr ochr wrthgyfer-

byniol yn bresennol, a hyny heb yngan dim mewn ffordd o wrthdystiad. Mae yn ddigon posibl fod llawer wedi bod yn annoeth wrth ddadleu achos sobrwydd. Ac y mae yn eithaf naturiol i bob gweithiad nerthol gynnyrchu gwrthweithiad. Yr oedd yn naturiol iawn hefyd mewn blynyddoedd o lwyddiant, fel sydd wedi bod ar lawer o'n teuluoedd, ac yn wyneb y difrawder a ddangosid gan rai y dysgwylid pethau gwell oddiwrthynt, i "gynghor y meddyg" gael ei dderbyn mewn ystyr ehangach nag oedd yn angenrheidiol, ac i fwy o sylw gael ei dalu i ddull y teuluoedd y byddid yn dynesu atynt yn nghylchoedd cymdeithas, o fyw, a thrwy y cwbl i ymyfed dderbyn nawdd a chefnogaeth mewn manau ag yr oedd yn fwy o lawer o drueni nag a ddychymygid fod yr arferiad o'r dïodydd meddwol yn cael cefnogaeth ynddynt o gwbl. Ond fel y mae achosion yn naturiol yn cynnyrchu eu heffeithiau, felly hefyd y mae yfed dïodydd meddwol yn cynnyrchu eu heffeithiau hwythau yn ein gwlad, ac yn peri anferth drueni. "A ddichon gŵr ddwyn tân yn ei fynwes heb losgi ei ddillad?" Y mae yn amlwg iawn, wrth yr hyn a welwn o'n hamgylch yn barhäus yn hanes cymdeithas, nad ydyw yn ddïogel i neb ddwyn y tân yma yn ei fynwes, sut bynag. Y mae yn bwysig ystyried ei fod yn beryglus, nid yn unig i'r tlodion a'r anllythyrenog, ond hefyd i'r cylchoedd uchaf o ran parchusrwydd a diwylliad. Onïd oeddym yn darllen yn ddiweddar yn y papyrau newyddion am ŵr eglwysig yn cydnabod mewn llŷs gwladol ei fod wedi cymeryd deg gini oddiar ryw un gyda'r amcan o dwyllo? Cyffesai mai achos ei drueni oedd ei hoffder at ddïodydd meddwol. Yr ydoedd dan ammod i brïodi gyda gweddw gyfoethog; ond y noswaith cyn y brïodas fe feddwodd i'r fath raddau fel nad allai fyned i'r eglwys, ac felly tòrwyd y cyttundeb. Mewn adeg arall yn ei feddwdod lladratasai eiddo o ryw *Hotel*, a rhoddasai am dano ddillad a berthynent i ŵr arall. Am un o'r beïau hyn, fe'i rhyddhëid ar yr ystyriaeth ei fod yn wallgof trwy feddwdod. Buasai mewn gwallgofdŷ; wedi dyfod allan derbyniasai guradiaeth; ond collodd hi yn fuan trwy feddwdod. Buasai amryw weithiau yn ngharchar, a dwywaith neu dair ceisiasai ladd ei hun. Wedi hyny cawsai gychwyniad newydd mewn bywyd drachefn; bu yn sobr am ychydig, ac ymddangosai yn debyg o ddyfod ymlaen; ond dychwelodd at ei hen arferion, a suddodd yn ddyfnach nag erioed. Ystyriai y barnwr fod yr holl bethau hyn a gyffesai am dano ei hun yn gwneyd ei achos yn *waeth*, a dedfrydodd ef i bum' mlynedd o alltudiaeth. Ac eto yr oedd yn ŵr o ddygiad da i fyny, o ddysg, o sefyllfa, ac o gyfrifoldeb uchel. Ar un adeg, mae yn ddiammheu y buasai yntau yn barod i ofyn, pe buasai rhywun yn dangos iddo y canlyniadau yr oedd ei hoffder at y ddïod yn dra sicr o'i arwain iddynt, "Ai ci yw dy was?" Ac ni fyddai ond hawdd iawn nodi llawer o esiamplau eraill o gyffelyb natur, sydd yn dangos nad yw y rhai y gellid dysgwyl fod ganddynt ddigon i'w dïogelu, ddim yn ddïogel oll wrth ymarfer â'r dïodydd meddwol. Ac yr ydym yn darllen ac yn clywed pethau arswydus am fenywod parchus, rhai y buasai yn anhawdd genym ddychymygu fod yn bosibl iddynt byth fyned i ystâd o feddwdod, ac yn enwedig i fod yn feddwon sefydlog, ond er y cwbl yn myned i lawr, wrth gellwair â'r dïodydd, i ddyfnderoedd meddwdod. Dywed Mrs. S. C. Hall, yn ei harweiniad galluog i'r gyfrol dra dyddorol, "*Women's Work in the Temper-*

*ance Reformation,*" ystori y gwaranta ei hunan ei gwirionedd, am ddyn teilwng, cynes-galon, a dreuliasai ei flynyddoedd boreuaf yn y llynges, ond a ddymunai droi yn amaethwr, a throi ei "angor yn swch." Fe garodd ac fe brïododd eneth ieuanc, ddysglaer, fedrus; a chan fod ganddo chwaer yn New Zealand, fe ymfudodd yno gyda ei brïodasferch ieuanc, ac fe ymsefydlodd o fewn pedwar ugain milldir i'w chwaer. Yr oedd rhyw awgrymau wedi eu cael o'r blaen am hoffder y wraig ieuanc o ddïodydd cryfion. Ond yr oedd ei lythyr cyntaf ef adref yn ddysglaer a llawen; desgrifiai y wlad, &c., yn brydferth a dymunol iawn, ac yn enwedig yr oedd ei gyfeiriadau at ei gyntafanedig yn llawn o hapusrwydd. Ond daeth y llythyrau canlynol yn fwy fwy pruddaidd, ac anaml. Ymhen tair neu bedair blynedd, daeth llythyr oddiwrth ei chwaer yn rhoddi hanes dychrynllyd am helynt John druan. Yr oedd ei wraig wedi dyfod yn feddwyn sefydlog, ac fe allai yn rhywbeth gwaeth, canys pethau gwaeth sydd yn dilyn; yr oedd eu holl obeithion am lwyddiant a chysur wedi eu llwyr chwalu, ac yr oedd yr holl ddodrefn wedi eu gwerthu am ddïod. Absennolai ei hun am ddyddiau ac wythnosau, a chai yntau hyd iddi wrth y *store* nesaf yn feddw. Ac eto ni ddadguddiasai ei chywilydd, ac nid ysgrifenasai air adref yn erbyn yr hon mewn dyddiau eraill a garasai mor fawr. Wedi clywed am ei dywydd, ysgrifenai ei berthynasau o Loegr ato i geisio ei galonogi, ac i ddadgan gobeithion am ddyddiau gwell; os ydoedd wedi blino ar y byd newydd, dywedent yr anfonent foddion iddo ddychwelyd i'r hen fyd. Ond yr ydoedd ei ysbryd wedi ei ladd, ac fel y dywedai, "yr ydoedd ymron yn ddeuddeg o'r gloch arno ef." Ond beth am ei eneth fach? Nid allai feddwl ei gadael yn nwylaw mam feddw, ac felly, er mewn dirfawr wendid, penderfynodd fyned â hi a'i gosod dan ofal ei chwaer. Pa fodd y llwyddodd i'w chyraedd sydd ddirgelwch. Yr oedd ei holl gnawd wedi curio ymaith. Wedi dyfod i'r tŷ, gwthiodd y plentyn at ei chwaer. "Dyna hi," meddai, "yr ydych i'w gwneyd yn un o'ch rhai eich hun; ni raid i chwi addaw—gwn y gwnewch; mi a'i dygais i chwi—yr oll ag oedd genyf yn y byd i'w garu—OLL!" Gwasgai y plentyn i'w fynwes, ac yna gwthiai hi at ei chwaer, yr hon gan ymgrymu gerllaw iddo a'i derbyniai gyda llygaid llawn o ddagrau. "Mary," sibrydai yntau, "yr wyf yn hapus yn awr; chwi gymerwch ei gofal—*ond y mae ymron yn ddeuddeg o'r gloch arna' i;* rhowch i mi *orange.*" Trôdd ei chwaer i estyn *orange* oddiar y bwrdd, ond cyn iddi allu ei roddi iddo yr ydoedd wedi marw. O, mor wahanol y gallasai y fath brïodas droi allan! Dywed Mrs. Hall ei bod hi yn argyhoeddedig fod mwy o ddïodydd cryfion yn cael eu cymeryd gan ferched yn awr nag ydoedd flynyddoedd yn ôl, ac y "cymer boneddigesau ieuainc dri neu bedwar gwydriad o *champagne,* heblaw gwinoedd eraill, ar giniaw." A pha beth a ellir ddysgwyl oddiwrth hyn mewn blynyddoedd i ddyfod? Cyfeiria Mrs. Balfour, yn yr un llyfr, gyda llymder mawr, at y cyhuddiadau sydd wedi ymddangos yn ddiweddar yn y *Lancet,* y *Medical Times,* y *Saturday Review,* a phapyrau cyhoeddus eraill, at ymyfed y merched y dyddiau hyn, a dengys mor anhawdd ydyw gobeithio nad ydyw y cyhuddiadau hyny yn wir. Sonia am hysbysiad a welsai yn rhai o'r papyrau y Nadolig diweddaf yn argymhell yr hyn a elwid, *The Ladies' One Guinea Hamper,* yr hon, meddid, a gynnwysai dair potel o wahanol wirodydd, a

thair o wîn, wedi eu pacio yn y fath fodd fel na wyddid beth a gynnwysai; ystyria Mrs. Balfour hyn, ynddo ei hun, yn gyhuddiad yn erbyn boneddigesau y deyrnas o ymyfed dirgelaidd. Y mae llawer yn yfed am eu bod yn credu fod hyny yn angenrheidiol er cadw i fyny eu hiechyd; ond er yfed, nid ydynt yn iach, ac nid ydynt yn ammheu am fynyd y gallai mai yr yfed sydd yn achos o'u hafiechyd. Nid oes un feddyginiaeth *arall* y glynai pobl wrthi mor ddiflino pe byddai yn eu gadael mor weiniaid, mor *nervous*, ac mor ddiddaioni ag y mae diodydd meddwol yn eu gadael yn barhäus. Nid ydynt yn gwneuthur llês. Y mae gwyddoniaeth yn dangos nad oes ynddynt ond y graddau lleiaf sydd yn ddichonadwy o faeth. Mae mwy o faeth mewn un gwydriad o laeth nag sydd mewn barilaid o ddïod feddwol. Ac am dani fel cynhyrfai, fel *stimulus*, pa werth all fod yn hyny? Pe byddai dyn yn gallu gwneyd rhywbeth *gyda'r* ddïod, nad allai wneyd *hebddi*, a fyddai hyny yn profi fod rhyw lesâd ynddi? Mae y ceffyl yn y cerbyd yn gwneyd ebwch anghyffredin pan mae y chwip yn tòri ar draws ei gefn, neu yr yspardyn yn cael ei chladdu yn ei ochrau; a ydyw y chwip a'r yspardyn yn rhoddi nerth ynddo? Dim o'r fath beth. Y mae *yn tynu nerth o hôno*, heb roi dim i fewn, ac fe fydd raid iddo ef dalu y gost am yr ebwch hwnw trwy wendid cyfatebol mewn canlyniad. Y mae ymborth iachus, o'r ochr arall, yn rhoddi nerth *yn* yr hwn sydd yn ymborthi arno, ac fe all dynu ar y nerth hwnw yn ddïogel a phleserus yn ol ei anghen. Y mae, yn sicr, yn annhraethol fwy teilwng o grëadur rhesymol ddilyn trefn ddoeth natur trwy ddefnyddio y pethau maethlawn a ddarperir ganddi mor ddibrin ar ei gyfer, ac felly adeiladu iddo ei hun nerth, na chellwair â phethau nad yw yn eu gallu wneuthur yn amgen na'i golledu ymhob modd. Os oes rhyw rinwedd meddygol yn y ddïod,—ac y mae yn dda genym weled fod nifer fawr o feddygon enwocaf y deyrnas yn dyfod y naill ar ol y llall i wadu *hyd yn nôd hyny* yn awr,—defnyddier hi fel meddyginiaeth. Y mae cellwair â hi ymhellach yn gosod pob dyn yn agored i'r peryglon mwyaf difrifol.

A beth sydd i'w wneyd gyda golwg ar y drwg hwn yn ein gwlad? Y mae un peth yn amlwg; nid ydyw yn bosibl i un gwladgarwr, heb sôn am Gristion, aros yn llonydd i edrych ar y difrod. Dywedwch fod y llif sydd yn cario gydag ef drysorau a bywydau yn aneirif, yn rhuthro yn chwyrn, ac â'i sŵn byddarol wrth ruthro, yn peri i ni, tra yn sefyll ar ei làn, deimlo mor ryfeddol o ddiddym ydyw ein holl nerth i feddwl am fyned i ymryson â'i gynddaredd,—a ydym, o herwydd hyny, i sefyll draw, a dim ond edrych ar y miliynau o'n cydgrëaduriaid sydd yn cael eu lladd ganddo? Na ato Duw! Yr ydym yn difrifol hyderu y bydd canlyniadau da yn codi o waith *Cymanfa Ddirwestol ac Attaliol Gwynedd* yn trefnu fod cyfeillion ffyddlawn perthynol i'r gwahanol enwadau crefyddol, yn dwyn yr achos hwn i sylw yn eu cynnulliadau, ac yn trefnu ar fod cyfarfodydd Dirwest yn cael eu cynnal ledled y wlad. Hyderwn y byddant yn derbyn cefnogaeth wresocaf eu brodyr, ac y bydd holl weinidogion yr Efengyl yn Nghymru, ynghyda'n blaenoriaid, a'n hathrawon a'n hathrawesau, yn dyfod fel un gŵr yn "gynnorthwy i'r Arglwydd, yn gynnorthwy i'r Arglwydd yn erbyn y cedyrn." Pan feddyliwn fod meddwon ein gwlad yn cael eu gwneyd i fyny yn gannoedd ac yn filoedd o blith y rhai sydd wedi eu gosod dan ein gofal yn y cyn-

nulleidfäoedd a'r Ysgolion Sabbothol, y mae, yn ddiammheu, yn dyfod yn gwestiwn pwysig. A ydym ni yn lân oddiwrth eu gwaed? Fe ddichon i ni ddyweyd wrthynt lawer o bethau da, ond a allwn ni deimlo yn dawel ein bod wedi dyweyd ac wedi gwneyd cymaint ag oedd yn ein gallu i'w harfogi rhag y demtasiwn, yn ànad yr un, sydd yn eu dinystrio? Mae rhai dynion sylwgar a doeth yn dyweyd wrthym fod llai o gyfeirio at beryglon ymyfed yn y weinidogaeth yn awr nag ydoedd cyn cyfodiad Dirwest. Ofnir hefyd mai anfynych iawn y dywedir gair difrifol ar hyn yn y dosbarthiadau. Pe buasai Dirwest wedi gorphen ei gwaith, fe fuasai hyny yn burion. Ond gan fod pethau fel y maent, y mae yn dra gwahanol. Y mae y gwyliedydd a wêl y drwg yn dyfod, ac a esgeulusa rybuddio y ddinas, i fod yn gyfrifol ei hunan am y trychineb; ar ei law *ef* y gofynir gwaed ei gyd-ddynion!

A fyddai yn ormod i ni awgrymu fod gan ein chwïorydd lawer iawn i'w wneyd yn y rhyfel yma? A gawn ni awgrymu pa fodd?

1. Peidiwch byth ag ymostwng i'r cymhendod o ddiystyru unrhyw ymdrech onest a wneir gan neb i attal meddwdod yn y wlad. Y mae rhywbeth sydd yn rhyfeddol o annheilwng mewn diystyru eraill am ymdrechu, yn ol eu gallu, i wneyd gwaith nad oes mwy o rwymau arnynt hwy i'w gyflawni nag sydd ar eraill, a gwaith y mae *rhywfaint* o lwyddiant gydag ef, yn llwyddiant *mawr*. Ond fel yr awgrymasom o'r blaen, y mae rhai mor ddifeddwl a chymeryd yr arddangosiadau achlysurol o ddiffyg chwaeth a theimladau llednais gan rai o amddiffynwyr llwyrymattaliad, fel rhesymau digonol dros gyfreithloni eu gwaith yn yfed eu hunain, ac yn cymhell eraill i wneyd yr un modd.

2. Peidiwch a chymhell neb i yfed dïodydd meddwol wrth eich bwrdd. Y mae llawer yn gwneyd hyn, ac yn ei wneyd oddiar deimlad o garedigrwydd pur; ond caredigrwydd dan gamgymeriad mawr ydyw. Y mae llawer o wragedd goreu Cymru yn teimlo yn falch o gael dangos caredigrwydd i weinidogion yr Efengyl, ac yn gwneyd hyny er mwyn eu Meistr, ac er mwyn eu gwaith. A chan ddychymygu nad oes y fath beth a chroesaw heb ddïodydd meddwol, y maent yn eu darpar, yn eu cynnyg, ac yn wir yn eu dirgymhell arnynt. A ydych yn cofio fod y ddïod feddwol wedi cwympo llawer gŵr grymus o blith gweinidogion yr Efengyl? Pan y mae gweinidog *wedi* cwympo, y mae pawb yn cilio oddiwrtho, ac yn arswydo rhag ei dynged. Ond y mae gweinidogion mor agored i gwympo a neb o'u brodyr, ac i wneuthur hyny trwy gael eu gorchfygu gan y dïodydd meddwol. Pa fodd y teimlai un o wragedd crefyddol Cymru o orfod ystyried, wrth weled un o weinidogion y Gair wedi ei ddinystrio trwy hoffder at ddïodydd meddwol, ei bod hi, trwy garedigrwydd dall, wedi gwneyd *ei rhan* tuag at gynnyrchu ynddo yr hoffder hwnw? Gwyddom am wraig grefyddol a ddywedai wrth weinidog duwiol yr agorasai ei chalon iddo pan yn sôn am ei phrïod, yr hwn, er meddu llawer o ragoriaethau a'i gwnelai yn anwyl gan lïaws, ac a deimlai yn neillduol o hoff o gael gweinidogion yr Efengyl i eistedd yn achlysurol wrth ei fwrdd, er hyny ydoedd yn cael ei ddal mewn caethiwed gan ei hoffder at ddïodydd meddwol,—ebai ei wraig, "I fear that the hands of some of our ministers will not be clean from his blood!" Yr wyf yn ofni na fydd dwylaw rhai o'n gweinidogion ddim yn lân oddiwrth ei waed! Ac eto, nid oedd

yr un o honynt erioed wedi yfed i ormodedd gydag ef. Ond yr oedd y ffaith eu bod yn yfed o gwbl yn gadael y gwan yn fwy yn ngafael ei wendid. Fe fyddai yn sicr yn deilwng iawn i weinidog yr Efengyl ddilyn esiampl yr Apostol Paul, a phenderfynu ymwadu âg ef ei hun, hyd yn nôd mewn pethau cyfreithlawn, os byddai perygl iddo mewn un modd fod yn foddion tramgwydd i eraill, ac ymroddi i geisio nid ei lesâd ei hun, ond llesâd llaweroedd. Pa fodd bynag, na fydded i un o wragedd crefyddol Cymru roddi ei llais yn mhlaid y demtasiwn i'r un o honynt yfed dïod feddwol wrth ei bwrdd.

3. Peidiwch a rhoddi eich wyneb mewn un modd i'r syniad am barchusrwydd ymyfed. Os geilw cyfeillion, pa *raid* argymhell dïod arnynt, pan nad oes arnynt un angen am ddïod? A pha raid cymhell gwîn, pan y byddai yn well ganddynt ddwfr? Meddwch y gwroldeb o sefyll yn erbyn hen arferiad ffôl a pheryglus, nad oes dim o'i phlaid ond mympwy ofer. A phe dychymygech am fynyd nad yw eich bwrdd ciniaw yn arddangos y llawnder a'r rhwysg y carech gael ei brïodoli iddo, heb ddïodydd cryfion, mynwch ddigon o ddewrder i sefyll o blaid yr hyn sydd iawn, a pheidiwch a pheryglu sobrwydd a rhinwedd eich plant, er mwyn boddhâu blys, ac arogldarthu i falchder. Os bydd angen am ddïod feddwol yn feddyginiaethol, defnyddier hi fel rhyw gyffyr meddygol arall. Ond doed a ddêl, na rodded gwragedd a merched ein gwlad eu hwyneb mewn un modd i ddychymygion ac arferion sydd iddynt hwy eu hunain, i'w cyfeillion, ac i'w plant, mor lwythog o beryglon. Mewn rhifyn diweddar o'r *Revival*, yr oedd "Cais am weddi," ar ran gŵr ieuanc yn cael ei osod gerbron yn y geiriau canlynol:—"Dros ŵr ieuanc, mab i rïeni crefyddol, yr hwn sydd gaethwas i anghymedroldeb; gofynir am i'r Arglwydd ei waredu o'r fagl yma o eiddo y diafol. Mae hwn yn achos na ddylid oedi gydag ef." Ac yn ei ymyl dyma un arall:—"Dros foneddwr ieuanc o Scotland, ar iddo gael ei waredu o allu enaid-distrywiol dïod grêf, a'i ddwyn at draed y Ceidwad; attolygir gweddi neillduol a difrifol." Ië, dros fab i rïeni crefyddol, a thros foneddwr ieuanc! Gynifer o'r rhai hyn sydd yn barhäus yn syrthio dan draed y demtasiwn! Ac eto, mor araf yw ein teuluoedd parchus i ysgwyd o'u tai felldith yr hudoliaeth! Y maent yn aberthu gormod filwaith i ragfarnau cymdeithas, pan yn llochi yn eu tai arferion sydd yn bygwth y fath niwed i'w rhai anwyl. Fe ddichon y bydd rhai o blant dirwestwyr yn cael eu maglu gan yr hudoliaeth yma; ond os felly y bydd hi, faint o werth fydd y dystiolaeth yn eu cydwybod na welsant ddïod feddwol erioed ar fwrdd eu tad a'u mam!

4. A beth pe byddai i rai o'n chwïorydd teilwng feddwl am ddyfod allan yn ysbryd a nerth y boneddigesau da sydd yn llafurio mor lwyddiannus gyda'r achos da hwn yn Lloegr, ac amcanu tuag at wneuthur i achos sobrwydd a chrefydd yn Nghymru yr un gwasanaeth ag y maent hwy yn ei wneyd yn Lloegr? Nid oedd Mrs. Wightman pan yn dechreu ei llafur, rhyw ddeng mlynedd yn ol, yn meddwl am lwyrymattaliad oddiwrth ddïodydd meddwol; ei holl amcan hi oedd cael eneidiau at Grist. Ond yn mis Ionawr, 1865, daeth dwy wraig mewn trallod ati, gan erfyn arni geisio dylanwadu ar eu gwŷr meddwon i'w cael i lawnodi yr ymrwymiad. "Felly," meddai, "daeth elfen newydd i fy ngwaith—llwyrymattaliad—ar y pryd heb fy

mod yn ei hoffi, ac yn gwbl heb ei geisio. Daeth Richard Stedman â'i hen gymdeithion mewn ymyfed ataf i lawnodi yr ymrwymiad, a'r rhai hyny yn eu tro a ddygasant ddynion eraill; ac felly ychwanegodd ein nifer o fis i fis, nes yn awr, ar derfyn deng mlynedd, gallwn ddyweyd fod genym un mewn oed wedi llawnodi am bob diwrnod dros yr holl yspaid, oblegid y mae ar ein llyfrau 3,650 o enwau gwŷr a gwragedd, o ba rai darfu i 365 lawnodi y flwyddyn ddiweddaf." Dywed Mrs. Lumb, pan oedd ei bachgen yn yr ysgol yn yr Amwythig, fod Mrs. Wightman wedi gofyn iddo lawnodi yr ardystiad; a theimlai ar y pryd yn ddig iawn wrthi. Darllenodd ei llyfr, *Haste to the Rescue*, pa fodd bynag, oblegid y parch mawr a deimlai iddi. Dinystriodd y llyfr ei holl ragfarnau, a'r canlyniad fu iddi hithau ymroddi i gyffelyb lafur, ac un ffrwyth o hyny yw y "dafarn heb ddïod," yn agos i *Station* Craven Arms, sydd yn ateb dyben daionus iawn. Dywed Mrs. Gass pa fodd y daeth hi i lwyrymwrthod. "Paham na lawnodwch chwi yr ardystiad?" meddai wrth feddwyn cyhoeddus. Ymhen ychydig "Mi wnaf," meddai, "os gwnaiff Mr. Gass." Yr oedd yr ateb yma yn ei dyrysu am fynyd, o herwydd yr oedd ei gŵr yn wael ei iechyd, a chymerai beth o'r gwirodydd ysgafnaf trwy gynghor meddygol. O'r diwedd gofynodd, "A wnaiff o y tro i mi ymrwymo?" "O gwnaiff, m'am," oedd ei ateb parod; "mi ymrwymaf ac a'i cadwaf os gwnewch chwi." Felly y bu. "Yr oeddwn yn teimlo," ebe y foneddiges deilwng hon, "hyd yn nôd os byddai i fy iechyd waethygu ychydig wrth roddi fy nghynhyrfai i fyny, fod hyny yn llai pwysig nag achub y dyn yma." Y canlyniad fu sefydlu cymdeithas yn Wandsworth, â'r hon cyn hir yr ymunodd ei gŵr, yr hwn a ddaeth yn llywydd y gymdeithas; ac mewn pedair blynedd nid oedd dim llai na 1,300 o enwau wedi eu cymeryd; ac fel y gallasem ddysgwyl, y mae iechyd Mrs. Gass, sydd wedi llafurio mor ddyfal gyda'r achos, mor bell o fyned yn waeth, fel y mae wedi gwella yn fawr. Gwych o beth fyddai i'n chwïorydd yn Nghymru gymeryd y mater yma i fyny, ac ymroddi mewn achos mor bwysig i wasanaeth eu cenedl.

Ond wedi yr oll a ellir wneyd mewn ffordd o ddysgu a pherswadio, y mae y drwg yma mor fawr fel y dylid defnyddio rhyw fesurau pellach hefyd tuag at ei attal. Yr ydym ni yn dra chatholig ein teimlad gyda golwg ar bob ymdrech a wneir i sobri y wlad. Bydd yn dra gofidus genym glywed neb o gyfeillion y *Permissive Bill* yn siarad gyda dim fo yn ymylu ar ddiystyrwch am ymdrechion y rhai sydd yn credu mewn perswadio y bobl. Yr ydym yn cofio clywed un cyfaill yn neillduol yn cyfeirio at y zêl ddirwestol a ddangosid gan areithydd ar yr achos, fel diffyg, ac yn dadgan ei obaith y deuai, cyn bo hir, yn fwy cyfreithiol. O'r ochr arall, y mae llawer o bobl dda sydd yn elynion calon i anghymedroldeb, ac yn gwneyd eu goreu i geisio cryfhâu eu cyd-ddynion yn erbyn temtasiynau ym yfed, yn edrych gyda chilwg ar bob symudiad tuag at gael deddfwriaeth y deyrnas yn fwy ffafriol i sobrwydd. Yr ydym ni yn methu deall paham y rhaid i'r naill adran o fyddin edrych yn gornelog ar adran arall, sydd, yn ei ffordd ei hun, yn gwneyd yr oll a allo i ddinystrio y gelyn cyffredin. Y mae meddwdod Prydain, sydd yn gwneyd miliynau ei chyfoeth yn anferth nerth i'w dinystrio, yn mallu ei holl fendithion, ac yn lladd y preswylwyr wrth yr ugeiniau o filoedd bob

blwyddyn, yn sicr, yn elyn digon ofnadwy i bawb o hónom wregysu ei arfau yn ei erbyn, ac i fod yn ddiolchgar iawn am bob ychwanegiad o nerth a ddygir i fyddin yr ymosodiad. Gwnawn ein goreu oll trwy ddysgu a pherswadio. Ac os ydyw yn bosibl i'r Senedd rywfodd ein cynnorthwyo, nid oes dim gorchwyl mewn bod ag y byddai yn fwy teilwng i'r Senedd feddwl am ei wynebu. Fe ddygwyddodd damwain yn Nghwm-y-glo gyda y *Nitro-glycerine*, a barodd ddychryn mawr, ac a fu yn ddinystr i ryw ugain o fywydau. Fe benderfynodd y Senedd ar unwaith fod y peth hwnw yn rhy beryglus i oddef i neb mwyach wneyd defnydd o hóno, oddieithr i amcanion gwyddonol. Y mae yfed y dïodydd meddwol, heblaw drygau aneirif eraill, yn lladd *dros driugain mil o'n cyd-ddeiliaid bob blwyddyn*. Ai nid yw yn bryd i'r Senedd ystyried ai ni ellid rywffordd ochelyd trychineb felly? Yn wir, y mae y nawdd a estyna y Senedd i'r fasnach hon trwy ei thrwyddedu, yn dangos mai ei chrëadur hi ydyw, a'i bod, mewn modd arbenig, yn gyfrifol am ei gweithrediadau. Mae yn debyg mai amcan trwyddedu tafarndai ydoedd gosod y fasnach dan fwy o reolaeth; ond y mae hyny ynddo ei hun yn gydnabyddiaeth o'i pherygl mawr, ac yn dangos yr hawl gyfiawn sydd gan y Senedd, pan y gwêl fod ei holl ofal yn aneffeithiol, i dŷnu yn ol, er mwyn dïogelwch y deiliaid, yr awdurdod a roddes i gario y fath fasnach ymlaen. Ac y mae hyn yn cael ei brofi yn fwy trwy y ffaith fod y Senedd trwy yr oesoedd *wedi* ymyraeth yn yr achos. Yn ystod y tri chan' mlynedd diweddaf nid oes dim llai na rhyw bedwar cant o gyfreithiau wedi eu pasio yn Senedd Prydain i'r dyben o geisio rheoleiddio y fasnach hon.

Pa lwybr fyddai ddoethaf a mwyaf effeithiol i'r Senedd ymyraeth yn yr achos hwn yn awr, sydd gwestiwn tra phwysig, a chwestiwn y mae yn dda genym weled, sydd y dyddiau hyn, yn tŷnu sylw dynion meddylgar ein gwlad yn gyffredinol. A goreu po fwyaf o sylw a roddir iddo. Fe fydd hyny yn foddion i ddeffro meddwl y wlad i ystyried y peth, ac i'w haddfedu yn gyffredinol at dderbyn unrhyw fesur effeithiol a gynnygier iddi. Hyderwn hefyd y bydd y teimlad cyffredin yn yr achos hwn y fath ag a wnelo y mesur a gynnygir nesaf gan y Senedd yn un effeithiol. Yr ydym yn cydweled yn hollol â'n Gohebydd nad oes gan y Senedd ddim hawl i drwyddedu masnach mor beryglus â'r un yn y dïodydd meddwol. Ond ymddengys i ni ei fod yn myned i'r anialwch pan yn mŷntumio mai da i'r wlad fyddai bod rhyddid i bawb a ewyllysiai werthu dïodydd meddwol. Mae yn wir y byddai hyny yn foddion i yspeilio yr holl dai o'u parchusrwydd, fel y dywed yntau; ond a beidiai ag yspeilio yr holl wlad hefyd? Y mae ambell i feddyginiaeth yn fwy peryglus na'r afiechyd. Yr oedd yn wir ofidus genym y dydd o'r blaen weled fod gwraig yn Nolbenmaen, pan yn llafurio dan ryw anhwyldeb, wedi cymeryd *dose* o *prussic acid*, wedi clywed gan rywun fod ychydig o hwnw yn llesol at anhwylderau o'r fath. Mae yn debyg fod y cyffyr nerthol hwnw wedi symud yr anhwylder, ond fe aeth â bywyd y wraig hefyd, a hyny mewn ychydig iawn o fynydau. Yr un modd am y feddyginiaeth y gadawodd ein Gohebydd tirion i'w awen, fe allai, awgrymu iddo ei phrïodoldeb er symud ymaith feddwdod ein gwlad. Yn amser George II., yn 1732, rhoddwyd caniatâd i bob un oedd yn cadw tŷ werthu

dïodydd meddwol. Yn ol ein Gohebydd, dylasai hyny sobri yr holl wlad. Yn lle hyny, cynnyddodd meddwdod i raddau arswydus; nid ydoedd yn beth anghyffredin gweled ar arwyddfyrddau hyd yr heolydd, "Yma chwi ellwch fyned yn feddw am geiniog, yn farw feddw am ddwy geiniog, a gwellt glân am ddim!" Yn fuan iawn fe welwyd fod yn rhyhwyr newid y drefn yna ar bethau. Ac yn wir, onid oes prawf wedi ei wneyd yn ddiweddar ar rydd-drwydded, yn Liverpool, sydd yn dangos mai nid masnach i fwynhâu rhyddid i wneyd fel y myno ydyw y fasnach hon? Dywedai Mr. Robertson Gladstone o'r dref hono yn 1853, o flaen pwyllgor Mr. Villiers yn Nhŷ y Cyffredin, fod rhai yn dyweyd na ddylid gosod treth ar y tafarnwyr, y dylai eu masnach hwythau fod yn rhydd; ond golygai efe yn wahanol, canys yr oeddynt yn Liverpool, medd efe, yn gorfod cynnal 900 o heddgeidwaid, ac yr oeddynt ar y pryd yn adeiladu carchar newydd a gostiai i'r dref 100,000p., a chredai na fuasai anghen am y fath bethau oni buasai am y tafarnau. Pa fodd bynag, fe ddaeth efe ei hun yn fuan wedi hyny yn bleidiol dros rydd-drwyddedu tafarnau Liverpool. Y rheswm mawr oedd ganddo ef a'i blaid dros hyny oedd, fod y trwyddedu yn flaenorol yn myned yn fynych yn bwnc o ffafraeth boliticaidd, a chredent ond iddynt drwyddedu pawb yn ddiwahaniaeth, os o gymeriad da, y byddai hyny yn feddyginiaeth rhag y gorfaelu y cwynid o'i herwydd, ac yn foddion i leihâu meddwdod, trwy leihâu cyfeddach, &c. Byddid arferol o ystyried tri chwestiwn wrth drwyddedu, cymeriad y tafarnwr, cymhwysder y tŷ, ac anghen y gymydogaeth am dafarn. Gadäwyd i'r olaf fyned o'r golwg bellach, ac agorwyd tafarnau yn aneirif, ymron, dros y dref i gyd. Ymddengys fod Arglwydd Stanley (yn awr Derby) wedi dyweyd rywbryd ei fod yn "gobeithio y gwelai y dydd pan werthid gwîn, cwrw, a gwirod, mor gyffredin â bara a chaws." Dyma rywbeth pur agos i hyny wedi dyfod yn Liverpool. A ydyw y mil blynyddoedd a theyrnasiad cyfiawnder wedi dechreu? Nac ydyw! Mae Liverpool yn feddwach o lawer nag erioed. Wedi i'r drefn yna fod ar waith am bedair blynedd, yr ydym yn cael Dr. Vernon White, yn 1865, yn casglu ynghyd y ffigyrau a ganlyn i ddangos meddwdod Liverpool mewn cymhariaeth i'r eiddo trefydd eraill. Cymerir y boblogaeth o dafleni y llywodraeth, a'r achosion o feddwdod o gyfrifon y llysoedd barnol. Cofier nad yw yr achosion o feddwdod yn cymeryd i fewn ddim ond y rhai oeddynt mor feddwon fel ag i fod yn afreolaidd, ac yn gymaint felly nes gorfod eu cymeryd i fyny.

| Poblogaeth Liverpool | | | Ei hachosion o feddwdod | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 12½ | gymaint a | South Shields.......... | yn gymaint | 17 | o weithiau. |
| 13 | — | Tynemouth.................. | — | 24 | — |
| 5 | — | Sunderland.................. | — | 14½ | — |
| 4 | — | Newcastle-on-Tyne........ | — | 11½ | — |
| 4½ | — | Hull .......................... | — | 14½ | — |
| 13 | — | Yarmouth.................... | — | 65½ | — |
| 9 | — | Southampton ............... | — | 53 | — |
| 3 | — | Bristol ....................... | — | 21½ | — |
| 7½ | — | Swansea...................... | — | 57 | — |
| 8½ | — | Birkenhead ................. | — | 19½ | — |
| 4½ | — | Portsmouth ................. | — | 49 | — |
| 7 | — | Plymouth .................... | — | 35½ | — |
| 1½ | — | Birmingham ................ | — | 10 | — |
| 2½ | — | Sheffield ..................... | — | 13½ | — |

| Poblogaeth Liverpool | | | Ei hachosion o feddwdod | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 12¼ | gymaint a | Halifax.................... | yn gymaint | 64½ | o weithiau. |
| 11¼ | — | Rochdale.............. | — | 42 | — |
| 2⅜ | — | Leeds........ ............ | — | 7⅔ | — |
| 10 | — | York...... .............. | — | 34⅓ | — |
| 13 | — | Huddersfield................ | — | 29½ | — |
| Yn llai na'r eiddo Manchester a Salford ynghyd, ond | | | | 3¼ | — |

Ac fel y gallesid dysgwyl, yr oedd y marwolaethau yn cyfodi yn echrydus o uchel. Galwai y Cofrestrydd Cytfredinol Liverpool yn "*spot of portentous .darkness on the Mersey.*" Cododd cyfartaledd y marwolaethau mor uchel a 55 y 1000. A dywedai Isbwyllgor a benodasid gan Fwrdd Iechyd Liverpool i ystyried lliosogiad marwolaethau,—"Gan ei fod yn ymddangos oddiwrth dystiolaethau gweinidogion yr efengyl ac eraill fod anghymedroldeb, gan weithredu yn unig fel arferiad foesol ddrwg, ac ar wahân oddiwrth ddim dylanwadau anianyddol, nid yn unig yn ffynu yn fawr ymhlith y bobl, ond hefyd yn achos blaenaf tlodi a gorlanwad aneddau, mae eich pwyllgor yn argymhell ar fod i'r Cynghor gael ei ofyn i wneyd cais i'r Senedd am act i oruwchreoli gwerthiant diodydd meddwol." Yn mis Awst, 1866, fe ymgeisiwyd at ddadwneyd yr hyn a wnelsid bedair blynedd cyn hyny trwy y trwyddedu cyffredinol. Cyflwynwyd cofeb i'r Cynghor Trefol, wedi ei harwyddo gan 38,341 o'r trigolion, ac un arall gan 123 o feddygon y dref, yn gofyn am attaliad ar y trwyddedau. Ac wedi ymdrech a barhäodd dos amryw ddyddiau, fe benderfynwyd trwy fwyafrif o 21 yn erbyn 4 i dderbyn y cofebau, yr hyn oedd hefyd yn cynnwys penderfynu i weithredu yn eu hôl. Allan o nifer mawr oedd yn ymofyn am drwyddedau newyddion, ni lwyddodd ond pedwar ar bymtheg; ac attaliwyd hi oddiwrth un a deugain ag oedd yn ei meddu o'r blaen, o herwydd afreoleidd-dra eu tai. O hyny hyd yn awr, mae yr un drefn wedi cael ei chario ymlaen; "masnach rydd y tafarnau," hyd yn nôd mewn drychfeddwl, wedi darfod am dani yn Liverpool; a'r boblogaeth o herwydd hyny yn ddirfawr ar ei hennill. Mae yn wir fod yno yfed mawr iawn eto, a'r yfed mawr hwnw yn dwyn gydag ef drueni mawr. Dywed Major Greig, yn ei adroddiad i'r ynadon, fod 20,000 o bersonau wedi cael eu dwyn ger bron yr ynadon yn Liverpool y deuddeng mis diweddaf dan y cyhuddiad o feddwdod, tra yr oedd dros 24,000 wedi eu cymeryd i fyny gan yr heddgeidwaid mewn ystâd o feddwdod. Ac nid yw yn bosibl cael fawr o gysur o'r ystyriaeth fod Liverpool yn dref borthladdol fawr, ac fod y miloedd meddwon yn cael eu gwneyd i fyny o ddyeithriaid; canys y mae Major Greig yn dangos 35 y cant o'r rhai a gymerwyd i fyny wedi preswylio yn Liverpool am dri mis ac uchod, a dim ond 15 y cant wedi bod yno am lai na thri mis. Mae hyn oll yn dangos fod galwad uchel o Liverpool, fel y mae, yn wir, o bob rhan ar y deyrnas, am attaliadau ychwanegol ar y fasnach ddinystriol hon.

Peth da iawn fyddai cael gwaharddiad i yfed i ddïod "*on the premises.*" fel y sylwa ein Gohebydd. Ond yr oedd ein calon yn gofidio y dydd o'r blaen wrth gael lle i feddwl na fyddai hyny ychwaith ddim yn attalfa ar y felldith. Mewn ardal gynnyddol, nid pell oddiwrthym, fe wnaed ymgais penderfynol i gael trwydded i agor tafarn gyferbyn â drws capel hardd a adeiladwyd yn ddiweddar gan y Methodistiaid Calfinaidd. Gwrthwynebwyd y cais drachefn a thrachefn; ac yr oedd yr ynadon, er

eu clod, yn dangos pob cydymdeimlad â chyfeillion sobrwydd. O'r diwedd ceisiwyd am drwydded i werthu dïod i'w hyfed allan o'r tŷ, ac ymddengys nad ellid gwahardd hyny; ond wedi i'r tŷ gael ei agor felly, clywsom am rai yn myned iddo i ymofyn dïod feddwol, ac yn ymfoddloni ar ei hyfed yn yr heol! Yn ddïau nid oes un attalfa effeithiol i felldith ymyfed ond yr un y mae ein Gohebydd hefyd, gydag "ardderchog lu" o ddyngarwyr goreu yr oes, yn cael "cilfach a glàn" ynddi, sef y mesur a gynnygir gan Gyngrair y Deyrnas Gyfunol. Y mae y drychfeddwl o "lywodraethu" y fasnach feddwol, fel ag i'w gwneyd yn rhywbeth goddefol yn y wlad, erbyn hyn, trwy lïaws mawr o brofion, wedi dangos ei fod yn anmhosiblrwydd. Ac am ei dilëu, mae yn amlwg nad oes un mesur a ellid ddyfeisio a fyddai mor esmwyth a chyfiawn â'r *Permissive Bill* Mae yn dêg i'r bobl gael rhoddi eu llais mewn penderfynu y fath gwestiwn pwysig ag a oes tafarnau i gael eu hagor yn eu plith ai peidio. Ac ond iddynt hwy eu hunain gael penderfynu y cwestiwn, mae yn anhawdd genym feddwl na fyddai iddynt, heb golli nemawr o amser, ei benderfynu yn yr iawn ffordd. Yr ydym yn gweled fod y *Times*, ynghydag amryw o bapyrau uchel y deyrnas, yn trîn yn enbyd am i Dr. Temple, yn yr araeth garedig a draddododd y dydd o'r blaen ger bron Cymdeithasau Cyfeillgar Rugby, awgrymu fod gan y naill ddosbarth mewn cymdeithas bethau pwysig i'w dysgu gan y dosbarth arall, ac y gallai y dosbarth uchaf ddysgu cyfiawnder oddiwrth yr isaf, tra y gallai yr isaf ddysgu sobrwydd a moesgarwch oddiwrth yr uchaf. Mae yr olaf yn amlwg i bawb; ond onid yw yr *episcopal orator*, fel y geilw y *Record* ef yn ddirmygus pan yn cyfeirio at y peth, yn cyfeiliorni yn enbyd yn y cyntaf? Yr ydym yn meddwl fod Dr. Temple yn y sylw yna yn dangos craffder mawr. Mae y bobl isaf bob amser yn llawer nês at allu dirnad cyfiawnder na'r rhai y mae eu haddysg, eu traddodiadau, a rhagfarnau eu cylch cymdeithasol, yn llanw y fath le yn ffurfiad eu holl syniadau. Gyda'r achos dan sylw, mae y mawrion yn dadleu yn erbyn yr *Alliance*, gan ddyweyd ei fod yn amcanu cyfyngu ar ryddid y bobl; ond mae y bobl eu hunain, pan apelir atynt, ymron yn gyffredinol yn gwerthfawrogi y peth fel amddiffyn pwysig iddynt rhag melldith benaf eu bywyd. Pan wnaed yr ymofyniad o dŷ i dŷ yn ddiweddar ynghylch cau y tafarnau ar y Sabbath, yr oedd y gweithwyr yn dra chyffredinol yn ffafriol i'r peth, a'r dosbarthiadau uwchlaw iddynt yn ei erbyn. Allan o 36,013 o weithwyr a lanwasant y papyrau yn Liverpool ei hun, nid oedd ond 4,052 dros eu hagor am ddwy awr, yr oedd 2,121 dros eu gadael yn agored fel y maent yn awr, a 29,920 dros eu cau yn gwbl ar y Sabbath.

Mae y prawf a wnaed mewn gwahanol ranau o'r deyrnas ar fyw heb y ddïod feddwol, yn myned ymhellach nag yr elai myrddiwn o areithiau o blaid profi rhagoroldeb mesur y Cyngrair. "Mae defnyddio dïod gref," meddai y *Times*, "yn cynnyrchu mwy o seguryd, trosedd, afiechyd, eisieu, a thrueni, na phob achos arall gyda'u gilydd." (Y *Times* hefyd ymysg y prophwydi!) Ac os felly y mae, faint o gymwynas â'r boblogaeth fyddai "cau y llifddorau," chwedl ein cyfaill ieuanc, galluog, a difrifol, y *Goleuad*,—cau y llifddorau, ac felly attal oddiwrth y wlad y trueni sydd yn parhäus ymdywallt arni? A glywodd y darllenydd am *Saltaire*? Tref ydyw yn *Yorkshire*, wedi ei sefydlu gan Titus Salt,

Ysw., ar enw yr hwn y gelwir hi, ac ar weithiau mawrion Titus Salt, Sons, & Co., y mae yn ymddibynu. Y mae ynddi 4000 o drigolion. Nid oes dafarn o'i mewn, ac ni oddefir bod yr un; ac am nad oes ynddi dafarn, nid oes ynddi chwaith na charchar, na neb yn derbyn cynnorthwy plwyfol A beth am *Beesbrook?* Tref ydyw hon yn agos i Newry, Swydd Armagh, yn Iwerddon. Ychydig flynydloedd yn ol nid ydoedd. Ei setydlydd, ac yn awr ei hunig berchenog, ydyw John Grubb Richardson, Ysw., boneddwr dyngarol perthynol i'r Cyfeillion, neu y Crynwyr. Gydag un neu ddau o gyfeillion, fe ffurfiodd Mr. Richardson y *Bessbrook Spinning Company*, gan adeiladu melinau, &c., i gario eu gwaith ymlaen. Fe chwyddodd y fasnach yn fawr, ac fel yr oedd y gweithiau yn cynnyddu, yr oedd y trigolion yn amlhâu, ac fe adeiladwyd Bessbrook yn breswylfa iddynt. Mae y "dwylaw" yn awr yn 3000. Mae yntau yn dangos yr un gofal haelfrydig am gysuron ei bobl â Mr. Salt, yn Saltaire ac y mae hyny i'w weled yn amlwg yn y tai a adeiladodd iddynt, y cysuron a drefnodd ar eu cyfer, yr ysgolion, y llyfrgelloedd, yr yspyttai, &c., a sefydlodd; y mae, mewn gwirionedd, yn dad ei bobl. Ac i goroni y cwbl, ni oddefa gymaint âg un dafarn o fewn y dref i gyd! Y canlyniad ydyw fod y bobl yn dygymod yn rhagorol â'r drefn a'r drefn yn sicr yn dygymmod yn rhagorol iawn â hwythau. Ac am nad oes yno dafarn, nid oes yno ychwaith yr un *policeman.* Mae y *police* yn llanw y trefydd eraill, ac yn fynych mae eu nifer yn rhy fach. Ond dywed Mr. Richardson, tra y cedwir y dafarn allan o Bessbrook, na fydd eisiau *policeman* o'i mewn. Ac nid oes un. Nid oes dim meddwi yno; ac am hyny dim cwerylau, er mai Gwyddelod yw y preswylwyr, dim lladradau, dim troseddau; mae y bobl yn gynlluniau o sobrwydd a rhinwedd. Dywedir wrthym fod rhan fawr o wlad yn Iwerddon, yn Tyrone, yn gorchuddio dros driugain milldir ysgwâr, ac yn cynnwys poblogaeth amaethyddol helaeth, yr un modd heb dafarn o'i mewn, ac o ganlyniad heb brofi y beichiau truenus y mae meddwdod yn bentyru ar eu cydwladwyr. Haerid pan glywid gyntaf am hyn, yn 1865, os ydoedd yr hanes yn wir, fod y pwnc wedi ei brofi, ac nad oedd eisiau petruso ychwaneg ynghylch y posiblrwydd o wneyd heb y dïodydd meddwol, nac am y fantais ddiammheuol o fod hebddynt. "If the experiment is successful, ebai y *Times*, that ends the question." Erbyn hyn, mae y ffaith *wedi ei phrofi yn ddiymwad* ac y mae y fendith o ddi-dafarnrwydd wedi ei hestyn dros ddosbarth llawer helaethach o'r wlad nag ydoedd yn 1865; ond mae y *Times*, &c., yn cael ryw le i betruso eto, ac i ommedd dyfod i'r unig gasgliad ag y mae rhesymeg dêg yn rhwym o wasgu arnynt. Dengys y *Report on Intemperance* hefyd, a baratöwyd trwy ddiwydrwydd mawr yr Archddïacon Sandford a'i bwyllgor, i'r *Lower House of Convocation*, fod dros fil o blwyfydd yn Archesgobaeth Canterbury heb dafarn o'u mewn. Prysuro wnelo y dydd pan na byddo cymaint *ag un o fewn terfynau Prydain fawr i gyd.*

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

---

## CYMDEITHAS GENADOL Y BEDYDDWYR.

Y MAE hen annedd-dŷ yn nhref Kettering, yn swydd Northampton, yr hwn a breswylid yn y ganrif ddiweddaf gan foneddiges o'r enw Mrs. Beeby Wallis, yr hwn a elwir hyd heddyw yn "Dŷ y Genadaeth," am mai yno, Hydref 2il, 1792, y sefydlwyd CYMDEITHAS GENADOL Y BEDYDDWYR, gan ddeuddeg o weinidogion distadl ac anenwog, y pryd hwnw. Y mae hyn yn ffaith hanesyddol bellach, ac yn gyfnod mewn cysylltiad âg achos pwysig cenadaethau cristionogol at y paganiaid. Rhoddes fywyd newydd yn eglwysi Crist, a deffrôdd hwynt at eu dyledswyddau pwysig o geisio dychwelyd y byd. Yr oedd ymdrechion canmoladwy wedi cael eu gwneuthur o'r blaen i ddanfon yr efengyl i'r pagan, ac amryw ddynion galluog ac aiddgar wedi bod ar y maes. Yn 1705, sefydlwyd cenadaeth Brotestanaidd yn Tranquebar, ar "draeth Coromandel," dan nawdd Frederick IV., brenin Denmark. Y cenadon cyntaf oeddent Ziegenbalg a Grundlerus; dilynwyd hwy gan y twymngalon Kiernandier, ac eraill, ac yma y bu

Schwartz yn cyhoeddi fod bywyd
Yn angeu y Groes i baganiaid dwyreinfyd.

Bu Mr. Charles Grant, un o weision Cwmni yr India Ddwyreiniol, a Dr. Thomas, meddyg yn y llynges, yn ceisio gwneuthur rhywbeth dros India, mewn ystyr grefyddol, o 1783 hyd 1786; ond bu y cwbl yn ofer, canys yr oedd y Cwmni gartref yn anfoddlawn i'r mudiad, ac yr oedd y Llywydd Cyffredinol, Arglwydd Cornwallis, yn troi y glust fyddar atynt; ac er i Wilberforce, gyda ei hyawdledd arferol, osod y pwnc o flaen y Senedd, a cheisio cael dodi adran yn y freinlen newydd ag oedd ar gael ei rhoddi i'r Cwmni, yn ffafriol i efengyleiddio India, ofer fu hyny. Bu y Morafiaid hefyd, o dan Count Zinzendorf, yn gweithio yn ganmoladwy yn yr India Orllewinol ac yn Greenland mor fore a 1732, ac y maent yn para i weithio yn anrhydeddus hyd heddyw. Cawn Eglwys Loegr, yn 1701, yn sefydlu y Gymdeithas er Lledaenu yr Efengyl mewn Parthau Tramor, amcan yr hon oedd parotôi ar gyfer angenrheidiau ysbrydol y trefedigaethwyr Prydeinig, a lledaenu yr efengyl ymysg brodorion y gwledydd trefedigaethol. Bu John Wesley yn genadwr drosti yn y trefedigaethau Americanaidd; ond nid ydym yn gwybod iddi wneuthur dim dros efengyleiddio y pagan hyd iddi gymeryd i fyny genadaeth y Daniaid yn India Ddeheuol, yn gynar yn nechre y ganrif bresennol. Cyfrifwn, gan hyny, mai Hydref 2il, 1792, oedd dydd genedigaeth anturiaethau cenadol y blynyddau canlynol.

Ceisiwyd llindagu yr anturiaeth yn ei babandod, ac arllwyswyd pob dirmyg arni gan fawrion byd ac eglwys; blaenllymwyd arabedd er ceisio clwyfo y cobleriaid a'r gwehyddion ag oedd yn myned i efengyleiddio India gyda 13p. 2s. 6c.,—swm casgliad cyntaf y Gymdeithas; prophwydwyd canlyniadau drwg i'r ymherodraeth, &c.; ond rhagddynt yr aethant, a rhagddynt yn ddidroi yn ôl; ac yn eu llwyddiant, "oni wnaeth Duw ddoethineb y byd hwn yn ynfydrwydd?"

Y tri gwron moesol a sefydlasant y Gymdeithas oeddent Carey, Marshman, a Ward; ac yr oeddent yn cael eu cynnorthwyo o'r wlad hon gan dri gwron arall, cytunryw eu hysbrydoedd, sef, Fuller, Sutcliffe, a Ryland. Mr. Fuller oedd ysgrifenydd cyntaf y Gymdeithas, ac ni anrhydeddwyd yr un gymdeithas erioed âg ysgrifenydd yn meddu cymhwysderau mwy pwrpasol at ei waith. Yr oedd ganddo ddigon o dduwioldeb i gredu ynddi, digon o aiddgarwch i gasglu ati, a digon o dalent i ymladd drosti. Ganwyd Dr. CAREY Awst 17eg, 1761, yn Pury, Northampton, lle bu ei dad, a thad hwnw, yn glochyddion. Ni chafodd ddim addysg pan yn fachgenyn ond a gafodd yn ysgol y pentref, a bychan iawn oedd hyny; eto yr oedd yn darllen pob llyfr ar a fedrai gael i'w law, ac yn ddeuddeg oed, wedi trysori yn ei gôf rês o eiriau Lladin. Pan yn bedair ar ddeg oed, prentisiwyd ef yn grŷdd, ond ni laddodd hyny ei awydd am wybodaeth. Yr oedd llyfr neu fap o'i flaen yn wastadol pan yn gweithio; a phan yn bedair ar bymtheg oed, dechreuodd bregethu. Wedi cryn ammheuaeth am ei gymhwysderau, cafodd ei ordeinio, ac erbyn hyn yr oedd wedi prïodi. Bu yn coblera, yn gweinidogaethu, ac yn dysgu ieithoedd, yn Barton, a manau eraill; ond yn 1786, symudodd i Moulton, lle y bu yn cadw ysgol am dipyn o amser, ac yn cael 11p. y flwyddyn gan yr eglwys. Dychwelodd yr hen athraw, a gorfüwyd Carey, o herwydd ei dlodi, i fyned at y minawyd drachefn, ar yr hwn ni bu erioed yn feistr. Tra yn Moulton, ffurfiodd gyfeillach â Mr. Fuller, a dechreuodd gynllunio sut i drosglwyddo gwirioneddau Cristionogaeth i'r pagan. Mewn cyfarfod o weinidogion yn Northampton, yr hwn a gynnaliwyd tua'r amser yma, cynnygiodd Dr. Carey yn bwnc ymddyddan—Dyledswyddau Cristionogion i ymgynnyg at ledaenu yr efengyl mewn gwledydd paganaidd; pan y neidiodd Mr. Ryland, yr henaf, ar ei draed i wrthwynebu y cynnyg; ac ebai efe, "Wr ieuanc, eisteddwch i lawr; pan y gwelo Duw fod yn dda i ddychwelyd y paganiaid, efe a wna hyny heb eich cynnorthwy chwi na minnau." Dychrynwyd Mr. Fuller hefyd gan newydd-deb a mawreddigrwydd y cynnyg; ac er na ddywedodd ddim, yr oedd yn cyfaddef wedi hyny iddo ofyn iddo ei hun, "Wele, pe gwnai yr Arglwydd ffenestri yn y nefoedd, a fyddai y peth hyn?" Ni wangalonwyd Carey, modd bynag; ac er nad oedd ganddo ef a'i deulu gîg i'w fwyta, a'u bod ar newynu, ysgrifenodd bamphledyn campus iawn, yn cynnwys ei olygiadau ar yr anturiaeth genadol, yr hwn a argraffwyd ar draul Mr. Potts, Birmingham. Yn 1789, symudodd i Leicester, ac efe yn awr yn wyth ar hugain oed; eglwys dlawd oedd hon hefyd, ac yr oedd Carey yn gorfod bod wrth ei grefft yn barhäus; ond yr oedd y tân cenadol yn cynneu fwyfwy yn ei enaid ef, er nad oedd na hen nac ieuanc, ymhlith ei frodyr gweinidogaethol, yn rhoddi dim calondid iddo. Cynnaliwyd cymanfa y sîr yn mis Mai, 1792, yn Nottingham, yn yr

hon yr oedd Mr. Carey yn pregethu; ei destun oedd, Esaïah liv. 2, 3; "Helaetha le dy babell, ac estynant gortynau dy breswylfëydd, &c." Y ddau ben annogaethol, y rhai ydynt arwyddair y Gymdeithas yn bresennol, oeddent, 1. "*Dysgwyliwch* bethau mawrion *oddiwrth* Dduw. 2. *Cynnygiwch* bethau mawrion *dros* Dduw." Yr oedd ei syniadau yn hedeg fel mellt drwy y gynnulleidfa, ac yn gwefreiddio pob calon. Er mor effeithiol oedd y bregeth, nid heb lawer o betrusder, serch hyny, y ffurfiwyd y Gymdeithas, a hyny yn y mis Hydref canlynol, fel y crybwyllwyd ar y dechre.

Wel, dyna Gymdeithas Genadol y Bedyddwyr wedi cael ei ffurfio, a 13p. 2s. 6c. yn y drysorfa. Cynnaliwyd ail gyfarfod y Gymdeithas yn Northampton, Hydref 31ain, pan y daeth Mr. Pearce, Birmingham, â 70p. o'r dref hono, a derbyniwyd cyfraniadau oddiwrth eglwysi eraill hefyd; ond ni wnai yr eglwysi yn Llundain ddim, a'r unig gydymdeimlad a gafodd Carey o'r brifddinas, oedd oddiwrth yr hybarch John Newton, un o offeiriaid yr Eglwys Sefydledig, yr hwn a'i cynghorodd gyda ffyddlondeb a thynerwch tad. Nid oedd maes llafur y Gymdeithas wedi cael ei benodi eto, er mai awyddfryd Carey oedd myned i Ynysoedd Môr y Dê; ond cyn penderfynu, clywodd fod y meddyg Thomas, ag ydym eisoes wedi cyfeirio ato, yn Llundain, yn casglu arian at sefydlu cenadaeth yn Bengal. Clywodd Mr. Thomas, ac yntau hefyd yn Fedyddiwr, am sefydliad y Gymdeithas yn Kettering; ymohebodd â Carey; ac mewn pwyllgor a gynnaliwyd Ionawr 9fed, 1793, penderfynwyd ei bod yn ymddangos fod drŵs wedi cael ei agor yn India i bregethu yr efengyl i'r paganiaid. Penderfynwyd hefyd fod Mr. Thomas yn cael ei wahodd i ymuno â'r Gymdeithas, ac fod cydymaith i fyned allan gydag ef. Cynnygiodd Carey ei wasanaeth, a derbyniwyd ef gan y pwyllgor. Tra yr oedd y pwyllgor yn eistedd, pwy ddaeth i mewn ond Mr. Thomas, a dyma Carey, yn awyddus am gofleidio ei gydweithiwr dyfodol, yn neidio oddiar ei fainc, a hwy a syrthiasant ar yddfau eu gilydd, ac a wylasant. Penderfynwyd fod Carey ac yntau i ymadael yn y gwanwyn; ond erbyn edrych, nid oedd Mrs. Carey o'r un feddwl â'i phrïod, ac nid oedd hi yn barod i anturio mordaith o 14,000 milldir. Penderfynodd Carey i fyned hebddi, a chaniatäodd hithau i'r bachgen hynaf gael myned gydag ef; yr oedd yntau i ddychwelyd am dani hi a'r gweddill o'r teulu càn gynted ag y buasai y Genadaeth wedi ei sefydlu. Er y penderfyniad uchod, dyma rwystr arall yn cyfodi—nid oedd gan y Gymdeithas ddigon o arian i ddanfon y ddau allan. Dyma Mr. Fuller i Lundain i gasglu ymhlith y Bedyddwyr cyfoethog, ond ni chasglodd ef fawr, ac yr oedd yn troi yn aml o'r prif heolydd i dywallt dagrau am nad oedd yn fwy llwyddiannus. Ond drwy fegio a benthyca, cafwyd yr arian gofynol o'r diwedd, ac aeth y ddau genadwr i *Isle of Wight*, lle yr aethant ar fwrdd y llong *Oxford*, yr hon oedd yn cychwyn i'r India. Cyn eu bod ar y bwrdd yn hir, daeth llythyr dienw at y cadben, yn dangos iddo ef y perygl o fyned â phersonau di-drwydded i'r India. Yr oedd yn rhaid cael trwydded gan y Cwmni cyn y gallesid myned i'r India; a chan nad oedd gan y cenadon drwydded, gorfu iddynt ddychwelyd i dir. Awr gyfyng oedd hon iddynt, ond bu yn foddion i ennill Mrs. Carey a'r holl deulu gyda hwynt, a hwyliasant gyda'u gilydd yn y *Kron Princessa Maria*, llong Is-Ellmynaidd,

Mehefin 13eg, 1793; tiriasant yn India, Tach. 13eg, pan y pregethodd Mr. Thomas yn y farchnad. Yr oedd calon haelionus gan Mr. Thomas, ond gan fod ei haelioni yn fwy na'i logell, yr oedd wedi suddo yn ddwfn mewn dyled. Yr oedd Carey, yntau, druan, wedi cael ei amddifadu o herwydd hyny o'i geiniog arian, ac yr oedd yn waeth arno nag y bu erioed, canys yr oedd mewn gwlad estronol ac eilunaddolgar, heb gyfaill, ac heb ffyrling yn y byd. Yn ei gyfyngder mawr, cafodd gynnyg ar fod yn arolygwr i weithfa lliw glâs, gyda chyflog o 240p. y flwyddyn, yr hwn gynnyg a dderbyniodd, gan ddefnyddio ei gyflog cenadol, yn ogystal a rhan o'i gyflog ei hun, i dalu cynnorthwywyr am gyfieithu y Bibl. Yr oedd yn bur fuan yn alluog i bregethu i'r brodorion. O'r diwedd, yr oedd y Testament Bengaläeg yn barod ganddo, ond nis gallai gael argraffiad o 10,000 o hono dan 4,400p. Yn y cyfyngder hwn, ysgrifenodd at y Gymdeithas am ddanfon allan lythyrenau ac argraffydd, gydag ychwaneg o genadon; ond yr oedd y deddfau mor gaethiwus gartref ag yn India, fel nad oedd yn bosibl, ar y pryd, wneuthur y naill na'r llall.

Yr oedd John Fountain wedi myned allan yn 1796, ac yn 1799, yr oedd pedwar o genadon eraill ar eu ffordd i India; a chan na feiddient fyned i unrhyw barth o'r tiriogaethau Prydeinig, penderfynasant lànio a phreswylio yn mhentref Danaidd Serampore, ar làn yr afon Hoogly, pymtheg milldir o Calcutta, a chyrhaeddasant yno Hydref 13eg, pan y derbyniwyd hwy yn garedig gan y llywydd Danaidd, y Milwriad Bie. Bu farw Mr. Grant, un o'r pedwar cenadwr yma, ymhen ychydig ddyddiau wedi iddynt dirio, ac nid hir y bu Mr. Brunsden, un arall o honynt, cyn ei ddilyn i

Ardal lonydd yr aur delynau.

Arbedodd yr Arglwydd y ddau arall, Marshman a Ward, i fod yn gymdeithion i Carey yn sefydliad *Cenadaeth Serampore.* Gan fod y ddau yma wedi bod yn un ac un gyda Carey yn ngweithrediadau y Genadaeth hon, am gymaint o flynyddau, goddefer i ni gyfleu yma amlinellau eu bywyd.

Ganwyd Joshua Marshman yn Westbury Leigh, swydd Wilt, Ebrill 20fed, 1768, ac yr oedd yn wehydd wrth ei alwedigaeth, fel ei dad o'i flaen; ond yr oedd yn darllen pob math o lyfrau, yr hyn nid yw fuddiol iawn i fachgenyn ieuanc diddysg, fel ag yr oedd efe; ond beth wneir i'r awydd am ddarllen, pan na fyddo yr un hyfforddwr yn cynghori? Wedi dyfod i oedran addfetach, astudiodd yr Ysgrythyrau, a theimlai fwynhâd mawr wrth ddarllen gweithiau gogoneddus Puritaniaid y 17eg ganrif, arddull y rhai a adawodd ei argraff arno drwy ei oes. Yr oedd yn ddiargyhoedd o'i febyd; ond, serch hyny, cadwodd eglwys Westbury Leigh ef am saith mlynedd ar brawf! Yn 1794, symudodd i Bristol, i fod yn athraw ysgol, pan y daeth yn adnabyddus â Dr. Ryland. Derbyniwyd ef yn aelod yn Broadmead, a chaniatäwyd iddo ymuno â dosbarthiadau yr athrofa, er astudio yr ieithoedd prif-awdurol, at yr hyn yr ychwanegai fyfyriaeth o'r Hebräeg a'r Syriäeg. Pan ddeallodd fod eisieu cenadon yn India, cynnygiodd ei hun at y gwaith, ac efe yn ŵr prïod, a derbyniwyd ef yn llawen gan y pwyllgor.

Ganwyd William Ward yn Derby, Hydref 20fed, 1769; mab i saer coed ydoedd, a bu farw ei dad pan oedd efe yn blentyn, yr hyn a daflodd

y baich o'i ddwyn ef i fyny ar fam ymroddgar a duwiol. Prentisiwyd ef yn argraffydd, ac wedi gwasanaethu ei amser, daeth yn olygydd i'r *Derby Mercury*. Yr oedd yn ddemocrataidd ei syniadau y pryd hwn, a chafodd ei erlyn fwy nag unwaith gan y Llywodraeth am rai o'i erthyglau; ond rhyddhäwyd ef gan y rheithwyr bob tro. Bu am chwe' blynedd yn golygu amryw newyddiaduron gyda medr canmoladwy, ac yn 1796, bedyddiwyd ef yn Hull; dechreuodd bregethu yno, ac o hyny allan gadawodd wleidiadaeth a newyddiaduriaeth. Yr oedd o dan addysg dduwinyddol Dr. Fawcett yn Ewood Hall, a dyma foneddwr yn galw yno ryw foreu i ymofyn am gynnorthwyr i Dr. Carey. Cofiodd Mr. Ward fod Dr. Carey wedi dywedyd wrtho yn Derby, ychydig cyn iddo fyned i'r India, y byddai eisiau argraffwyr yno cyn hir; ennynodd ei galon o'i fewn wrth glywed nad oedd yno neb i argraffu y Testament Bengaläeg; cynnygiodd ei hunan i'r Gymdeithas, ac yr oeddent yn falch o'i dderbyn. Dyna nhw yn Serampore, chwech o genadon, pump o wragedd,—gwraig Dr. Carey druan yn wallgof,—ac wyth o blant, a'r oll a fedrai y Gymdeithas fforddio i dalu iddynt oedd 360p. y flwyddyn.

Gwnaeth y swyddogion Prydeinig eu gwaethaf iddynt ymhob dull, gan ymdrechu eu gyru yn ol gyda'r un llong âg y daethent ynddi. Safodd y Cadben Americanaidd dros hawliau baner serenog ei wlad, safodd y Milwriad Bie dros hawliau baner ei wlad yntau; ac yn nanedd y Llywydd Cyffredinol, Arglwydd Wellesley, mynwyd llonydd i'r cenadon i gael aros. Modd bynag, ni chawsent fyned gam ymhellach na phentref bach Serampore, a gwae iddynt os daliesid hwy ar dir Prydeinig, er fod pawb yn cydnabod mai dynion da oeddent. Ceisiodd Dr. Carey tua'r amser yma wneuthur y Gymdeithas yn un waddoledig, ond yn hapus fe fethodd; pe amgen ni buasai ond corff heb fywyd er ys llawer dydd. Aethpwyd ymlaen â gwaith yr argraffu yn ddioed, ac ar y 18fed o Fawrth, 1800, cyflwynodd Mr. Ward y llèn gyntaf o'r Testament Bengaläeg i Dr. Carey. Yn yr un flwyddyn agorodd Mrs. Marshman ddwy ysgol at gynnaliaeth y Genadaeth, y rhai oeddent yn dwyn i mewn 360p. y flwyddyn, a daethant yn fuan yn ysgolion enwog yn y wlad. Yr oedd Arglwydd Wellesley erbyn hyn wedi dyfod yn fwyneiddiach, ac yr oedd mwy o ymddiried ganddo yn y cenadon, ond ofnai nad oedd hi yn ddïogel i argraffu y Testament Bengaläeg heb esboniad arno hefyd. Ei argraffu wnaethpwyd, modd bynag, heb un esboniad, ac yr oedd y cenadon yn awr yn alluog i bregethu i'r bobl yn eu hiaith eu hunain, yn enwedig Mr. Ward, yr hwn oedd yn feistr hollol ar yr iaith, ac yn medru siarad gyda nerth a hyawdledd mawr wrth y brodorion. Yr oedd rhai o'r bobl erbyn hyn yn dechreu teimlo, ond er torcalondid i'r cenadon, yr oeddent yn cael profi yn aml mai teimlad dros amser ydoedd. O'r diwedd, wedi wyth mlynedd o lafur cenadol, daeth un Krishnu yn ymofynydd am fedydd, ac yn mis Rhagfyr, 1800, bedyddiwyd ef gan Carey yn ngwydd miloedd o edrychwyr syml iawn. Meddai Mr. Ward—"Y mae cadwen y *caste* Hindŵaidd wedi cael ei thòri, a phwy a'i hadgyweiria hi?" Effeithiodd yr olygfa ar synwyrau y meddyg Thomas, a bu orfod ei roddi mewn gwallgofdy. Y nos hono gweinyddwyd Swper yr Arglwydd, am y waith gyntaf erioed, yn y Bengaläeg. Yn nechre 1801, gweinyddwyd yr ordinhâd o

fedydd ar Joyminee, y chwaer Hindŵaidd gyntaf, ac ar Mr. Fernandez, boneddwr o waedoliaeth Portugalaidd. Gwellhäodd Mr. Thomas yn mhen rhai wythnosau, ac aeth y Genadaeth rhagddi yn llwyddiannus.

Ar ddiwedd rhyfel Mysore, sefydlodd Arglwydd Wellesley Goleg yn Fort William, gyda golwg, yn benaf, ar berffeithio gwybodaeth y swyddogion ieuainc o Brydain yn iaith y brodorion. Yr oedd yr iaith Bengaläeg yn cael ei siarad gan 25,000,000 o bobl, ac nid oedd ond un dyn yn y wlad a fedrai ei dysgu i'r swyddogion ieuainc; yr oedd hwnw yn genadwr, ac yr oedd yr arweinyddion yn y Llywodraeth yn elyniaethus iawn i bob cenadwr. O'r diwedd, modd bynag, apwyntiwyd Dr. Carey, ar yr ammod fod iddo gael cyflawn ryddid i gario ymlaen ei waith cenadol fel arfer. O hyny allan ni dderbyniodd cenadon Serampore yr un geiniog o Brydain at eu hangenrheidiau personol eu hunain, ac yr oeddent yn cyd-fwyta gyda'u gilydd fel un teulu, ac yn byw ar ymborth syml iawn.

Yr oedd y cenadon yn cael llonyddwch i fyned oddi amgylch i wneuthur daioni erbyn hyn, ac yr oeddent yn gwasgaru traethodau lawer ymhlith y bobl; yr oeddent hefyd wedi bedyddio chwech o Hindŵaid ffyddlawn yn bresennol, ond er eu galar bu farw y meddyg Thomas o'r crŷd a thwymyn yn mis Hydref, 1801. Yn y flwyddyn 1802, cawsant y mwynhâd o weled aberthu plant yn ngŵyl flynyddol Gunga Sagor, yn cael ei rwystro gan filwyr y Llywodraeth. Yn 1804 gosododd y cenadon gynllun i lawr o gyfieithu yr Ysgrythyrau i holl ieithoedd India, er mwyn goleuo yr aberthwyr dynol yma, a threfnasant hefyd fod gorsafoedd cenadol i gael eu sefydlu yma a thraw ar hyd y wlad, fod cenadon y gorsafoedd hyny i ennill eu bara beunyddiol drwy weithio â'u dwylaw eu hunain, ac fod yr oll o honynt i gyfarfod unwaith yn y flwyddyn yn Serampore. Ond methwyd cael caniatâd gan y Llywodraeth i adeiladu gorsafoedd; ac wedi ymadawiad Arglwydd Wellesley, cwtogwyd rhyddid y cenadon yn fawr iawn, a chyhuddid hwynt o fod â llaw ganddynt yn ngwrthryfel Vellore, ac o gyhoeddi traethodau bradwriaethus a chynhyrfiol. Yr oedd hyn ymhell o fod yn wir, er fod yna draethodyn wedi cael ei argraffu yn Serampore, ag oedd yn galw enwau anfoesgar ar Mahomed, am yr hwn ni wyddai y cenadon. Cafodd y cenadon seibiant am tua deng mis; ond, ar ddyfodiad Arglwydd Minto i'r Llywyddiaeth Gyffredinol, ailennynwyd fflamau yr elyniaeth yn erbyn y Genadaeth. Yr oedd ei arglwyddiaeth yn foneddwr o chwaeth glasurol, ac yn awyddus am roddi pob cefnogaeth i ymdrechiadau llênyddol; ond, fel ei flaenor Whigaidd, Mr. Fox, yr oedd yn credu fod pob ymgais i efengyleiddio paganiaid yn llawn o niweidiau politicaidd, ac yn ddrwg ynddo ei hun. Yr oedd y blaid wrth-genadol yn awr yn uchaf, ac yr ydoedd yn penderfynu dymchwelyd y Genadaeth. Fel yr arferid yn y dyddiau hyny gartref ac oddicartref, yn nhref ac yn nhramor, cyflogid yspïwyr i wylio symudiadau a dywediadau y cenadon. Y canlyniad fu, gorchymyn i symud yr argraffwasg o Serampore i Calcutta, fel y gellid ei gwylio yn fwy manteisiol. Dyma lywodraeth gristionogol yn gwahardd pob ymdrech, ac yn cloi pob amcan o daenu yr efengyl ymhlith y paganiaid! Amser cyfyng oedd hwn i'r cenadon, a chyfarfuasant i weddïo Duw am ei nawdd fwy nag unwaith; ac yn un o'r cyfarfodydd yma yr oedd Dr. Carey yn wylo fel

plentyn, canys yr oedd yr ystorm yn bygwth ysgubo y cyfan o'i blaen. Cynghorwyd hwy i ymweled âg Arglwydd Minto; gwnaethant felly, gostegodd hyny yr ystorm fygythiol yn India, a bu yn foddion i liniaru teimladau y gwrthwynebwyr yn Mhrydain, lle yr oedd gelynion lawer i'r genadaeth, megys Mr. Thomas Twining, y Milwriad Scott Waring, a'r "Bengal Officer," sef y Milwriad Stewart, yr hwn oedd wedi cael ei ddychwelyd at Hindŵaeth. Ysgrifenodd Mr. Owen, ysgrifenydd cyntaf a galluocaf y Fibl Gymdeithas ar y pwnc, a rhoddes Mr. Fuller y ddiffoddyr arnynt. Ysgrifenodd Sydney Smith hefyd gelwyddau ffraethlym yn erbyn y cenadon a'r Gymdeithas, ac atebwyd ef yn wrol a thalentog gan y Parch. John Styles, gweinidog gyda'r Annibynwyr. Dywedai Sydney Smith, wrth Arglwydd Macaulay ei fod wedi edifarhâu am ysgrifenu yn erbyn y Gymdeithas, a chafodd fyw i weled ei fod wedi camsynied yn fawr. Terfynwyd y ddadl yma gan erthygl rymus o eiddo Robert Southey, yn y *Quarterly Review*, yr hwn a ddirwyna i fyny mewn canmoliaeth hyawdl i dri chenadwr henaf Serampore.

Er nad oedd y cenadon yn cael eu herlid, eto nid oeddent yn cael eu rhyddid; yr oedd ofn pregethu cyhoeddus wedi meddiannu y Cynghordŷ, ac yr oedd Dr. Carey a'i gyd-lafurwyr yn gorfod dangos pob ysgrif i'r ysgrifenydd cyhoeddus, yn Calcutta, cyn ei danfon i'r wasg. Yr oedd caniatâd iddynt, modd bynag, i argraffu yr Ysgrythyrau, ac ni bu y cenadon yn ol o wneuthur defnydd o'r caniatâd hwnw, a danfonent allan yr Efengylau ar eu pen eu hunain yn dryfrith. Meddiannwyd Serampore, yr ail waith, gan y Saeson, yn 1808; a theimlai y cenadon bryder mawr am eu bod wedi colli nawdd coron Denmark. Yr oedd Arglwydd Minto, modd bynag, yn dyfod yn fwy cyfeillgar o hyd; ac yn un o'i areithiau cyhoeddus galwodd y triwŷr yn "ddynion duwiol a dysgedig yn Serampore;" er hyny, nid oedd modd cael caniatâd i sefydlu gorsafoedd cenadol, ac yr oedd y Gymdeithas yn amddifad o Serampore *Ddanaidd*. Gan na chawsai rhagor o genadon ddyfod allan, bu hyny yn foddion i sefydlu dosbarth o bregethwyr ag sydd wedi bod o fendith annhraethadwy i India, sef y pregethwyr brodorol, y rhai yn ddirwystr, heb drwydded nac arall, a fedrent dramwyo i'r perfeddwlad, neu i'r man a fynent. Yr oeddent wedi bod yn Serampore ddeng mlynedd bellach, ac yr oedd ganddynt 200 o aelodau, heblaw eglwys fawr o Ewropëaid a brodorion yn Calcutta. Yr oeddent yn ymdrechu cymaint dros gasglu a chynnilo, nes yr oeddent bron a thaflu y Gymdeithas gartref i'r cysgodion. Yr oeddent, er engraifft, wedi dysgu brodorion medrus i doddi llythyrenau at argraffu, wrth yr hyn yr oeddent wedi arbed traul o filoedd o bunnau, canys yr oedd y llythyrenau yn gostfawr iawn yn Llundain. Yr oeddent mor gynnil yn y teulu, nes yr oedd y cenadon ieuengach yn dechreu grwgnach, ac yn ysgrifenu pethau annymunol at y pwyllgor gartref; ac nid heb achos, canys yr oedd yr attaliadau a roddid arnynt yn annaturiol gyda golwg ar fwydydd, &c.

Yr oedd y cenadon wedi myned drwy dân y gwrthwynebiadau creulonaf, ac wedi dyoddef am flynyddau, gyda'r amynedd mwyaf canmoladwy, ddiystyrwch anfoesgar llywyddion India; wedi palmantu y ffordd i genadaethau dyfodol gyda gweithgarwch a hunanymwadiad nad oes cyfartal iddo yn holl hanes crêd a bedydd, ac wedi dal yr oll fel gwrolion Duw; ond yn mis Mawrth, 1812, cawsant ergyd â fu ymron,

a'u dymchwelyd, yr hyn a attaliodd eu gweithrediadau dros dymmor. Noson yr 11eg, llwyr-losgwyd yr argraffdŷ gan dân, a dinystriwyd llafur deuddeg mlynedd mewn llai na hyny o oriau. Yr oedd gwerth arianol y golled tua 7000p.; ond nid ystyrid y golled yn ddim yn ymyl copïau unigol o'r Ysgrythyrau, geiriaduron, ac ysgrifau anmhrisiadwy eraill. Yr oedd Dr. Carey yn Calcutta; a phan glywodd y newydd, taräwyd ef yn fud dros amser, ac yr oedd pob gradd o foneddigion ag oedd yn gwybod am werth y sefydliad yn tywallt dagrau; nid colled enwadol, ond colled gyhoeddus ydoedd, a theimlid hyny. Casglodd Mr. Thomason, yr offeiriad, 800p. mewn diwrnod yn Calcutta; a phan gyrhaeddodd y newydd i Loegr, cododd pawb fel un gŵr i gynnorthwyo, —y Fibl Gymdeithas, Cymdeithas Genadol Llundain, golygwyr yr *Evangelical Magazine*, a threfydd mawrion ein teyrnas a ymrysonent agos â'u gilydd am fod yn flaenaf i helpu; yr oedd y tân wedi sychu'r dŵr, a chyn pen triugain niwrnod, er clod i'n gwlad wèn ni, yr oedd y 7000p. wedi cael eu gwneuthur i fyny, yn hytrach wedi arllwys i mewn. Tra yr oedd Mr. Ward yn chwilio ymhlith y golosgion, cafodd o hyd i'r moldiau, ac nid oedd dim anaf arnynt. Yr oeddid wedi bod ddeng mlynedd yn eu gwneuthur, canys yr oeddent yn foldiau o lythyrenau holl ieithoedd India; a cholli y rhai hyn oedd y gofid mwyaf torcalonus, canys buasid yr un faint o amser yn eu gwneuthur drachefn, heb sôn am y gost, ac am yr attalfa hir fuasai ar weithrediadau argraffyddol y Gymdeithas. Dechreuwyd toddi llythyrenau newyddion yn ddioed, gosodwyd y *pundits*—y Brahminiaid dysgedig, i gyfieithu o'r newydd; ac yr oedd y wasg yn ei gwaith cyn pen mis, a chyn pen y flwyddyn nid oedd dim o olion y tân aruthrol.

Cyn fod y cenadon braidd wedi adnewyddu eu nerth ar ol dinystr y tân, dyma'r Llywodraeth yn ymosod arnynt eto gyda chreulondeb triphlyg. Y mae darluniad y bardd o'r môr yn llawn mor darawiadol am aml i ddyn—

Wyllt wenwr hallt ei waneg,
Llawn o dwyll yw ei wên dêg.

Dywedai Mr. Ward am y seibiant a gawsent, "Wel, yr ydym yn cael ein goddef fel llyffaint, yn lle ein hela fel gwylltfilod." Ond dyma gyfnod yr hela wedi dyfod drachefn. Yn 1810, rhoddes y Llywodraeth drwydded i ddau genadwr gael preswylio yn Agra; ond yn 1812, penderfynasant eu gyru o'r wlad, a chwech eraill gyda hwynt. Collodd y Genadaeth gyfaill gwerthfawr yn mis Mehefin, yn y flwyddyn hon, yn marwolaeth y Parch. David Brown, y caplan. Tri niwrnod wedi iddo fyned i'w orphwysfa nefol, glàniodd JUDSON, apostol Burmah, a'i gyfaill Mr. Newell, yn Calcutta, ar eu ffordd i barthau dwyreiniol Bengal; hwynthwy oedd y cenadon boreuaf o'r America i'r Dwyrain. Aethant i'r swyddfa i hysbysu eu glâniad, a dangosasant eu trwyddedau oddiwrth lywydd talaeth Massachusetts. Yr oedd yno fàr-gyfreithiwr o'r enw Martyn, gŵr ag oedd yn cymeryd ei lwgrwobrwyo, yn ustus taledig dan y Llywodraeth. Gwnaeth dwrw mawr yn eu cylch, a'r canlyniad fu rhoddi gorchymyn i'r cadben i fyned â hwynt yn ôl. Apeliodd Dr. Judson at y Llywodraeth, ond yr unig beth a gafodd oedd caniatâd gan Lord Minto i fyned i'r Mauritius. Daeth yr *Harmony* i'r porthladd yn

mis Awst, a thri chydymaith Dr. Judson ar ei bwrdd, sef Mr. Johns, Mr. Lawson, a Mr. May. Mynodd Mr. Martyn orchymyn dioed fod yn rhaid iddynt ddychwelyd, a chawsant ganiatâd i fyned i Isle of France. Aeth Mr. Newell ymaith mewn llong fechan na allasai gymeryd rhagor nag un, a gorfu i'r lleill aros am gyfleusdra arall. Yn mis Tachwedd, hysbysodd Mr. Martyn nad oedd ond un o'r cenadon wedi ymadael, a phenderfynodd y Llywodraeth gymeryd y mesurau caethaf yn eu herbyn. Yr oeddent i gael eu danfon yn ol i Loegr gyda llong ag oedd ar gychwyn, i fwyta gyda'r iselaf o'r llongwyr, a'u gwragedd a'u plant i wneuthur fel y gallent, newynu os mynent yn India; ac yr oedd Mr. Martyn i weled fod yr heddgeidwaid i'w hebrwng i fwrdd y llong, yr hon oedd gan' milldir i lawr yr afon.

Gwedi ei arfogi â'r awdurdod yma, danfonodd orchymyn at y cenadon Americanaidd nad oeddent i adael Calcutta heb ei genad ef, a gosododd heddgeidwaid i wylio y drŵs. Yr oedd rhyfel ar dòri allan rhwng Lloegr ac America, a gwelai Dr. Judson y buasai eu danfon i Loegr yn ddinystr i'w hanturiaeth genadol, a phenderfynodd ef ac un arall hwylio i'r Mauritius y noson hono; aethant; ond pan glywodd Mr. Martyn hyny, gyrodd *bilot* ar ol y llong yn gorchymyn iddi lànio y cenadon, yr hyn oedd raid ei wneuthur; ond cawsant genad i fyned drachefn, drwy eiriolaeth cyfeillion; ac wedi hurio bâd a rhwyfo yn galed nos a dydd, daliasant y llong. Dïangodd dau arall i Bombay, ac yr oedd tri wedi sefyll ar ol,—Meistriaid Johns, Lawson, a May, ac yn aros yn Serampore. Wedi hir ohebiaeth rhwng Dr. Marshman a'r Cynghordŷ, cafodd hysbysiad fod y Llywodraeth yn penderfynu gyru y cenadon i Loegr, ac nid oedd ond ychydig ddyddiau i barotôi i'r fordaith. Dyma Mr. Martyn yn gyru am y cenadon, ond yr oedd Mr. Johns wedi cymeryd gofal meddygol sefydliad Serampore, ac nis gallai fyned; aeth Dr. Marshman gyda'r brawd Lawson i'r swyddfa, ac am na arwyddai Mr. Lawson ymrwymiad caeth a gwasaidd, danfonodd Mr. Martyn ef i'r carchar cyffredin, ac arweiniwyd ef drwy heolydd Calcutta fel drwg-weithredwr. Aeth Dr. Marshman at awdurdodau uwch i achwyn am y sarhâd hwn, a chafodd ollyngdod dioedi i'r carcharor. Penderfynodd Dr. Marshman fŷnu siarad yn bersonol âg Arglwydd Minto, a dangos iddo mor werthfawr oedd gwasanaeth Mr. Lawson gyda'r Chinäeg. Yr oedd ofn ar ei arglwyddiaeth i wynebu rhesymau y Doctor, gan hyny gwrthodwyd yr ymgyfarfod personol, a'r canlyniad fu, caniatâu i Mr. Lawson gael aros, a gorfodi Mr. Johns, y meddyg synwyrgall a diniwed, i ddychwelyd i Loegr yn ddioedi. Dychwelodd drannoeth, Ebrill 1af, 1813, a chostiodd ei fordaith yn ol 500p. Yr oedd yr erlidigaeth grefyddol yn ddigon di-anrhydeddus i lywodraeth gristionogol, ond y mae'r ffaith fod Arglwydd Minto wedi addaw i'r ddau genadwr gael aros, yn ei gwneuthur hi yn waeth fyth, ac yn gosod ysmotiau ar ei eirwiredd a'i weinyddiaeth.

Yr oedd amser adnewyddiad breinlen 1793 ar ddyfod, ac yr oedd gobeithion gwresog gan genadon Serampore y buasai rhyw adran yn cael ei gosod yn y freinlen newydd ag a brofasai yn waredigaeth iddynt. Yr oedd y Senedd wedi cloi drŵs India yn erbyn pob gwybodaeth, gwladol a chrefyddol, ac wedi rhoddi yr agoriad i law Llŷs y Cyfeisteddwyr *(Court of Directors)*, y rhai a gymerent ofal manwl am dani. Yr oedd

y gorchymyn wedi dyfod erbyn hyn am alltudio yr wyth cenadwr a nodir uchod, ac nid oedd gan y Gymdeithas un man i edrych am waredigaeth ond oddiwrth y Senedd, er y gwyddent fod yno elynion calon i bob ymgais at gristioneiddio India. Yn 1812, cyfarfu yr amrywiol Gymdeithasau Cenadol yn Llundain i drefnu eu cynlluniau; y penderfyniad y daethpwyd iddo oedd fod pob Cymdeithas ar ben ei hun i appelio at y Llywodraeth. Argraffodd Mr. Fuller fynegiad o weithrediadau cenadon Serampore, ac anfonodd gopi i bob aelod seneddol ag oedd yn teimlo dyddordeb yn y pwnc. Ymwelodd yn bersonol â Mr. Spencer Percival, y Prif-weinidog, yr hwn a'i derbyniodd yn garedig, gan addaw yn dêg iddo; ond ymhen pum' niwrnod wedi hyny, saethwyd Mr. Percival yn farw, yn *lobby* y senedd-dŷ, gan y Bellamy hwnw. Canlynwyd ef yn y brif-weinyddiaeth gan Arglwydd Liverpool, ac yr oedd efe yn fwy ffafriol i'r genadaeth na'i ragflaenor; ond gohiriwyd pwnc y freinlen hyd 1813. Yr oedd pob Cymdeithas Genadol yn effro, ac yn gweithio hefyd. Cafodd Mr. Fuller yr anrhydedd o ymgyfarfod yn bersonol âg Arglwydd Liverpool, ac yr oedd ei arglwyddiaeth yn hynod gymwynasgar; mor gymwynasgar fel ag yr oedd Mr. Fuller bron toddi yn llŷn o ddagrau yn ngwrês ei dynerwch boneddigeiddgamp. Yr oedd Mr. Wilberforce yn deall Downing Street yn well na hyny, ac meddai ef, "Nid yw'r Bedyddwyr wedi ennill dim oddiwrth y Prif-weinidog ond geiriau têg;" ac felly y troes hi allan.

Yr oedd ysgrif India wedi cael ei hymddiried i Arglwydd Castlereagh, â'r hwn yr ymwelodd Mr. Fuller, ond ni ddaeth dim daioni o'r ymweliad. Dygodd ei arglwyddiaeth yr ysgrif o flaen y Tŷ, Mawrth 22ain, 1813. Yr oedd am gael esgob a thri archddeon yno i arolygu y caplaniaid, ond dim gair am y cenadon. Cododd Mr. Wilberforce i ddadleu hawl y cenadon, ond yn ofer. Yn ffortunus, modd bynag, nid oedd Llŷs y Cyfarwyddwyr yn cydweled â'r mesur, am ei fod yn cynnyg tòri eu gorfaeliaeth, a mŷnasant ddwyn tystion o flaen bàr y Tŷ yn erbyn y cynnyg. Buwyd chwech wythnos yn eu holi, yr hyn a roddes gyfleusdra i gyfeillion y Genadaeth i weithio, ac i gyffroi ysbryd crefyddol y deyrnas. Yr oedd deisebau yn llifo i mewn fel afon, ac yr oeddent mewn ychydig ddyddiau 'yn naw cant, peth na welodd y Tŷ mo'i gyffelyb erioed o'r blaen. "Dyma ddigon, Mr. Fuller," ebe Arglwydd Castlereagh. Nid Mr. Fuller, modd bynag, oedd achosydd yr holl ddeisebau yma, canys yr oedd Mr. Wilberforce a boneddigion eraill â'u holl enaid yn y gwaith. Holwyd Mr. Warren Hastings, Arglwydd Teignmouth, Mr. Cowper, Mr. Graham, a llawer eraill; ond i'r rhai uchod yn unig y gofynwyd cwestiynau cenadol, ac yr oeddent oll yn rhoddi atebion anffafriol. Penderfynodd y Tŷ nad oedd eisieu ychwaneg o'r cwestiynau hyny, ac nad oeddent i ffurfio un rhan o'r arholiad; ac yr oedd hyn yn foddhäol i gyfeillion y cenadon hefyd, canys yr oedd preswylio yn hir ymhlith paganiaid wedi paganeiddio y rhai a fynent gael eu galw yn Gristionogion, ac yr oeddent yn ymbalfalu yn eu tystiolaethau fel deillion ar bared. Profodd llïosogrwydd y deisebau mai "Trech gwlad nag Arglwydd;" ac wedi un o'r areithiau mwyaf hyawdl a glywodd y Tŷ erioed, gan Mr. Wilberforce, yr hwn a'i hoeliodd mewn syndod am dair awr âg iaith ei galon, pasiwyd y penderfyniad fod rhyddid i genadon fyned â llusern y bywyd i India gan 89 yn

erbyn 36. Ar yr ail ddarlleniad, dygwyd talentau dysgleiriaf y Tŷ i wrthladd Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr, ac yr oedd y gair, "Anabaptists," yn saethu fel taranfyllt drwy araeth hyawdl Mr. Charles Marsh, yr hon a fwriedid i wrthweithio dylanwad araeth rymus a gorchestol Mr. Wilberforce ar y darlleniad cyntaf. Yn uniongyrchol wedi iddo eistedd, cododd Mr. Wilberforce i amddiffyn Serampore eilwaith; ac er pob gwrthwynebiad, cariwyd y penderfyniad gan fwyrif o 22, a darllenwyd yr ysgrif y drydedd waith, Gorphenaf 13eg, 1813. Ni roddwyd un gwrthwynebiad iddi yn Nhŷ yr Arglwyddi; ac wedi i Gymdeithas Genadol y Bedyddwyr ymladd y frwydr ei hunan am dair blynedd ar ddeg, cafodd ei gwobr yn muddugoliaeth y pwnc pwysig o gael *goddefiad* i bregethu yr efengyl yn India.

Heb wybod fod y ddeddf uchod wedi pasio, yr oedd Arglwydd Minto wedi penderfynu gyru holl genadon y Gymdeithas o India, o Java hefyd, a'r ynysoedd arforol; ac yr oedd wedi danfon neges i Bombay yn gorchymyn gyru oddiyno y ddau genadwr Americanaidd ag oedd wedi ffoi i'r ddinas hono o Calcutta. Ar yr un pryd yr oedd Llŷs y Cyfarwyddwyr yn penderfynu ei alw ef gartref, a danfon Arglwydd Moira allan yn ei le. Cyn i Arglwydd Minto osod ei benderfyniad ei hun mewn gweithrediad, yr oedd Llŷs y Cyfarwyddwyr wedi gosod mewn gweithrediad yr eiddynt hwy, a hwyliodd ei arglwyddiaeth am Loegr, Ebrill 20fed, 1813. Wedi tiriad Arglwydd Moira yn India, ac ymddyddan o hono â Dr. Marshman, galwodd yn ol holl orchymynion gwrth-genadol ei ragflaenor, er na wyddai am basiad adran oddefol y freinlen, canys yr oedd newydd adael Lloegr cyn iddi basio. Yr oedd Arglwydd Moira yn ffafriol iawn i addysg hefyd, ac yr oedd y cenadon wedi cael eu mawr lòni.

Yr oedd Mr. Fuller wedi marw erbyn hyn; ac yn marwolaeth Mr. Fuller yr oedd y llinyn arian ag oedd yn cydio Serampore â Lloegr wedi cael ei dòri, a bu y canlyniadau yn alaethus iawn. Yr oedd y triwŷr yn Serampore wedi treulio eu hoes yn annibynol, heb ddim attalfëydd arnynt; ond yr oedd y Pwyllgor o frodyr ieuainc gartref, yn rhai "ni adnabuasent mo Joseph," am eu rhwymo yn ormodol, ac yn eu galw yn "weision hynaf" y Gymdeithas, &c.; ni fynent hwythau eu galw yn "weision," ac yr oedd y Gymdeithas hyd yma wedi eu hystyried yn gydraddol, ac wedi ymddwyn atynt felly. Yr oeddent wedi gwario tua 30,000p. o'u harian eu hunain, ac wedi bod wrth eu gwaith llafurfawr yn ddidòr, nos a dydd, am flynyddau lawer; ac y mae yn sicr fod Carey, Marshman, a Ward, yn haeddu ymddwyn tuag atynt yn wahanol iawn i'r hyn yr ymddygwyd. Symudodd rhai o'r cenadon ieuainc i Calcutta, yr hyn a wnaeth y rhwyg yn waeth, a bu ysgrifenu chwerw iawn o bob tu i'r ddadl. Yr oedd gelyniaeth pob llywodraeth, ac ymosodiadau pob gwrthwynebwr, yn myned yn ddim yn ymyl y gwrthdarawiad poenus hwn, ac yr oedd calonau cyfeillion y Gymdeithas yn gwaedu. Ymwelodd Mr. Ward a Dr. Marshman â Lloegr, ond bu y cwbl yn ofer; ac yn mis Mawrth, 23ain, 1827, tŷnwyd cyttundeb yr ysgariad, ac arwyddwyd ef dros y Gymdeithas gan yr ysgrifenydd, John Dyer, a thros frodyr Serampore gan Dr. Marshman. Yr oeddid wedi myned mor bell a chyhuddo brodyr Serampore o anonestrwydd, &c.; ac y mae llawer o bethau iselwael eraill yn anurddo y ddadl ofidlawn hon; ond waeth gadael iddi, canys y mae y rhan fwyaf o'r dynion rhagorol a

anghofiasant eu hunain gymaint, ac a gymerasant ran ynddi, yn "etifeddu yr addewidion" er ys llawer dydd bellach;

A'u henw da, eu parch, a'u bri,
Yn nghadw yn y nefoedd fry.

Wedi yr ymraniad, yr oedd brodyr Serampore yn gweithio gyda yr un diwydrwydd, yn myned rhagddynt law yn llaw fel o'r blaen, ac yn estyn cortynau eu preswylfëydd yn barhäus. Cafodd Dr. Marshman y boddineb o weled y brawflen olaf o'i Fibl Chinäeg wedi dyfod allan o'r wasg, ar yr hwn yr oedd wedi bod yn gweithio am bedair ar ddeg o flynyddau. Hwn oedd yr argraffiad cyflawn cyntaf o'r Bibl i iaith China, ac argraffwyd ef âg argraffnodau metelaidd symudadwy, ac nid â blociau cyfain o bren, fel yr arferid wneuthur yn yr iaith hono er ys amser diwybod. Sefydlasant goleg yn Serampore hefyd, yr hwn yn awr yw un o addurniadau gogoneddusaf y Gymdeithas yn India. Sefydlasant amryw ysgolion dyddiol hefyd, yn y rhai yr oedd yn agos i 10,000 o blant yn derbyn addysg. Cyhoeddodd Mr. Ward ei *Religion and Manners of the Hindoos*, yn bedair cyfrol, ac y mae hyd heddyw yn safon ar y pwnc. Cyhoeddodd Dr. Marshman ei *Clavis Sinica*, sef allwedd i'r Chinäeg, am yr hon iaith ni wyddid ond y peth nesaf i ddim y pryd hwnw. Ysgrifenasant amryw lyfrau buddfawr eraill, gyda thraethodau, gramadegau, geiriaduron, &c., y tu hwnt i rifedi braidd. Dygwyd allan o wasg genadol Serampore ranau, neu yr oll, o'r Ysgrythyr Lân, mewn deugain o ieithoedd a changen-ieithoedd India, yn cynnwys tua 250,000 o gyfrolau. O'r wasg hon hefyd y daeth allan y newyddiadur cyntaf erioed yn Bengaläeg; galwent ef *Sumachar Durpun*—Drych Newyddion, ac yr oedd yn dyfod allan yn wythnosol. Yn fuan wedi hyny, cychwynasant gylchgrawn misol a elwid *Friend of India*, ac un chwarterol a elwid, *Quarterly Friend*. Pan aethant hwy allan yn niwedd y ganrif flaenorol, gallent holi ac ateb yn ngeiriau Alun:—

Pa oergri fwrlymaidd o'r Ganges a glywir?
Maban a foddwyd gan grefydd y fam:
Ond gwaddod y gwae iddi hithau ddaw heibio,
O! dacw 'r nèn gan y goelcerth yn rhuddo,
Ac uchel glogwyni y Malwah 'n adseinio
Gan ddolef y weddw o ganol y fflam.

Ond, wedi pum' mlynedd ar hugain o ymdrechiadau yn erbyn yr aberthau dynol yma, cawsant weled y Ganges yn cael ei gwylio ar ddyddiau y gwleddoedd mawrion, a'r "fflam" yn cael ei diffodd. Llwyddasant hefyd i ennill rhyddid i'r cenadon gael prïodi a chladdu. Sefydlodd Dr. Carey Gymdeithas Amaethyddol hefyd, yr hon sydd yn enwog iawn yn bresennol, ac y mae cerflun costfawr o'r sylfaenydd yn un o ystafelloedd Neuadd y Gymdeithas. Llafuriasant fel yna yn hunanymwadol am dros ddeugain mlynedd, un o honynt, a llewyrchant hyd heddyw fel sêr di-gwmwl, o ddysgleirdeb a maintioli ardderchog, yn ffurfafen eglwys y Duw byw. Pa-ryfedd fod esgobion Eglwys Loegr yn India yn eu hoffi, fod cymdeithasau dysgedicaf y byd yn eu hethol yn aelodau, ac fod cynnrychiolwyr gorsedd Prydain yn talu parch a sylw i'w cynghorion a'u ceisiadau? Mynai Frederick VI., brenin Denmark, eu gwneuthur yn farchogion o Urdd Dannebrog; ond

gofynasant iddo yn barchus am gael caniatâd i wrthod yr anrhydedd, yr hyn a gawsant; a danfonodd ei fawrhydi fathodau aur iddynt, yn arwydd o'i barch tuag atynt.

Ond—" Y tadau, pa le y maent hwy?" Bu farw Mr. Ward o'r geri, wedi ychydig oriau o gystudd, Mawrth 5ed, 1823. Bu farw Dr. Carey, Mehefin 9fed, 1833. Bu farw Dr. Marshman, wedi cael ei fathru gan elynion Bedyddiedig am ddeng mlynedd, Rhagfyr 5ed, 1837. Buont feirw eill tri yn ddigyfoeth. Yr oedd Dr. Carey wedi ysgrifenu ei feddargraff ei hun, dim ond gosod i mewn ddyddiad ei farwolaeth. Dyma gopi:—

WILLIAM CAREY.

BORN AUGUST, 1761; DIED ——

A wretched, poor, and helpless worm,
On Thy kind arms I fall.

Y mae y triwyriad yma wedi cael eu claddu, yn brïodol ac yn ddoeth iawn hefyd, yn yr un gladdfa. Yr oeddent "gariadus ac anwyl yn eu bywyd, ac yn eu marwolaeth ni wahanwyd hwynt."

Bu mêthdaliant tai mawrion Calcutta, yn 1833, yn ergyd trwm i Lywyddiaeth India, canys yr oedd eu hymrwymiadau yn fawr dros ben, a thaflwyd y wlad yn ei thrafnidiaeth a'r cwbl i'r dyryswch mwyaf tòrcalonus, o herwydd yr oedd yn fêthdaliadau cyffredinol. Yr oedd Serampore wedi cael colled fawr; gan hyny, anfonodd Dr. Marshman y Meistriaid Mack a Leechman i Loegr er casglu at angenrheidiau Serampore. Yr oeddent yn ddau genadwr enwog, yn gewri meddyliol, ond yr oedd y Bedyddwyr wedi cael digon ar *ddwy* Gymdeithas Genadol, ac ychydig oedd y casgliadau. Yr oedd Serampore a Calcutta wedi bod ddeng mlynedd, bellach, ar wahân, a meddyliodd y brodyr uchod mai gwell fuasai eu huno. Nid oedd Serampore heb gyfeillion, ac yr oedd yn teilwng haeddu cyfeillion, megys Robert Hall, John Foster, ac eraill; ond yr oeddent yn cael eu symud "i fyd sydd well i fyw," y naill ar ol y llall, a Calcutta yn ennill nerth a rhifedi. Gwnaethpwyd y cynnyg, derbyniwyd ef, a chymerodd y Pwyllgor bob peth ag oedd yn perthyn i frodyr Serampore, ond *y ddyled*, yr hon oedd dros 3,000p. Y mae yn hynod fod yr ad-undeb wedi cael ei wneuthur Rhagfyr 7fed, 1837, a Dr. Marshman yn cael ei gladdu ar y 6ed, sef y diwrnod cynt; felly, heb dderbyn clwyf ychwanegol i'w feddwl mawr, claddwyd Cenadaeth Serampore, wrth yr hon yr oedd pymtheg mlynedd ar hugain o lafur wedi asio ei galon ef, yn yr un bedd ag yntau.

Talodd Serampore y ddyled drwy ymdrechion y Meistriaid Mack a Leechman, ac eisteddodd yr ad-undeb yn dawel ar bob meddwl. Oddiar hyny hyd yn awr, y mae yr ad-undeb wedi para, "yr hen bethau a aethant heibio;" y mae Arglwydd y cynhauaf wedi mawr fendithio llafurwaith ei weision, ac y mae ychwanegiadau parhäus yn cael eu gwneuthur at rifedi cenadon y Gymdeithas; er hyny, y mae mwy o waith nag sydd o weision, a mwy o dreulion nag sydd o arian. Wrth edrych yn ôl at frodyr Serampore, at Heber, a Morrison, ac eraill, y mae pawb yn dywedyd, "Cewri oedd ar y ddaear y dyddiau hyny;"

ond gall pawb ddywedyd hefyd, "Cawri *sydd*." Y mae yna olyniaeth o gewri yn perthyn i'r holl gymdeithasau cenadol, ac y mae Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr wedi cael ei chyfran o honynt. O amser Mr. Chamberlain, heibio i ardderchog lu o genadon, hyd at Mr. Evans, y Cymro twymngalon ag sydd yn awr yn Allahabad, y mae yna ymroddiad i'r gwaith. O amser Dr. Yates, heibio i Mr. Parsons, yr hwn sydd newydd farw, hyd at Mr. Wenger, onid yw y Gymdeithas wedi cael rhifedi o ddynion wedi eu cymhwyso at y gwaith o ddiwygio cyfieithiadau blaenorol, ac i wneuthur rhai newyddion hefyd, fel ag y mae Gair Duw wedi cael ei gyfieithu yn awr gan genadon y Gymdeithas hon i dros *hanner cant* o ieithoedd a changen-ieithoedd? Y cyfieithiadau yma a arferid gan genadon y cymdeithasau eraill; ond yr oedd yna *un* gair yn rhoddi tramgwydd iddynt, sef, cyfieithiad *baptizo*. Yr oedd y Bedyddwyr yn ei gyfieithu fel y dysgwylid iddynt wneuthur; ond o'r diwedd, dygwyd y pwnc dan sylw y Fibl Gymdeithas, a'r canlyniad fu attal pob cymhorth arianol at y cyfieithiadau hyny oddiwrth Gymdeithas Genadol y Bedyddwyr, am na buasai y cyfieithwyr yn arferyd rhyw air heblaw yr un a arferent am y gwreiddair *baptizo*. Arferir y cyfieithiadau eto, ond yr *un* gair, yr hwn a newidir. Yr oedd hyn yn golled arianol fawr i'r Gymdeithas Genadol, a gorfu iddi gael llawforwyn mewn cymdeithas a elwir y Gymdeithas Gyfieithiadol, yr hon a ffurfiwyd yn 1840. Y mae ceisiadau wedi cael eu gwneuthur i gael eto gynnorthwy y Fibl Gymdeithas, ond yn aflwyddiannus hyd yma. Y mae Mynegiad diweddaf Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr yn rhoddi hanes yr ymgais olaf a wnaethpwyd yn y geiriau canlynol:—

"Gyda golwg ar y Bibl Bengaläeg, rhaid gwneuthur ychydig sylwadau eglurhäol. Yn 1867 darfu i Fibl Gymdeithas Gynnorthwyol Calcutta alw ar genadon pob enwad yn Bengal, i fynegu eu barn ar deilyngdod y cyfieithiad darparedig gan yr ysgolhaig enwog, y Dr. Yates, yr hwn a ad-olygwyd gan Mr. Wenger, a'r hwn er ys rhai blynyddoedd sydd wedi bod mewn gwasanaeth gan bob cangen o'r eglwys. Yn y canlyniad cafwyd allan, tra yr oedd cenadon Eglwys Loegr, gydag ychydig eithriadau, yn cydnabod fod y cyfieithiad yn ddealladwy ac yn ieithweddol, achwynent nad oedd yn ddigon ffyddlawn i'r gwreiddiol. Yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn gofyn am radd o lythyrenoldeb ag a fuasai yn marn eraill, yn ddinystriol i briodoldeb ieithweddol. Ar y llaw arall, darfu i'r cenadon Ymneillduol ddadgan eu boddlonrwydd i'r cyfieithiad, ac i'r egwyddorion ar ba rai yr oedd wedi ei wneuthur, er yn cydnabod fod lle i welliadau pellach. Dan yr amgylchiadau hyn, y mae Pwyllgor Bibl Gymdeithas Gynnorthwyol Calcutta wedi penderfynu mabwysiadu, ac i fyned ymlaen i argraffu y cyfieithiad darparedig gan Mr. Wenger, ac i barhâu i'w ddefnyddio nes y byddo ger eu bron raglun cyflawn o'r cyfieithiad arall ar egwyddorion y pleidiau gwrthwynebol i'r cyfieithiad presennol.

"Wrth chwilio y beïau a osodid o flaen y Fibl Gymdeithas Gynnorthwyol, canfyddid fod amrywiol o'r cyfnewidiadau a ddymunid yn cael eu gwneyd i fyny o eiriau cyfystyr, neu ddewisiadol. Gan hyny crybwyllwyd wrth Mr. Wenger y buasai argraffiad yn meddu cyfeiriadau ymyllenol, yn cynnwys y cyfryw ddewis-eiriau, fel ag a welir mewn amryw o'r argraffiadau Seisnig o'r Cyfieithiadau Awdurdodedig, ac a gyhoeddir

gan y Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, yn debyg o gyfarfod golygiadau llawer o bersonau, yn gystal ag ychwanegu defnyddioldeb y cyfieithiad. Cyttunwyd ar gynffurf o gydweithrediad â Chymdeithas Gynnorthwyol Calcutta, dau o aelodau pa un oedd i osod dan sylw Mr. Wenger, ac i dderbyn ei gymeradwyaeth iddynt, y cyfryw ddarlleniadau ag a olygent hwy yn ddymunol eu gosod ar ymylon yr argraffiad diwygiedig ag oedd Mr. Wenger eisoes wedi ei ddechreu. Y mae y gynffurf hon wedi ei gwrthod gan y Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, ar y tir, fel y mynega Mr. Wenger, nas gallant hwy ganiatâu darlleniadau ymyl-lenol o gwbl, nac unrhyw gyfeiriadau nad ydynt yn cael eu hargraffu yn y Bibl Seisnig. Nid yw y Pwyllgor yn ewyllysio adfywio dadleuon yr amser gynt; ond gan ystyried fod argraffiadau o'r Bibl, yn cael eu hargraffu gan y Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor yn y wlad hon, yn cynnwys yr unrhyw gyfeiriadau ymyl-lenol, gellir caniatâu iddynt fynegu eu gofid difrifol fod y cynnyg hwn, fel pob cynnyg blaenorol tuag at uno mewn cydweithrediad cyffredin genadon pob enwad yn Bengal, wedi cyfarfod âg anghefnogaeth a gwrthodiad gan y Fibl Gymdeithas gartref. Pa fodd bynag, ni wna y penderfyniad hwn amddifadu Cristionogion Bengal o'r fath waith defnyddiol. Bydd iddo gael ei ddwyn allan gan ein brodyr yn nghyflawnder y rhyddid hwnw ag y maent yn ei fwynhâu, ac ar yr un pryd dygir allan gan Mr. Wenger esboniad bŷr neu gorff o nodiadau ar y Testament Newydd, ar y rhai y mae wedi bod yn llafurio er ys peth amser.

"Ar y gwaith sydd ganddo mewn llaw y mae Mr. Wenger yn sylwi yn wir brïodol, 'Y mae y gorchestwaith yn fawr ac anhawdd, eithr rhaid ymgynnyg arno; a rhaid i mi gyfaddef nas gallaf feddwl am orchwyl mwy anrhydeddus wedi ei osod ar ddyn llygredig na hwn, sef darparu cyfieithiad a fydd ar yr un pryd yn ffyddlawn a chymeradwy i raddau mor fawr ag a ganiatâ y ddwy gamp hono ag ydynt mor anhawdd i'w cyraedd. Yr wyf am i chwi gofio fod y Bengaläeg yn dafodiaith a siaredir gan ddeugain miliwn o bobl.'"

A hwy yn gwneuthur eu goreu, fel yna, gyda y cyfieithiadau, yr hyn sydd yn rhan mor bwysig ac anhebgorol o'r gwaith, nid ydynt wedi esgeuluso y rhan bwysig arall, sef, pregethu; ac y maent wedi teithio cannoedd o filldiroedd, gan lafurio yn galed

I ddadgan fod Iesu yn berffaith Waredwr
I Vahmond Delhi ac i Frahmin Mysore.

Y man diweddaf ag y mae y Gymdeithas wedi feddiannu yw Sonthal, ardal fynyddig ac anwybodus iawn ar gyffiniau Seury. Y mae un o'r cenadon wedi dysgu tafodiaith y brodorion, ac wedi dechreu ffurfio geirlyfr o hóni; ac y mae yn pregethu yn barhäus i'r bobl, y rhai sydd yn gwrando yn astud iawn. Y mae Cymdeithas Genadol Gartrefol wedi cael ei sefydlu yn India at gynnal yr orsaf newydd hon. Y mae cenadaeth Ceylon yn myned rhagddi yn llwyddiannus iawn hefyd, ac ychwanegiadau parhäus yn cael eu gwneyd at yr eglwysi. Y mae y Gymdeithas wedi bod mewn pryder mawr am India lawer tro, yn enwedig yn amser y gwrthryfel Sepwyaidd: ond yn lle niweidio Cristionogaeth, niweidio Hindŵaeth a Mahometaniaeth wnaeth y gwrthryfel creulawn hwnw. Cauwyd genau y ffug-brophwydi hyny ag oedd yn

darogan y buasai cynnydd yr efengyl yn ddinystr sicr i'r Ymherodraeth Ddwyreiniol, ac y mae y Gymdeithas yn fwy llwyddiannus nag erioed yn Hindwstan. Y mae lefain yr efengyl yn gweithio yn nghlampiau aruthrol anmhurdeb ac ofergoeledd, yn tòri allan acw ac yma, gan fod yn allu Duw er iachawdwriaeth cannoedd, a chan ddinystrio yn drwyadl ddifaterwch oesau.

Y mae gan y Gymdeithas genadon yn yr India Orllewinol hefyd. Yn Trinidad, oddiar 1843; yn Bahamas, oddiar 1834; yn Haiti, oddiar 1845; ac yn Jamaica, oddiar 1814. Bu y Gymdeithas yn llwyddiannus iawn yn yr ynys hon hyd wrthryfel 1832, pan y cafodd ergyd trwm aruthrol, fel ag y cafodd cymdeithasau eraill. Yr oedd y planhigwyr eu hunain wedi bod yn siarad yn deyrnfradwrol am y brenin a'r llywyddiaeth gartrefol, ac wedi crëu anesmwythder yn meddyliau y caethion, yr hwn a dòrodd allan yn fflam ddinystriol; ac wedi iddi dòri allan, ar y cenadon yr oedd y bai i gyd, fel y bydd gormeswyr gelyniaethus yr efengyl yn hòni bob amser. Gorfu i'r cenadon ddïanc am eu heinioes o fan i fan rhag cynddaredd milwyr, ynadon, ac offeiriaid Prydeinig, y rhai a arweiniasant derfysgwyr i losgi a dinystrio tai a chapeli y Gymdeithas. Y mae hysbysiadau fel hyn i'w gweled yn hanes y difrod mwyaf anwaraidd ag y clywsom sôn am dano erioed:—"Boreu dydd Iau, Chwefror 9fed, tynwyd i lawr y capel yn Lucea, perthynol i Mr. Abbott, yr hwn oedd yn feddiant i Gymdeithas Genadol y Bedyddwyr Cyffredinol; ymhlith cyflawnwyr yr ysgelerder hwn yr oedd y Parch. B. H. Heath, y Rector; Dr. Binns, yr hwn a darawodd yr ergyd cyntaf â'i fwyell; a Mr. Charles Young, y cwnstabl. Yr oedd Mr. Alexander Campbell, ynad yr heddwch o Lucea, yn wyddfodol, ond ni cheisiodd attal y difrod." Eto, "*Salter's Hill*:—"Llosgwyd y capel hwn drwy orchymyn cadben y milwyr cartrefol ag oedd yn gorsafu yn Latium." Fel yna dinystriwyd o gapeli a thai cenadol werth dros 20,000p. Carcharwyd y cenadon, a bu Gardner a Knibb ar brawf am eu bywyd, ond rhyddhäwyd y ddau yn anrhydeddus. Er hyn oll, yr oedd aelodau yr Undeb Eglwysig Trefedigol yn filain, fel yr oedd yn berygl i'r cenadon fyned allan o'u tai; ac am bregethu, pe buasai ganddynt gapeli i bregethu ynddynt, yr oedd hyny allan o'r cwestiwn. Daeth Mr. Burchell a Mr. Knibb drosodd i Loegr, a thiriasant yma yn mis Mehefin, 1832, i osod o flaen eu cydgenedl wir sefyllfa pethau. Taniwyd y wlad â'u hegluriadau am wir achos y gwrthryfel, teimlodd hyd yn nôd y Llywodraeth, ac yn mis Mai, 1833, dygodd Mr. Stanley, y diweddar Iarll Derby, i'r Senedd "Act i Ddiddymu Caethwasiaeth yn y Trefedigaethau Prydeinig." Methodd y dyfrddorau adamantaidd ddal yn erbyn rhyferthwy hyawdledd Knibb; dyrchafodd cyfiawnder i'r Negro fel *phœnix* o ludw y capeli llosgedig, ac o garchariad y cenadon daeth rhyddid i'r caethwas. Yr oedd y Llywodraeth wedi addaw 6,000p. at y draul o adeiladu y capeli, &c., ac yr oedd Mr. Knibb am gael 6,000p. arall drwy y Gymdeithas. Cododd yr holl enwadau fel un llaw at y gwaith, ac ymhen ychydig wythnosau, yn lle 6,000p., yr oedd Cristionogion Prydain wedi bwrw tua 13,000p. i'r drysorfa. Cyfyng ddigon oedd hi ar y cenadon o hyd, ac yr oedd cyhoeddiad y brenin, ag oedd yn gorchymyn yn gaeth am roddi llonyddwch iddynt, yn cael ei rwygo oddiar y muriau. Llais yr Undeb Eglwysig oedd, "Dim Sectariaid—allan o'r ynys â'r Bed-

yddwyr!" Yr oedd y Llywydd, Iarll Mulgrave, yn cael ei drîn yn anfoneddigaidd iawn hefyd, am fod o blaid y cenadwr—llawn cynddrwg â'r cenadon, ond fod person ei arglwyddiaeth yn cael llonydd. Yn eisteddiad Senedd Jamaica, yn mis Rhagfyr, 1832, traddododd y Llywydd araeth synwyrol iawn, yr hon a liniarodd deimladau maleisus y plànigwyr. Dygwyddodd rhyw anffodion marwol hefyd i amryw o'r boneddigion a fu yn arwain y bobl i ddinystrio y capeli; bu farw un yn wallgof; syrthiodd un arall, ac efe yn offeiriad, mewn gornest; saethwyd un arall gan ei was, yn ddamweiniol, &c. Barner a farner am hyn, effeithiodd yn ddwys ar feddyliau y plànigwyr, yr ynadon, a gelynion eraill y Gymdeithas; ac nid yn unig fe gafodd y cenadon lonydd, ond fe ddaeth amryw o'u hen elynion yn wrandäwyr iddynt. Wedi hyny, cynnyddodd yr eglwysi ymhob ystyr, ac, oddieithr y coleg sydd yno, a chenadaeth Morant Bay, nid ydynt yn pwyso ar y Gymdeithas er ys blynyddau, ond mewn rhyw gyfyngder neillduol, megys methiant y cnŵd siwgr, neu rywbeth cyffelyb. Wele yn canlyn rai o ystadegion eglwysi Jamaica am 1869:—rhif yr eglwysi, 80; y gweinidogion, 33; deiliaid yr Ysgol Sul, 8619; yr athrawon, 828; bu farw, 394; diaelodwyd, 627; bedyddiwyd, 664; yr aelodau, 17,607.

Y mae amgylchiadau gwrthryfel 1865 yn nghôf ein holl ddarllenwyr, a'r modd y dienyddiwyd Mr. Gordon, ac eraill, gan y Llywydd, Mr. Eyre. Y "sectariaid" gafodd y bai am hwn eto, a chafodd Cymdeithas y Bedyddwyr ran helaeth o hóno, yn enwedig Dr. Underhill, ysgrifenydd tramor y Gymdeithas; ond, fel arfer, syrthiodd y cyhuddiadau i'r llawr. Y mae Syr John Grant, Llywydd presennol yr ynys, yn ei genadwri ar ddadgysylltiad a dadwaddoliad yr Eglwys Esgobol, Rhagfyr 31ain, 1869, yn rhoddi y ganmoliaeth uchelaf i "ymdrechion canmoladwy" Cymdeithas y Bedyddwyr, o 1814 hyd 1869. Yn fuan wedi y gwrthryfel, ar gais taer Syr Henry Storks, Llywydd yr ynys ar ol Mr. Eyre, sefydlodd y Gymdeithas genadwr yn Morant Bay, tarddle gwrthryfel 1865, ac y mae wedi bod yn llwyddiannus iawn yn y gymydogaeth isel hon; mae yno eglwys o 185 o aelodau gweithgar, un arall gerllaw gyda 461 o aelodau, dwy ysgol ddyddiol, a phump o Ysgolion Sul; y mae amryw orsafoedd cenadol wedi cael eu hagor hefyd yn uwch i'r làn i'r mynyddoedd. Y mae dros 200 o weinidogion yn Jamaica, ond y mae y parth mynyddig hwn wedi cael ei lwyr esgeuluso ganddynt oll drwy y blynyddau. Hyderir y bydd ymdrechion y Gymdeithas o fendith i'r wlad fynyddig yma, yr hon sydd wedi gweled cymaint o anghyfiawnder a galar, ac y gellir dywedyd allan o law,—"Bydd dyrnaid o ŷd ar y ddaear ymhen y mynyddoedd: ei ffrwyth a ysgwyd fel Libanus."

Y mae y Gymdeithas wedi bod yn awyddus er yn gynnar am efengyleiddiad Affrica, a danfonodd ddau ŵr ieuanc allan, yn 1795, i'r wlad hono; ond dychwelodd un yn glaf, a chwerylodd y llall â'r awdurdodau trefedigaethol, a gorfododd y Llywydd ef i ymadael. Bu y Gymdeithas yn ceisio sefydlu gorsafoedd cenadol yn nghymydogaeth Graham's Town hefyd, Affrica Ddeheuol, ond ni fu dim llwyddiant parhäus ar hyny, er fod yn y parth hwnw heddyw bedair o eglwysi yn perthyn i'r Bedyddwyr. Yn 1840, wedi ymgynghori â Mr. Knibb, yr hwn oedd yn Lloegr ar y pryd, penderfynodd y Gymdeithas wneuthur prawf ychwanegol ar Affrica dywell, gan ddechreu yn ei pharth gorllewinol.

Cyn rhoddi braslun o'r mudiad hwn, goddefer i ni grybwyll un ffaith fechan. Yn fuan wedi y rhyddhâd cyflawn yn Jamaica, darfu i Affricanwr, o'r enw Keith, ag oedd yn aelod gyda Mr. Gardner, werthu y cwbl ar a feddai, gan benderfynu gweithio ei ffordd mewn llong i'w wlad enedigol, a chyhoeddi i'w frodyr yn ol y cnawd anchwiliadwy olud Crist; aeth, a phregethodd yr efengyl ar *y llecyn* o'r hwn y lladratesid ef.

Y cenadon a aethant allan y waith hon oedd, y Parch. John Clarke a Dr. Prince. Yr oedd y cyntaf yn weinidog ffyddlawn a llafurddwys yn Jericho, Jamaica; ac yr oedd yr olaf yn feddyg llwyddiannus yno hefyd. Ni chawsent fyned yno yn agerlongau y Llywodraeth; gan hyny, aethant mewn llong fechan ag oedd yn cludo glô i'r rhai hyny, a chyrhaeddasant Fernando Po yn mis Ionawr, 1841. Yr oeddent am fyned drosodd o'r ynys hon i'r cyfandir Affricanaidd,—Bimbia, Cameroons, &c.; ond gan fod gorchymyn wedi dyfod o Loegr am beidio rhoddi dim cynnorthwy i'r cenadon, fe aethant i'r cyfandir mewn cŵch bychan ag oedd yn myned drosodd am eifr. Y mae y gangen yma wedi aros hyd yn awr, ond gormod gwaith fyddai ei dilyn hi yn fanwl. Sefydlodd yn nhref Clarence, Fernando Po, a bu yn llewyrchus yno am flynyddau; ond gan fod yr ynys yn perthyn i'r Hispaen, daeth y Jesuitiaid drosodd, ac erlidiasant y cenadon a'r aelodau allan o hóni, y rhai a gymerasant noddfa ar y cyfandir, yn Amboises Bay, ac a adeiladasant le bychan yno, gan ei alw yn Victoria. Yr oedd y Jesuitiaid wedi bod yn gaeth iawn ar y Meistriaid Diboll a Saker,—ni chawsent fedyddio neb ond Prydeinwyr, na gwneuthur dim ond a welai yr offeiriaid Pabaidd yn dda; yr oeddent hefyd wedi gwneuthur colledion mawr i'r Gymdeithas. Ysgrifenwyd at Lywodraeth Hispaen, ac wedi hir ohebu, cafwyd 1,500p. o iawn ganddi, yn 1861, am y colledion. Y mae Mr. Saker yn un o'r cenadon mwyaf hunanymwadol ac ymroddgar a fêdd y Genadaeth, ac y mae wedi cyfieithu ac argraffu y Bibl i iaith y wlad, sef y Dualäeg. Nid oedd yn iaith o gwbl pan aeth efe yno; nid oedd na llythyren nac arall yn perthyn iddi; ond yn awr y mae iddi ei llythyrenau, ei sillebyr, ei gramadeg, ei llyfrau, a'i Bibl; ac y mae Mr. Saker, drwy lafur annhraethol, wedi ei hychwanegu at ieithoedd ysgrifenedig y byd. Dywedai Mr. Saker wrth yr ysgrifenydd, dro yn ol, ei fod yn chwareu *marbles* am oriau â'r plant hanner-noethion, er mwyn pigo i fyny eiriau bychain yr iaith, fel ag i'w chael yn gyflawn, ac yn gludiedydd pwrpasol i gario iddynt y newyddion am y Groes. Araf iawn yw mynediad y gwaith da ymlaen yn y lle paganaidd hwn.

Y mae y Gymdeithas wedi sefydlu gorsafoedd yn China, oddiar 1861, ond nid yw wedi bod yn ffodus iawn yn y wlad ehangfawr hon. Y mae dau genadwr wedi myned allan at yr un oedd yma o'r blaen, sef, Mr. Laughton, yn Chefoo. Y mae gan y Gymdeithas genadwr yn Krageroe, Norway, yr hwn sydd yn gweithio yn llwyddiannus. Y mae gan y Gymdeithas genadon yn Llydaw hefyd, oddiar 1834, ac y mae Mr. Jenkins, y cenadwr cyntaf, wedi gweithio yn llafurus yno, yn ngwyneb gwrthwynebiadau mwyaf maleisus yr offeiriaid Pabaidd. Yr oedd M. Le Gonidec, cyfaill y Parch. T. Price *(Carnhuanawc)*, ac enwogion Cymreig eraill, wedi cyfieithu y Bibl i'r Llydawaeg; ond yr oedd yr iaith yn rhy goeth ac ansathredig, fel nas gallasai y werin ei ddeall; gan hyny, cyfieithodd Mr. Jenkins y Testament Newydd drachefn, fel y dywed ar y wyneb-ddalen—"*Lekeet e Brezonec, ha reizet*

*herves ar vam-scrid Gregach.*" Y mae y cyfieithiad hwn yn cael ei ddeall, ac y mae y Bibl-gludwyr yn gwerthu ugeiniau o gopïau o hóno yn flynyddol. Y mae Mr. Jenkins wedi ysgrifenu llawer o draethodau a llyfrynau buddiol, y rhai sydd wedi cael eu lledaenu yn bur gyffredin drwy y wlad; ac y mae y Fibl Gymdeithas a Chymdeithas y Traethodau wedi bod yn garedig iawn gyda threulion argraffu y Testament a'r traethodau. Mab ydyw Mr. Jenkins i'r diweddar Hybarch John Jenkins, D.D., gweinidog y Bedyddwyr yn Hengoed, Morganwg. Y mae y brawd diflino hwn wedi bod ar ymweliad â ni yn ddiweddar, ac y mae Dr. Thomas, Pontypool, Dr. Prichard, Llangollen, a Dr. Price, Aberdâr, wedi addaw cefnogi ei appeliad am gael casgliad blynyddol yn ysgolion Sul Cymru, at addysgu y Llydawiaid Pabyddol a thywyll.

Nid ydym wedi cymeryd gofod i hysbysu ystadegion cyfnodol y Gymdeithas; gan hyny, nyni a roddwn gyfran o honynt yma, fel yr oeddent yn sefyll yn 1869:—

| | Cenadon. | Cynnorthwywyr. | Capeli. | Gorsafoedd. | Ysgoleigion Dyddiol. | Ysgoleigion Sul. | Bedyddiwyd. | Aelodau. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| India .......... | 39 | 139 | 75 | 99 | 2784 | 578 | 195 | 2380 |
| Ceylon ........ | 3 | 19 | 24 | 73 | 587 | 272 | 53 | 557 |
| China .............. | 1 | 8 | 3 | 3 | — | — | 7 | 35 |
| Llydaw ........ | 2 | 5 | 4 | 13 | 31 | 25 | 5 | 46 |
| Norway ......... | 1 | — | — | 8 | — | — | — | 183 |
| Affrica ......... | 5 | 3 | 1 | 7 | 122 | 190 | 3 | 117 |
| India Orllewinol | 4 | 40 | 64 | 118 | 14 | 1322 | 118 | 3408 |
| | 55 | 209 | 171 | 321 | 3538 | 2387 | 381 | 6726 |

Wrth y cynnorthwywyr yn y daflen uchod, yr ydym yn golygu y pregethwyr brodorol, y rhai gyda'r cenadon, sydd wedi gwasgaru 4795 o'r Ysgrythyrau, a 30,184 o draethodau yn ystod y flwyddyn ddiweddaf. I gyfarfod â'r gwaith ag ydym wedi nodi, y mae'r Gymdeithas wedi derbyn y symiau canlynol o 1859 hyd 1869:—

| Blwyddyn. | At Amcanion Cyffredinol. | | | At Amcanion Neillduol. | | | Cyfanswm. | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | P. | S. | C. | P. | S. | C. | P. | S. | C. |
| 1859 | 15,782 | 15 | 0 | 10,730 | 6 | 3 | 26,513 | 1 | 3 |
| 1860 | 16,018 | 4 | 5 | 13,528 | 11 | 0 | 29,546 | 15 | 5 |
| 1861 | 18,871 | 4 | 5 | 11,597 | 10 | 11 | 30,468 | 15 | 4 |
| 1862 | 19,952 | 17 | 4 | 13,198 | 7 | 6 | 33,151 | 4 | 10 |
| 1863 | 15,745 | 0 | 0 | 11,444 | 3 | 0 | 27,189 | 3 | 0 |
| 1864 | 20,936 | 1 | 4 | 12,315 | 3 | 10 | 33,251 | 5 | 2 |
| 1865 | 18,917 | 15 | 3 | 19,827 | 0 | 11 | 28,744 | 16 | 2 |
| 1866 | 20,277 | 0 | 0 | 7,439 | 12 | 6 | 27,716 | 12 | 6 |
| 1867 | 20,105 | 8 | 1 | 9,651 | 2 | 11 | 30,105 | 8 | 1 |
| 1868 | 20,233 | 16 | 4 | 10,128 | 8 | 9 | 30,362 | 15 | 1 |
| 1869 | 20,950 | 8 | 2 | 9,605 | 11 | 10 | 30,556 | 0 | 0 |

Wrth "amcanion neillduol" golygir cynnorthwy arbenig yn ngwyneb rhyw amgylchiadau neillduol, megys y newyn yn India, gweddwon ac amddifaid y cenadon, y pregethwyr brodorol, &c.

Y mae amryw o eglwysi y Bedyddwyr yn Llundain, a swyddi dwyreiniol a gogleddol Lloegr, yn pallu cynnorthwyo y Gymdeithas Genadol na'r Colegau, a chan fod llawer o honynt yn bur gyfoethog, y mae eu hymddygiad coeg-dybus yn golled arianol nid bychan. Cynnrychiolid y Bedyddwyr yma yn eithaf têg gan y diweddar Mr. Gadsby, Manchester, a'r presennol Mr. Wells, Llundain, Byddai llawer o hen Fedyddwyr Cymru hefyd yn erbyn y sefydliadau uchod, a'u cyffelyb, am nad oedd gorchymyn pendant dros eu ffurfio; ond yr oedd y rhyddgarol Morgan John Rhys, gweinidog Penygarn, Pontypool, ac eraill, yn dal fod eisieu casglu "at ledaenu yr efengyl ymysg y Paganiaid," hyd yn nôd yn yr un amser ag yr oedd Dr. Carey yn ymofidio ac yn ymorchestu am sefydliad y Gymdeithas Genadol. Y mae eglwysi Cymru yn bresennol yn gwneuthur eu rhan. Casglasant fel hyn yn 1868—69:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Deheubarth.............. | 1730 | 10 | 5 |
| Gogleddbarth........... | 368 | 4 | 8 |
| Cyfanswm ..... | P2098 | 15 | 1 |

Y mae Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr ar drothwy cyfnewidiadau pwysig yn ei ffurfiad cyfansoddol, y mwyaf pwysig o ba rai yw gwneuthur yr eglwysi yn hunan-gynnaliol, a pheidio rhwymo y cenadon i lawr i fod yn weinidogion sefydlog, ond eu cadw i symud o fan i fan yn efengylwyr teithiol. Y mae dynion goreu yr enwad wedi bod yn ysgrifenu dros ac yn erbyn y cyfnewidiadau a gynnygir, ac y mae rhybuddion wedi cael eu rhoddi yn y cyfarfod blynyddol diweddaf y dygir y cynnygion hyn ymlaen yn y nesaf. Y mae'r Pwyllgor yn edrych yn ffafriol ar y cwestiwn o hunan-gynnaliaeth, fel y gwelir oddiwrth y penderfyniadau canlynol. Y mae Mr. Smith, y cenadwr gweithgar ag sydd gan y Gymdeithas yn Delhi, wedi penderfynu profi mwynderau rhyddid yr egwyddor hunan-gynnaliol, ac y mae'r Pwyllgor wedi pasio y penderfyniadau canlynol, a'u danfon i Mr. Smith:—

"1. Fod y Pwyllgor yma wedi gwrando, gyda diolchgarwch lawer i Dduw, ar benderfyniad y Cristionogion brodorol yn Delhi, i roddi fyny bob cysylltiad arianol â Chymdeithas Genadol y Bedyddwyr, ac i fyned ymlaen â'r gwaith o efengyleiddio, fel y byddo Duw yn eu llwyddo, allan o'u cyfnoddau annibynol eu hunain; a'u bod yn llongyfarch eu brodyr am y penderfyniad iachusol a gwrol hwn, yr hyn a olygant yn arwydd o'u cariad at yr Arglwydd Iesu Grist, ac yn debygol o fod o wasanaeth mawr iddynt mewn hwylysu gwaith yr Arglwydd, heblaw bod yn esiampl hyfryd o ymroddiad cristionogol i'r holl eglwysi brodorol yn yr India.

"2. Fod y Pwyllgor yma yn cyflwyno i Mr. Smith eu diolchgarwch calonog am ei ymdrechion difrifol i drwytho meddyliau Cristionogion brodorol Delhi âg ysbryd annibyniaeth ac hunan-aberthiad yn y gwaith o efengyleiddio, ac yn ei lon-gyfarch am y llwyddiant sydd wedi canlyn ei ymdrechion."

Y mae Mr. Evans, Allahabad, wedi ffurfio Cymdeithas Genadol Gartrefol yn India, i'r hon y mae efe yn ysgrifenydd, ac am yr hon Gymdeithas yr ydym wedi crybwyll eisoes. Y mae Arglwydd Lawrence, Llywyddion Bengal, a'r Dybarthau Gogledd-Lewinol, gyda llawer eraill o gyfeillion y Gymdeithas, wedi cyfranu ati. Y mae'r Pwyllgor wedi danfon y penderfyniad canlynol a basiodd at Mr. Evans:—

"Fod y Pwyllgor yn cymeradwyo y mesurau mabwysiedig gan Mr. Evans a'i gydlafurwyr; ac yn edrych gyda boddlondeb ar y mesurau y maent wedi eu cymeryd gyda golwg ar godi trysorfa annibynol i gynnal y llafurwyr yn Nosbarth Sonthal, a'u cynnygiad i ddwyn ymlaen yn yr India, ymhlith unrhyw ddosbarth o'i phoblogaeth y gwaith o efengyleiddio trwy adnoddau wedi eu codi yn yr India ei hun."

Bydded amynedd a doethineb yn llywodraethu y rhai fyddo yn trin y cyfnewidiadau bwriadedig, a bendith Duw yn coroni eu hymdrech i wneuthur y Gymdeithas yn fwy llesiol i'r paganiaid.

Y mae enwad y Bedyddwyr yn Lloegr yn ddwy gangen—y Neillduol a'r Gyffredinol, neu y Galfinaidd a'r Arminaidd. Y mae'r ffrydiau Antinomaidd a achosodd yr ymraniad yma wedi pallu er ys tro, ac nid oes yn bresennol unrhyw wahaniaeth athrawiaethol rhwng y ddwy gangen; ond y maent yn ddwy o hyd, ac y mae gan y naill a'r llall ei sefydliadau annibynol. Y mae gan y Bedyddwyr Cyffredinol eu Cymdeithas Genadol, ac y mae wedi gwneuthur llês mawr. Bu y gangen Gyffredinol ar lithro i Undodiaeth, ond cyfododd Dan Taylor a ffurfiodd gangen newydd o'r hen gangen, yn 1770; ac yn 1809, cynnygiodd Mr. Pike, Derby, fod Cymdeithas Genadol i gael ei ffurfio. Ni lwyddodd, modd bynag, i'w sefydlu hyd 1816; danfonasant Mr. Hudson i Ningpo, China; ond ymhen ychydig flynyddau troisant eu holl nerth i Orissa, tiriogaeth ar gyffiniau Angorfa Bengal, prifddinas yr hon yw Cuttack. Arosodd Mr. Hudson ar ei draul ei hun yn Ningpo, ac yn y porthladd hwnw y mae'r hen genadwr hybarch hyd heddyw, ac efe yn awr wedi cyraedd yr oedran ag sydd "yn nyddiau ein blynyddoedd." Ningpo ydyw yr unig fynedfa borthladdog i diriogaeth ag sydd yn rhifo chwe' miliwn ar hugain o breswylwyr. Y mae Mr. Hudson wedi bod yn llafurus iawn yno, ac wedi cyhoeddi 22 o draethodau a llyfrau Chinäeg, ymhlith pa rai y mae Taith y Pererin, ac argraffiad diwygiedig o Destament Chinäeg Dr. Marshman.

Hindŵaid yw trigolion Orissa, ac y maent yn hynod o isel eu moesau, a'r hyn a fu yn rhwystr mawr ar ffordd eu gwareiddio oedd y ffaith fod ein Llywodraeth ni yn wincio ar ofergoeledd y brodorion, ac yn cysylltu ei hun âg addoliad anfoesol Juggernaut, drwy ddal tiroedd y deml, ystablach mewn trethu perthynol iddi, &c. Y mae coleg rhagorol wedi cael ei sefydlu yma oddiar 1824, ac amryw ysgolion dyddiol, gyda noddfëydd cysurus i amddifaid, &c. Y mae llafur y cenadon yma yn gyfunrhyw â llafur eu brodyr yn mharthau eraill India. Y mae Mynegiad y Gymdeithas hon am 1869 yn rhoddi i ni yr ystadegau canlynol:—rhif y gorsafoedd, 13; y capeli, 8; y cenadon, 5; y cenadesau, 7; y pregethwyr brodorol, 16; yn yr ysgolion Seisnig, 127; yn yr ysgolion brodorol, 174; yn y noddfëydd i'r amddifaid, 1279; gollyngwyd 2; diaelodwyd, 14; bu farw, 9; adferwyd, 8; bedyddiwyd, 103; yr aelodau, 519; y gwrandäwyr, tua 2,500. Nid yw

llwyddiant y Gymdeithas hon wedi bod yn gyfartal i'w hymdrechion diflino. Yr oedd Dr. Carey wedi gwneuthur llawer dros Orissa mewn cyfieithu, ond y mae'r cenadon ag sydd wedi bod yma, ac yn dilyn ei lwybrau, yn deilwng o glod am ychwanegu llawer at lênyddiaeth y wlad, ac wedi argraffu cannoedd o filoedd o draethodau a llyfrynau yn iaith y bobl, gyda geiriaduron, &c. Y mae'r *Free Will Baptist Missionary Society*, America, wedi danfon cenadon allan i gynnorthwyo yn efengyleiddiad Orissa, ac y mae rhai o'r gorsafoedd wedi cael eu rhoddi i fyny i'r gangen arall o'r enwad, yr hon a aeth i mewn i'w llafur hwynt. Dyna ddydd dedwydd fydd y dydd hwnw, pan " y byddo i'r hwn sydd yn hau, ac i'r hwn sydd yn medi, lawenychu ynghyd."

Blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd oedd blwyddyn Jubili y Gymdeithas yn 1842. Enneiniwyd yr eglwysi âg adnewyddol ysbryd cenadol, ac nis gall ansoddeiriau ei ddesgrifio. Yr oedd y Nefoedd wedi croesawu amryw wahoddedigion o gilfachau dyeithr iawn o'r byd syrthiedig yma,—cilfachau nad oeddent wedi cael eu cynnrychioli o'r blaen yn nghynnulleidfa y gwaredigion, ac yr oedd yr eglwys yn llawenhâu. Ac y mae yn para i lawenhâu, canys o gribau mynyddoedd ffydd y mae'n gweled gwawr cyflawniad yr addewidion yn goreuro y wybren ddwyreiniol. Y mae dylanwad ysgolion lliosog, lledaeniad cynnyrch y wasg, o Angorfa Bengal hyd lànau Himalaya, ac o'r afon Indus ymhell y tu hwnt i'r afon Bramahpootra; y mae cynhyrfiad meddwl y brodorion ynghylch " y ffordd hon," ynghyda gwrthwynebiad Baboo Keshub Chunder Sen* i grefydd ei dadau, a'i sylfaeniad o sect newydd, gyda llawer o bethau eraill, yn profi nad yw miliynau India yn hepian. Eisieu eu deffro oedd, ac yn awr y mae sicrwydd gobaith i'r eglwys gristionogol:—" Daw y rhwygydd i fyny o'u blaen hwynt; rhwygasant, a thramwyasant drwy y porth, ac aethant allan drwyddo, a thramwya y brenin o'u blaen, a'r Arglwydd ar eu penau hwynt."

* Bydd y diwygiwr enwog yma yn Lloegr, gyda thri o gymdeithion, cyn y gwel y darllenydd hwn. "*Progressive Theists*" y galwa y sect newydd ei hunan; ond y mae yma newid barn ac ymchwil.

# DESCARTES A'I DREFN.

I.

YR hyn a ymddengys yn bur eglur i bob darllenydd o hanesiaeth y rhan olaf o'r canoloesoedd yw, mai ysgoloriaeth oedd yn teyrnasu yn benaf, ac yn dwyn yn gaeth feddyliau pob dosbarth o ddynion,—meddyliau y cyffredin oddiallan, a meddyliau y dysgedig ac arweinwyr y bobl oddifewn i'r ysgolion a'r colegau. O herwydd y cysylltiad yr ymgeisid at ei sefydlu rhwng athroniaeth a duwinyddiaeth, ac felly rhwng athroniaeth a chrefydd, cyfrifid gwrthod ymostyngiad a ffyddlondeb iddi, a gŵyro oddiwrth ei deddfau a'i gosodiadau, bron yn bechod anfaddeuol. Yn amser Duns Scotus, ac Occam, prif ysgolorwyr y bedwaredd ganrif ar ddeg, gweithiwyd allan egwyddorion y gyfundrefn hon i'w heithafion pellaf. Nid digon, erbyn hyn, oedd dosranu gwirionedd i'w elfenau hanfodol, heb ymgais hefyd at ddosranu yr elfenau hyny eu hunain yn ddiddiwedd, fel, o ganlyniad, nad oedd egwyddorion blaenaf neu wreiddiol *(primary truths)* yn hanfodi mwyach; ac ymgeisid at ddosranu a gwahaniaethu lle nad oedd gwahaniaeth yn bodoli yn natur pethau; ac, fel y dywed Erasmus, "Y pryd hwn yr oedd geirchwareu dibendraw ynghylch tybiau, perthynasau, ffurfiau, moddau, a dyrys-bynciau, y rhai nas gallasai yr un llygad eu dilyn hwynt allan, ond llygad y *lynx*, yr hwn, meddir, sydd abl, yn y tywyllwch duaf, i weled pethau nad ydynt yn bodoli." Dan y fath amgylchiadau, hawdd yw casglu sefyllfa pob cangen o wybodaeth, y rhai nas gallasent lai na bod yn y cyflwr mwyaf truenus. Y desgrifiad goreu fedrwn roddi o honynt yma ydyw eiddo Arglwydd Bacon:—

"Y mae y celfyddydau," meddai ef, "wedi eu cael eu hunain, hyd yn hyn, yn y cyflwr mwyaf truenus. Nid ydyw athroniaeth, yr hon sydd wedi ei cholli mewn dadleuaeth anffrwythlawn ynghylch geiriau, wedi cynnyrchu yn ystod yr holl ganrifoedd, yr un gwaith neu brawf *(experiment)* abl i ddwyn unrhyw fantais wirioneddol i fywyd yr hil ddynol. Hyd yn hyn, gwasanaethodd rhesymeg i gadarnhâd cyfeiliornad, yn hytrach nag i ymchwiliad am wirionedd. Pa fodd y mae hyn yn bod? Oddiwrth pa beth y mae y tlodi hwn yn y celfyddydau, yn ystod yr amser a aeth heibio, yn deilliaw? Oddiwrth hyn,—eu bod wedi cael eu hysgaru oddiwrth eu gwreiddyn mewn natur a phrofiad. Y mae amryw achosion yn gyfrifol am hyn: Yn 1. Yr hen ragfarn greddfol, y byddai dyn yn ymddarostwng o'r urddas perthynol iddo ef ei hun, os buasai iddo ymarfer ei hun yn faith mewn prawfiadau *(experiments)* a phethau perthynol i fater. 2. Coelgrefydd, ynghyda gwallgofrwydd crefyddol dall, y rhai, ymhob oes, a brofasant eu hunain y gelynion mwyaf anghymmodlawn i'r celfyddydau naturiol. 3. Y sylw neillduol a delid gan y Rhufeiniaid i foesddysg a gwleidyddiaeth, a chan y penau mwyaf goleuedig ymhlith y Cristionogion i dduwinyddiaeth. 4. Parchedigaeth i'r oesoedd gynt, a gor-awdurdod rhai athronwyr. Ac yn olaf, y gwangalondid a'r anobaith o fod yn abl i orchfygu y lliaws anhawsderau mawrion oedd yn ymddangos yn erbyn yr

ymchwiliad i natur. Gellir olrhain sefyllfa isel y celfyddydau ac athroniaeth i'r rhai hyn oll."

Ond tua dechreuad y bymthegfed ganrif, cyn ysgrifenu hyn gan Bacon, yr oedd dylanwadau grymus eisoes yn dechreu gweithio, y rhai, bob yn ychydig, a wanhasant ac a ddadymchwelasant yn hollol deyrnasiad ysgoloriaeth. Nid hawdd oedd i'r meddwl dynol, yr hwn oedd, am gymaint o amser, bellach, wedi colli yr iawn lwybr i gyraedd gwir wybodaeth, ddwyn ei hun yn ol i'r ffordd gywir, ac ad-ennill sefyllfa y gallasai o hóni gychwyn yn yr iawn gyfeiriad. Er hyny, darfu i'r amgylchiadau a ddygwyddasant yn ngwledydd Ewrop ar y pryd, barotôi y ffordd i raddau mwy nag y gallesid dysgwyl. Bu darganfyddiad y gelfyddyd o argraffu, cymeriad Constantinople, darganfyddiad y byd newydd, y Diwygiad Protestanaidd, ynghyda phethau eraill, yn foddion effeithiol i ddwyn meddwl prif ddynion yr oes hono i deimlo yr angen o well addysg a chyfarwyddyd,—diffyg mawr y cyfundrefnau oedd yn bod ar y pryd,—ac ymofyn am well athroniaeth; a buont hefyd yn foddion, yn enwedig cymeriad Constantinople, i ddwyn o fewn eu cyraedd weithiau yr hen awduron Groegaidd yn eu ffurf wreiddiol, fel ag y daethant o law eu hawdwyr. Yr oedd y pethau hyn ynghyd wedi effeithio cyfnewidiadau mawrion cyn amser Bacon, fel nas gallasai sefyllfa pethau fod mor isel, pan yr ysgrifenodd ef yr uchod, ag oeddent wedi bod cyn hyny. Pa fodd bynag, dyna y desgrifiad a gawn ganddo o'r oes yr oedd efe yn byw ynddi. Er fod rhagbarotöadau mawrion wedi ac yn cymeryd lle, eto yr oedd y gwaith o *grëu cyfnod newydd* yn y celfyddydau ac mewn athroniaeth, yn aros yn barhäus heb ei wneyd. Hyd yn hyn, nid oedd llyffetheiriau ysgoloriaeth wedi cael eu llwyr ddryllio a'u taflu ymaith, na llwybr newydd i chwilio allan wirionedd ymhob cangen o wybodaeth, ac yn neillduol mewn athroniaeth, wedi cael ei ddarganfod, nac hyd yn nôd wedi cael ei gynnyg gan neb. Yr oedd y gorchwyl pwysig hwn wedi cael ei adael i Bacon a Descartes. Hwynthwy oedd i ddechreu y cyfnod newydd, i sefydlu y ffordd newydd i ymchwilio am wirionedd, i ymsymud drosodd, megys, o'r hen fyd o athroniaeth i'r byd newydd o athroniaeth; Bacon yn y celfyddydau, a Descartes mewn athroniaeth brïodol.

Ymddangosodd Bacon yn agos i ddeugain mlynedd o flaen Descartes. Erbyn i'r olaf ddyfod i'r golwg, yr oedd y cyntaf wedi myned drwy y rhan fwyaf o ddygwyddiadau a chyfnewidiadau ei fywyd fel athronydd ac fel swyddwr yn y wladwriaeth. Ganwyd Rene Descartes yn y flwyddyn 1596, yn La Haye, yn Touraine. Yr oedd yn disgyn o deulu anrhydeddus, ac yr oedd ei dad yn aelod o Senedd Bretagne. Bu ei fam farw ar ei enedigaeth ef; ac nid oedd ei gyfeillion yn dysgwyl y buasai yntau yn faith heb ei dilyn, gan ei fod yn hynod wael ac afiach, ac felly y parhäodd, i raddau, hyd nes y cyrhaeddodd ei ugeinfed mlwydd oed. Er hyny, yn y flwyddyn 1604, anfonwyd ef i goleg yn Fliche. Hynododd ei hun yn fuan yma, oblegid ei awydd mawr am wybodaeth, a'i ymroddiad llwyr i'w efrydiaeth; ac adnabyddid ef ymhlith ei gydfyfyrwyr wrth yr enw, "yr athronydd ieuanc," o herwydd ei arferiad o gwestiyno yn ammhëus. Yr oedd yn gallu dysgu yn gyflym, a byth yn blino dysgu. Wedi gadael y coleg, bu am flynyddoedd yn crwydro, heb ymsefydlu yn unman,—yn awr yn Paris, wedi hyny yn gwasan-

aethu yn y fyddin, wedi hyny yn teithio o le i le; wedi hyny yn Holland, lle, o'r diwedd, yr ymgartrefodd. Yr oedd yn caru Holland, am ei bod yn fwy manteisiol iddo i astudio ei gynllun, ac i'w berffeithio, hyd y gallai, yr hwn a'i gwnaeth mor enwog mewn cysylltiad âg athroniaeth. Gwedi treulio agos i ugain mlynedd yma fel hyn, anfonwyd am dano gan y frenhines Christiana o Sweden, i'w haddysgu hi yn egwyddorion ei athroniaeth, gan ei bod wedi cael ei boddloni mor fawr yn ei atebion i'r gofyniadau a anfonasai iddo mewn perthynas i'r daioni penaf *(summum bonum)*. Yn y flwyddyn ganlynol, 1650, bu farw, a chladdwyd ef yn Stockholm. Yn y flwyddon 1666, symudwyd ei weddillion oddiyno i Ffrainc, a chladdwyd hwynt drachefn yn St. Genevieve du Mont.

Nid ystyrir Descartes gan lawer o feirniaid, o'r rhai y mae Condorcet, yn ddim amgen na *thad yr ysbryd o rydd-ymchwiliad* a gychwynwyd ymhob cangen o wybodaeth yn yr ail ganrif ar bymtheg. "Yr oedd gan Bacon," meddant, "ysbryd ac athrylith athroniaeth i raddau helaeth iawn, ond nid oedd ganddo y cyfryw ag a berthyn i'r celfyddydau, ac yr oedd ei *drefn* yn gynnwysedig o reolau, y rhai nad oedd efe yn alluog i'w dwyn allan. Yr oedd chwaeth Galileo yn rhy gyfyngedig at wyddoneg ac anianyddiaeth i'w gymhwyso ef at hyn yma. Ond yr oedd Descartes yn meddu ar y *chwaeth* a'r *dalent* i'w gymhwyso ef i'r gwaith hwn, ac efe oedd yr un a roddodd ysgogiad i'r cynhyrfiad cyffredinol." Ond nid yw yr opiniwn hwn, yn gyffredin, yn cael ei ystyried yr un cywir am gysylltiad Descartes âg athroniaeth. Ystyrir ef yn hytrach, yn deilwng o safle uwch—yn *dad athroniaeth*, neu *athroniaeth feddyliol ymarferol.* Ymddengys yn bur eglur mai hwn yw ei le prïodol ef, y cylch a lanwai, pan ystyrir mai casgliadol *(deductive)* ac nid cyfosiadol *(inductive)* yw egwyddor ei Drefn ef; ac hefyd nad oedd efe yn rhoddi ond lle ail-raddol i ymbrawf *(experiment)*, yr hwn a saif yn y lle blaenaf mewn anianyddiaeth. Nid anmhrïodol, dybygem, fyddai dywedyd, gan gysylltu golygiadau y ddwy blaid, mai efe oedd tad yr *ysbryd* o rydd-ymchwiliad oddifewn, yn gystal a thad y Drefn oddiallan, i ymchwilio am wirionedd yn maesydd athroniaeth, yn neillduol athroniaeth feddyliol ymarferol.

Fel hyn, y mae yn amlwg nad o herwydd iddo chwanegu llawer at ein gwybodaeth o'r natur ddynol y mae gan Descartes hawl i'r teitl o Dad athroniaeth ddiweddar. Pe hyn fuasai y rheswm, gallasai eraill ddyfod ymlaen, a dyweyd fod ganddynt hwy, ar dir cyfreithlawn, fwy o hawl ynddo nag ef. Y mae ei glod ef yn gorphwys ar y Drefn i astudio egwyddorion y meddwl dynol, yr hon a ddyfeisiwyd ganddo pan nad oedd ond tair ar hugain oed, ac a gyflwynwyd ganddo wedi hyny i'r byd, yr hwn a'i derbyniodd, ar y cyfan, yn groesawus, gan ei chyfrif yn barhäus yr oreu a'r unig un wirioneddol. Er hyny, cynnwysir yn athroniaeth y cyfnod diweddaf hwn rai egwyddorion a nodwyd allan ganddo ef; ond nid ydyw y rhai hyn ond ychydig a dibwys mewn cymhariaeth i'r hyn a chwanegwyd gan eraill. Y prif bethau a chwanegwyd ganddo ef ydynt y rhai canlynol:—

1. Ei eglurhâd o'r cyfeiliornad cyffredin mewn rhesymeg o geisio rhoddi darnodiad o eiriau sydd yn gosod allan syniadau rhy syml ac anranedig i ganiatâu dosraniad o gwbl.

2. Ei sylwadau ar y gwahanol ddosbarthiadau o gyfeiliornadau; yn neillduol y rhai hyny sydd yn cyfodi oddiar ddefnyddiad iaith. Gosodwyd y rhai hyn ger bron ganddo gyda mwy o fanylrwydd, a chyda mwy o symledd, ac yn gyfaddasach i chwaeth yr oes, na chan ei ragflaenydd, Bacon.

3. Ei waith yn prïodoli yr awdurdod oruchaf i dystiolaeth ymwybyddiaeth *(consciousness)* mewn pynciau yn perthyn i'r meddwl dynol.

4. Y gwahaniaeth a nododd allan sydd yn hanfodi rhwng ansoddau neu nodweddau blaenaf ac ail-raddol defnydd *(primary and secondary qualities of matter)*.

Y pwysicaf oll a gyfranwyd ganddo yw yr olaf, fel ychwanegiad at uchaniaeth *(metaphysics)*. Gyda golwg ar y trydydd, pe gwahaniaethid rhyngddo a'i Drefn—yr hyn sydd anhawdd ei wneyd gan ei bod yn seiliedig arno—gallesid edrych arno fel chwanegiad pwysig iawn at athroniaeth yr amseroedd.

Ond fel yr awgrymwyd yn flaenorol, nid yr un o'r rhai hyn na'r oll ynghyd fel chwanegiadau at yr ystôr o wybodaeth athronyddol oedd eisoes yn bod, allasent fod yn rhesymau digonol dros enwogrwydd Descartes ar faes athroniaeth ddiweddar. Ansicrwydd oedd afiechyd mawr ei oes ef, a'r oesoedd blaenorol, a diffyg dim tebyg i faen-prawf gwirionedd, neu safón wrth yr hwn y gallesid mesur pob peth a ymddangosai fel gwirionedd, i gael gweled a oedd felly ai peidio. Gwaith mawr Descartes oedd cyflawni yr angen hwn; cyflwyno Trefn i'r byd drwy yr hon y gâllasai gyraedd *sicrwydd* a *gwirionedd;* neu fel y dywed Schwegler, "Nid yn unig darfu iddo gynnyg, fel Bacon, egwyddor, yr hon sydd *drefniadyddol yn unig*, nac ychwaith fel Bohm, gyflwyno *cipdremiadau* athronyddol, heb yr un egwyddor drefniadol; ond dygodd ef i fewn *egwyddor newydd, gadarnhäol, athronyddol*, a *chyflawn* o bob defnyddiau o bwys, yr hon sydd yn cymeryd yn *ganiatäol* fod pob *rhagdybiaeth* i *gael ei symud*, ac yn cymeryd fel *egwyddor lywodraethol fawr, Hunanymwybyddiaeth*—egwyddor newydd ac anadnabyddus i'r oesoedd gynt."

Yn ei "Draethawd ar Drefn,"—*Method*,—yr hwn a gyhoeddwyd yn 1637, y mae Descartes yn adrodd ei hanes a'i brofiad gyda golwg ar athroniaeth, y modd yr arweiniwyd ef i ystyried ei Drefn, a'r dull yr aeth rhagddo gyda hi gyda'r amcan o'i dwyn i ryw raddau yn berffaith. Yn hytrach nag i ni geisio rhoddi crynhöad yma o'r hyn a ddywedir ganddo, fel yr oeddem yn bwriadu gwneyd unwaith, gwell fydd dyfynu rhanau o'r traethawd hwn, fel y gallo y darllenydd weled pa fodd y mae Descartes ei hun yn siarad. Y mae y symlrwydd a'r eglurdeb diamwys sydd yn argraffedig ar yr holl adroddiad yn rhwym o argyhoeddi pob darllenydd ystyriol fod yr ysgrifenydd yn ŵr cywir ac o neillduolrwydd nodweddiad, a gallu meddyliol, nad ydynt i'w cael ond anaml iawn:—

"Ni ddarfu i mi ddychymygu," meddai, "fod fy meddwl yn berffeithiach na meddyliau dynion yn gyffredin. Bûm yn dymuno yn fynych ar fod fy meddwl mor barod, fy nychymyg mor eglur a phendant, a'm côf mor helaeth a chyflym, ag eiddo rhai eraill. * * *

"Er hyny, yr wyf wedi cael fy arwain i ystyriaeth o reolau, o ba rai yr wyf wedi cynllunio Trefn, drwy yr hon, fel yr ymddengys i mi, y gallaf gynnyddu yn raddol

fy ngwybodaeth, a'i chyfodi bob yn ychydig ac ychydig i'r graddau uchaf ag y caniatâ fy meddwl,—yr hwn sydd o'r dosbarth canol,—a pharhâd bŷr fy oes, i mi wneyd. Fy amcan, gan hyny, ydyw, nid dysgu Trefn, yr hon y dylai pob dyn ei dilyn tuag at iawn arfer ei reswm, ond ceisio dangos pa fodd yr wyf wedi ymarfer fy rheswm fy hun.

"Dygwyd fi i fyny, o'm mebyd, mewn dysgeidiaeth; a chan y sicrhëid fi mai yr astudiaeth hon oedd y moddion drwy yr hwn y gallaswn gyraedd gwybodaeth foddlonol ac eglur o'r hyn sydd ddefnyddiol i'r bywyd hwn, teimlwn awydd cryf iawn am wybodaeth. Ond pan orphenais y cwrs hwnw o astudiaeth, pryd y cyfrifir dynion yn deilwng o dderbyniad i gylch y rhai dysgedig, yr oeddwn i yn gorfod barnu yn hollol wahanol; canys yr oeddwn yn cael fy hun mewn cymaint dyryswch o herwydd ammheuon a chyfeiliornadau, fel yr oeddwn yn credu nad ennillais ddim amgen, drwy fy holl efrydiaethau a'm hymdrech am wybodaeth, na darganfyddiad chwanegol a pharhäus o fy mawr anwybodaeth. Er hyn oll, yr oeddwn yn un o ysgolion enwocaf Ewrop, lle yr oedd dynion doethion i'w cael, os oedd y cyfryw yn un man ar y ddaear. Dysgais yno yr oll ag oedd eraill yn ddysgu; ac nid hyny yn unig, ond am nad oeddwn yn cael fy moddloni yn y celfyddydau a ddysgid i ni, darllenais bob llyfr a allaswn ddyfod o hyd iddo, y rhai a draethent ar y celfyddydau mwyaf cywrain ac anghyffredin. Yr oeddwn yn hysbys hefyd o'r farn oedd eraill wedi ffurfio am danaf. Deallais nad ystyrid fi yn waelach na fy nghyd-ddysgyblion, er fod rhai o honynt wedi eu bwriadu i lanw lle ein meistriaid. Ymddangosai yr oes yr oeddwn yn byw ynddi yn llawn mor flodeuog a llawn mor ffrwythlawn o feddyliau mawrion, ag unrhyw oes flaenorol. Felly cymerais y rhyddid i farnu eraill wrthyf fy hun; a dechreuais feddwl nad oedd yr un ddysgeidiaeth wedi bod yn y byd yn cyfateb i'r dysgwyliadau yr oeddwn wedi cael fy arwain i'w ffurfio."

Yna y mae yn dadgan ei farn am y gwahanol wybodaethau a ddysgid yn yr ysgolion,—ei fod yn eu hystyried oll yn werthfawr iawn, ond nad oeddent yn effeithiol i roddi iddo ef yr hyn oedd yn barhäus yn deimlo yn eisieu, ac i roddi iddo foddlonrwydd. Tybiai ei fod eisoes wedi rhoddi digon o amser at ieithyddiaeth a hanesiaeth, gan fod aros gormod gyda'r hyn a aeth heibio yn gwneyd dyn yn anwybodus o'r presennol. Yr oedd yn mawrygu areithyddiaeth, ac yn gorlawenhâu yn yr hyfrydwch a deimlai mewn barddoniaeth, ond credai eu bod yn rhoddion natur yn hytrach nag yn ffrwyth astudiaeth. Nis gallasai lai na theimlo hyfrydwch mawr mewn gwyddoniaeth, o herwydd sicrwydd a thystiolaeth eglur ei hymresymiadau, a rhyfeddai na fuasai wedi cael ei defnyddio yn sail i oruwchadeiladaeth well na'r gwybodau celfyddydol—i foesddysg, yr hon, fel yr ydoedd, oedd wedi ei seilio ar dywod a llaid. Teimlai barch dwfn i dduwinyddiaeth, a dymunai gymaint â neb ei defnyddio i gyraedd y nefoedd; ond credai ei bod tu hwnt i allu dynol, a bod yn rhaid cael cynnorthwy oddiuchod i'w hastudio. Am athroniaeth, credai na fyddai i'w lafur ef ar ei meusydd fod yn fwy llwyddiannus nag eraill o'i flaen; canys, er fod y dynion galluocaf a mwyaf dysgedig drwy yr oesoedd wedi bod yn llafurio ynddi, nid oedd eto yr un gwirionedd o'i mewn ag oedd uwchlaw ammheuaeth, nad oedd dadl yn ei gylch. Felly, gan nad oedd dan angenrheidrwydd amgylchiadol —am yr hyn y teimlai yn dra diolchgar—nac ychwaith er mwyn clod, yn rhwym o gyfyngu ei hun i athroniaeth, na'r gwybodaethau sylfaenedig arni, y mae yn cymeryd ei ryddid i farnu drosto ei hun, ac i gymeryd ei lwybr ei hun. Felly terfyna y rhan flaenaf o'i draethawd, gan ddyweyd fel hyn:—

"O herwydd y rhesymau hyn, mor fuan ag y caniatäodd oedran i mi fyned o fod dan arolygiaeth fy meistriaid, gadewais astudio y gwahanol wybodaethau hyn, a phenderfynais beidio mwyach a cheisio yr un wybodaeth heblaw gwybodaeth o hônof fy hun,

neu o lyfr mawr y byd. Treuliais y gweddill o dymmor fy ieuenctyd mewn teithio, mewn ymweled â llysoedd a byddinoedd, mewn cymdeithasu â phersonau o wahanol gylchoedd a thueddiadau, mewn casglu profiad o lawer o wahanol bethau, mewn perffeithio fy hun yn y gwahanol sefyllfäoedd i ba rai y'm teflid gan ffawd, ac yn fwy na dim mewn myfyrio ar gynnwys fy mhrofiad tuag at sicrhâu fy ymberffeithiad."

Tybiai fod mwy o wirionedd yn ymresymiadau pob dyn ynghylch ei amgylchiadau a'i alwedigaethau ei hun, nag oedd yn ymresymiadau yr athronydd a'r dysgedig yn ei fyfyrgell, gyda golwg ar yr un pethau. Ond cyn hir, cafodd ar ddeall fod cymaint o wrthddywedyd ac anghysondeb ymhlith y gwahanol ddosbarthiadau oddiallan, ag oedd ymhlith yr athronwyr oddifewn i'w llyfrgelloedd a'u colegau. Yr unig fudd, meddai, a gafodd oddiwrth ei astudiaeth o lyfr y byd oedd, peidio rhoddi crêd rŷ hyderus i unrhyw wirionedd a ddysgodd trwy *arferiad* neu *esiampl*. Felly y mae yn y diwedd yn gorfod troi o bob man, ac yn ymroddi i astudio ei hun. Fel hyn y dywed:—

"Ond wedi i mi fod yn treulio fy amser fel hyn am flynyddoedd i astudio llyfr y byd, ac mewn casglu ynghyd ryw gymaint o brofiad, penderfynais, o'r diwedd, wneyd fy hun yn wrthddrych fy astudiaeth, ac ymarfer holl alluoedd fy meddwl mewn chwilio am y llwybrau y dylaswn eu dilyn; gorchwyl a ddilynwyd â llwyddiant mwy na phe buaswn erioed wedi gadael fy ngwlad a fy llyfrau."

Gwedi ei brofiad, fel hyn, o'r byd, a'i astudiaeth o hóno ei hun, trwy yr hyn y daeth i ddeall fod dynion yn gyffredin, ac yntau yn eu plith, pan gyrhaeddant y tymmor o addfedrwydd barn, wedi eu rhagfeddiannu gan dryblith o opiniynau ar bob pwnc, a'u deall fel pe byddai wedi ymgolli mewn cymysgedd dyryslyd, i'r hwn yr arweiniwyd hwynt gan ddylanwad esiampl, addysg, arferiad, iaith, &c.; o herwydd hyn, ac hefyd am nad oedd gan neb gyfundrefn, nac ychwaith opiniynau ymhlith y lliaws ag y gallasai yn foddlonol eu derbyn a'u mabwysiadu, daeth i'r penderfyniad hwn:—

"Eithr am yr opiniynau, y rhai, hyd yn hyn, oeddwn wedi fabwysiadu, meddyliais nad allaswn wneyd dim yn well na phenderfynu ar unwaith eu *hysgubo ymaith yn llwyr*, fel y gallaswn, mewn canlyniad, fod *mewn sefyllfa i dderbyn i fewn, naill ai eraill mwy cywir*, neu, ynte, *fe allai, yr un rhai, wedi iddynt fyned dan ymchwiliad manwl rheswm*. Credwn yn sicr y byddai i mi lwyddo yn well yn nhrefniad fy mywyd, na phe buasai i mi adeiladu ar hen sylfeini yn unig, a gorphwys ar egwyddorion y rhai a gymerais yn fy ieuenctyd ar goel."

Gan ei fod wedi penderfynu gwneyd hyn yma, y cwestiwn nesaf oedd, pa fodd yr oedd efe i ad-gyfansoddi, i adeiladu drachefn ei wybodaeth? Beth oedd y Drefn drwy yr hon y galluogid ef i gyraedd sicrwydd a gwybodaeth wirioneddol? Y canghenau gwybodaeth ag y gallasai ddysgwyl mwyaf o gynnorthwy oddiwrthynt oeddent rhesymeg, geometry, ac algebra, i ba rai y talodd sylw mawr pan yn myned trwy gwrs ei addysg. Pa fodd bynag, cafodd ar ddeall yn fuan nas gallasai gael yn y flaenaf yr hyn oedd yn ddymuno, gan ei bod yn fwy cyfaddas fel trefn i egluro i eraill yr hyn ydym eisoes yn wybod, nag i'n cynnorthwyo i ddysgu ein hunain yr hyn nad ydym yn ei wybod; nac ychwaith yn y ddwy olaf gan eu bod mor ddansoddol, ac Algebra mor gyfyngedig i'r ystyriaeth o rifnodau, fel nas gallasai fod yn ymarferiad i'r deall heb fod yn faich blinderus i'r dychymyg; a Geometry mor

ddarostyngedig i ryw ffurfiau a rheolau penodol, y rhai nas gallasent esgor ar ddim amgen na *chelfyddyd* lawn o gymysgedd annhrefnus, yn hytrach nag ar *wyddor* fuasai yn foddion i ddiwyllio y meddwl.

Dygwn ein hysgrif i derfyniad y tro hwn gydag un dyfyniad ychwanegol, yn cynnwys adroddiad Descartes o'r modd y daeth allan o'r cyfyngdra hwn, ynghyda'r rheolau a ffurfiwyd ganddo, y rhai ydynt yn cyfansoddi yr hyn a adnabyddir bellach ymhlith athronwyr fel *Trefn Descartes*:—

"Ond fel un yn cerdded (meddai) wrtho ei hun, yn y tywyllwch, penderfynais fyned rhagof mor araf a chyda'r fath wyliadwriaeth, fel os nad äwn yn gyflym, y gofalwn rhag syrthio, o'r hyn leiaf. Nid oeddwn yn ewyllysio ymadael ar unwaith a chyda'u gilydd, â'r holl opiniynau oeddent cyn hyny wedi dyfod i fewn i'm credo, a hyny heb gael eu dwyn drwy reswm; ond cymerais ddigon o amser i foddloni fy hun yn fanwl ynghylch natur y gorchwyl oeddwn yn roddi i mi fy hun, ac i sicrhâu y drefn gywir drwy yr hon y gallaswn gyraedd gwybodaeth o'r hyn oll oedd yn gorwedd o fewn cylch fy ngalluoedd i.

"Drwy yr ystyriaethau hyn, ynghyda'r teimlad o ddiffyg y tair cangen gwybodaeth, rhesymeg, algebra, a geometry, tueddwyd fi i geisio rhyw drefn arall, yr hon fuasai yn cynnwys manteision y tair uchod ynghyd, ac ar yr un pryd yn rhydd oddiwrth eu diffygion. Ac megys nad ydyw lliaws o ddeddfau yn gwneyd dim amgen yn aml na dyrysu gweinyddiad cyfiawnder, fel ag y llywodraethir teyrnas oreu gydag ychydig ddeddfau, y rhai a weinyddir gyda manylrwydd llym; felly yn lle nifer lliosog o reolau, y rhai a gyfansoddant resymeg, credais y profai y pedair canlynol yn berffaith effeithiol i mi, ond i mi ofalu cadw at y penderfyniad o beidio, mewn unrhyw amgylchiad, wyro oddiwrth eu hegwyddorion:—

"Y gyntaf oedd, i beidio byth a derbyn unrhyw beth fel gwirionedd os na fuaswn yn gallu gwybod yn eglur ei fod felly; h.y., i ochelyd yn fanwl bob brys byrbwyll a rhagfarn, a pheidio cynnwys dim ychwaneg yn fy marn na'r hyn a ddangosai ei hun mor eglur i fy meddwl, fel nas gallasai dim fod yn achlysur i mi edrych arno yn ammheus.

"Yr ail, i ranu pob anhawsder o dan fy sylw, i ranau mor fân ag y byddai bosibl yr hyn fuasai yn gymhorth i'w penderfynu.

"Y drydedd, i ymarfer fy meddwl mewn *trefn* yn wastad, gan ddechreu gyda'r gwrthddrychau mwyaf syml a hawdd, fel y gallwn esgyn yn raddol at wybodaeth o'r pethau mwyaf cyfansawdd a dyrys, gan gadw *trefn* ymhlith y rhai hyny nad ydynt yn naturiol ac amlwg yn perthyn i'w gilydd—nad ydynt yn eu natur yn dal y berthynas o ragflaeniad a dilyniad (*antecedence and sequence*).

"Yr olaf, i wneyd cyfrifiadau a chasgliadau mor berffaith ymhob amgylchiad, a chymeryd adolygiad mor gyffredinol o honynt, fel y gallaswn fod yn sier nad oedd dim wedi cael ei adael allan."

Nid ymddengys y Drefn yn ei pherffeithrwydd ac yn y pwysigrwydd a berthyn iddi mewn athroniaeth, heb edrych arni yn ei chysylltiad â'r hyn a elwir "Ammheuaeth Cartesaidd." Y tro nesaf, cawn sylwi ar hyn, ynghyda dilysrwydd y sail ar yr hon y dechreuodd Descartes adeiladu ac ail-gyfansoddi ei wybodaeth, a'r maen prawf neu safon gwirionedd, yr hwn, yn ol fel yr arferai ef, a deimlai yn berffaith foddlonol iddo ei hun.

# AMSER.

Ti Amser, ynys fechan wyt, yn bod
Ar wyneb cefnfor tragwyddoldeb maith;
Yr hwn a ymestyna o dy gylch
Yn anfesurol a diderfyn fôr.
Fel yr ymwthia ynys fach ei phen
I wyneb un o fawr gefnforoedd byd
Am enyd fer, a sudda 'n ôl drachefn
I'w grombil dwfn, heb adael dim o'i hôl;
Fel yna gwthiwyd dithau gan rym gair
Y doeth Grëawdwr mawr, i fyw dy oes
Ar wyneb tragwyddoldeb; a rhoes fyrdd
O grëaduriaid hyd dy wyneb di,
A'r oll yn ansefydlog fel dy hun,—
Nid oes o fewn dy diriogaethau oll
Un iod o ddim yn sefyll, myn'd ymlaen,
Ymlaen, a thithau gyda hwy o hyd;
Pob haul a phlaned, lloer a seren, sydd
O'th fewn, sydd yn ymlithro 'n chwim i lawr
I fynwes tragwyddoldeb. Ac mae rhai
O'r crëaduriaid arnat sydd, na chaent
Ond cyfran fechan iawn o honot ti,—
Y pryfyn bach, càn gynted egyr ef
Ei edyn cul o'th fewn, fe wywa i ffordd.
Caiff eraill aros am ychydig bach
Yn hwy i chwareu ar dy wyneb; ond
Wrth chwareu, syrthia 'r naill ar ol y llall
Dros dy ganllawiau,—eraill ddaw i'w lle;
Fe enir rhai i'th fynwes, cwympa 'r lleill
O hóni 'n wastad—llawn o gynhwrf wyt;—
Rhai 'n d'od, rhai 'n myn'd, rhai 'n byw, rhai 'n marw o hyd,
A buan iawn fe suddi dithau i lawr
A'th lwyth i'th ganlyn; bydd dy oes ar ben,—
Pob rhyw fesurydd wedi 'mestyn hyd
Ei eithaf, ac un eiliad mwy ni bydd,
Ond Tragwyddoldeb wedi llyncu 'r cwbl.
Ti adeiladaeth amseryddol oll
Ddifodir; er dy fri a'th gyfoeth mawr—
Dy gestyll cedyrn, a'th fynyddoedd bàn,
Dy oesol byramidiau, a dy wych
Ddinasoedd a phalasau, a phob gwaith
Celfyddgar cywrain a'th addurnant ti;
Dy lampau dysglaer rodiant yn dy wybr
Yn ddeial it', ddiffoddir fel y fflam

Ar ben y ganwyll, i ddifancoll ânt,
A thithau mwy ni cheir, na dim o'th ôl.
Ond er dy golli fe'th adgofir byth
Yn nhragwyddoldeb pell, o herwydd gwnaed
Gweithredoedd anmhrisiadwy yn dy ddydd,
Y rhai na ysa tragwyddoldeb byth.
Ac i'r anfarwol ddynion arnat fu,
Y sydd, ac eto ddaw, mor werthfawr wyt,
Os gwerthfawrogir di fel dylid gwneyd.
Mae ynot gyfoeth, y gall dyn ei gael
A'i gwna 'n etifedd yn y byd a ddaw.
Ond ynot, rhai a gasglant ing a phoen,
Gwae a digofaint yn drysorfa gref,
Yr hyn wna 'u huffern yn y byd a ddaw;
Ond eraill gasglant ynot berlau mâd,
A'u gwna 'n foneddwyr yn y drydedd nef
Am dragwyddoldeb, mewn llawenydd pur.
Gan hyny, er dy ansefydlogrwydd mawr,
A'th fyrdra, 'r wyt o ANMHRISIADWY WERTH.

---

# GWILYM LLEYN A LLYFRYDDIAETH Y CYMRY.

LLYFRYDDIAETH Y CYMRY: yn cynnwys Hanes y Llyfrau a gyhoeddwyd yn yr Iaith Gymraeg, ac mewn perthynas i Gymru a'i Thrigolion, o'r Flwyddyn 1546 hyd y Flwyddyn 1800; gyda Chofnodau bywgraffyddol am eu Hawduron, eu Cyfieithwyr, eu Hargraffyddion, a'u Cyhoeddwyr. Gan y diweddar Barch. WILLIAM ROWLANDS (*Gwilym Llëyn*); gyda Chwanegion a Chywreiriadau gan y Parch. D. SILVAN EVANS, B.D., Periglor Llan ym Mawddwy, Meirion. Llanidloes: John Pryse. 1869.

GANWYD Mr. Rowlands yn mhentref Bryncroes, Llëyn, Sir Gaernarfon, ar y 24ain o Awst, 1802; ac ar y dydd olaf o'r un mis, cafodd ei fedyddio yn Eglwys y plwyf. Yr oedd ei rïeni yn aelodau gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, a chafodd yntau y fantais werthfawr o gael ei ddwyn i fyny dan aden crefydd gyda'r Methodistiaid. Darfu i'w rïeni hefyd roddi iddo hyny o fanteision addysg ddyddiol ag yr oedd eu hamgylchiadau yn ganiatâu, trwy ei anfon i ysgol ddyddiol Bryncroes, ac wedi hyny am amser byr i ysgol Bottwnog. Dysgodd yno ddarllen Cymraeg a Saesoneg, ysgrifenu, ac ychydig rifyddiaeth. Efe oedd yr hynaf o chwech o blant; a thrwy iddo gael ei ddodi yn ieuanc i ddysgu celfyddyd ei dad, sef gwehydd, nid oedd ei addysg foreuol ond cynnil. Cym-

erid ef yn gyson gan ei rïeni i'r Ysgol Sabbothol, ac i'r addoliad; ac yr oedd yn naturiol yn hoff o ddarllen, yn sychedu am wybodaeth, o duedd fyfyrgar, yn gyflym ei feddwl, ac yn ymhyfrydu, nid yn mhleserau gweigion ei gyfoedion ieuainc, ond mewn ymchwil am addysg a gwybodaeth fuddiol. Fe ddarllenai yn awyddus bob llyfr o fewn ei gyraedd; a llwyddodd, mewn blynyddoedd dyfodol, er pob anfanteision, i gasglu llawer iawn o wybodaeth amrywiaethol.

Yr oedd o'i febyd yn nodedig am ei onestrwydd, ei eirwiredd, a'i ufudd-dod i'w rïeni; ac adroddir a ganlyn fel engraifft o'i onestrwydd a thynerwch ei gydwybod: "Ryw dro, pan eto yn bur ieuanc, aeth ei chwaer ac yntau i ymweled â pherthynasau iddynt; ac yr oedd yn rhaid iddynt fyned trwy Gaernarfon. Wrth fyned trwy y dref, daeth arnynt newyn, neu flŷs plentynaidd, a throisant i mewn i siop i geisio rhywbeth i'w fwyta; ac wedi estyn darn o arian i dalu am dano, a derbyn y newid, ymaith â hwy i'w taith. Wedi myned rhagddynt gryn bellder o Gaernarfon, daeth i'w meddwl y buasent yn cyfrif y *newid* a ddychwelasid iddynt yn y siop. Wedi cyfrif y prês drosodd a throsodd lawer gwaith, gwelent eu bod wedi cael dwy geiniog yn rhagor nag oedd yn gyfiawn yn dyfod iddynt. Creodd hyn gymaint o aflonyddwch a dychryn yn mynwes y bachgen William, fel nad oedd dim a wnai y tro ganddo ond myned yn ôl bob cam i Gaernarfon gyda'r ddwy geiniog i hen wraig y siop; ac er fod ei chwaer yn bur wrthwynebol i hyny, gan eu bod mor bell o'r dref, ac eisoes yn flinedig iawn, eto gan rym penderfyniad ei brawd, dychwelyd oedd raid, a dychwelyd a wnaed. Rhoddodd hyn dawelwch i gydwybod y bachgen gonest ag oedd yn gorbwyso y blinder corff a chwanegodd y drafferth hone iddo ef a'i chwaer." Yr oedd gonestrwydd trwyadl a thynerwch cydwybod yn amlwg yn nghymeriad Mr. Rowlands trwy ei oes. Yr oedd efe dan argraffiadau crefyddol er yn ieuanc; a than bregeth gan y diweddar Barch. James Hughes, argyhoeddwyd ef yn ddwys o'i gyflwr pechadurus. Wedi hyn, cawn ef yn gweithio gyda Mr. Richard Hughes, Tŷ'nyclawdd, Tregarth; a thra yn darllen yno ysgrif mewn hen rifyn o'r *Eurgrawn*—"Meddyliau syml ar Dragywyddoldeb," argraffwyd y gair *tragywyddoldeb* mor ddwfn ar ei feddwl, fel nas gallai, am dymmor, na chysgu na bwyta; ond galluogwyd ef, cyn hir iawn, i gael golwg ffydd ar Geidwad pechaduriaid, a llechu yn ddïogel dan ei gysgod tawel Ef.

Yr oedd y blynyddoedd hyny yn flynyddoedd o ddadleuon brwd iawn ar y pynciau ag y mae Calfiniaid ac Arminiaid yn gwahaniaethu yn eu barnau am danynt; ac nis gallai dyn ieuanc brwdfrydig o un ar bymtheg i ddeunaw oed fel William Rowlands, lai na chymeryd rhan yn y dadleuon hyny. Diangenrhaid yma ydyw olrhain yr amgylchiadau, mwy na nodi y ffaith i Rowlands ieuanc ogwyddo i'r ochr Arminaidd o'r ddadl, ac i hyny arwain cyn hir i'w ymadawiad oddiwrth y Methodistiaid, ac i'w ymuniad â chyfundeb y Wesleyaid. Yn ddeunaw oed, ceir ef wedi dechreu pregethu gyda'r corff olaf. Ymddengys i'r cyfan yn y drafodaeth hon gael ei wneyd yn gydwybodol ac anrhydeddus o bob tu, a choleddai Mr. Rowlands trwy ei oes syniadau parchus a serchog am y cyfundeb ymha un y magwyd ef. Flynyddoedd lawer wedi hyn, pan yn olygydd yr *Eurgrawn*, efe a gyhoeddodd ynddo dalfyriad o gofiant yr enwog John Elias o Fôn; ac fel esiampl arall o'i ysbryd rhyddfrydig,

efe a roddodd gynnorthwy siriol i'r Parch. John Hughes o Liverpool i gasglu defnyddiau i "Hanes Methodistiaeth," fel y profir yn amlwg gan lythyrau sydd yn awr ar ein bwrdd oddiwrth Mr. Hughes at Mr. Rowlands, yn cydnabod yn serchog a brawdol iawn y cymhorth gwerthfawr a dderbyniodd ganddo.

Wedi dechreu pregethu, yr ydym yn cael Mr. Rowlands, yn dilyn ei alwedigaeth ac yn pregethu yn Môn, yn Llanrhaiadr-yn-mochnant, ac yn nghymydogaeth Bangor. Yn nghanol y flwyddyn 1828 yr ydym yn ei gael yn gadael ei gartref yn ymyl Bangor, Arfon, a'i becyn dillad a llyfrau ar ei ysgwydd, gan wynebu tua Llandysul, Sir Aberteifi; a gallwn gredu mai cerdded a wnaeth yr holl daith hirfaith hon, canys cawn cyn hyn eithaf prawf o'i allu cerddedol, gan yr adroddir iddo gerdded mewn un diwrnod gwlawog o Lanrhaiadr-yn-mochnant i Fangor—50 milldir o ffordd. Wedi blwyddyn o lafur caled fel pregethwr cyflogedig ar gylchdaith ëang Aberteifi, yr ydym yn cael i Gynnadledd 1829 ei appwyntio fel gweinidog ar brawf i gylchdaith Caerdydd. Darlunir ef y pryd hwnw fel Cymro plaen, garw, uniaith. Gwir y gallai ddeall Saesoneg yn weddol, ond yr oedd ei barabliad o'r iaith yn drwsgl ryfeddol, a lluchiai allan ei eiriau mor gyflym a chwta nes peri llawer o ddifyrwch weithiau i bobl hyfoes a Seisnigaidd Caerdydd. Un noson cafwyd difyrwch mawr yn ei letty ar draul ei Saesoneg. Yr oedd wedi dychwelyd o daith, ac yn teimlo yn flinedig. Saesoneg oedd fwyaf arferedig yn y teulu. Gofynodd Mr. Rowlands am ddwfr i olchi ei draed, a chafodd gyflawnder mewn bwced pren lled fawr yn ei wely-ystafell. Yr oedd y teulu yn eistedd ac yn ymddyddan oddeutu y tân yn y gegin dan yr ystafell, a Mr. Rowlands o ddifrif gyda'r golchi uwch eu penau. Yn ddisymwth, clywai y teulu drwst mawr uwch ben, a Mr. Rowlands yn gwaeddi yn gyffröus a chyflym iawn, "*Bucket out! bucket out! bucket out!*" Rhedodd cwmni y gegin ymhob cyfeiriad—rhai o honynt allan, gan feddwl, wrth glywed y fath grochwaeddi "*Bucket out!*" y gallai fod y bwced wedi ei daflu allan trwy y ffenestr i'r heol. Ond pan y dechreuodd y dwfr bistyllio ar benau y rhai oedd yn y gegin, buan y deallwyd ystyr y *bucket out;* ac erbyn myned i fyny i olwg yr ystafell, gwelent fod gwaelod yr hen fwced wedi dyfod allan yn dêg, a'r dwfr yn llifeiriant ar hyd yr ystafell, a'r duwinydd yn ei ganol yn edrych mor wyllt a chynhyrfus a phe buasai y byd yn myned i gael ei foddi yr ail waith.

Yn ystod y ddwy flynedd y bu Mr. Rowlands yn llafurio ar gylchdaith Caerdydd, efe a ddarllenodd ddim llai na 108 o gyfrolau, rhai o honynt o gryn faintioli; a'u cynnwysiad y fath ag a roddai arwyddion tra nodweddiadol o'r efrydydd. Nid detholiad o weithiau duwinyddol yn unig ydoedd ei fyfyrfa, ond cynnwysai gyfrolau ar wahanol gangenau gwybodaeth, ac yr oedd yn ddigon amlwg fod ei feddwl yn gogwyddo yn gryf y pryd hwnw at Fywgraffyddiaeth a Hynafiaethau—hoff destynau ei oes. Tua diwedd ei ail flwyddyn yn Nghaerdydd, cafodd dwymyn boeth a'i darostyngodd i nychdod maith a phoenus, fel ag i'w analluogi am gryn amser i symud i Ferthyr Tydfil, i ba le yr oedd wedi ei apwyntio i lafurio am y flwyddyn ganlynol. Efe a grybwylla iddo dderbyn tiriondeb mawr yn ystod ei gystudd yn Nghaerdydd, yn enwedig oddiwrth ei feddyg, Dr. Vatchell. Ymwelodd y Doctor âg ef bob

dydd am lawer o wythnosau, heb godi dim am ei wasanaeth na'i gyffyrïau.

Yr haf dilynol i fynediad Mr. Rowlands i Ferthyr, Chwefror, 1832, ymwelwyd â'r lle poblogaidd hwnw, fel yr ymwelwyd â threfi poblog y deyrnas yn gyffredinol, gan y cholera marwol. Yr oedd yn amser o bryder a sobrwydd mawr; a chawn fod Mr. Rowlands yn helaeth mewn llafur cyhoeddus, ac mewn ymweliadau â chleifion y pla. Gosodai ei hun mewn peryglon mynych. Syrthiodd amryw weinidogion defnyddiol yn ysglyfaeth i'r haint echryslawn. Yr haf hwnw, bu farw yr enwog Dr. Adam Clarke o'r pla. Y Parch. Robert Humphreys, yr hwn a fu yn cydlafurio â Mr. Rowlands yn Nghaerdydd, a'r Parch. J. Sanders, ei gymydog yn Merthyr, a gymerwyd ymaith gan yr un haint.

Yn Nghynnadledd 1833, yn Manchester, dan lywyddiaeth y Parch. R. Treffry, ordeiniwyd Mr. Rowlands i gyflawn waith y weinidogaeth, a sefydlwyd ef ar gylchdaith Merthyr am ei drydedd flwyddyn. Yn mis Mai canlynol, unwyd ef mewn glân brïodas â Miss Andrews o Gaerdydd; ac yn mis Awst canlynol, cawn Mr. a Mrs. Rowlands yn symud o gylchdaith Merthyr i Amlwch. Yn ystod y flwyddyn y bu ef yno, pregethodd mewn gwahanol fanau yn ynys Môn, 276 o weithiau. Yn Awst, 1835, appwyntiwyd ef i Pwllheli. Cynnwysai y gylchdaith hon y manau hyny yn ngwlad Llëyn lle y treuliasai flynyddoedd ei febyd. Wedi llafurio yno am ddwy flynedd, ni a'i cawn ef yn symud i Newmarket, cylchdaith Treffynnon. Cafodd yno yn gydlafurwyr y Parchn. David Evans (1af), Griffith Hughes, Richard Bonner, David Williams, a Rowland Hughes. Yn ystod ei arosiad yn Newmarket, cafodd Mr. Rowlands a'i deulu waredigaeth tra rhyfedd. Yr oeddent yn byw y pryd hwnw yn yr hen dŷ wrth y *Black;* ac yr oedd simdde anferth o faintioli ar yr hen annedd yr adeg hòno. Ryw noswaith, pan oedd y teulu oll wedi myned i orphwys, cyfododd ystorm anghyffredin o wynt, a chynnyddai y dymhestl, a rhuai y gwynt mor ofnadwy yn yr hen simdde fawr, nes y daeth Mrs. Rowlands i deimlo yn hynod o anesmwyth a phryderus ynghylch eu dïogelwch fel teulu. Galwodd ar Elen, chwaer Mr. Rowlands (yn awr Mrs. Thomas, Upper Bangor), i gyfodi ar frys. Yna cyfododd Mr. a Mrs. Rowlands; a chyda'u bod wedi cipio John bach, y baban a gysgai gyda hwynt, a myned i waelod y grisiau, dyma yr hen simdde yn un cruglwyth mawr, oddeutu dwy dunnell o bwysau, i lawr trwy y tô, ac yn union ar y gwely lle y gorweddent, ddim ond ychydig o eiliadau cyn hyny, nes oedd traed y gwely wedi eu gwasgu yn dêg trwy lawr yr ystafell! Yn eu dychryn mawr, rhedasant am y cyntaf i weled beth oedd helynt y ddau blentyn oedd yn cysgu mewn ystafell arall yn y cefn. Pan welwyd fod pawb o'r teulu yn ddïangol, Mr. Rowlands, yn ol esiampl ragorol Samuel Wesley gynt, a gasglodd ei deulu o'i amgylch, ac a blygodd ei liniau yn eu canol, gyda chalon lawn, ac a ddiolchodd i'r Arglwydd yn wresog am y waredigaeth. Edrychai ef ar yr amgylchiad hwn ar hyd ei oes fel engraifft neillduol o ofal Duw am danynt fel teulu.

Wedi tair blynedd o lafur mawr yn Newmarket, ei symudiad nesaf ydoedd i Ruthyn, lle y cafodd yn gyd-lafurwr y Parchedig William Powell. Yn ystod y ddwy flynedd y bu yn nghylchdaith Rhuthyn, efe a bregethodd 685 o weithiau; a phan chwanegom at hyn ei deithiau

meithion, a'r llïaws dyledswyddau oedd yn gysylltiedig â'r weinidogaeth, ni a welwn nad oedd ef yn bwyta bara seguryd. Yn Awst, 1842, cawn ef yn symud i Lanidloes, lle yr oedd ganddo i olygu y llyfrau, yn gystal a llafurio yn y gylchdaith. Yn y dyddiau presennol ni chymerai ond ychydig oriau i drosglwyddo teulu o Ruthyn i Lanidloes; ond i Mr. Rowlands a'i deulu y pryd hyny yr oedd yn daith helbulus, yn cymeryd i fyny ddim llai na thri diwrnod a dwy noswaith o'u hamser! Wedi tair blynedd lafurfawr fel gweinidog a golygydd yn Llanidloes, ei symudiad nesaf (Awst, 1845), ydoedd i Dredegar. Cyn pen pedwar mis, daeth i'w ran y gorchwyl trist o gladdu ei gydlafurwr, y Parch. John Davies, yr hwn a fu farw yn sydyn ar brydnawn Sabbath yn Merthyr, trwy doriad gwaed-lestr. Yn Awst canlynol cafodd yn gydlafurwr yr enwog Thomas Aubrey. Yn Awst, 1848, cawn ef a'i deulu llïosog yn symud o Dredegar i Fachynlleth; ac ymhen dwy flynedd yn symud oddiyno i'r Brynmawr. Ymhen ychydig wythnosau wedi ymsefydlu yn Brynmawr, tra yn dychwelyd un noson wedi bod yn pregethu y Nantyglo, bu mor anffodus a syrthio dros y *tramroad* a gerddai, lle yr oedd pont, i gryn ddyfnder, fel ag i daflu asgwrn o'i le, ac i beri cloffni a lynodd wrtho hyd ei fedd. Yn haf, 1853, gadawodd y Brynmawr am Lanidloes yr ail waith; ac yn chwanegol at fod yn olygydd, yr oedd ganddo y tro hwn i fod hefyd yn oruchwylydd y llyfrfa. Bu ei lafur rhwng y cyfan yn drwm iawn yma am dair blynedd. Yn hâf, 1856, efe a symudwyd o Lanidloes i Dredegar; ac ymhen dwy flynedd oddiyno drachefn i Aberystwyth, lle yr arosodd am dair blynedd. Ymwelwyd â Sir Aberteifi a pharthau eraill o Gymru yn y tymmor hwn âg adfywiad crefyddol grymus, a gwnaeth Mr. Rowlands ei oreu i yru ymlaen y gwaith da hwnw. Yn Awst, 1861, efe a symudodd i Fachynlleth, lle y llafuriodd dan bwys llawer o waeledd iechyd am dair blynedd. Yn Awst, 1864, yr oedd ei nerth wedi darfod i'r fath raddau fel y gorfu roddi i fyny y weinidogaeth deithiol. Efe a ymgartrefodd yn Nghroesoswallt. Parhäodd i waelu hyd yr 21ain o Fawrth canlynol, 1865, pryd y gorphenodd ei yrfa lafurus. Ar ei therfyn, galluogwyd ef i ofyn, "O angeu, pa le mae dy golyn?" ac i chwifio ei law mewn buddugoliaeth. Yr oedd yn 63ain mlwydd oed, wedi bod yn pregethu am 45ain o flynyddoedd, ac yn y weinidogaeth deithiol am 36ain o flynyddoedd. Claddwyd ef ddydd Gwener, Mawrth 25ain, 1865, yn mynwent capel y Wesleyaid yn y Caerau, ger Llanidloes, lle y claddesid ei anwyl fab, John Andrews, flynyddau cyn hyny. Mae beddfaen hardd yn dynodi y fan lle y gorphwys eu llwch.

Yr oedd Mr. Rowlands ar hyd ei oes yn efrydydd diwyd o'r Ysgrythyrau, ac o bob llyfrau cynnorthwyol i ehangu ei wybodaeth ysgrythyrol a chyffredinol. Fel pregethwr yr oedd yn drefnus, cryno, cynnwysfawr, ac effeithiol iawn. Ber, ond blasus iawn yn gyffredin, fyddai ei bregeth; ond wrth edrych yn ôl arni nid hawdd fyddai cael dim yn eisieu na diffygiol ynddi. Rhoddai ran i saith ac hefyd i wyth. Fel dyn, tra yr oedd yn gras a garw oddiallan, eto yr oedd yn meddu ar deimladau tyner iawn, a thywalltai hwy allan yn aml mewn dagrau o alar neu lawenydd. Medrai fod yn llawen gyda y rhai oedd lawen, a wylo gyda y rhai a wylent. Yr oedd yn gyfaill ffyddlawn hyd angeu—hyd farw. Gellid ymddiried bywyd i'w ffyddlondeb.

Yr oedd yn galonog a phenderfynol iawn gyda phobpeth a gymerai mewn llaw. Efe a ymbriododd yn foreu â'r symudiad dirwestol, ac yr oedd yn elyn calon i'r cwrw a phob dïodydd meddwol, ac nid oedd ei elyniaeth at y tybaco ronyn yn llai. Pan ystyriom y llygredigaeth, y gwastraff, troseddau, tlodi, a thrueni sydd ynglŷn â'r fasnach feddwol fel ei dygir ymlaen yn y deyrnas hon; ac y meddyliom am yr holl arian, amser, ac iechyd a aberthir er mwyn boddio blys at dybaco, a hyny gan lawer o ddynion a ddywedant na allant fforddio cynnorthwyo achos y Gwaredwr yn well, mae yn hawdd maddeu i ddyn da fel Mr. Rowlands os cymerai ei gario ymaith weithiau i eithafion anmhrïodol gan angerdd ei zêl mewn gwrthwynebiad i'r arferion drwg a nodwyd. Gwnaeth lawer o lês yn ei oes fel dirwestwr a gwrth-ysmociwr; ond gwnaeth beth drwg hefyd, ar brydiau, yn ddifwriad, i'r achos a bleidiai. Pan y tasgai ymaith o dai a chwmpeini pobl dda am y cymerent yn gydwybodol ychydig o'r dïodydd oedd ef yn gasâu, neu pan y codai ei ffôn ac y drylliai eu pibelli tra yn ysmocio, yr oedd arfau ei filwriaeth yn rhy gnawdol, yr achos da a bleidiai yn cael ei niweidio, ei gyfeillion yn cael eu harcholli, ac yntau yn tŷnu ei hunan i ofidiau. Trethai yr iaith Gymraeg i osod allan ei gasineb at ddïodydd meddwol, dïodydd y d——l oeddynt yn wastad; ac am y tafarndai, tai y d——l oeddynt. Unwaith pan yn pasio drŵs tafarn, dywedai, gan ffroeni, "Yr wyf yn arogli brwmstan!" Weithiau yn ei wylltineb gwnai gamgymeriadau poenus, bryd arall rai ysmala iawn. Tybiai yr aroglai arogl cwrw ar frawd a chyfaill, a chyhuddai un mewn eiliad o fod wedi bod yn yfed, tra y byddai y cyhuddedig yn berffaith ddiniwed; neu cyhuddai ddyn cymedrol hollol o fod yn yfwr gormodol. Yr oedd yn ddrwg-dybus iawn ar bwnc yr yfed, ac yn camsynied yn fawr weithiau. Yr oedd un tro yn myned i gladdedigaeth i ardal yn mhlwyf Llandinam. Math o Saesoneg a siaredir yno fwyaf. Ar ei ddyfodiad at dŷ y marw, sylwodd ar ychydig ddynion yn myned ymaith oddiwrth y tŷ, a gofynodd, "P'le mae'r dynion acw'n myn'd?" "For the *bier*, Sir," oedd yr atebiad. Ymaith â Mr. Rowlands oddiwrth y tŷ ar unwaith, fel pe buasai y gwahanglwyf yno, gan feddwl mai wedi myned i ymofyn *beer*—cwrw, yr oedd y bobl i dŷ y marw, tra nad oddent hwythau ond wedi myned i ymofyn yr elor i gludo y trancedig i'r bedd.

Yr oedd llafur llênyddol Mr. Rowlands yn fawr iawn. Heblaw golygu yr *Eurgrawn* am saith mlynedd, efe a gyfranai erthyglau iddo yn aml ar hyd ei oes. Ysgrifenodd lawer iawn i'r gwahanol gyfnodolion, megys y TRAETHODYDD, y *Brython*, *Golud yr Oes*, a'r newyddiaduron. Rhoddodd gynnorthwy i lawer awdwr heblaw awdwr "Methodistiaeth Cymru" i gasglu ffeithiau hanesyddol a hynafiaethol, fel y prawf llythyrau oddiwrth yr awdwyr hyny ato, sydd eto ar gael, yn gwneyd ymholiadau, neu yn cydnabod cymhorth a gawsid ganddo. Casglodd hefyd lawer o ddefnyddiau tuag at ddwyn allan Hanes Methodistiaeth Wesleyaidd yn Nghymru; a gwyddom am y llyfrau canlynol o'i eiddo a ddygodd allan trwy y wasg:—yn 1833, Pregeth ar Gwymp oddiwrth Ras. Yn 1836, Traethawd ar Ragluniaeth. Yn 1838, Hanes Bywyd a Marwolaeth y Parch. John Millward. Eto, yn 1838, Pabyddiaeth wedi ei Phwyso, &c. Yn 1847, Cofiant y Parch. John Davies. Yn 1852, Annibyniaeth a Wesleyaeth, &c. Yn 1853, Dadleniad Annibyniaeth, &c., ynglŷn â'r ddadl fawr rhyngddo â'r Parch. H. Hughes (*Tegai*).

Ond prif orchestwaith llênyddol oes ein hen gyfaill Gwilym Llëyn ydoedd ei LLYFRYDDIAETH. Yr ydoedd erioed yn llyfrwr mawr; ac yr oedd ei hoffder at hen lyfrau Cymraeg yn nwyd angerddol yn ei natur. Bu yn chwilio, yn gohebu, yn ymholi, ac yn trefnu defnyddiau y gwaith mawr hwn ar hyd ei oes. Nid gwaith yw hwn ag y gallai ei gyfansoddi rhag ei flaen yn ei fyfyrgell; ond gwaith ag oedd yn gofyn llafur dybryd am flynyddoedd lawer, i chwilio llyfrgelloedd, gohebu â hynafiaethwyr a llênorion, argraffwyr, awdwyr, cyhoeddwyr, llyfrwerthwyr, &c. Yn mharotöad defnyddiau y Llyfryddiaeth teithiodd gannoedd, os nad miloedd o filldiroedd, yn benaf ar ei draed, ddydd a nos, haf a gauaf, am lawer o flynyddau. Ysgrifenodd gannoedd o lythyrau, a gwariodd lawer o'i arian yn gystal a'i amser. Mae o'n blaen gofnodiad yn ei lawysgrifen ei hun o'i gostau gyda'r gwaith diflas o geisio casglu enwau tanysgrifwyr at ei waith hyd Mehefin 28ain, 1859. Yr oedd costau llythyrau ac argraffu, hyd yr amser hwnw, yn 7p. 2s. 4c.; ac mae yn debyg iddo wario llawer mwy na hyny cyn ei farwolaeth, yn 1865. Ymysg *items* traul y gohebu, yr ydym yn cael un fel hyn,—Llythyrau at Weinidogion Wesleyaidd yn Lloegr yn deall Cymraeg, 2p. Yr ydym yn nodi yr *item* hon fel engraifft o'i ddiwydrwydd a'i ddyfalwch mawr yn ei ymchwil am danysgrifwyr; ac fel engraifft hefyd o'i aflwyddiant wrth bysgota am danynt ymysg y Cymry yn Lloegr. Ond ni ddigalonid ef gan unrhyw siomedigaeth. Llwyddodd gyda'r gorchwyl o sicrhâu tanysgrifwyr mor bell ag y gallesid dysgwyl at lyfr o gymeriad a phris y Llyfryddiaeth. Llawer o chwys a dagrau a gostiodd y Llyfryddiaeth iddo; a bu farw cyn gweled ei lafur wedi ei goroni â llwyddiant llawn. Pe cawsai ond golwg cyn marw ar y gyfrol hardd ag y mae Mr. Pryse o Lanidloes newydd ei dwyn allan, dïau y buasai ei lawenydd yn ddifesur. Mawr fyddai ei bleser pan, ymysg pentwr llychlyd o lyfrau yn y bwthyn pell, y deuai o hyd i hen lyfr pwdr,—hen almanac, fe allai, ag yr oedd mewn ymchwil am dano. Byddai yn cael mwynhâd dirfawr ar y fath achlysur, fel un wedi cael ysglyfaeth lawer. A beth a fuasai y boddlonrwydd teimlad a gawsai ef wrth weled y gyfrol brydferth hon, ag yr aberthodd ei esmwythyd, ei gysuron, ei iechyd, os nad ei fywyd, i gasglu a threfnu ei defnyddiau, ac i wneyd i fyny restr ei thanysgrifwyr?

Mae y gwaith pwysig, cenedlaethol, hwn, yn awr wedi ei ddwyn i oleuni dydd, a dylai gael ei gydnabod yn addurn ac anrhydedd i lênyddiaeth ein gwlad. Llafuriodd yr awdwr parchedig yn ddiwyd a dyfal wrtho am hirfaith flynyddoedd, ac yr oedd ei symudiadau fel gweinidog cylchdeithiol, yn y cyfenwad parchus i ba un y perthynai, yn rhoddi mantais iddo i ddilyn ei ymchwiliadau braidd ymhob rhan o'r Dywysogaeth, a hyny heb fyned ar draws ei ddyledswyddau gweinidogaethol. Pa le bynag y llettŷai ar ei deithiau, yn fynych mewn amaethdai gwladaidd, mewn parthau anhysbell a mynyddig o'r wlad, byddai caniatâd i chwilio cynnwysiad yr astell lyfrau yn rhan dra derbyniol o'r croesaw caredig a roddid iddo gan ei gyfeillion, a byddai ei sylwadau eglurhäol yntau ar ambell hen draethawd yn gwneyd ei ymweliad a'i gyfeillach yn dra difyr ac addysgiadol; ac weithiau byddai trysor o werth yn cael ei ddadenhuddo nad oedd y teulu o'r

blaen wedi meddwl fod y fath yn eu meddiant. Anhawdd fuasai i neb arall gael y fath gyfleusderau. Er hyny yr oedd yr anturiaeth yn fawr iddo yntau, ac nid heb lawer o drafferth, a llafur, a chôst, y bu iddo ddwyn y gorchwyl i ben. Rhaid fod ei deimlad gwladgarol yn gryf iawn, a'i benderfyniad yn hynod o ddi-ildio, pan y gallodd ddal allan trwy bob rhwystrau nes gorphen ei waith mor gyfrdo ag ei gadäwyd ganddo ar ei ol. Mae cenedl y Cymry yn ddiau yn rhwymedig i barchu ei goffadwriaeth am y gorchestwaith a gyflawnodd. Ni dderbyniodd efe gefnogaeth ddigonol, ysywaeth, i'w ddwyn allan drwy y wasg ei hunan; ac ni chafodd estyniad einioes i weled y gyfrol drwchus, brydferth, wedi ei chyhoeddi, drwy ymdrech ac anturiaeth y cyhoeddwr presennol; ond yr ydym yn hyderu iddo gael ei symud i fwynhâd o wobr anmhraethol well, ac anrhydedd anamgyffredadwy uwch, na dim a fedd y ddaear hon. Gadawodd ei waith hwn yn gymunrodd werthfawr i'w wlad a'i genedl, i'r oes sydd yn codi, ac i'r rhai a'i dilynant.

"Cofrestr" lyfryddol y Parch. Moses Williams, Ebrwyad Defynog, oedd y cais cyntaf i gadw coffadwriaeth o bob llyfrau Cymreig argraffedig, yr hyn a wnaed ganddo yn 1717. Yr oedd efe y pryd hwnw yn Llundain yn golygu argraffiad o'r Bibl a gyhoeddwyd yn 1718, gyda llawer o ddiwygiadau. Yr oedd Moses Williams a'i dad, y Parch. Samuel Williams, yn wŷr dysgedig, yn dra chyfarwydd yn yr iaith Gymraeg, ac yn hynod o ymdrechgar i gael llyfrau da i'r Cymry er eu haddysg grefyddol. Yr oeddynt hefyd yn awyddus i ddwyn ymlaen lênyddiaeth Gymreig gyffredinol. Adargraffiad o Gofrestr Moses Williams yn y *Gwyliedydd*, am fisoedd Mawrth, Ebrill, a Gorphenaf, 1832, a dueddodd Mr. W. Rowlands i wneyd cofnodiad o bob hen lyfr Cymraeg, neu berthynol i Gymru, a ddygwyddai ddyfod dan ei sylw. Pan gynnygiodd cyhoeddwr y *Gwladgarwr*, yn 1840, ddwyn allan yn y cyhoeddiad hwnw restr gyflawnach, cafodd lawer o gynnorthwy gan Mr. Rowlands i gyflawni yr amcan; a rhestrwyd y pryd hyny 620 o wahanol lyfrau, neu argraffiadau, o'r fl. 1546, pryd y dechreuwyd argraffu, hyd y fl. 1799. Symbylodd hyn ef i fyned ymlaen yn y blynyddoedd canlynol yn ei ymchwiliadau, trwy ymohebu â gwŷr dysgedig, ac ymweled â llyfrgelloedd pobl ddarllengar, yn ol y cyfleusderau a gafai, gan fod yn awyddus i gael gweled pob llyfr ei hunan, hyd y byddai modd. Cymerai hyfrydwch yn y gorchwyl, "a ffrwyth y llafur hyfryd hwnw," yn ol ei eiriau ef ei hun, yw y gyfrol hon. Yr oedd talfyriad o'r gwaith wedi ymddangos yn y TRAETHODYDD am 1852 a 1853; ond yr oedd y rhestr hono, fel y rhai blaenorol, yn dra anmherffaith, a gwnaeth yr awdwr bob ymdrech o fewn ei allu i gyflawni eu diffygion. Dilynodd gofrestr Moses Williams, a llythyrau ei ohebwyr, am y llyfrau y methodd gael golwg arnynt yn bersonol. Yn y modd yma y cwblhäodd efe "Lyfryddiaeth y Cymry," o'r amser y dechreuwyd argraffu llyfrau Cymraeg, yn 1546, hyd y flwyddyn 1800. Heblaw y desgrifiad a rydd o wahanol lyfrau, mae y cofnodau bywgraffyddol am eu hawduron, cyfieithwyr, cyhoeddwyr, ac argraffyddion; yr hanesynau a'r nodiadau eglurhaol, yn peri fod y tu dalenau yn ddifyrus ac addysgiadol i'r darllenydd. Nid llechres sychlyd a llom, fel rhestr rhyw lyfrwerthwr yn *Paternoster Row, Ave Maria Lane*, neu *Amen Corner*, Llundain, yw LLYFRYDDIAETH Y CYMRY, ond hanes llênyddiaeth ein

gwlad, am yr yspaid a nodwyd, yn dangos yn ffyddlawn ei gwerth a'i rhagoriaeth, ar un llaw, a pha beth sydd yn wael a ddiffygiol ynddi, ar y llaw arall. Nis gall neb, er craffed a synwyroled y byddo, feddu syniad cywir am ansawdd a helaethder ein llênyddiaeth, ac am y llafur a gymerwyd, dan anfanteision a gwrthwynebiadau dirfawr, i daenu goleuni gwybodaeth ymysg ein henafiaid, yn yr unfed ganrif ar bymtheg, yr eilfed ar bymtheg, a'r ddeunawfed, a bod yn ddyeithr i gynnwysiad y gyfrol werthfawr hon. Mae yn ddïau yn rhoddi achos diolch i bob Cymro ystyriol a gwladgarol wrth weled y cynnydd a wnaed, a chynnyrch toreithiog y llafur a gymerwyd; er hyny, dylem gofio yn ostyngedig ein bod ni, erbyn hyn, ar lawer ystyr, "yn medi yr hyn ni lafuriasom; eraill a lafuriasant, a ninnau a aethom i mewn i'w llafur hwynt."

Byddai yn beth anesgusodol ynom beidio hysbysu fod y "Chwanegion a'r Cyweiriadau" gan y golygydd yn ychwanegiad mawr at werth y gyfrol. Ymgymerodd Mr. Silvan Evans â'r gorchwyl ar ddymuniad neillduol yr awdwr yn ei fywyd, ac oddiar awydd i weled y gwaith yn argraffedig. Nis gallasai yr olygiaeth ddisgyn i ddwylyw neb mwy cymhwys, o ran dysg a gwybodaeth, i wneyd cyfiawnder â'r gwaith, gan ei fod hefyd, er pan yn ieuanc, wedi gwneyd llênyddiaeth Gymreig yn un gangen arbenig o'i efrydiaeth; ac nid oes ond ychydig, yn maes ei lafurwaith ef, wedi gwneuthur cymaint erddi. Mae yn gweddu i ni gydnabod y gwasanaeth a wnaeth i'w genedl trwy y gofal mawr a gymerodd i ddwyn allan waith yr awdwr mor rydd oddiwrth gamsyniadau ag ydoedd modd, trwy ddefnyddio pob mantais o fewn ei gyraedd, ac nid llafur bychan, yn ddïau, ydoedd hyny. A pha ddiffygion neu wallau bynag a ddichon fod eto yn aros yn y gwaith, y mae yn addaw gwneyd hyd eithaf ei allu tuag at eu cyflawni a'u diwygio.

Gwnaeth yr argraffydd, yr hwn hefyd yw y cyhoeddwr, ei ran yntau yn hardd a destlus iawn. Mae y gwaith wedi ei gyhoeddi mewn un gyfrol wythplyg, yn cynnwys 784 o du dalenau, o argraffwaith glân, ar bapyr da, mewn rhwymiad prydferth a chryf, gydag ymylau cochion. Nid yn fynych y mae gwell gwaith yn cael ei droi allan o un argraffdŷ na swyddfa yn ein gwlad, er y canfyddir ynddi rai gwallau wedi dïanc heb eu cywiro. Mae anturiaeth y cyhoeddwr yn fawr a chostus, ac yn teilyngu cefnogaeth arbenig dysgedigion a llênorion Cymru; ac yr ydym yn gobeithio na fydd neb o honynt, na chymaint ag un Cymro gwladgarol yn unlle, a fyddo mewn modd i dalu am dano, heb roddi derbyniad parod a chalonog iddo. Ai tybed y rhaid i'r cyhoeddwr, wedi y cwbl, fod yn golledwr? A raid i ni gredu fod rhai o'r tanysgrifwyr yn gwrthod derbyn y gyfrol, gan ei dychwelyd yn ôl heb gymaint a'i hagor, ac yn eu plith rai boneddigion a chlerigwyr, mewn sefyllfäoedd da a bywioliaethau breision? Os gwir hyn, fel yr ydym yn ofni, mae y cyfryw yn gwaradwyddo eu hunain yn fawr, er mwyn arbed ychydig arian! Yn wyneb hyn, yr ydym yn galw ar lanciau y gweithydd mawrion, yn y Dê a'r Gogledd, i ddyfod allan i roddi ymwared. Ymunent yn gyfeillachau lliosog, a thrwy ragdaliadau wythnosol, ysgeifn, gallai pob aelod roi heibio yn fuan ddigon i dalu am y llyfr, a'i gael yn feddiant iddo ei hun. Ychydig ymarbediad oddiwrth gwrw, tybaco, a phethau dilês o'r fath, a'u gallnogai i wneyd i fyny 500, neu fwy, o danysgrifwyr newyddion,

ffyddlawn,—nifer digonol i gadw y cyhoeddwr yn ddigolled, ac i gywilyddio pob tanysgrifiwr anffyddlawn, fel na feiddio mwy ddangos ei wyneb. Lanciau Cymru, meddyliwch am hyn!

Mae y gyfrol yn gyflwynedig gan y cyhoeddwr i nawdd *Llênorion* Cymru yn benodol, i ba rai y bydd yn dra dyddorol, ac o wasanaeth mawr. A oes rhai yn eu mysg yn caru chwilio i henafiaethau eu gwlad a'u cenedl? Cânt yma hysbysrwydd am bob llyfr argraffedig sydd yn dwyn perthynas â'r gangen hon o wybodaeth, a chyfarwyddyd hylaw at yr awdwyr sydd wedi ysgrifenu ar hanes gwlad eu genedigaeth, yn wladol ac eglwysig. A ydyw yr iaith Gymraeg o fewn maes eu hefrydiaeth? Mae y gwaith hwn yn rhoddi hysbysiaeth a desgrifiad o holl Eiriaduron a Gramadegau yr iaith, cyhoeddedig yn yspaid y tair canrif dan sylw; ac y maent o ddefnydd anhebgorol i bawb a ewyllysiant ymgydnabyddu âg athroniaeth a hanes yr iaith. Ai ar waith y beirdd a'r prydyddion y rhêd eu bryd a'u myfyrdod? Mae eu llyfrau argraffedig wedi eu cofnodi yn bur fanwl gan yr awdwr, o gynnyrch awenyddol "Beirdd wrth fraint a Defawd Beirdd Ynys Prydain," hyd at gerddi a dyrïau y pastynfeirdd diurddau, heblaw cynnyrchion lliosog awen gysegredig Cymru, mewn salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol, y rhai sydd yn hynodi y ddeunawfed ganrif yn enwedig. A ddichon *duwinyddion* gael rhyw fudd oddiwrth y gyfrol hon? Gall fod o fudd mawr iddynt hwythau fel cyfarwyddyd at yr awduron goreu yn yr iaith ar bob pwnc o grêd a dyledswydd, yn athrawiaethol ac ymarferol; i weled hefyd pa ymdrechion a wnaed i oleuo y wlad yn egwyddorion y grefydd gristionogol, i egluro yr Ysgrythyrau sanctaidd, ac i ennill y werin i'w darllen, a'u chwilio, ac i ymddwyn yn addas i'r efengyl; a pha fodd, a chyda pha lwyddiant, y llafuriodd ein tadau yn y pethau hyn. Dangosir ynddi hefyd pa ddadleuon a gyfodasant ymhlith crefyddwyr, o bryd i bryd, i aflonyddu yr eglwysi; a pha beth a ysgrifenwyd gan eu cefnogwyr, o blaid ac yn erbyn, ar eu hamrywiol a'u gwahanol ddaliadau; a pha addysgiadau y gellid eu casglu oddiwrthynt yn ein dyddiau ni, er gochelyd ymrysonau ac ymbleidiaeth, a meithrin cariad ymhlith Cristionogion, i gyd-ddwyn a chyd-oddef â'u gilydd, hyd oni ddelont i gydweled "lygad yn llygad." Mae llawer o ysgrifenu cynhenus ac annoeth, mewn ysbryd a thymher drahäus ac afrywiog, wedi bod yn fynych, yn tueddu yn fwy i gymylu y gwirionedd nag i oleuo dynion ynddo, eu hennill i'w derbyn mewn cariad, ac i'w cadarnhâu a'u sefydlu yn y gwirionedd. Dyledswydd Cristionogion yw "cydymdrech ymhlaid ffydd yr efengyl," ac eto bod yn "ddyfal i gadw undeb yr ysbryd yn nghwlwm tangnefedd," "ac mewn addfwynder ddysgu y rhai gwrthwynebus."

Mae yn dyfod i'n côf yn awr, fod gweinidog enwog, duwiol, a llafurus, yn y brifddinas, lawer o flynyddoedd yn ôl, wedi newid ei farn ar bwnc o ymarferiad o gryn bwys; ac ymhlith ei resymau dros hyny, dywedai ei fod wedi darllen yn bwyllog a gofalus bob awdwr a ddaethai i'w law ar yr ochr wrthwynebol i'r ddadl, a'i fod wedi ymgadw yn ochelgar rhag darllen dim a ysgrifenasid gan y blaid arall, a'i fod wedi ei argyhoeddi mai hono oedd yn ei lle, wrth weled gymaint o druth ofer ac anmherthynol i'r pwnc a ysgrifenasid gan y blaid wrthwynebol, neu rywbeth i'r ystyr yma, mor agos ag y gallwn gofio. Yr oedd yn taraw

ein meddwl, ar y pryd, mai y llwybr doethaf fuasai darllen y ddwy ochr yn ystyriol fel eu gilydd, ac yna gallesid gweled yn lled hawdd ac eglur fod yr hyn oedd ofer a diberthynas â'r pwnc yn mantoli yn dra chyfartal a chydbwys ar y naill ochr a'r llall, a buasai yn haws gweled gwir sefyllfa y ddadl wedi i niwl a mwrllwch "cyndyn ddadleu" a checraeth anmherthynol gael eu chwythu ymaith. Ond, er y tybiwn fod y llwybr a gymerodd y gŵr urddasol yn yr amgylchiad hwnw yn un anniogel, gwyddom ei fod ef yn weinidog efengylaidd a thangnefeddus, ac erbyn hyn mewn gwth o oedran, ac yn gyflawn o anrhydedd.

Mae chwedl arall yn dyfod i'n côf am ddau weinidog enwog yn Nghymru gynt, oeddent yn coleddu golygiadau gwahanol ar yr un pwnc o ymarferiad, ac wedi bod yn dadleu arno yn frŵd trwy y wasg, a phob un wedi anelu cryn gawellaid o saethau llymion, ymadroddion celyd a sarhäus y naill at y llall. Dygwyddent gydgyfarfod, ar ryw achlysur, mewn tref yn y Deheubarth, ac wrth eu canfod yn rhodio ar hyd yr heol, fraich yn mraich, mewn cyfeillach siriol, sylwai rhyw bobl arnynt i'r perwyl yma:—"A welwch chwi y ddau hen ragrithiwr ffals yna yn gwênieithio i'w gilydd, wedi iddynt gynhyrfu yr eglwysi, a gŷru yr holl wlad yn ben-ben, trwy eu dadleuon!" Sylw caled a llym oedd hwn, gan mai dyled Cristionogion yw ymddwyn yn hynaws at eu gilydd, er bod o wahanol farn; eto codai yn lled naturiol yn meddwl y cyffredin bobl ar y fath achlysur, gan eu bod hwy yn fwy tueddol i deimlo yn angerddol a phenboeth na'u blaenoriaid ar bynciau dadleuol, fel ag i dybied eu hunain ymron yn anffaeledig.

Cymerwn ein rhyddid i chwanegu un chwedl arall o gyffelyb natur. Yr oedd y diweddar Thomas Jones, Creaton, Swydd Northampton, gweinidog duwiol a llafurus yn Eglwys Loegr, wedi ysgrifenu llyfr yn Gymraeg er amddiffyn bedydd babanod, dan yr enw: "Drŵs yr Eglwys Weledig wedi ei agor yn lled y Pen, fel y gallo Credinwyr a Phlant bychain ddyfod i mewn."* Ysgrifenodd y duwiol a'r llafurus Christmas Evans atebiad iddo, mewn tymher led boethlyd, dybygid, ond digon naturiol i Gymro brwdfrydig fel efe; ac ymysg pethau eraill a ddygasid i mewn i'r ddadl, daeth pwnc yr enwaediad dan sylw, ar ba un y cyfeiriai Mr. Evans at ei wrthwynebydd y gofyniad coeglyd hwn:—"Paham na buasid gynt yn enwaedu y genethod yn wyth niwrnod oed fel y bechgyn,—benywaid yn gystal a gwrywaid?" I hyn mewn attodiad i'r ail argraffiad o'i lyfr,† atebodd Mr. Jones, fel hen lanc gwylaidd, yr un mor goeglyd: "Y gadawai efe ar ei wrthwynebydd, oedd yn gynefin â gweled benywaid yn hanner noethion ar lànau afonydd, i ddywedyd paham, a pha un a oedd hyny yn ddichonadwy ai nid oedd." Fe wêl y darllenydd nad oedd y gofyniad na'r atebiad o ddim cymhorth i ddwyn y pwnc mewn dadl i benderfyniad, heb sôn am yr anweddeidd-dra sydd ynddynt.

Nid ydym drwy hyn yn collfarnu dadleuaeth ymhob amgylchiad; ond, credwn ei bod weithiau yn anghenrheidiol er amddiffyn y gwir, a dynoethi y gau; ac nid ydym yn dywedyd yn erbyn dim ond yr hyn

* Gwel *Llyfryddiaeth*, rh. 10 d.f. 1799. † Yn 1801. Nid yw llyfr yr hybarch C. Evans wedi ei restru, er ei gyhoeddi, dybygem, tua'r fl. 1800. Yr ŷm yn rhoddi y chwedl uchod oddiar ein côf, gan nad yw y llyfrau yn awr yn ein meddiant. Gall fod ei geiriad yn amrywio peth, ond ceir ei sylwedd yn niwedd yr ail argraffiad o lyfr Mr. Jones.

sydd annaherthynol, cecrus, a thwyllodrus o ran ysbryd a dull yn ei dygiad ymlaen.

Dychwelwn bellach oddiwrth y dosbarth neillduol hwn i ystyried ein llênyddiaeth gyffredinol, a gwelwn wrth y gyfrol hon fod yr iaith Gymraeg yn lled gyfoethog mewn amrywiaeth o lyfrau da a buddiol ar wahanol gangenau gwybodaeth. Yr ydym yn teimlo grym ardystiad yr awdwr ei hun yn y geiriau canlynol:—"Haeriad gwastadol rhyw fath o bobl yw, nad oes llyfrau yn yr iaith Gymraeg, na chan y Cymry,—mai cenedl anwybodus, farbaraidd, oedd ein cenedl ni hyd yn ddiweddar. Ond yr ydys yn gallu yn rhwydd iawn roddi gwrtheb hollol i'r haeriad, trwy ddangos fod Cymru, o'i maint, yn llawnach o lyfrau argraffedig nag un wlad arall, a chymaint o hynafiaeth lyfrol yn perthyn i ni ag i genhedloedd eraill, a'r llyfrau hyny yn llawer iawn mwy defnyddiol a sylweddol. Rhyfeddwyd lawer gwaith mor anwybodus yw, nid estroniaid yn unig, eithr hefyd llawer o ddynion darllengar y Dywysogaeth hon, o lyfryddiaeth eu gwlad a'u cenedl; na fedrant roi dim hysbysiad i estron a deimlai ddyddordeb i ymholi beth yw ein sefyllfa o berthynas i gyhoeddiadau a llyfrau yn yr iaith Gymraeg." Teimlwn yn ddiolchgar hefyd mai llyfrau crefyddol oedd y rhai cyntaf oll a argraffwyd yn ein hiaith, ac y maent yn gwneyd i fyny y dosbarth lliosocaf o'n llyfrau cyhoeddedig o hyny hyd yn awr, fel y mae y Cymry yn rhagori yn hyn ar bob cenedl arall. Dywedwn yn ngeiriau yr Awdwr, "Hir y cadwont y neillduolrwydd hwn, er cael eu dirmygu am hyny. Y mae dirmyg rhyw fath o bobl yn fwy o ogoniant nag o warth."*

Mae "Llyfryddiaeth y Cymry" yn gyfarwyddyd gwerthfawr i awdwyr, cyfieithwyr, argraffyddion, cyhoeddwyr, golygwyr, a chasglwyr llyfrau, i weled pa beth sydd eisoes wedi ymddangos yn yr iaith, pa ddiffygion sydd eto yn aros, pa lyfrau sydd yn werth eu cael, eu darllen, eu cadw, a'u hail-gyhoeddi. Yr ydym yn ystyried y cyhoeddwyr Cymreig hyny, sydd yn dwyn allan, dan olygiaeth ofalus, argraffiadau newyddion, prydferth, o hen awduron da a phrofedig, yn gwneyd gwasanaeth teilwng i lênyddiaeth ein gwlad, ac yn haeddu cefnogaeth galonog a chymeradwyaeth didwyll eu cydgenedl. Y mae nifer go dda o'n hen awduron yn deilwng iawn o sylw ar gyfrif rhagoroldeb eu cynnwysiad; eraill yn fwy o ran purdeb a chywirdeb iaith; ac eraill o herwydd eu perthynas â hanes ein gwlad, ac ansawdd ein llênyddiaeth, mewn gwahanol gyfnodau, fel y mae ein gwladgarwch a'n cenedlgarwch yn ein rhwymo i'w parchu a'u gwerthfawrogi. Nid ydym yn hòni perffeithrwydd iddynt fel safon iaith ymhob peth; ond dywedwn yn hyderus eu bod yn cynnwys rhagoriaethau lawer, teilwng i'w dilyn, er bod ynddynt rai anafau i'w gochelyd; a thrwy sylw manwl a phwyllog ar eu gwahanol deithi y daw yr efrydydd i arfer craffder deallus, a meithrin iddo ei hun chwaeth dda. Nid oes modd cyrhaedd hyn heb lafur, a hwnw yn y cyfeiriad priodol. Gresyn gweled ysgolheigion Cymreig, cyfarwydd iawn, dybygid, mewn ieithoedd eraill, yn garbwl, trwsgl, a hynod ddichwaeth, pan yn ceisio gosod allan eu meddyliau yn eu hiaith eu hunain, yn yr hon y ganed hwynt.

Wrth derfynu, dymunem gynnyg un peth arall i sylw dysgedigion a boneddigion gwladgarol, a hwnw yw y dymunoldeb o ffurfio Llyfrfa

* Gwel "Ragdraith" yr awdwr, t. d. xx. a'r xxviii.

Genedlaethol Gymreig, mewn cysylltiad â'n colegau, i gynnwys pob llyfr o werth yn yr iaith, hen a diweddar. Yr ydym yn tybied bod hyn ar raddfa fechan yn perthyn i rai o'n hen athrofëydd enwadol er cynt, ond beth pe chwanegid at eu casgliad o lyfrau Cymraeg, fel ag i gynnwys ein holl awduron goreu? Beth hefyd pe gwneid ymdrech egnïol a phenderfynol i sefydlu Llyfrfa Genedlaethol ëang o'r fath yn y Brif-ysgol Gymreig yn Aberystwyth? Yr ydym yn taflu yr awgrym i ystyriaeth y rhai y mae ar eu llaw ddwyn yr amcan i ben, gan obeithio y caiff dderbyniad croesawgar a gwresog, ac anturiwn ddywedyd yn hyderus y bydd *Llyfryddiaeth y Cymry* yn arweinydd hylaw iddynt i gelloedd a thrysorau llênyddiaeth ein gwlad, am y tair canrif a nodwyd sydd wedi myned heibio."*

---

## MOR TIBERIAS.

Ys enw Tiberias hynod—gyhoeddir,
Mewn tragwyddol gofnod;
Iesu pan yma isod
Arno ef roes eglur nôd.

Efe ddoniodd ryfedd ddynion,—cedyrn
O'i bysgodwyr tlodion;
Hwy yrwyd yn flaenorion
I fwrw Rhwyd fawr yr Iôn.

Iôr rodiodd i waredu—ei rai hoff,
Ar hwn drwy y fagddu;
O! hynotaf wyrth, palmant fu
Ei dònau ysig dan Iesu!

Mewn ingoedd, caed yma 'n angor—air Crist
Rhag grym llid y gwyllt-fôr;
Hwn yw 'r ëofnfyw gefnfôr
Glywodd ddawn yr Arglwydd Iôr.

Ef roddodd â'i fyw air addas—derfyn
I'w dwrf, rhag galanas;
Llywiai y gwynt yn null gwas,
Ust barai dros Tiberias.

Areithle fu i wyrthiol fant—hyfwyn
Etifedd gogoniant!
Ar hwn Ef roes eiriau oesant
Yn fyw eu swyn, tra nef a sant.

* Am yr yspaid hwn y cyrhaedda y gyfrol. Byddai yn orchwyl buddiol barhâu y rhestr am yr hanner cyntaf o'r ganrif bresennol, gydag attodiad i waith yr awdwr, o'r llyfrau anhysbys iddo ef, gynifer y ceir gafael arnynt, neu wybodaeth sicr am danynt.

# WILLIAM GRIFFITHS, BROWYR.

Fe allai nad oes un pregethwr Methodistaidd arall, wedi cyraedd safle mor uchel yn y cyfundeb, ac wedi llafurio am gynnifer o flynyddoedd gyda chymaint o lwyddiant, ag y mae corff mawr darllenwyr y Traethodydd,—yn enwedigol y rhai hyny o honynt sydd yn preswylio yn mharth gogleddol y Dywysogaeth, yn gwybod càn lleied yn ei gylch â William Griffiths, Browyr. Y rheswm am hyny yw fod Browyr y tu allan i'r byd Cymreig, ac mai yno y treuliodd yntau yn agos i hanner canrif o'i oes. Byddai yn myned gyda gradd o gysondeb i Gyfarfodydd Misol Sir Forganwg, ac i Gymdeithasfäoedd y Deheudir, ac yn cymeryd taith achlysurol trwy rai o Siroedd y parth deheuol o Gymru, ond nid ydym yn gwybod iddo fod ar hyd ei oes fwy nac unwaith neu ddwy yn y Gogledd. Gwneuthur ei enw a'i hanes ef yn fwy adnabyddus trwy Gymru oll yw yr amcan sydd genym mewn golwg wrth gymeryd ein hysgrifell mewn llaw ar hyn o bryd.

Y mae o'n blaen fywgraffiad iddo, a gyhoeddwyd yn yr iaith Saesoneg yn y flwyddyn 1863, a chymerwn ein rhyddid i wneuthur defnydd helaeth o'r defnyddiau a gawn yn y gyfrol fechan hon. Gallwn sicrhâu i'n darllenwyr ein bod yn gwneuthur felly gyda chydsyniad calonog yr ysgrifenydd.

Dechreuwn yn y dechreuad. Sir Benfro gafodd yr anrhydedd o'i dderbyn i'r byd ac o'i feithrin am flynyddoedd boreuaf ei oes. Ganwyd ef ar yr 21ain o Ragfyr, 1788, mewn ffermdŷ bychan o'r enw Blaenbrwynen, yn mhlwyf Clydau, yn mharth gogleddol y Sîr hono. Yr oedd ei rïeni yn grefyddol, nid yn unig yn y capel ond hefyd yn y teulu. Talent sylw mawr i grefydd deuluaidd, nid yn unig mewn addoli fore a hwyr, gan uad pa beth a fyddai, ond hefyd mewn meithrin eu plant yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Byddai y fam yn arfer eu holwyddori yn ngwirioneddau y gair, ac yn ymddyddan llawer â hwy am angeu a'r farn, a'r byd a ddaw. Mewn gwirionedd yr oedd "Eglwys yn y tŷ" hwnw: ac nid yw yn beth dyeithr i ddau frawd fel Samuel Griffiths, Horeb, a William Griffiths, Browyr, ddyfod allan o hòno.

Yr oedd William yn nyddiau ei febyd yn wylaidd ac ofnus. Teimlai yn annedwydd iawn yn mhresenoldeb dyeithriaid, ac o herwydd hyny caed trafferth fawr i gael ganddo i fyned i'r ysgol. Ond gorchfygwyd hyny o radd i radd, a daeth i deimlo hoffder mawr at ei lyfrau, ei feistr, a'i gydysgolheigion; ond bŷr fu y cysylltiad rhyngddynt. Gorfu ar y teulu symud i barth arall o'r wlad, a dygodd hyny ei addysg ysgolheigaidd i derfyniad bore a disymwth.

Dechreuodd y reddf bregethwraidd ddangos ei hun ynddo yn nyddiau boreuol ei febyd. Yr oedd efe a'i frawd, o herwydd eu manteision crefyddol, yn fwy hyddysg yn yr Ysgrythyrau na neb arall o blant y gymydogaeth, ac adwaenid hwy ymhlith eu cymdeithion ieuainc fel "y pregethwyr." Byddent yn fynych yn "chwareu cwrdd," ac ar yr achlysuron hyny efe neu Samuel a fyddai bob amser yn "gweinidogaethu;" ond nid chwareu a fyddai hyny yn wastadol. Byddai ambell bryd

wrth bregethu fel hyn yn teimlo "yn dra difrifol." Trôdd un o'r achlysuron hyn allan yn fwy "difrifol" nac yr ydoedd yn dysgwyl nac yn dymuno. Yr oedd yn yr ysgubor, a darfu i'r gweision ei berswadio i bregethu iddynt, nid cymaint er mwyn eu hadeiladaeth, y mae lle i feddwl, ag er mwyn eu difyrwch. Dydd y farn oedd yn uchaf ar ei feddwl yn yr amseroedd yma. Yr oedd ei fam yn arfer dywedyd llawer wrtho am angeu a'r farn, a byddai yn cael ei ddilyn yn barhäus gan ddychryn y dydd hwnw. Yr oedd newydd gael breuddwyd rhyfedd am ddiwedd pob peth. Gwelai y byd ar dân, y cae ar ba un yr oedd yn sefyll yn llosgi ar bob llaw, ac yn y diwedd yn ymagor o dan ei draed; ond ymaflodd rhywun yn ei law, a thŷnodd ef i fyny o'r agen danllyd ac ofnadwy ymha un yr oedd yn suddo; a gwelai y Barnwr yn sefyll yn y cymylau uwch ei ben, ac yn edrych arno gyda thosturi. Ac yn awr, pan yn cael ei gymhell i bregethu gan y gweision yn yr ysgubor, yr oedd yn beth naturiol iddo ddewis dydd y farn yn destun. Aeth yn ei flaen yn hapus nes myned i'r hwyl, ac yna gwaeddai â'i holl nerth, "Fe lysg y byd yn dân, fe dodda pobpeth yn ddwfr, fe drenga holl bobl y lle yma, a'r holl anifeiliaid." Ond Och ni! dyma ei dad yn dyfod i mewn! bu gorfod arno ddisgyn yn bur fuan o'i areithle, a chafodd gerydd llym am ei weinidogaeth ysguboraidd. Brwydr barhäus a fu am y blynyddoedd dilynol rhwng ei gydwybod a'i dueddiadau pechadurus. Ar amserau byddai o dan argyhoeddiadau dwysion, ac ar amserau byddai yr argraffiadau hyny yn cilio, ac yntau ymron ymollwng gyda'r ffrŵd. Ond, o drugaredd, cadwodd cydwybod ei meistrolaeth arno, hyd oni ddaeth yr amser pan y gwnaethpwyd ef gan ras y nef yn grëadur newydd.

Yn y flwyddyn 1807, cyn bod William Griffiths yn llawn bedair ar bymtheg oed, cymerodd amgylchiad le a roddodd gyfeiriad neillduol i holl weddill ei oes. Yr oedd y dyddiau hyny yn ddyddiau terfysglyd ac aflonydd. Ymddangosai fel pe buasai heddwch wedi ei gymeryd oddiar y ddaear. Yr oedd Napoleon Bonaparte yn nghanol ei rwysg. Trwy fuddugoliaethau Austerlitz, Jena, Eylau, a Friedland, yr oedd wedi tòri nerth galluoedd mawrion y Cyfandir, ac wedi eu gorfodi i dderbyn heddwch ar ei delerau ef ei hun. Prydain fawr oedd yr unig rwystr ar ei ffordd i feddiant o lywodraeth gyffredinol, ac yr oedd wedi dechreu ei gyfundrefn fawr o fesurau er ei chau allan o bob masnach â'r Cyfandir, trwy gyhoeddi holl borthladdoedd Prydain mewn sefyllfa o warchae *(blockade)*; ac yr oedd y deyrnas fechan arfeiddiol wedi taflu hèr i'w wyneb trwy gyhoeddi yr holl borthladdoedd o ba rai y cauid allan ei llongau hi, mewn sefyllfa o warchae, a'u holl longau hwy yn agored i gael eu cymeryd lle bynag y deuai o hyd iddynt. Milwyr oedd eisieu mawr y dyddiau hyny. Yr oedd Prydain eisoes wedi tòri nerth Bonaparte ar y môr, ac wedi gorphen difodaeth ei lŷnges ef yn mrwydr fawr Trafalgar. Ond nid oedd pob perygl o ymosodiad wedi myned trosodd, ac o bryd i bryd elai ar lêd y geiriau cynhyrfus, "Y mae y Ffrancod ynd yfod." Yr oedd cartreflu pob Sîr yn cael ei gadw yn ei lawn nerth. Gwasanaethai pob un am bum' mlynedd; ac i lanw y bylchau a wneid gan derfyniad amser rhai, a symudiad eraill i'r fyddin reolaidd, byddai nerth y wlad yn fynych yn gorfod myned o dan y coelbren; ac ar un o'r achlysuron hyny, ac yn y flwyddyn a enwasom eisoes, syrthiodd y coelbren ar William Griffiths i fyned i wasanaethu yn nghartreflu Sir

Gaerfyrddin. Costiai dyn i wasanaethu yn ei le, y pryd hwnw, hanner cant neu driugain o bunnoedd; ond nis gallai efe na'i gyfeillion gael hyd i'r fath swm, ac felly, nid oedd dim i'w wneuthur ond myned i wasanaethu ei amser drosto ei hunan. Yr oedd y catrawd, y pryd hwnw, yn aros yn Devonport; a thuag yno, gan hyny, y darfu iddo fyned, a thri chant o bobl ieuainc eraill gydag ef. Yr oedd bagad o'r rhai hyn yn rhai wedi derbyn tâl am fyned i wasanaethu dros eraill, ac felly yn llawn mewn arian; ond am werth a gallu arian, nid oedd ganddynt ond ychydig wybodaeth. Yr oeddynt wedi clywed am y fath beth a hanner can' punt, ond nid oeddent wedi ei weled yn hŷd eu hoes; ond wele yn awr, yr oedd hyny oll yn eu meddiant personol hwy eu hunain! Yr *oedd* yn swm aruthrol! Hanner cant o bunnoedd! Nid oedd ganddynt un ddirnadaeth pa beth a allai ei wneuthur drostynt a'i sicrhâu iddynt; ond yr oedd un peth yn sicr tu hwnt i bob ammheuaeth—yr oedd yn ddiderfyn. Yr oedd y drychfeddwl ei fod yn beth posibl i ddyfod i bendraw hanner cant o bunnoedd yn rhy ffôl i'w goleddu am foment. Felly ymroisant ati hi i wasgaru â'u holl nerth. Clywsom Mr. Griffiths yn adrodd rhai chwedlau lled ddigrifol am y moddion a ddefnyddiai y gwirioniaid hyn i wasgaru eu trysor "anhysbyddadwy." Sefydlai yr hen ddwylaw eu llygaid arnynt, fel y gwna gweilch ar eu hysglyfaeth; galwent hwy yn "wŷr boneddigion," ac yn bob peth da, ac yn dâl am hyny caent "swperau poethion, a digon i'w yfed." Byddent yn llogi cerbyd, yn dringo i'w ben, gan orchymyn i'r cerbydwr eu gŷru lle y mynai yn y byd, ond bod yn rhaid iddo ŷru ar garlam gwyllt, a rhoddi iddynt werth deg swllt o *ride.* Deuai hono i ben yn fuan; ac yna yr oedd yn rhaid cael un arall, ac un arall drachefn; oblegid yr oeddent yn awr ar ben *cerbyd*—peth nad oeddynt wedi ei weled ond yn anfynych yn hŷd eu hoes, a pheth na welsent yn cael ei lenwi erioed ond gan y gwŷr mawrion. Beth pe buasai eu hen gymydogion yn eu gweled yn awr? Pa beth a fuasent yn ei feddwl? Ond rhwng pob peth, daeth y trysor i ben, ac yna darfu i'r hen ddwylaw roddi heibio eu galw hwy yn "wŷr boneddigion." Am William Griffiths, yr oedd efe heb arian; nis gallai efe roddi swperau, ac nid oedd neb yn ei gyfrif yn werth eu rhoddi iddo. Bu fyw i roddi diolchgarwch calonog i Dduw y nefoedd am y tlodi a'i cadwasai ef rhag temtasiwn.

Wedi aros yn Devonport am bedwar mis, symudwyd y catrawd i Bristol. Yn ystod eu harosiad yn y ddinas hono, anfonwyd nifer o honynt i wasanaethu yn Milford, a chafodd William Griffiths ei nodi yn un o'r rhai hyn, ac felly cafodd y fraint o dalu ymweliad â'i Sir enedigol, ar ol wyth mis o absennoldeb. Tra yn aros yn Milford, ymweliwyd âg ef gan ei frawd Samuel, yr hwn a dreuliodd noswaith gydag ef, a noswaith ryfedd oedd hono. Yr oedd Samuel bellach wedi rhoddi ei hun i'r Arglwydd. Adroddodd wrth ei frawd William hanes y diwygiad nerthol oedd yn ymdaenu yn ei hen gartref, ac ymddyddanodd âg ef am achos ei enaid, a pheryglon ei sefyllfa yn nghanol llu o gymdeithion digrefydd ac anystyriol, gan ddadgan ei ddymuniad a'i weddi, ar fod i'r Arglwydd ei gadw rhag y maglau peryglus a danwent ei lwybr ymhob cyfeiriad. Cafodd yr ymddyddan difrifol hwn effaith ddwys a pharhâus ar ei feddwl. Pan ddaeth tymmor y gwasanaeth yn Milford i

ben, cafodd ganiatâd i ymweled â'i gartref am ddau ddiwrnod, ar y dealltwriaeth ei fod i ymuno â'i gwmni yn Nghaerfyrddin ar eu dychweliad i Bristol. Ymdaenodd y sôn am ei ddyfodiad trwy y gymydogaeth, a daeth lliaws o'i hen gyfeillion ynghyd i'w weled. Dysgwyliai y buasai yn dda ganddynt ei glywed yn adrodd helyntion ei fywyd milwraidd, ynghyda hanes y rhyfeddodau a welsai yn y parthau pellenig ac y buasai yn preswylio ynddynt; ond rhwystrwyd ef rhag gwneuthur dim o'r fath gan faint eu hawydd hwy i adrodd wrtho ef am y rhyfeddodau yr oedd yr Arglwydd wedi, ac yn parhâu i'w gwneuthur, yn eu plith. Yr oedd yn amser hyfryd, ond buan y daeth y ddau ddiwrnod i ben, a gorfu i William Griffiths ymadael o fynwes ei deulu a wynebu eto ar y caethiwed caled. Aeth ei chwaer i'w hebrwng am ugain milldir. Gwnaent i fyny ddarlun tra chyffröus. Y gŵr ieuanc tàl, wyneb-agored, heb gael ei lygru gan y temtasiynau yr oedd wedi myned trwyddynt, ac eto heb lwyr roddi ei hun i'r Arglwydd, yn marchogaeth yn araf yn ei wisg filwraidd, a'i chwaer dduwiol a gwledig ar geffyl arall wrth ei ochr, yn ymddyddan âg ef "bob cam am bethau da, ac am eu rhïeni y rhai oeddent yn awr yn y nefoedd." Aeth gydag ef nes dyfod i olwg Caerfyrddin, ac yr oedd yr ymadawiad yn dorcalonus. "Wylai yn chwerw wrth droi yn ei hol; a phan yn cymeryd o fy llaw y ceffyl ar ba un yr oeddwn wedi marchogaeth, ymatteliais i rhag dangos llawer o deimladau hyd onid aeth hi allan o'r golwg, *ac yna wylais lawer.*" Ac felly dan wylo a dwysfyfyrio aeth yn ei flaen tua Chaerfyrddin. Dywedai ynddo ei hun, "Y mae gweddïau ein rhïeni duwiol wedi cael eu hateb yn achubiaeth y plant eraill, ond am danaf fi yr wyf fel aderyn du yn eu plith, yr wyf fi yn golledig." Credai dros ei oes fod y gwaith da wedi dechreu ynddo y pryd hwnw. Ond yr oedd brwydrau caled o'i flaen eto. Pan yn nesâu at Bristol, sylwodd un o'i gymdeithion ei fod yn edrych yn sobr dros ben, ac atebodd un arall, "Wedi bod yn ymgymysgu â'r Methodistiaid y mae." Cynhyrfodd y sylw hwn chwerthin mawr, ac aeth y chwerthiniad hwnw i'w galon. Penderfynodd na fyddai iddo ymddangos yn sobr mwy. Byddai mor chwerthinus â neb o honynt. Yr oedd am fod yn grefyddol, hid siŵr, ond ni chai neb o'r llanciau hyn dybied ei fod yn grefyddol. Ond trwy y cwbl yr oedd y saeth yn pigo yn ei gydwybod. Byddai yn myned yn achlysurol i'r gwasanaeth Cymreig yn nghapel Broadmead, ac yn myned gyda'i gymdeithion i'r dafarn, er mwyn cael llonyddwch rhag yr ystorm o'i fewn. Fel hyn y parhäi yr ymdrechfa rhwng y drwg a'r da, ac am amser y drwg oedd yn cael yr oruchafiaeth. Un diwrnod pan yn sefyll gyda rhyw hanner cant o'i gydfilwyr ar College Green, darfu iddo feiddio cadarnhâu rhywbeth a ddywedasai â llŵ. Chwarddodd rhywun oedd yn sefyll gerllaw, gan ofyn i'r lleill, "A glywsoch chwi *fe* yn rhegu?" Cafodd y gelyn ei fod wedi cario pethau yn rhy bell. Glynodd y geiriau gwawdus fel saeth yn nghalon William Griffiths; ac o'r mynyd hwnw, penderfynodd dynu o blith y drwgweithredwyr, a rhoddi ei hunan i'r Arglwydd. Yr oedd yn y catrawd eisoes rai pobl ieuainc gwir grefyddol. Ceisiodd gyfeillach y rhai hyny; ac ymhen ychydig amser, ymunodd â'r eglwys Gymreig yn Broadmead. Symudwyd y catrawd o'r naill barth o'r ddinas i barth arall, a chymerodd *serjeant* y cwmni i ba un y perthynai ein cyfaill, yr hwn oedd yn elyn i grefydd, ac yn dipyn o erlidiwr, yn ol

ei allu, fantais ar hyny i'w osod ef a thri gŵr ieuanc crefyddol eraill i lettŷa yn un o'r tafarnau mwyaf isel a llygredig yn yr holl ddinas. Gosodwyd y pedwar i gysgu mewn nenlofft wael. Gwelsant yn fuan y fath le yr oeddynt ynddo, a phenderfynasant gadw eu drŵs bob amser dan glo, a rhoddi ar ddeall i bobl y tŷ nad oedd neb i fyned i mewn i'w hystafell hwy un amser, nac i un amcan, ond eu hunain. Am nad oedd lle tân yn eu hystafell, byddai un o honynt yn gorfod myned i wared i'r gegin i goginio eu bwyd, a byddai hwnw bob amser yn cael digon o anfri a gwawd. Er mawr anesmwythder i bobl y tŷ, cadwent addoliad teuluaidd fore a hwyr. Rhoddodd y tafarnwr rybudd iddynt fod yn rhaid iddynt roddi hyny heibio, na oddefai efe y fath beth a gweddïo yn ei dŷ, yn enwedig gan eu bod yn gwneyd y fath sŵn wrth weddïo, fel yr oeddynt yn aflonyddu y bobl a gysgent yn yr ystafell islaw iddynt. Yr oedd W. Griffiths wrth natur yn wylaiddd ac ofnus; ond pan fyddai Duw a dyledswydd yn y cwestiwn, yr oedd yn hŷf fel llew. Atebodd i'r tafarnwr anfoddog, eu bod hwy yn weision i'r brenin—bod ystafell wedi ei phenodi iddynt yn ei dŷ ef, a bod hono yn llawn cymaint eiddo iddynt hwy, tra fyddent yno, ag yr oedd parthau eraill y tŷ yn eiddo iddo ef, a bod ganddynt hawl i'w defnyddio fel y gwelent yn dda. Bod addoli Duw yn ddyledswydd, ac y teimlent o dan rwymau i'w chyflawni; a chan nad oeddynt yn gwneuthur mwy o sŵn wrth weddïo nag oedd y bobl eraill wrth siarad, nid oedd gan neb reswm i achwyn. Dïau y dengys y dydd hwnw iddynt adael argraff ddaionus yn y fangre lygredig hon. Clywodd un o honynt fenywod anfoesol yn siarad am danynt yn y gegin. Condemnient eu bywyd eu hunain, ac addefent wrth y naill y llall mai ffordd y sawdwyr crefyddol oedd y ffordd oreu.

Symudwyd y catrawd o Bristol i Sunderland. Buont ar eu taith dri ar hugain o ddiwrnodau, a phob nos mŷnodd y cyfeillion crefyddol gyfle i gadw cyfarfod gweddi. Ar ol cyraedd Sunderland, eu gofal cyntaf oedd sicrhâu lle i gynnal cyfarfod gweddi a "seiat," a bu gweinidog yr Annibynwyr mor garedig a chaniatâu iddynt gyfarfod, a chynnal moddion Cymraeg yn ei gapel ef. Yn nesaf symudwyd hwy i Newcastle-on-Tyne, ac yno cawsant y fraint o gyfarfod â "chartref a chyfeillion crefyddol." O Newcastle symudwyd hwy i Manchester, lle yr oedd eisoes gynnulleidfa o Fethodistiaid Cymreig, â pha un y cawsant y pleser a'r fraint o ymuno. Yma cyfarfu Mr. Griffiths â'r Parch. Rees Jones, y pryd hwnw o Sir Fôn, ond wedi hyny o Browyr; a'r gyfeillach a ffurfiwyd rhyngddynt a fu yn foddion, yn rhagluniaeth Duw, i arwain y cyntaf i ddyfod yn gydlafurwr â'r olaf yn y parth Seisnigaidd hwnw o Sir Forganwg. Tra yn Manchester daeth tymmor milwraidd Mr. Griffiths i ben; ond cyn hyny cafodd gyfle, am y waith gyntaf yn ei oes, i weled a chlywed y Parch. John Elias. Bu Mr. Elias yn dra charedig iddo. Yr oedd y gŵr ieuanc ar gychwyn tua'i gartref. Yr oedd yn daith bell o Manchester i Sir Benfro, ac nid oedd rheilffyrdd yn bod y dyddiau hyny. Nid oedd dim i'w wneuthur ond ei cherdded hi bob cam. Er mwyn lleihâu anghysuron y daith, rhoddodd Mr. Elias lythyr iddo i'w ddangos i gyfeillion crefyddol ar y ffordd, yn deisyfu arnynt ei dderbyn yn garedig fel brawd yn yr Arglwydd. Ond ni bu achos defnyddio y llythyr rhwng Manchester a'r Bala. Yr oedd Mr. Elias ei hun yn myned i'r lle olaf i'r Gymdeithasfa, a chafodd ein cyfaill y fraint

o gyd-deithio â'r pregethwr mawr tuag yno, a mwy na hyny gorfu iddo amryw weithiau, er ei fawr anghysur, fyned i'r pulpud yn ei ddillad milwraidd i ddechreu oedfäon "yn mhresennoldeb y tyrfäoedd llïosog." Ofnai mewn blynyddoedd dyfodol ei fod wedi myned trwy y gwasanaeth hwn yn ddigon chwithig, a'i fod, yn mhoethder ei zêl, wedi dangos llawer o anwybodaeth yn mhresennoldeb pobl a wyddent lawer mwy nag ef ei hun. Ond cysurid ef gan yr ymwybodolrwydd fod ei galon yn gywir, a'i fod wedi gwneuthur ei oreu. Fel hyn, ar ol treulio pum' mlynedd yn nghanol temtasiynau mawrion, ac mewn amgylchiadau cwbl anffafriol i grefydd a rhinwedd, temtasiynau ac amgylchiadau a fuont yn ddinystr i lawer o'i gymdeithion, dychwelodd i'w fro enedigol yn well dyn nag yr ydoedd pan ei gadawsai. Ymhen blynyddoedd lawer ar ol hyn, wrth gymeryd adolwg ar ei fywyd milwraidd, ysgrifenai: "Galluogwyd fi gan ras Duw, yr hwn oedd yn fy nghynnorthwyo, i fyw yn grefyddol bob amser ac ymhob peth, er fy mod yn cael fy amgylchynu gan demtasiynau, a chan lïaws o ddynion annuwiol. Trwy fod yn gadarn a phenderfynol, cefais lai o anhawsder nag yr oeddwn yn ei ddysgwyl i sefyll fy nhir. Y mae crefydd o werth annhraethadwy fel amddiffyniad rhag drygau presennol. Yr oedd genyf archwaeth fawr at gymdeithas ysbrydol, ac yr oedd yn bleser parhäus i mi i fyned i dŷ yr Arglwydd. Trwy ei law ddaionus ef arnaf, ni chefais fy ngadael i fod yn ddifater ynghylch moddion crefyddol, ac ni ddarfu i mi erioed eu teimlo yn faich. Y rhai hyn, fel moddion, a fuont i mi yn dŵr o ddïogelwch yn y dyddiau hyny, oblegid ynddynt hwy darfu i'r Arglwydd yn fynych adnewyddu a bendithio fy enaid; a thrwy fywyd diargyhoedd, cefais fwy o ddylanwad ar fy nghymdeithion nag a allaswn ei gael heb hyny." Pan ddychwelodd adref, cafodd ei frawd Samuel wedi prïodi ac yn cadw ysgol. Ychydig oedd y manteision a gawsai William Griffiths yn ei febyd, ond nid oedd wedi bod yn segur yn ystod ei fywyd milwraidd; a chan i'w frawd gael cyfle i fod yn wasanaethgar mewn cylch arall, rhoddodd i fyny ei ysgol iddo ef. Yn y gwaith hwn yr oedd yn teimlo gartref, ac wrth addysgu eraill dysgodd ei hun. Ond nid oedd yn foddlawn ar hyny. Yr oedd ei enaid yn llawn awydd gwneuthur daioni, a chasglai ieuenctyd y gymydogaeth ar y nosweithiau i'w haddysgu mewn gwybodaeth grefyddol. Cynnelid yr ysgolion nosol hyn mewn tai annedd ar gylch, ac ar y nosweithiau pan nad oedd moddion yn y capel; a dywed ei fod yn cael pleser mawr ynddynt, a'i fod yn fynych wrth anerch y bobl ieuainc a ddeuent ynghyd ynddynt "yn teimlo ei galon yn llawn." Cyn bo hir, cawn ef, ar ddymuniad taer y frawdoliaeth, yn dechreu pregethu. Y tro cyntaf y gwnaeth gynnyg at hyny oedd yn nghapel Bwlchygroes. Yr oedd y pregethwr a ddysgwylid wedi methu dyfod. Taer gymhellodd y brodyr Mr. Griffiths i wasanaethu yn ei le "Ac anturiais," meddai, "ar ol gweddi i sefyll i fyny a llefaru ychydig gyda llawer o ofn a chryndod, ond yr oeddwn yn rhy ofnus i fwynhâu rhyddid." Y tro nesaf yr anturiodd oedd yn un o'r ffermdai lle y byddai yn arfer cadw ysgol nosol. Y tro hwn cymerodd yn destun Hosea v. 15: "Af a dychwelaf i'm lle, hyd oni chydnabyddont eu bai, a cheisio fy wyneb: pan fyddo adfyd arnynt, y'm bore-geisiant." Ac am y tro hwn dywed, "Mwynhëais ryddid a llawer o gysur."

A oes rhyw bregethwr nad yw wedi bod erioed mewn trafferth i gael testun? Dengys dyddlyfr Mr. Griffiths fod y cwestiwn "Pa beth a waeddaf?" yn gwasgu ambell bryd yn drwm ar ei feddwl. Am ddydd Mercher, Hydref 11eg, 1815, ysgrifenai fel y canlyn: "Trafferth fawr yn fy meddwl heddyw ynghylch pa beth i'w ddywedyd y Sabbath nesaf. Methu a chael dim i sefydlu yn fy meddwl. Ymdrechais ledu fy achos ger bron yr Arglwydd yn y dirgel, ond nid wyf wedi cael un atebiad." "Dydd Iau. Yn agos yr un fath. Methu a myned trwodd i gymundeb â Duw, er fy mod wedi ceisio amrywiol weithiau." "Dydd Gwener. Cael mwy o afael yn y dirgel heddyw, ond yn parhâu o dan faich trwm ynghylch y Sabbath. O Arglwydd, pa beth a wnaf? Pa beth a ddywedaf wrth y bobl? Nid oes dim yn aros yn fy meddwl. Y mae genyt ti gyflawnder, ac yr wyt wedi rhoddi ychydig i mi weithiau. O Arglwydd, cofia fi eto yr un waith hon, er mwyn Iesu. Amen." Fe gofiodd yr Arglwydd am dano, fel y gallesid dysgwyl. Dydd Sadwrn fe gafodd destun, a chymhorth i ysgrifenu ychydig arno; a rhoddwyd iddo Sabbath hapus ar ol ei drafferth flin, a'i weddïau taerion. Cafodd "help mawr" yn y bore, mwy y prydnawn, a mwy drachefn yn yr hwyr. Ond y noswaith hono, wrth ymddyddan â'i galon ar ei wely, nis gallai edrych yn ol ar waith y dydd gyda chwbl foddlonrwydd. "Heddyw," meddai, "teimlais yn haws i lefaru wrth ddynion, nag i lefaru wrth Dduw, ac yr wyf yn sicr nad yw hyny yn arwydd dda."

Yr oedd yn llawn o ysbryd y bugail o'r cychwyn cyntaf. Cawn restr o enwau y rhai a gyfansoddent eglwys Bwlchygroes y pryd hwnw, yn ei law-ysgrifen ef ei hun. Ar ben y rhestr y mae dau bregethwr,—"Josïah Evans o'r Dyffryn," a "William Griffith, Ffosfartach." Yna y mae yn canlyn bedwar o "stiwardiaid," canys y dïacon heddyw a elwid y pryd hwnw yn stiward; a dyma hwy,—Jonathan James, Blaengilfach; Thomas John, Penrhipin; William Morris, Cnwcpoeth, a Benjamin Phillips, y Saer." Yna y daw yr aelodau cyffredin, ac ymddengys fod ail enwau rhai o honynt yn anadnabyddus i'w cymydogion, oblegid yn eu plith cawn "Anne o Glànrhyd, " a "William y Crŷdd, Pantwedwst." Yr oedd tafarnwr y pentref ymhlith y nifer, "Daniel James o'r *Star*;" ac yn nesaf ato yr oedd y dafarnwraig, "Elizabeth James, ei wraig." Yr oedd y cwbl, yn bregethwyr, "stiwardiaid," a phawb, yn gwneuthur i fyny y nifer o bedwar ugain a phymtheg; a dengys dyddlyfr Mr. Griffiths ei fod yn teimlo cymaint o ofal am danynt a phryder yn eu hachos, a phe na buasai yno na phregethwr na "stiward" ond ei hunan. Bellach rhwng ei ysgol ddyddiol Seisonig, ei ysgolion nosol Cymreig, a phregethu ar y Sabbothau, yr oedd mewn llawn waith, a buasai yn foddlawn i dreulio ei oes i lafurio felly; ond galwyd ef gan Ragluniaeth i faes arall. Yr oedd Mr. Rees Jones o Sir Fôn, ar gais Arglwyddes Barham, wedi ei anfon eisoes gan y Gymdeithasfa i lafurio mewn cŵr o Browyr, yn Sir Forganwg, ac yr oedd galwad bellach am lafurwr arall ar yr un maes; a syrthiodd dewisiad y Gymdeithasfa, mewn cydsyniad â chais Mr. Jones ar Mr. Griffiths. Y mae y TRAETHODYDD eisoes, yn rhifyn Ionawr, 1867, wedi traethu am Browyr, a chan hyny nid oes achos i ni fanylu yn y ffordd hono. Yn Penclawdd yr oedd Mr. Jones yn llafurio, a phenderfynwyd, yn Nghymdeithasfa Abergwaun, yn Hydref, 1816, fod Mr. Griffiths i fyned yno ar ddechre y flwyddyn ganlynol. Cyrhaedd-

odd Penclawdd ar y 10fed o Ionawr, 1817; a'r peth cyntaf a'i cyfarfyddodd oedd siomedigaeth. Hysbysodd ei gyfaill iddo gyda thristwch mawr, fod yr Arglwyddes wedi newid ei chynlluniau, ei bod yn myned i dòri ei chysylltiad â'r Methodistiaid, fod rhai amgylchiadau wedi cyfnewid oddiar pan anfonasai y cais i'r Gymdeithasfa, ond fod y cyfnewidiad wedi dyfod yn rhy ddiweddar i'w attal ef rhag dyfod. Drannoeth, derbyniodd lythyr oddiwrth ei harglwyddiaeth ei hunan, yn cynnwys cadarnhâd o'r un hysbysiad adfydus, gyda'r ychwanegiad ei bod yn drist iawn ganddi am y siomedigaeth, ac os dewisai efe aros yn Penclawdd i gydlafurio â Mr. Jones am dri mis, y rhoddai iddo swm bychan am ei lafur. Y "swm bychan" hwnw oedd saith swllt yr wythnos. Ar ddiwedd y tri mis, dymunodd ei harglwyddiaeth arno aros am dri mis arall ar yr un telerau, ac yr oedd yn dda ganddo yntau gydsynio er mor fychan oedd y tâl. Cafodd fudd a bendith yn ystod y chwe' mis yma yn nghymdeithas Mr. Jones, am yr hyn y teimlai yn ddiolchgar i Dduw yn mlynyddoedd dilynol ei oes. Pan oedd y tymmor olaf ar ddyfod i ben, aeth yn wasgfa bwysig ar Mr. Griffiths. Yn ol pob ymddangosiad, byddai yn rhaid iddo ddychwelyd adref; ond pa beth a wnai efe yno tuag at fyw? Yr oedd wedi rhoddi i fyny ei ysgol, a hono oedd prif foddion ei gynnaliaeth; ac yr oedd teimlad newydd wedi dyfod i mewn yn awr. Heblaw gofyn, "Pa fodd y gallaf fyw yn fy hen gartref, a minnau wedi rhoddi i fyny yr ysgol?" yr oedd cwestiwn arall yn ymgodi yn eigion ei enaid—"Pa fodd y gallaf adael y bobl dlodion yma?" Yr oedd yn tosturio wrth bobl anwybodus ac annuwiol Browyr, ac yr oedd ei enaid o'i fewn yn dyheu am ddrŵs agored i daflu ei hun i'w plith i geisio eu hachub. Fe agorwyd drŵs iddo yn hollol annysgwyliadwy. Yr oedd Arglwyddes Barham wedi codi adeilad bychan, yr hwn oedd yn gwasanaethu fel ysgoldŷ a chapel, mewn pentref a elwir Froglane, tua saith milldir o Penclawdd. Gelwid, a gelwir yr adeilad hwn "Trinity," a chedwid ysgol ynddo ar yr wythnos, a phregethid ynddo unwaith ar noson waith, ac unwaith neu ddwy ar y Sabbath. Bu Mr. Griffiths yn pregethu yma amryw weithiau yn ystod ei arosiad yn Penclawdd, ac ambell waith cafodd "lawer o gymhorth, er fod y bobl yn ymddangos yn wylltion iawn." Cadwai yr Arglwyddes ysgolfeistr yn y lle hwn, gŵr ieuanc difrifol a gweithgar o'r enw Phillip Gwyn. Cymerwyd y gŵr ieuanc hwn yn glaf, a chafodd fyned adref am fis i ymddadebru, a dymunodd ei harglwyddiaeth ar Mr. Griffiths fyned am y mis hwnw i gymeryd gofal yr ysgol. Gwaelu a wnaeth y gŵr ieuanc yn lle gwella; nid hir y bu cyn marw; a'r canlyniad a fu i Mr. Griffiths gael ei benodi yn bregethwr ac ysgolfeistr y Trinity. Yr oedd ganddo faes llafur yn awr, ac ar lawer o gyfrifon yr oedd y maes hwnw yn un pur ryfedd. Yn Penclawdd yr oedd yr iaith Gymraeg i ryw fesur yn ffŷnu, a dylanwadau Cymreig i raddau mwy neu lai yn cael eu teimlo; ond dyma fe bellach yn mherfeddion Browyr, lle yr oedd holl hynodion Browyr a'i phobl yn blodeuo yn eu perffeithrwydd. Yr oedd pobl Penclawdd ambell bryd yn ddigon drwg. Cafodd Mr. Jones drafferth fawr un Sabbath i dawelu dwy wraig ag oeddynt wedi tòri allan i ymrafaelio ar ganol yr oedfa, ynghylch hanner coron, yr hwn a ddywedai un ei fod yn ddyledus iddi, ac y taerai y llall ei bod wedi ei dalu. Ond yr oedd pobl cymydogaeth y Trinity yn waeth fyth. Ymgasglai

llïaws o bobl ieuainc ar yr ystryd o flaen y capel ar amser oedfa; yno chwareuent, gwaeddent, a chwarddent â'u holl nerth. Rhedai dau neu dri o honynt i mewn i ganol y gynnulleidfa, a rhuthrent allan drachefn gan chwerthin, i adrodd i'w cymdeithion y fath orchestwaith yr oeddent wedi ei gyflawni. Ac nid oedd y rhai a fyddent y tu fewn ychwaith yn ymddwyn bob amser fel ag i helpu y pregethwr i fyned yn y blaen yn gysurus. Byddent ambell bryd yn gwneyd sylwadau mewn atebiad i'w sylwadau ef. Unwaith cyfarfyddodd â phrofedigaeth danllyd yn y cyfeiriad hwn. Yr oedd wedi gwneuthur y sylw hwnw ag y bydd pregethwyr yn ei wneuthur yn awr weithiau—"Nid wyf yn bwriadu eich cadw chwi yn faith," pryd yr atebodd rhywun yn y gynnulleidfa, "Wel, ïe, y *mae* hyny yn well hefyd, waith y mae y bobl wedi blino, ag eisieu myned gartref."

Ond er pob digalondid, ymrôdd ati â'i oll egni. Siaradai â'r plant yn yr ysgol, ac â'r bobl ymhob man, am eu heneidiau. Pregethai mewn tai annedd ar hyd y gymydogaeth, ond weithiau byddai yn anhawdd cael gan y bobl agoryd eu drysau i'r amcan hwnw. Mewn atebiad i gais o'r natur yma, dywedodd un wrtho y cai efe bregethu yn ei dŷ ef am unwaith—"*just for wance.*" Aeth yno a phregethodd, a chyn disgyn oddiar y stôl, gofynodd i ŵr y tŷ yn nghlywedigaeth y gynnulleidfa, "A gawn ni ddyfod yma eto yr wythnos nesaf?" Cafodd yn atebiad, "Na, nid wyf yn ei leicio; y mae cymaint o drafferth i symud y ford fawr allan o'r *room.*" Ar ddiwedd oedfa, mewn tŷ arall, dywedai y gŵr wrtho mewn atebiad i'r un cwestiwn, "Wel, wn i ddim eto; ni gawn glywed beth fydd y bobl yn ddywedyd heno am y bregeth."

Yr oedd y *Mabsant* yn sefydliad mawr yn Browyr y dyddiau hyny, a daeth amser un o'r gwyliau llygredig hyny cyn bod Mr. Griffiths wedi bod yn hir yn y Trinity. Yr oedd yn dechreu casglu cynnulleidfa gysurus; ond pan ddaeth Sul y Mabsant, dywed, "Ni chefais ond ychydig o bobl, am fod oedfa arall gan y diafol yn cael ei chynnal yn y pentref." Y flwyddyn ganlynol, penderfynodd fod ymlaen llaw ar y gelyn. Darparodd bregeth yn erbyn y mabsant; y testun ydoedd, ymadawiad Lot â Sodom. Pan yn pregethu, disgynodd dylanwad nerthol arno ef a'r gynnulleidfa. Cymerodd achlysur hefyd i'w ceryddu am chwareu cardiau, arferiad ag oedd yn ffŷnu yn dra chyffredincl yn eu plith. Yr oedd yr effeithiau yn rymus. "Wylai llawer, ac ymddangosai eraill fel wedi eu llenwi â digofaint." Nid ofer y bu y bregeth hon. Y Sabbath canlynol oedd dydd yr ŵyl bechadurus, a methodd y mabsant gasglu mwy na'r bedwaredd ran o'i gyflenwad arferol o ddynion, ac aeth y bobl o'r capel yn union tua'u cartrefi, yn lle myned i'r tafarnau fel y byddent yn arfer. "Y mae y tafarnwyr," meddai Mr. Griffiths, "yn llawn o ddigllonedd yn fy erbyn, ac yn gwylied cyfleusdra i ddïal arnaf. Yr Arglwydd a faddeuo eu pechod, ac a agoro eu llygaid i weled eu cyflwr truenus cyn y byddo yn rhy ddiweddar."

Adeiladodd Arglwyddes Barham gapel mewn parth arall o Browyr, ar ochr ddehau-ddwyreiniol y wlad, ac mewn ardal a elwir Pilton Green. Y mae yn fan canolog rhwng amryw bentrefi tra phoblogaidd. Wedi i Mr. Griffiths lafurio yn, ac o amgylch y Trinity, gyda llawer o lwyddiant am dair blynedd a hanner, cafodd ei symud i'r fan yma i gadw ysgol ddyddiol a phregethu. Yr oedd y Trinity o fewn i lai na dwy filldir i Bethesda,

y capel mawr ymha un yr arferai ei harglwyddiaeth addoli, ac a ystyrid ef fel gorsaf fechan berthynol i'r lle hwnw. Dysgwylid i bwy bynag a argyhoeddid trwy weinidogaeth Mr. Griffiths yn y Trinity a'r gymydogaeth, ddyfod i geisio aelodaeth yn Bethesda. Ond gan fod capel "Immanuel," Pilton Green, yn llawer pellach o'r canolbwynt, cafodd y pregethwr ganiatâd ac annogaeth i gasglu eglwys ynddo. Ymddangosai y maes yn ddigon anaddawol. Fel hyn yr ysgrifenai Mr. Griffiths am dano: "Anialwch diffrwyth sydd yma mewn ystyr ysbrydol. Nid wyf yn gwybod fod un enaid dychweledig yn yr holl gymydogaeth o amgylch." Ond ymroddodd i lafurio ymhob modd. Ymddyddanai â'r plant yn yr ysgol, ac â'r bobl yn eu cartrefi. Pregethai ar y Sabbothau ac ar y nosweithiau yn y capel, ac ar hyd tai y gymydogaeth; a chyn bo hir gwelwyd arwyddion fod yr Arglwydd yn dwyn tystiolaeth i air ei ras. Ymddangosai amryw o dan argraffiadau; a chafodd, wrth ymddyddan â rhai, eu bod am gysegru eu hunain i'r Arglwydd. Penderfynodd gan hyny i gyhoeddi cyfarfod eglwysig, a daeth chwech ynghyd i geisio aelodaeth. Yr oedd ymysg y rhai hyn rai nad oedd efe yn eu dysgwyl, ond yr oedd amryw o'r rhai a ddysgwyliasai yn absennol. Cafodd "lawer o bleser" wrth ymddyddan â dau o'r ymgeiswyr yma, a llawer o'r teimlad gwrthwynebol i hyny wrth siarad â'r pedwar arall. Yr wythnos ganlynol, daeth dau o'r newydd, ond yr oedd amryw o'r chwech cyntaf wedi tynu yn ol. Bychan fel hyn oedd y dechreuad, ond o radd i radd daeth pethau i wisgo gwêdd dra gobeithiol. Ond yr oedd ystorm ddifrifol yn yr ymyl, a llwyddiant Mr. Griffiths i gasglu eglwys yn Pilton Green a fu yn achlysur o hóni. Yr oedd gan Arglwyddes Barham wasanaethwr—trulliad, os nad ydym yn camsynied—o'r enw William Hammerton, yr hwn, yn ol pob ymddangosiad, oedd yn ddyn duwiol. Teimlodd awydd pregethu, a chafodd bob cefnogaeth o du ei arglwyddes i arfer ei ddawn yn y ffordd hono. Pregethai ar hŷd a llêd Browyr, a bu unwaith neu ddwy ar daith fèr gyda Mr. Rees Jones tu hwnt i derfynau y wlad hono. Dysgodd ddigon o Gymraeg ar yr achlysuron hyny i roddi allan bennill rywbeth yn debyg i'r hyn a ganlyn:—

Mei iecidwiaeth ffel i mo'
In cwitho bith i làn, &c.

Ac yno, fel y mae yn ymddangos, y terfynodd ei efrydiaeth Gymreig; ond yno y dechreuodd y gofid a gafwyd yn ei achos. Tybiodd ei arglwyddes, gan ei fod bellach yn bregethwr y dylasai gael ei neillduo i gyflawn waith y weinidogaeth, ac anfonodd gais i'r perwyl hwnw i'r Gymdeithasfa. Ond yr oedd yn un o reolau y cyfundeb ar y mater hwn na byddai i neb gael ei neillduo hyd nes y byddid wedi cael prawf o'i weinidogaeth am bum' mlynedd. Anfonwyd hyn yn atebiad i'w harglwyddiaeth. Ond ni fynai hi blygu i'r rheol, ac er nad oedd gan y frawdoliaeth un ammheuaeth am dduwioldeb Mr. Hammerton, na dim i'w ddywedyd yn erbyn ei weinidogaeth, nis gallent dòri ar draws eu rheol eu hunain, ac felly aeth yn rhwyg rhyngddi hi a hwythau. Ymadawodd ei harglwyddiaeth â'r Methodistiaid, ac ymunodd â'r Annibynwyr. Cafwyd dau o weinidogion yr enwad i ddyfod i gapel Burry Green i urddo Mr. Hammerton. Nid ei osod yn fugail a wnaed ar yr eglwys oedd yn ymgynnull yn y capel hwnw, oblegid yr oedd yr eglwys hono wedi penderfynu mai gwell a fuasai oedi. Bwriedid iddo fod yn weini-

dog ar eglwys Newton, ond yr oedd yr eglwys hono wedi rhoddi ei phleidlais yn erbyn ei neillduad. Ond gwnaethpwyd ef yn weinidog gan nifer o frodyr cynnulleidfäol, a sefydlwyd ef gan Arglwyddes Barham ar eglwys Newton, lle y bu yn gweinidogaethu hyd ddiwedd ei oes. Fel yna y penderfynwyd yr achos hwnw. Ond dyma y dyryswch: yr oedd yr arglwyddes bellach yn perthyn i'r Annibynwyr, a felly yr oedd ei holl gapeli hi yn perthyn i'r enwad. Yr oedd capel Pilton Green yn un o honynt, ond yr oedd Mr. Griffiths yn Fethodist, a'r gymdeithas fechan a gasglasai yno yn ystyried eu hunain yn Fethodistiaid. Nis gallai Mr. Griffiths weinyddu Swper yr Arglwydd i'w ddeadell, oblegid yr oedd heb ei neillduo. Mynai yr arglwyddes i'r eglwys gael ei chorffori gan y gweinidog Annibynol oedd yn llafurio yn Burry Green, ond dymunai Mr. Griffiths a'r aelodau am i hyny gael ei wneuthur gan weinidog Methodistaidd. Nid oedd Mr. Griffiths yn foddlawn ymadael â'i hen frodyr, a theimlai mai peth tra chwithig a fuasai iddo fod yn weinidog Methodistaidd ar eglwys Annibynol. Bu yn ddadl fel hyn am fisoedd; a'r diwedd a fu i Mr. Griffiths a'r gynnulleidfa gael rhybudd oddiwrth Mr. Hammerton, yr hwn oedd bellach wedi ei osod yn arolygwr yr achos yn Browyr, fod yn rhaid iddynt ymostwng i gymeryd eu corffori gan weinidog annibynol, neu ymadael â'r capel. Daethant yn unfrydol i'r penderfyniad i ddewis yr olaf, a phan y daeth amser y rhybudd i ben, ymadael a wnaethant. Cymerasant dŷ yn y gymydogaeth, lle y pregethai Mr. Griffiths, ac y cynnelid moddion eraill; ac ymhen ychydig fisoedd cymerwyd hen gapel a adeiladesid gan y Wesleyaid, ond yr hwn oedd bellach wedi ei gau i fyny o eisieu pobl mewn ardal a elwir Oldwalls, tua saith milldir i'r gogledd o Pilton Green. Ar ol hyny daeth Mr. Charles drosodd o Gaerfyrddin, a gweinyddodd Swper yr Arglwydd am y waith gyntaf i'r eglwys Fethodistaidd yn Browyr, yr hon oedd bellach yn rhifo dau ar bymtheg ar hugain o aelodau. Yr oedd hyn oll yn beth hapus iawn; ond yr oedd cwestiwn pwysig yn dechreu dyfod yn ddifrifol ar feddwl ein cyfaill, a'r cwestiwn hwnw ydoedd, pa fodd i fyw wedi i adnoddau ei gynnaliaeth gael eu tòri ymaith? Ni ddarfu i ni yn ein bywyd gyfarfod â neb yn meddu cryfach ffydd mewn Rhagluniaeth nac efe, ac ar Ragluniaeth yr oedd wedi taflu ei hun. Gallasai hyny fod yn beth purion mewn ambell fan; ond yr oedd i ddyn daflu ei hun ar Ragluniaeth yn Browyr, yn beth tra sobr. Tlodion gan mwyaf oeddynt yn gwneuthur i fyny ei braidd, ac nid oeddynt eto wedi dysgu cyfranu, nac wedi cymaint a chlywed am y fath beth. Yr oedd Arglwyddes Barham wedi dyfod â'r efengyl iddynt yn hollol râd, a chafwyd llawer o drafferth i'w perswadio i roddi derbyniad iddi ar y telerau hyny; ond yr oedd talu tuag at gynnal eu gweinidogaeth yn beth hollol wahanol, ac yn beth nad oeddynt erioed wedi dychymygu y buasai galwad arnynt i'w wneuthur. Yr oedd rhai o honynt o dan yr argraff mai yn gwbl wrthwyneb i hyny y dylasai pethau fod. Cyfarfu Mr. Griffiths unwaith âg un o'i wrandäwyr, ac nid oedd efe ond esiampl o lawer o honynt, ac anerchwyd ef ganddo rywbeth i'r pwrpas canlynol: "Yr wyf wedi bod yn dilyn eich cyrddau, ac wedi bod yn gwrando arnoch yn pregethu bob dydd Sul am amser maith; onid ydych yn tybied y dylech dalu rhywfaint i mi am hyn i gyd?" Adwaenem ŵr cysurus ei amgylchiadau a fu am flynyddoedd yn tanysgrifio at gyflog Mr. Griffiths. Daeth pregethwr arall i'r wlad, ac äi y

gŵr hwn yn achlysurol i'w wrando, ac yr oedd yn wrandäwr bywiog dros ben. Pan alwodd y casglydd gydag ef y tro cyntaf ar ol dyfodiad y pregethwr newydd, dywedodd, "Yr wyf yn myned i dynu fy nhanysgrifiad yn ol oddiwrth Mr. Griffiths er mwyn ei roddi i bregethwr——." Y mae yn debygol iddo osod y rhan gyntaf o'r bwriad hwn mewn gweithrediad, ond gallwn ddywedyd, ar y sail oreu, na ddarfu iddo erioed weithredu ar y rhan olaf, ac yr oedd ei danysgrifiad yn chwe' cheiniog y chwarter.

Ond ni ddarfu i ofalon am y bywyd hwn rwystro ein cyfaill rhag ymdaflu â'i holl galon a'i holl enaid i'w waith. Yr oedd y rhybudd i ymadael â chapel Pilton Green yn cynnwys hefyd ymadawiad â'r ysgol a gadwai o dan Arglwyddes Barham, a bu diwrnod ei ymadawiad â'r ysgol yn ddiwrnod o ddagrau lawer. Wylai y plant yn chwerw, ac wylai yntau gyda hwy, oblegid yr oedd yn eu caru â'i holl galon. Ond y diwrnod nesaf, cawn ef yn cerdded i fyny ac i wared ar hyd Browyr "i wneuthur trefniadau gyda golwg ar foddion." Y Sabbath canlynol, pregethodd yn Llanrhidian yn y bore, a Horton yn yr hwyr. Dydd Llun yr oedd yn wlaw mawr, ac arosodd yn y tŷ i ddarllen. Yn yr hwyr, cynnaliwyd y *society* gyntaf—ar ol eu troi allan—"yn nhŷ John Ace; ac er ei bod yn gwlawio yn drwm, yr oedd yr holl gyfeillion ond un yn bresennol; cawsom amser cysurus, a lle i gredu fod yr Arglwydd yn bresennol. Os bydd Efe gyda ni, efe a wna i fyny bob colled." Nos Fawrth, pregethodd yn Pitton, lle "yr oedd y tŷ yn orlawn, yr hyn oedd yn ei wneuthur yn hytrach yn anghysurus; ond yr oedd yr Arglwydd gyda ni." Nos Fercher, pregethodd yn Nicholastone, yn nhŷ ei anwyl gyfaill Mr. Voss. Nos Iau, yn nghapel y Burrows, yn Abertawe. Nos Wener, yn Llandimore, Browyr, lle y mwynhäodd "lawer o ryddid." Treuliodd "ddydd Sadwrn yn y tŷ, i fyfyrio erbyn y Sabbath." Fel hyn y treuliodd Mr. Griffiths ei wythnos rydd gyntaf yn Browyr, ac nid oedd ond siampl o gannoedd lawer o'r wythnosau a'i dilynodd; a gofalodd Duw, ar Ragluniaeth dyner yr hwn yr oedd wedi taflu ei hunan, ei gadw heb fod arno eisieu dim.

Yn mis Awst, 1824, yn Nghymdeithasfa Llangeitho, neillduwyd ef, ynghyda'r Parchedig David Howells, Abertawe, a'r Parchedig Morgan Howells, Casnewydd, i gyflawn waith y weinidogaeth. Efe oedd y pregethwr hynaf o'r tri. Rhyw gymaint o amser ar ol ei ddyfodiad i Browyr, pan yn pregethu yn nghapel y Crug-glâs, Abertawe, y traddododd Mr. D. Howells ei bregeth gyntaf o'i flaen; ac am yr olaf cawn Mr. Griffiths yn ysgrifenu ar ol ei wrando, ryw amser cyn yr ordeiniad, fel y canlyn:—"Teimlo cywilydd mawr, oblegid fod y gŵr ieuanc yma, yr hwn a ddechreuodd yn hir ar fy ol i, yn medru pregethu gymaint yn well na mi." Traddodwyd yr Araeth ar Natur Eglwys gan y Parch. Thomas Richard, a'r Cynghor gan y Parch. Ebenezer Morris. Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan y Parchn. T. Roberts, Llangwm; Robert Griffiths, Dolgellau; R. Lloyd, Beaumaris; a J. Jones, Treffynnon. Dyna y tadau oeddynt ar y maes y pryd hwnw, ac yn awr, "Pa le y maent hwy?" Nid oes yn aros o'r holl enwau a geir ynglŷn â'r gwasanaeth hwnw ond un yn unig—ein hanwyl gyfaill, y Parch. D. Howells, Abertawe. Y mae yntau, bellach, yn myned yn hen; ond yr ydym yn gobeithio yr arbedir ef am lawer o flynyddoedd eto i wasanaethu eglwys Crist, a Christ yr eglwys.

Ymhen ychydig wythnosau wedi i Mr. Griffiths a'r gynnulleidfa gael eu troi allan, bu farw yr anrhydeddus Arglwyddes Barham. Nid oedd y bendefiges urddasol uwchlaw camsyniadau, ond yr oedd yn caru yr Arglwydd Iesu â'i holl galon, a bu o fendith annhraethol i Browyr. Gadawsai reolaeth ei chapeli yn llaw Mr. Hammerton; ond rywfodd, disgynodd y llywodraeth ar Bethesda, Burry Green, y capel goreu yn y wlad, yn gystal a chapel bychan y Trinity, i ddwylaw ei mab hynaf, yr hwn, ar farwolaeth ei fam, a ddaethai yn Arglwydd Barham. Ymhen tua blwyddyn ar ol marwolaeth yr Arglwyddes, aeth y capeli uchod heb weinidog, ac ymddengys eu bod wedi myned cyn hyny heb ond ychydig addolwyr. Cyrhaeddodd y gair i glustiau Arglwydd Barham fod y capeli yn weigion, a bod y bobl yn tyru i dai annedd i wrando Mr. Griffiths. Yr oedd yn bendefig gwir dduwiol, a phenderfynodd ar unwaith na chai pethau barhâu felly. Ysgrifenodd at Mr. Griffiths yn dymuno arno i ymgymeryd â gofal Bethesda a'r Trinity, gan gynnyg iddo hanner cant punt y flwyddyn am ei lafur. Darfu i Mr. Griffiths, trwy ganiatâd y Gymdeithasfa, syrthio i mewn â'r cynnygiad hwn; ac o ganlyniad, cawn ef, yn nechre y flwyddyn 1825, yn dechreu llafurio yn Bethesda a'r Trinity, ac yn preswylio yn y persondŷ cysurus sydd yn ymyl y cyntaf. Hwn a fu ei annedd mwy hyd oni symudwyd ef o hono, ymhen un mlynedd ar bymtheg ar hugain ar ol hyny, i dŷ ei hir gartref; a brâs iawn y bydd yn rhaid i ni redeg dros hanes y blynyddoedd hyny.

Yn awr yr oedd ganddo gartref cysurus, a'r peth nesaf oedd cael gwraig. Fe fu hyn iddo yn destun ystyriaethau dwysion, a gweddïau lawer. Gosodasai ei fryd unwaith ar ddynes ieuanc ragorol yn y gymydogaeth; ond pan anturiodd i siarad â hi ar y mater, cafodd, er ei fawr siomedigaeth, fod ei chalon wedi ei meddiannu eisoes gan un o'i gyfeillion mwyaf mynwesol, yr hwn oedd hefyd yn frawd yn y weinidogaeth. Nid oedd neb i'w feïo am hyn, ac nid oedd dim i'w wneuthur, o dan yr amgylchiadau, ond edrych i ryw gyfeiriad arall; ac ni chafodd edrych yn ofer. Yn hâf y flwyddyn 1826, priododd â Miss A. G. Jones, merch i foneddwr o'r Talley, Sir Gaerfyrddin. Gormod fyddai manylu ar ragoriaethau Mrs. Griffiths; ond gellir dywedyd ar unwaith, na bu erioed ieuo mwy cymharus. Yr oedd hi o ran dysg a moes yn gymhwys i fod yn wraig pendefig. Y mae llaweroedd yn troi mewn cylchoedd uchel heb feddu yn agos cymaint â hi o'r pethau sydd yn gwneuthur yr hyn a eilw y Saeson, *perfect lady;* ac ar yr un pryd, yr oedd ei darbodaeth gynnil, a'i challineb mawr, ei duwioldeb dwfn, a'i gofal dros eneidiau dynion, yn ei chymhwyso yn arbenig i fod yn wraig i weinidog yr efengyl. Goroesodd ei gŵr ychydig flynyddoedd, a bu farw yn nhŷ eu hanwyl a'u hunig fab, Mr. William Griffiths, Aberaeron.

Yr oedd maes llafur Mr. Griffiths yn ëang, a'i lafur ar y maes hwnw yn fawr iawn. Pregethai mewn tri o gapeli—Bethesda, Trinity, ac Oldwalls; ond yr oedd ganddo heblaw hyny amryw o leoedd pregethu, ac fel rheol, gweinyddai ymhob un o'r rhai hyny bob pymthegnos. Yr oedd ganddo aelodau a gwrandäwyr mewn deg o blwyfydd; a chan ei bod yn rhy bell i lawer o'r rhai hyn ddyfod bob amser i'r oedfäon yn un o'r capeli, efe a'i gwnaeth yn bwnc i fyned â moddion gras, mor fynych ag oedd yn bosibl, yn agos i'w drysau. Ar fore Sabbath, yn nghapel

Bethesda, os na byddai yn wlaw mawr, byddai rhai yn bresennol o Stonemill, ar y naill du, ac o Rhosilly, ar y tu arall, ac y mae y pellder rhwng y ddau le yma, o leiaf, yn ddeng milldir. Yr oedd rhai heb feddu digon o nerth corff, a mwy na hyny heb feddu digon o zêl ysbryd, i deithio i'r fath bellder i wrando yr efengyl, ac am hyny cymerai Mr. Griffiths yr efengyl atynt hwy. Y mae Browyr yn rhedeg allan i'r môr am tua deunaw milldir, ac yn terfynu mewn craig serth a elwir "*Worm's Head.*" Rhêd afon fechan ar draws y wlad, ychydig i'r gogledd o breswylfod Mr. Griffiths, a rhwng yr afon hon a'r *Worm's Head*, ac yn cael ei derfynu gan y *Burry Estuary* tua'r gogledd, a chan y *Bristol Channel* tua'r dehau, y gorweddai y rhan fwyaf o faes ei lafur. Clywsom ef ambell bryd yn dyweyd gyda gwên, "Yr wyf yn myned bob pymthegnos o fôr i fôr, ac o'r afon hyd derfynau eithaf y ddaear, i bregethu yr efengyl." Ond byddai yn gwneuthur mwy na hyny; oblegid yr oedd amryw o'r lleoedd ymha rai yr arferai bregethu yn gyson, rhai milldiroedd y "y tu hwnt i'r afon."

Ni a gymerwn y pleser o dreulio ychydig ddyddiau yn ei gymdeithas, ac o fyned gydag ef dros ran o'r cylch hwn. Tybiwn ei bod y dydd Llun cyntaf yn y mis. Y mae yn dyfod i wared o'i ystafell tuag wyth o'r gloch y boreu, yn hytrach yn flinedig ar ol llafur y dydd blaenorol. Y peth cyntaf yn awr yw yr addoliad teuluaidd. Nid yw hyny byth yn beth i fyned drosto mewn brys, ond yn wasanaeth difrifol, sydd yn gyffredin yn cymeryd i fyny gryn amser. Yn gyntaf oll, y mae pob un o'r teulu yn adrodd adnod. Dechreua Mr. Griffiths ei hun; yna Mrs. Griffiths; yna William; ac yna y wasanaethferch. Os byddwn yn dewis, cawn ninnau y fraint o wneuthur yr un peth; ond gadewir ni at ein rhyddid. Darllenir y bennod a fyddo yn dyfod yn ei thro—a sylwadau Peter Williams arni, ac yna y weddi daer a difrifol. Buom unwaith yn aros—prin y gallwn ddywedyd "mewn amynedd"—am ddiwedd y gwasanaeth hwn. Yr oeddym yn sefyll wrth y drŵs; yn clywed y sŵn, ond heb ddeall y geiriau; ac eisieu gwybod arnom pa beth i'w wneuthur â llonaid *omnibus* o gyfeillion ag oeddynt wedi dyfod gyda ni i'r cyfarfod mawr, yr hwn oedd i'w gynnal y diwrnod hwnw. Yr oedd yn fore tra phrysur, ond nid oedd un prysurdeb yn rheswm digonol dros fyned yn frysiog trwy wasanaeth crefyddol. Ar ol boreubryd, y mae Mr. G. yn esgyn i'w fyfyrgell, yn agor y *drawer* nesaf at y ffenestr, ac yn tynu allan ei ddyddlyfr, yr hwn sydd yn gyfrol rhywbeth tebyg i faint dwy flynedd o'r *Drysorfa* wedi ei rhwymo. Ysgrifena yn hwnw hanes y dydd blaenorol, ei deimladau yn y gwaith, ac effaith ymddangosiadol ei bregethau ar y cynnulleidfäoedd. Y mae Mrs. Beynon, neu rhywun arall, wedi dyfod â'r "*Patriot*" a'r "*Cambrian*" i wared o Abertawe yn hwyr nos Sadwrn, a rhedir dros y ddau, i weled pa fodd y mae y byd yn myned yn y blaen. Yn nesaf daw y misolion—yr "*Evangelical Magazine,*" y "*Drysorfa,*" ac eraill, Cymraeg a Saesoneg. Darllenir y rhai hyn, yn benaf, er mwyn gwybod helyntion teyrnas y Cyfryngwr. Ni ddarfu i ni gyfarfod â neb arall yn ein bywyd mor gydnabyddus â hanes symudiadau crefyddol dros yr holl fyd â Mr. Griffiths. Bydd ciniaw am un o'r gloch; ac ar ol hyny, os na bydd neb yn glâf yn y gymydogaeth, dychwelir i dreulio y prydnawn gyda'r misolion. Yn yr hwyr, y mae cyfarfod gweddi cenadol yn y

capel. Dydd Mawrth, addoliad, boreubryd, a gwneuthur nodiadau yn y dyddlyfr; ac yna darllen ac ysgrifenu hyd bryd ciniaw. Yn yr hwyr, y mae pregeth yn y Pit, ffermdŷ o fewn pedair milldir; a chan y bydd y teulu yn dysgwyl y pregethwr yn gynnar yn y prydnawn, y mae yn cychwyn tua thri o'r gloch. Dygir allan y gaseg wèn, crëadur mawr a nerthol; ac yr oedd eisieu iddi fod felly, am fod ei marchogwr yn ddyn pwysig, yn mesur llawn chwe' troddfedd o hŷd, ac o braffder cyfatebol. Yn araf y mae yn teithio, ac y mae yn ymddangos yn wir fawreddog. Os bydd yr hîn yn caniatâu, y mae yn dychwelyd adref ar ol y bregeth. Nos Fercher, y mae pregeth yn Nicholastone, yn nhŷ Mr. Voss. Y mae y cyfaill anwyl hwnw yn ei ddysgwyl i giniaw, ac yn myned filldir neu ddwy i'w gyfarfod. Pan gaffo yr olwg gyntaf arno, yn y pellder, y mae yn cyfodi ei ffòn, ac yn ei throi o amgylch yn yr awyr uwch ei ben, fel arwydd o groesaw, a'i lygaid yn gwreichioni gan *enthusiasm* cyfeillgarwch; a phan ddelo Mr. Griffiths yn ddigon agos i glywed, y mae yn bloeddio ei gyfarchiadau. Bydd *society* yn y gegin am chwech o'r gloch, a dechreua yr oedfa gyhoeddus am saith. Nos Iau, y mae *Society* yn Bethesda, ac ond odid bregeth yn rhywle nos Wener. Dydd Sadwrn, y mae y pregethwr yn y fyfyrgell trwy'r dydd yn gorphen darpariadau erbyn y Sabbath. Y mae llafur yr wythnos hon wedi bod " o fôr i fôr " ar ddau du yr afon, ond bydd eiddo yr wythnos nesaf mewn cyfeiriad arall, tua " therfynau eithaf y ddaear." Un o bethau mawrion Browyr ydoedd dysgu ac adrodd " y pwnc." Yr oedd ganddo bump o Ysgolion Sabbothol; un yn Nicholastone, ac un arall yn Rhosilly, heblaw y tair a berthynent i'r capeli; ac nid oedd un o'r rhai hyn byth heb bwnc mewn llaw; Mr. Griffiths ei hun oedd yr awdwr. Anfonai un copi mewn ysgrifen i bob ysgol, gan ei adael i'r athrawon i'w lïosogi a'i ddosbarthu i'r ysgolorion. Clywsom y cwestiwn, "*Is the subject come?*" yn cael ei ofyn gyda chymaint o ddyddordeb ag y bydd marsiandwyr Abertawe yn ei deimlo wrth ymholi ynghylch dyfodiad y *Chili Mail.* Ar ddydd yr adroddiad, deuai yr holl ysgolion ynghyd i gapel Bethesda, ac yr *oedd* yn ddiwrnod mawr. Fel rheol cynnelid cyfarfod adroddiadol felly bob chwech wythnos. Yr ydym wedi cael y fraint o fod yn bresennol ar dderbyniad rhai cannoedd i aelodaeth eglwysig, ond ni ddarfu i ni gyfarfod ond âg ychydig iawn o'r un dosbarth, mor alluog i roddi rheswm am y gobaith oedd ynddynt, ac mor hyddysg yn egwyddorion crefydd, a hen adroddwyr pwnc Mr. Griffiths. Er na fu Mr. Griffiths ond unwaith neu ddwy yn hyd ei oes yn Ngogledd Cymru, nid oedd neb o'i frodyr yn fwy adnabyddus nag efe yn y deheubarth. Byddai yn arfer cymeryd taith o rai wythnosau bob blwyddyn trwy un o'r Siroedd deheuol, ac anfynych iawn y byddai yn absennol o'r Cymdeithasfäoedd. Heblaw hyny, byddai weithiau yn myned drosodd i Loegr i wasanaethu achos yr efengyl yno. Bu felly am rai wythnosau yn *Wotton-under-Edge*, a threuliodd chwech wythnos i weinidogaethu yn nghapel *Spa Fields*, Llundain; ac i ddangos nad oedd ei enw a'i ragoriaethau yn anadnabyddus yn y byd crefyddol Seisonig, gallwn hysbysu ddarfod iddo, yn y flwyddyn 1837, pan yr oedd sôn wedi myned ar lêd ei fod yn debyg o adael Browyr, dderbyn gwahoddiad taer oddiwrth y Parch. J. A. James, i ddyfod i Birmingham, i gymeryd gofal capel newydd ag oedd yn cael ei adeiladu yno.

Yr oedd ganddo hoffder mawr at Browyr, a phobl Browyr hoffder mawr ato yntau. Gallai y naill ddywedyd wrth y llall, "Cu iawn genyf dydi;" ac yn wir, yr oedd yn anhawdd i neb ddyfod yn gydnabyddus âg efe, heb ei garu yn fawr. Yr oedd yn ddyn hollol dryloew, "yn Israeliad yn wir yn yr hwn nid oedd dwyll," ac yn un o'r cymdeithion mwyaf difyr ar y ddaear. Yr oedd ei drysor o hanesynau yn ddiderfyn, ac ymhob cylch, gan nad pa beth fyddai testun yr ymddyddan, yr oedd ganddo ef rywbeth, ac, yn gyffredin, rywbeth da, call, a synwyrol, i'w ddywedyd am dano. Yr oedd rhywbeth yn *stern* yn ei ymddangosiad, a swniai ei gyfarchiad cyntaf felly; ond buan yr ymdoddai, ac ni bu erioed galon dynerach na'r hon a lechai yn ei fynwes ef. Rhydd yr hanesyn a ganlyn ryw gymaint o oleuni ar ei gymeriad yn yr ystyr yma. Yr oedd pregethwr ieuanc yn cyd-deithio âg ef tua Chyfarfod Misol, ac yr oeddynt wedi aros noswaith i bregethu ar y ffordd. Bore drannoeth, ar ol boreubryd, eisteddent yn nhŷ y capel, un bob ochr i'r tân, a chystal yw ychwanegu eu bod bob un â'i bibell. Yr oedd y gŵr ieuanc wedi cael brwydr ofnadwy y bore hwnw â'i "hen ddyn," ac achos y frwydr oedd hyn: yr oedd yn myned i Gyfarfod Misol lliosog iawn. Gwyddai na alwid arno ef i bregethu yno, a gwyddai hefyd y disgynai y fraint hono i ran A. B., ac fe allai i ran C. D., er nad oeddynt yn henach pregethwyr nag efe, a barnai yr "hen ddyn" nad oeddynt ond prin cystal pregethwyr chwaith. Fel hyn aeth yn rhyfel mawr yn ei fynwes, a theimlai euogrwydd oblegid ei fod yn anabl i gadw dystawrwydd yno. Yn y teimladau yma eisteddai wyneb yn wyneb â Mr. Griffiths. Aeth y rhyfel o'i fewn yn rhy boeth i'w chadw yno, a gofynodd, "Onid yw y teimlad o *rivalry* yn un drwg iawn mewn pregethwr, Mr. Griffiths?"

Mr. G. "Ydyw, yn un drwg dros ben."

Preg. Ieu. "Yn beth tra phechadurus?"

Mr. G. "Yn bechadurus iawn."

Preg. Ieu. "Wel, er cynddrwg ydyw, rhaid i mi gyfaddef fy mod i yn ei deimlo."

Mr. G. Ar ol chwerthin. "Yr ydych cynddrwg a Phil Matthew."

Preg. Ieu. "Beth am Phil Matthew, Mr. Griffiths?"

Mr. G. "Pan ddaeth Phil i'r *society*, yr oedd yn teimlo ei hun yn bechadur andwyol; ond mawr fel darfu iddo synu pan glywodd George Jenkins (yr hen flaenor) yn dywedyd ei fod yntau yn bechadur hefyd; ac yr ydych chwithau, 'machgen i, yn credu nad oes neb yn teimlo *rivalry* ond chwychwi eich hun. Yr ydych yn camsynied."

Bu yn llafurio yn Browyr am bum' mlynedd a deugain, a bu yn offeryn yn llaw yr Arglwydd i osod gwyneb newydd ar y wlad. Ond y flwyddyn ddiweddaf y bu byw y cafodd y pleser o fedi helaethaf o lawer o ffrwyth ei lafur. Y mae y dyddlyfr trwy y blynyddoedd yn cynnwys ocheneidiau lawer oblegid diffyg llwyddiant, a gweddïau taerion am dano, er bod yr achos yn parhâu i fyned yn y blaen yn raddol; ond yn y flwyddyn 1860 y daeth y llwyddiant mawr. Cafodd y llawenydd o weled llaweroedd o'i wrandäwyr, ac yn enwedig o'r bobl ieuainc, plant y "pwnc," yn dyfod yn ymofynwyr difrifol am iachawdwriaeth.

Ond yr oedd ei oes ddefnyddiol yn tynu at ei therfyn. Yn ngwanwyn y flwyddyn 1861 yr oedd ei iechyd yn gwaelu yn gyflym; ac o'r pummed

o Fai, yn y flwyddyn hono, cyfyngwyd ef yn hollol i'w wely. Yn ystod yr wythnosau y gorweddai yno, dygwyd ei "ddyddlyfr" ato amryw weithiau, a cheisiai ysgrifenu ynddo gyda llawer o boen; ond yr oedd wedi myned yn anabl i ysgrifenu yn hollol ddealladwy. Wele yn canlyn ei ysgrifau diweddaf mor bell ag y buom yn alluog i'w deall. Y mae y gyntaf o honynt yn Gymraeg, yr hon iaith nad oedd wedi ymddangos yn y dyddlyfr o'r blaen oddiar y flwyddyn 1816.

"Yr ydwyf wedi myned trwy gystudd corfforol mwy nag yr wyf yn ei gofio erioed o'r blaen. Wedi bod yn wael am rai misoedd, ond yn waeth am y mis diweddaf, ac eto yr wyf wedi fy ngadael yn fyw. * * * Y mae pethau Duw yn ymddangos i mi yr wythnos olaf hon mewn goleuni a gwerth newydd. Y mae fy meddwl wedi ei lenwi â syndod. Yr wyf yn rhyfeddu na buaswn wedi gweled o'r blaen fwy o'r pethau sydd yn cydgyfarfod yn y cyfammod gras. Os câf fesur o adferiad, a dyfod yn abl i ysgrifenu eto, yr wyf yn teimlo awydd mawr am gael rhyw * * newydd. Ffarwel i'r llyfr hwn!"

Y mae arnom ofn tòri nerth yr hyn a ganlyn wrth geisio ei gyfieithu, a chan hyny gadawn iddo ymddangos fel y cafodd ei ysgrifenu:—

"I cannot at present write in English or in Welsh, yet I can see greater things than usual. I cannot get letters to put words together. Perfect salvation—no failure in any part of it. I have been for the last fortnight in communication with myself. * * It is all good, very good, as far as I can see."

Dyma yr olaf:—

"I am up again to-day to change for a couple of hours, but not for any change or enjoyment to me. All things tell me to look beyond. My flesh and bones have indeed changed these last days, but my God has not changed. Though I feel not every day the same, I feel every day the want of more holiness and conformity to God. Whether life continues or death comes soon, all is right in Christ."

Y mae yr ysgrifau uchod heb ddyddiad, ond ysgrifenwyd hwynt rhwng dechreu Mehefin a chanol Gorphenaf, 1861.

Ar ddydd Sabbath, y 14eg o Orphenaf, yr oedd ei anwyl gyfaill, y Parch. D. Howells, Abertawe, yn gweinyddu yn Bethesda, a chan ei bod yn Sabbath cymundeb, arwyddodd ddymuniad am gael y fraint o gyd-gyfranogi unwaith eto â rhai o'i frodyr o Swper yr Arglwydd. Ymgasglodd ychydig gyfeillion o amgylch ei wely, ac yno y cyfranogodd o'r swper olaf ar y ddaear. Y mae yn anmhosibl desgrifio ei deimladau ef, nac eiddo ei anwyl frodyr a safent o'i amgylch. Gan gymeryd yr elfenau yn ei law, dywedai trwy ei ddagrau, "Mi a chwennychais yn fawr fwyta y pasc hwn gyda chwi cyn dyoddef o honof." Yr oedd yn olygfa nad anghofir byth gan neb o'r rhai a'i gwelsant, ac yr oedd iddo ef yn rhagflas o'r wledd yr hon oedd yn myned mor fuan i'w mwynhâu. Cafodd un Sabbath yn ychwaneg ar y ddaear. Anfonodd ddymuniad i'r ysgol ar i rai o'r brodyr ddyfod i'w ystafell i gynnal cyfarfod gweddi. Gwnaethant felly, a chyfarfod rhyfedd a gaed. Ar ol i ddau o'r brodyr weddïo, ac i un arall fethu yn y canol, dywedodd wrthynt ychydig eiriau ymadawol—ffarwel llawn o gariad a hollorchfygol, a rhoddodd allan i gânu ei hoff bennillion,—

Come, let us join our cheerful songs
With angels round the throne, &c., &c.

Ymadawodd y cyfeillion yn drallodus, dan yr argyhoeddiad eu bod wedi cael yr olwg ddiweddaf ar eu hanwyl, anwyl weinidog; ond gorweddai ef ar ei wely yn "hapus, hapus." Ymhen ychydig fynydau, cododd Mrs. Griffiths ef ychydig yn y gwely er mwyn iddo gael gorphwys ennyd; ac felly, y prydnawn Sabbath hwnw, yn y man ar ol gorphen y cyfarfod gweddi, pan oedd adsain y gân ddiweddol ond prin wedi myned ymaith, a'i ben yn pwyso ar fynwes ei anwyl wraig, heb un ymdrech ac heb un ochenaid, syrthiodd yn dawel i gŵsg marwolaeth, ac ehedodd ei enaid dedwydd i orphwys mwy yn mynwes yr Iesu.

---

# TAITH I ITALY.

## II.

Y DAITH nesaf oedd o Venice i Florence. Gadawsom Venice am 9 y bore, a chyrhaeddasom Bologna erbyn dau y prydnawn. Cawsom brofedigaeth fawr yma trwy ddeall fod y rheilffordd yr oeddem i fyned ar hyd-ddi dros fynyddoedd yr Appenines i Florence wedi cael ei dryllio y noswaith flaenorol gan y llifogydd; a rhaid oedd naill ai dychwelyd yn ôl, neu fyned oddiamgylch bellder o agos i 400 milldir; pryd nad oedd y pellder, pe buasai y ffordd heb dòri, ond 50 milldir; ac oddiamgylch trwy Ancona, Foligno, &c., yr aethom. Buom yn y cerbydau yr holl ddiwrnod hwnw a'r nos ganlynol, a chyrhaeddasom Florence erbyn 10 bore drannoeth. Collasom rai o'r cwmni y noswaith hon, ac nis gwelsom hwy mwyach.

Florence yw prifddinas Italy yn awr; yma y mae y brenin yn byw, ac yma yr eistedd y senedd. Mae yn dref hardd iawn,—*Florence the beautiful* yr arferir ei galw. Saif ar ganol dyffryn lled fychan, yr hwn a amgylchynir gan fryniau, ar ba rai y mae lliaws o bentrefi prydferth a phalasdai heirdd. Rhêd yr afon Arno drwy ei chanol. Mae ynddi 170 o eglwysi, gan mwyaf yn orlawn o drysorau celfyddyd.

Yma y treuliodd Dante y rhan fwyaf o'i oes; yma y gwnaeth Michael Angelo lïaws o'i orchestweithiau; ac yma y bu Galileo yn astudio seryddiaeth; treuliodd Milton hefyd ran fawr o'i oes yma.

Mae y Cathedral yn fawr a hardd iawn, ac wedi ei gwisgo oll oddiallan â *marble* gwŷn a du; ac y mae i'r fedyddfa sydd gerllaw dri o ddrysau mawrion o *bronze*, wedi eu gorchuddio â lluniau, er dangos hanes Ioan Fedyddiwr, ac o wneuthuriad mor orchestol fel yr arferai Michael Angelo ddywedyd eu bod yn deilwng o fod yn ddrysau i'r nefoedd. Yn y *Church of the Annunciation* y mae darlun o Mair Forwyn wedi ei wneyd, meddir, gan angelion. Yn eglwys San Croce y mae beddrodau Dante, Michael Angelo, Machiavelli, Galileo, &c.

Gwelsom y *Museum of Mosaics;* mae y trysorau sydd ynddo yn hardd, a thra gwerthfawr; er engraifft, dangoswyd i ni un bwrdd bychan yn werth 12,000p.; buwyd bedair mlynedd ar ddeg yn ei wyeyd.

Mae yr *Uffize Gallery* yn orlawn o orchestion celfydd; mae un ystafell fechan yn ei chanol, 24 troedfedd o dryfesur, a elwir y *Tribune*, yn cynnwys byd o gelfyddyd o'i mewn. Mae y cerf-ddelwau a'r darluniau sydd yn hon mor orchestol, nes y maent braidd yn anmhrisiadwy. Mae yno un gerfddelw fechan o fenyw, o farmor gwŷn, a elwir y *Venus de Medici,* o waith y Groegiaid gynt, a ystyrir mor berffaith fel delw o'r corff dynol, fel y mae sôn am dani, a chopïau o hóni, dros y byd; dywedir na phrynai 100,000p. mo hóni.

Buom hefyd yn fanwl drwy y *Pitty Palace,* sef y palas y mae Victor Emanuel yn byw ynddo; cawsom ganiatâd hefyd i fyned trwy y gerddi.

Un prydnawn aethom mewn cerbydau i barc mawr ychydig o'r dref, lle y bydd y boneddigion at yr hwyr yn dyfod i ymbleseru trwy yru yn ol a blaen yn eu cerbydau; cyfarfuasom yma â Victor Emanuel ddwywaith neu dair. Aethom y Sabbath i wasanaeth Saesonig i eglwys esgobyddol, pryd y cawsom bregeth wir efengylaidd ar y pwnc pwysig o gyfiawnhâd trwy ffydd.

Wedi treulio amryw ddyddiau yn Florence, aethom oddiyno i Pisa, un o'r trefi hynaf yn Italy, ac enwog iawn gynt. Y gwrthddrychau a ystyrir yn werth eu gweled yma yw y Cathedral, yr hon sydd yn fawr iawn, ac yn un o'r rhai harddaf yn Italy, a'r Tŵr Gogwyddedig, y *Leaning Tower* sydd yn ei hymyl, yr hwn y sonir am dano trwy'r byd. Tŵr mawr crwn ar ei ogwydd ydyw, 52 troedfedd o dryfesur, 187 troedfedd o uchder, a'i ogwyddiad yn 14 troedfedd. Mae yn adeilad hardd a chadarn, wedi ei wneyd o farmor a gwenithfaen, ac wyth rês o golofnau o'i amgylch, y naill rês uwch y llall; y mae yn chwe' chant a hanner mlwydd oed, ac yn edrych yn dda. Ni wyddys yn awr pa un ai yn ogwyddedig yr adeiladwyd ef ar y cyntaf, ai ymollwng a wnaeth y tir odditan un ochr iddo. Mae golygfa ëang iawn i'w chael o'i ben ar y wlad o amgylch. Mae ar ei ben saith o glychau mawrion, rhai o honynt dros chwe' thunnell o bwysau. Yr ydym yn cofio yn dda iddynt oll ddechreu cânu ar unwaith pan oeddym wrth eu hymyl ar ei ben. Clywsom y gwnai sŵn hollti penau pobl; ond nid yw hyny yn wirionedd, pe amgen buasai ein penau ni oll wedi eu hollti y tro hwn. Ond rhaid addef i ni ddïanc oddiyno mor fuan ag y gallem. Bu Galileo yn gwneyd llawer o brawfion oddiar ben y tŵr hwn trwy ollwng pethau i syrthio oddiarno i lawr, &c.

Yn y gymydogaeth hon y mae y *Campo Santo,* y maes sanctaidd. Hen gladdfa ydyw, oddeutu erw o dir, a *cloisters* o'i hamgylch oll; ei hynodrwydd penaf yw, fod y pridd—hanner can' llwyth llong, meddir—wedi ei gludo yma er ys canrifoedd,—yn adeg rhyfel y groes,—o Jerusalem. Ystyria y trigolion fod cael eu claddu yn y pridd hwn yn rhyw ragorfraint arbenig. Dywedai ein harweinydd ei fod gynt yn ddeg llath o ddyfnder, ond ei fod yn llawer teneuach erbyn hyn, drwy fod pobl yn ei ladrata yn ddyrneidiau yn eu llogellau, er rhoi ychydig o hóno yn gymysg â dwfr i'w yfed; pan ofynasom i ba ddyben y gwnant hyny, yr atebiad oedd, "Er lles i'w henaid."

Mae muriau y *cloisters* crybwylledig yn orchuddiedig â *frescos,* yn cyn-

nwys desgrifiadau o ddygwyddiadau ysgrythyrol; megys hanes Job, Esther, dinystr Sodom, hanes Joseph, y waredigaeth trwy'r Môr Coch, &c. Ond y rhai hynotaf yw y rhai sydd yn darlunio y farn ddiweddaf,—y nefoedd, uffern, a'r purdan. Mae y darluniad o uffern yn wir arswydus, ac y mae ei weled yn sicr o adael argraff ddofn ar y meddwl.

Mae yn ymddangos, yn ol syniad yr arlunwyr, y bydd gwahaniaeth barn yn y byd ysbrydol am ambell un, pa un ai i'r nefoedd ynte i'r purdan y dylai fyned, o herwydd yr ydys yn canfod mewn man amlwg, yn un o'r darluniadau hyn, lun dyn, ac angel glân yn ymaflyd yn ei freichiau, ac yn ei dŷnu yn egnïol iawn i fyny tua'r nefoedd, tra y mae diafol blewog, corniog, a chynffonog, yn ymaflyd yn ei draed, ac yn tŷnu yr un mor egnïol ynddo i lawr tua'r purdan. Buasem yn hoffi gwybod pa fath gymeriad ydoedd yr un a ddarlunient felly.

Yr oedd y daith nesaf a gymerasom yn un faith a blinderus iawn, am lawn bedair awr ar hugain yn y *train*, sef o Pisa i Naples, trwy Leghorn, Civita Vechia, a Rhufain. Ar ol cyraedd Leghorn—yr hon sydd dref led fawr a phorthladd—mae y ffordd yn dilyn glàn y môr am hir amser. Yr oedd ynys Elbe, lle bu Napoleon Bonaparte gynt yn garcharor, braidd yn ein hymyl. Yr oeddym yn awr yn agoshâu at diriogaeth y Pab, yr hwn sydd ddarn crwn yn nghanol, neu yn hytrach yn ochr, Italy; a chan fod Italy oll yn awr, ond y darn hwn, o dan lywodraeth Victor Emanuel, y mae ar Garibaldi ac yntau, fel y gwyddys, awydd mawr am gael y darn hwn hefyd, a gwneyd Italy oll yn un deyrnas gyfunol; heblaw mai peth tra annymunol yw fod gan y naill gymydog ddarn o dir yn nghanol tir cymydog arall, yn enwedig os na fydd y ddau gymydog ar delerau da â'u gilydd.

Yr oeddym ar y daith hon yn myned i'w diriogaeth, trwy ei diriogaeth, ac allan o'i diriogaeth. Ymddengys y wlad yn y cymydogaethau hyn yn dra diffrwyth, anial, ac anmhoblog. Yr oedd y gorsafoedd yn fychain a thlodion, a dim ymborth i'w gael ynddynt; yr oeddym wedi ein rhybuddio o hyn cyn cychwyn, ac wedi gorchymyn y noswaith flaenorol yn yr Hotel am dipyn o ymborth i fyned gyda ni yn y train; erbyn y bore yr oedd sypyn wedi ei wneyd i fyny ar gyfer pob un, a thalwyd yn ddrud am dano. Wedi bod ychydig oriau yn y train, agorwyd y sypynau, ond er cymaint y chwant am ymborth, methwyd a bwyta nemor ddim o honynt. Yr oeddym yn barnu eu bod wedi cadw yn ofalus holl weddillion ymborth yr Hotel,—y croen a'r esgyrn, y bara sur, a'r ŵyau drewllyd, a'r hen frôn gwydn, am y ddau fis diweddaf, erbyn ein dyfodiad ni yno, ac mai eu gwaith y noswaith flaenorol oedd eu gwneyd i fyny yn barseli i ni. O naw o'r gloch y nos, pan aethom i diriogaethau y Pab, hyd ddeg o'r gloch bore drannoeth, pan gyrhaeddasom Naples, ni welsom na thamaid na llymaid.

Yn Mont Alto, gorsaf fechan sydd ar y terfyn, dyma y swyddogion yn dyfod i ymofyn am y *passports*, ac yn eu cymeryd oddiarnom. Ni chaniatëir i neb fyned i'r wlad hon ar un cyfrif heb *bassport*. Cymerwyd ein holl *luggage* i ystafell fawr i'w chwilio yn fanwl; edrychent bob dilledyn, agorent bob llyfr ac ysgrifen, a cheisient eu darllen. Ychydig iawn o hwyl oedd ganddynt ar ddarllen Cymraeg.

Mae tri pheth neillduol na chaniatëir iddynt fyned i diriogaethau y Pab, sef Biblau, *revolvers*, a dillad cochion. Gadawodd yr ysgrifenydd ei

Fibl Cymraeg a'i gap coch—y *tarboush*—trwy annogaeth cyfeillion, yn Florence hyd nes y dychwelid yn ol, rhag i'r swyddogion gael y pleser o'u lladrata. O bosibl mai y cwestiwn a ymgynnyg i feddwl y darllenydd yw, paham y gwaherddir y tri pheth a nodwyd? Mae yn ymddangos fod ar y Pab fwy o ofn i'r Bibl ddyfod i'w diriogaethau, nag sydd arno o ofn Garibaldi. Darfu i ŵr boneddig o Loegr oedd yn deall yr iaith Italaeg yn dda, fyned yn ddiweddar i bob siop llyfrwerthwr yn Rhufain i ymofyn am Fibl ar werth, a methodd a chael yr un. Synied lled ryfedd yw, fod y dref fwyaf cristionogol yn y byd, meddant hwy, a'r dref lle y mae ei sancteiddrwydd ei hunan yn byw, heb un Bibl i'w gael ar werth ynddi! Mae yn debyg mai y rheswm paham y rhwystra y Pab i neb ddyfod â *revolvers* i'w diriogaethau yw, am ei fod yn ofni y gallai fod powdwr a bwledi ynddynt; a'r rheswm paham y rhwystra neb ddyfod â dillad cochion yw, am fod Garibaldi yn arfer gwisgo crŷs coch. Nid yw y ddau ar delerau da â'u gilydd. Mae y Pab wedi digio wrth Garibaldi, ac wrth ei grŷs, ac wrth bob dilledyn fyddo yr un lliw a'i grŷs.

Yr ydym yma yn gorfod myned i gerbydau eraill, gan na chaniatëir i gerbydau Victor Emanuel redeg ar hyd tir y Pab.

Yn fuan cyrhaeddasom i orsaf Civita Vechia; dyma brif borthladd tiriogaethau y Pab. Yma y bydd yr agerlestri yn aros ac yn disgyn i dderbyn teithwyr am, ac o Rufain. Y mae oddiyma i Rufain ryw bump a deugain o filldiroedd. Yr oedd y noswaith hon yn un hynod o oleu a hyfryd, ac yr ydym yn cofio yn dda mai ychydig o fynydau cyn hanner nos y cawsom yr olwg gyntaf ar hen furiau a chlochdai Rhufain. Ni arosasom yn yr orsaf ond ychydig fynydau i newid cerbydau nad oeddym yn cychwyn drachefn, a rywbryd yn y bore yr oeddym wedi cyraedd gorsaf fechan ar y terfyn pellaf, pryd y dychwelwyd i ni ein *passports*, yr archwiliwyd ein *luggage*, ac y symudwyd ni i gerbydau Victor Emanuel. Oddeutu deg y bore cyrhaeddasom Naples. Mae Naples yn dref fawr, o 500,000 o drigolion. Mae felly oddeutu maintioli Liverpool. Dywedir mai y *Bay of Naples* yw y prydferthaf yn y byd. Mae yn ddigon ëang i holl lyngesau Ewrop angori ynddo ar unwaith. Aethom un diwrnod i ben castell sydd ar dir uchel tu cefn i'r dref, ac oddiyno yr oeddym yn cael golygfa wir ardderchog; odditanom yr oedd y dref fawr, brydferth yr olwg allanol arni, yn gorwedd. Mae gan y Saeson air am Naples,—"*See Naples and die.*" Y meddwl, o bosibl, yw, na waeth i ddyn farw na pheidio ar ol gweled Naples, nad oes dim yn debyg iddi i'w weled wed'yn. O'n blaen ymestynai ac ymledai y *Bay* ehangfawr, ac yn ei enau, megys, rhyngddo a'r cefnfôr, y gorweddai ynys Capri. Ar ein dehau, am amryw filldiroedd ar lân y *Bay*, y mae palasau boneddigion, a gerddi tra ffrwythlawn o'u hamgylch. Ar yr aswy, ger ochr arall y *Bay*, y mae lliaws o fân drefi a phalasdai, megys Portici, Resina, Castellamman, a Sorrento, y rhai a ymddangosent o bell yn dra phrydferth; ac i goroni yr olygfa, yr ochr hon, o fewn ychydig i'r môr, y gorwedd y llosgfynydd hynod, Vesuvius.

Dywedir fod yn Naples fwy o segurwyr nag mewn un dref yn y byd o'i maint. Yr oedd yno yn ddiweddar dros ddeugain mil o gardotwyr.

Dynoethodd Mr. Gladstone, rai blynyddoedd yn ol, greulondeb y brenin, yn ei driniaeth fwystfilaidd o'i garcharorion politicaidd, fel y

cynnyrchwyd teimlad cryf yn ei erbyn trwy Ewrop oll. Ar ol iddo farw, dywedir fod ei fab, Bomba yr Ail, yn waeth nag yntau. Ond ryw ddiwrnod, oddeutu naw mlynedd yn ol, glàniodd Garibaldi gydag ychydig gyfeillion yn Italy; clywodd Bomba hyny, ofnodd, a ffôdd; ac un diwrnod dyma Garibaldi gyda deuddeg o'i gyfeillion yn dyfod gyda'r *train* ger ochr y *Bay* o Salerno i Naples, ac yn cymeryd meddiant o hóni, a'r holl wlad a berthynai iddi fel teyrnas, heb dywallt un dyferyn o waed; ac yn fuan, fel y mae yn hysbys, rhoddodd hi yn anrheg i Victor Emanuel. Ni feiddiodd Bomba ddangos ei wyneb yma byth mwy. Dywedir mai 30p. oedd yr oll oedd gan Garibaldi a'i gyfeillion pan yn gadael Italy y tro hwn am Caprera, ac mai ei ysgrifenydd, trwy gynildeb, oedd wedi llwyddo i gadw hyny.

Un o brif ryfeddodau Naples yw y *Museum*, yn yr hwn y cedwir y trysorau a gloddiwyd o hen ddinasoedd hir-golledig Herculaneum a Pompeii. Dylai pob teithiwr chwilio hwn yn fanwl cyn myned i edrych adfaelion yr hen ddinasoedd crybwylledig. Cychwynasom yn foreu un diwrnod mewn llïaws o gerbydau i weled adfeilion yr hen ddinasoedd hyny. Mae Herculaneum oddeutu pum' milldir o Naples, a Pompeii bymtheng milldir, a'r ddwy braidd ar làn y môr. Rhwng y ddwy, ond ychydig bellach o'r môr, y saif y llosgfynydd Vesuvius.

Yr oedd y ddwy ddinas a nodwyd yn eu bri mwyaf yn amser Crist. Yn y flwyddyn O.C. 63, bu daeargryn mawr, yr hwn a niweidiodd lawer ar y dinasoedd hyn; ond yn y flwyddyn O.C. 79, ar y 24ain o Awst, chwythwyd allan o grombil Vesuvius y fath swm anferth o lwch, lludw, a *cinders*, &c., nes gorchuddio y wlad, a chladdu y tai a'r dinasoedd am lawer o filldiroedd o amgylch; a dyma yr adeg y claddwyd y trefydd hyn. Fe ymddengys i'r dinystr dd'od yn dra disymwth, canys claddwyd y dinasoedd hyn, a'r rhan fwyaf o'r trigolion ynddynt, tra yn dilyn eu gorchwylion fel arfer; llanwyd yr awyrgylch â lludw mân, nes yr aeth yn hollol dywyll ganol dydd. Dywedir fod peth o'r lludw ar y pryd wedi disgyn yn Affrica. Mygai yr adar a ehedent yn agos i'r cymydogaethau hyn, a bu llawer o'r pysgod feirw gan mor boeth oedd y môr. Mygodd yr enwog Pliny y diwrnod hwnw, rai milldiroedd o Pompeii; caed ei gorff, ymhen tri diwrnod, yn gorwedd ar y traeth, ac yn ymddangos fel pe buasai yn cysgu yn dawel, heb unrhyw arwydd o niwed arno. Mae ei nai, sef Pliny yr ieuengaf, yr hwn oedd yn llygad-dyst o'r trychineb ofnadwy y diwrnod hwnw, wedi ysgrifenu hanes manwl o'r amgylchiad, ac y mae yr hanes hwnw ar gael yn awr.

Claddwyd Herculaneum rhwng y tro hwn a throion dilynol â thrwch o driugain i ddeg a thriugain troedfedd o ludw, *lava*, &c., er ei bod bedair milldir oddiwrth gopa y mynydd; a Pompeii, yr hon oedd yn ddeuddeg milldir oddiwrtho, â thrwch o ddeuddeg i ugain troedfedd. Bu y dinasoedd hyn yn guddiedig, na wyddai neb ymha le y safent, am agos i ddau cant ar bymtheg o flynyddoedd. Oddeutu can' mlynedd a hanner yn ôl, darganfyddwyd Herculaneum yn hollol ddamweiniol. Yr oedd, ac y mae, uwch ei phen dref lled fawr o'r enw Portici; cloddiwyd ffynnon ddofn yn hon er cael dwfr at wasanaeth y trigolion, ac wrth wneyd disgynasant ar ben delw fawr oedd yn un o brif chwareudai yr hen ddinas, ac felly y darganfyddwyd hi; yna cloddiwyd a chwalwyd, a thòrwyd *tunnels* lawer yn ol a blaen trwyddi, a dygwyd allan o hóni

drysorau lawer, pa rai sydd ynghadw yn awr yn y *Museum* yn Naples. Aethom i lawr iddi, a thrwy y *tunnels* a'r chwareudŷ, yr hwn a gynnwysai eisteddleoedd i wyth mil o bersonau; gwelsom hefyd y ffynnon grybwylledig, &c. Gwelir mai dinas tanddaearol hollol yw Herculaneum eto; gyda chanwyllau yn ein dwylaw yr oeddym yn ei hedrych, a dïau mai felly yr erys byth, am fod y fath drwch anferth yn gorwedd arni.

Oddiyno aethom ymlaen i weled Pompeii. Trwy fod hon ymhellach oddiwrth y mynydd, ac ar uwch tir, ni chladdwyd hi yn agos mor ddwfn a Herculaneum. Amryw flynyddoedd ar ol Herculaneum y darganfyddwyd hon. Mae oddeutu un ran o dair o hóni wedi ei dwyn i oleuni, trwy fod y lludw, &c., a'i gorchuddiai, wedi cael ei gludo ymaith, fel yr ydys yn gallu cerdded ei heolydd a gweled y tai, fel pe baem yn un o drefi ein gwlad ni.

Prif hynodrwydd y dinasoedd, heblaw eu bod wedi bod yn guddiedig, a'u safle yn anhysbys am ddau gant ar bymtheg o flynyddoedd, ydyw, fod pob peth o'u mewn, y tai, y dodrefn, yr arfau, y *paintings*, a'r ymborth, &c., wedi cael eu cadw braidd yn gyfan, ac yn hollol ddilwgr, am yr yspaid maith hwnw, ac i'w gweled felly y dydd hwn. Y mae llawer o drefi hen iawn yn y byd, megys Hebron, Jerusalem, a Damascus; ond erbyn heddyw y mae yn debyg nad oes cymaint ag un adeilad yn aros yn yr un o honynt ag oedd yn bod ddwy fil o flynyddoedd yn ol, heb sôn dim am ddodrefn, dillad, ac addurniadau y trigolion; ond yma yr ydych yn cael pob peth fel yr oeddynt y bore hwnw yn mis Awst, ddeunaw can' mlynedd yn ol; dinasoedd fel wedi adgyfodi o feirw ydynt.

Yr oedd muriau uchel, oddeutu dwy filldir o hŷd, o amgylch Pompeii, a phyrth mawrion ynddynt. Aethom i mewn iddi trwy yr *Herculaneum Gate*. Lled gulion yw yr heolydd, wedi eu palmantu oll â thalpiau mawr o *lava*, ac y mae rhychau—ôl olwynion y cerbydau—yn amryw fodfeddi o ddyfn i'w canfod ynddynt yn awr. Y mae *parapets* ar ochrau yr heolydd, ac ar y croesffyrdd y mae cèryg mawrion fel llamau ar draws yr heol i gerdded arnynt o'r naill ochr i'r llall. Lled fychain yw y tai yn gyffredin, wedi eu hadeiladu o briddfeini teneuon fel *tiles*. Nid ydynt yn uchel; mae y muriau oll yn aros, ond y mae y tô, o angenrheidrwydd, wedi syrthio. Nid oes y fath beth a simnai yn yr un o honynt, a dim ond ychydig o ffenestri; yn y tai mwyaf, caed rhai o'r ffenestri â gwydr ynddynt. Mae llïaws mawr o luniau ar furiau yr ystafelloedd; a'r peth sydd yn dra rhyfedd yw, fod y lliwiau yn ymddangos mor amlwg a phe buasent wedi eu paentio yr wythnosau diweddaf. Ceir y byddai enw y siopwr yn cael ei baentio ar bared ei dŷ â phaent coch, a'r *sign*, er dangos pa nwyddau a werthai o fewn, wedi ei cherfio yn y gàreg uwch y drŵs; er engraifft, ceir llun gafr, i ddangos y gwerthir llaeth; a grawnwin i ddangos y gwerthir gwîn; bachgen wedi ei godi ar gefn bachgen arall, a dyn yn ei chwipio, i ddynodi ysgol ddyddiol, &c.

Mewn tŷ meddyg, caed llïaws mawr o offerynau—oddeutu deg a thriugain—tebyg i'r rhai a ddefnyddir gan feddygon yn yr oes hon. Mae y rhai hyn i'w gweled yn y Museum yn Naples.

Caed mewn siop *druggist* amryw forteri a *boxes pills*, a *roll* hir ar y gàreg ar y *counter*, yn barod i'w thori yn *bills*.

Mewn tafarndŷ, caed amryw o lestri ar y *counter* o ba rai yr yfid, ac

y mae rhyw arwyddion neu farciau tra hynod ar y pared gerllaw, y rhai, fel y bernir, oeddynt gyfrif y tafarnwr yn erbyn y cwsmeriaid y byddai yn rhoi coel iddynt; ac y mae lle i ofni fod yr hen ddyledion hyny heb eu talu eto.

Mewn un tŷ pobydd, caed pedair melin i falu yr ŷd, ac esgyrn y mul oedd yn eu troi yn ymyl; caed y cafn tylino â blawd ynddo, a'r ffwrn, neu y pobtŷ, yn gyfan, a'r drŵs yn nghauad. Mae hwn i'w weled yno yn bresennol. Pan agorwyd y drŵs, caed tair a phedwar ugain o fara ynddo, wedi bod yno dros ddau gant ar bymtheg o flynyddoedd. Gwelsom amryw o honynt yn y *Museum*, ac y mae enw y pobydd, sef Cranius, wedi ei stampio ar bob un o honynt, yr hwn sydd yn hollol ddarllenadwy yn awr. Mae y bara yn edrych dipyn yn henaidd, mae yn wir, ond nid oes un arwydd o lwydo arno. Caed amryw goffrau bychain, sef "cadw-mi-gai" y plant, â llawer o arian ynddynt, ac enw yr ymherawdwr Vespasian arnynt. Caed llawer o gyrff y trigolion, rhai yn y tai, ac eraill yn yr heolydd, fel pe buasent yn ceisio dïanc. Caed mewn un tŷ, sef y *Villa of Diomedes*, fel y gelwir ef, ddau ar bymtheg o gyrff; caed y gŵr, fel y tybir, â phwrs yn llawn o aur yn ei law, a'i was yn gorwedd yn yr ardd o flaen drŵs y palas, wedi eu mygu yn ddïau pan yn ceisio dïanc; ond fe ymddengys i'r gweddill o'r teulu ymguddio, a chau arnynt eu hunain yn y seler wîn, ac yno y buont hwy oll feirw. Caed eu cyrff yno a'u dillad yn gyfain am danynt, ac ar rai o honynt addurniadau, modrwyau, tlysau, &c. Ymddengys i un foneddiges roddi pwys ei phen ar y pryd ar y pared yn agos i'r drŵs, ac yn yr ystum hwnw y caed hi, ac yr oeddym ni yn gweled yn amlwg ôl ei phen a'i gwallt ar y pared pan oeddym yno. Trwy fod y lludw a orchuddiai y ddinas mor fân a sych, fe gadwodd y cyrff am yr holl amser yn ddilwgr; aethant yn greigiedig (*petrified*). Ar y cyntaf, pan ddarganfyddwyd hwynt, yr oeddynt yn malurio, gan nas gellid yn hawdd eu hysgar oddiwrth yr hyn oedd o'u hamgylch; ond yn ddiweddar darganfyddwyd rhyw wlybwr yr hwn, ond ei dywallt ar y corff pan ddarganfydder ef, sydd yn peri iddo ymryddhâu; ac y mae amryw i'w gweled yno yn awr â'u dillad am danynt yn hollol fel yr oeddynt y diwrnod hwnw, ond eu bod yn galed fel càreg. Mae yr olwg arnynt yn ddyeithrol a difrifol iawn.

Mae y *Museum* sydd yn Naples yn cynnwys llawer o filoedd o wahanol bethau o'r dinasoedd hyn: pob math o addurniadau o aur ac arian, dodrefn ac arfau, &c. Cofus genym i ni weled *statue* o'r hen dduwies hono, Dïana yr Ephesiaid, yno. Gwelsom hefyd lawer o ysgriflyfrau a ddarganfyddwyd yn Herculaneum, rholiau duon, caled, fel *charcoal*, ydynt; dail rhyw bren wedi eu huno â'u gilydd, rhwng wyth neu ddeng modfedd o lêd, ac ysgrifen arnynt, ac wedi eu gwneyd yn rholiau. Buwyd yn hir yn methu gwneyd dim o honynt, ond o'r diwedd llwyddwyd i feddalhâu y *charcoal* du, dattod y plygion, a'u darllen; gwelsom ddegau o honynt a'r ysgrifen arnynt yn hollol ddarllenadwy, a gwelsom hwy yn myned trwy y gorchwyl o'u meddalhâu a'u dattod.

Drannoeth, cychwynodd rhyw ddeuddeg o honom i fyned i ben Vesuvius. Yr oedd gyda ni ddwy foneddiges, a'r *professor* y soniwyd am dano o'r blaen.

Mae Vesuvius yn un o fynyddoedd tanllyd hynotaf y byd. Mynydd

tanllyd yw y mynydd ag y mae mŵg, a thân toddedig, lludw, a chèryg yn cael eu chwythu allan ar a legau o dwll yn ei gopa. Mae cymydogaethau y mynyddoedd tanllyd yn dra darostyngedig i ddaeargrynfäau.

Mae copa Vesuvius tua deng milldir o Naples, ac yn dair mil saith gant a hanner o droedfeddi o uchder, a deng milldir ar hugain o amgylchedd,—dau gant a hanner o droedfeddi yn uwch na'r Wyddfa. Mae llïaws o dai a phentrefi ar y rhanau isaf o hóno, a choed a gwinwydd yn tyfu yn lled uchel arno. Dywedir mai o'r gwinwydd hyn y ceir y gwîn goreu yn y byd.

Ceir mewn hanesyddiaeth ddarfod i lawer o ffrwydriadau gymeryd lle o hóno er ys dwy fil o flynyddoedd, ond yr hynotaf yn ddïau oedd yr un yn O.C. 79, pryd y claddwyd y dinasoedd a nodwyd. Ychydig wythnosau cyn ein mynediad yno, yr oedd wedi bod yn bwrw allan lawer iawn o dân yn *lava* rhedegog; yr oedd mŵg mawr fel mŵg ffwrn yn esgyn o hóno tra yr oeddym ni yno. Gwelsom yn y papyrau fod llawer o dân wedi rhedeg o hóno yn fuan ar ôl ein dychweliad. Dywedir fod golygfa ardderchog i'w chanfod arno o Naples, yn y nos, pan y bo yr afonydd tân yn rhedeg i lawr ei ochrau. Dywedai ein harweinydd ddarfod iddo gyfrif tair ar ddeg o'r afonydd hyn, ar un noswaith, ychydig ddyddiau cyn i ni ddyfod yno.

Cychwynasom o Naples mewn cerbydau, am Portici, pellder o bum' milldir, ac yno yr oeddym yn cymeryd ceffylau a mulod—ond nid y fath oreu o'r crëaduriaid hyny—i ddechreu esgyn y mynydd. Yr oeddym yn myned am hir ffordd trwy winllanoedd tra ffrwythlawn, ond yn fuan cyrhaeddasom gŵr y *lava* du sydd yn gorwedd yn blygion ar eu gilydd, wedi rhedeg drwy yr oesau, a chaledu wrth redeg, nes ffurfio tomenydd anferth, yn amryw ugeiniau os nad cannoedd o droedfeddi o drŵch. Yn fuan cyrhaeddasom yr *Hermitage*, lle y mae nifer o fynachod yn byw. Dywedir i'r adeilad hwn ddïanc rhag y dinystr er ys oesau, er fod afonydd o dân wedi ei gylchynu amryw droion. Wrth ei ymyl y mae arsyllfa seryddol dra phwysig.

Wedi myned am ryw hanner awr ymhellach, yr oeddym wedi cyraedd y man pellaf y gallai yr anifeiliaid fyned. O'n blaen yr oedd y mynydd yn dra serth, a golwg hyll, ddychrynllyd, arno. Yr oedd yn rhaid dringo bellach bob cam, a'r hyn oedd yn gwneyd hyny yn dra blinderus a pheryglus oedd, fod y talpiau *lava* y cerddem arnynt yn ymollwng ac yn llithro yn barhäus o dan ein traed. Yr oedd y ddwy foneddiges a'r *professor* wedi darparu i gael eu cludo i fyny mewn cadeiriau ar ysgwyddau. Yr oedd rhywun wedi hysbysu y *professor* y dyfethid *suit* o ddillad ar y daith trwy iddynt gael eu deifio a'u llosgi, ac yr oedd ef yn barnu ond iddo gael ei gario ar ysgwyddau, y byddai ymhellach oddiwrth y tân, ac na losgid y dillad, ac felly mai rhatach fyddai iddo ef dalu am ei gario na llosgi ei ddillad, ac y cai arbed y gorchwyl caled o ddringo yn y fargen. Dyna ei reswm ef dros dalu pum' swllt ar hugain am ei gludo i fyny. Erbyn cyraedd y man crybwylledig, gwelem y tair cadair a rhyw ddeg ar hugain o grëaduriaid dau droediog o'u hamgylch, dyhirach yr olwg arnynt na Bedouins y Pyramidiau, yn gwaeddi, ymrafaelio, ac ymladd â'u gilydd. Yr oedd dau bolyn wedi eu rhwymo wrth bob cadair, yr hon a gerid wedi hyny ar ysgwyddau pedwar o'r crëaduriaid crybwylledig, ac yr oedd pedwar eraill yn barod

i newid â'u gilydd bob rhyw bum' mynyd. Nid sefyllfa ddiberygl oedd un yr hwn a eisteddai yn y gadair, gan fod pedwar yn ei gludo, a dau droed gan bob un; yr oedd hyny yn wyth o draed; a phe buasai i ddim ond un o'r wyth hyny ddygwyddo troi, neu lithro, buasai y polion a'r gadair yn bur fuan bendramwnwgl i lawr, a diammheu na fuasai yr hwn fyddai ynddi nemor well o'r codwm.

Yr oedd yr hin ar y pryd yn boeth iawn, a phelydrau yr haul yn disgyn ar y *lava* nes llosgi ein wynebau yn dost. Cyn dechreu dringo, yr oeddym yn diosg ein cotiau a'n gwasgodau, a'n cadach gwddf, &c., ac yn eu rhwymo ar ein cefnau; ac yr oedd gan bob un bastwn mawr yn ei law.

Gellid crybwyll fod yno amryw wedi dyfod i gynnyg eu gwasanaeth i dŷnu y teithwyr i fyny. Yr oedd rhaff am danynt, dros un ysgwydd, am y frest, ac o dan y fraich arall, a dolen yn y pen arall iddi i'r teithiwr gymeryd gafael; y pris am dŷnu un i fyny oedd pum' ffranc. Ni fynai neb wasanaeth y brodyr hyn ar y cyntaf; ond fel yr eid ymlaen a dechreu ymdeimlo â'r blinder a'r anhawsderau, yr oedd y naill ar ol y llall yn dechreu gafael yn y dolenau, fel erbyn cyraedd y pen uchaf yr oedd y rhan fwyaf o lawer wedi ymostwng i gymeryd eu tŷnu. Buom yn dringo felly yn dra chaled am awr a chwarter; yna cyrhaeddasom ychydig o wastadedd, ac o'n blaen wedy'n yr oedd y pigyn, a daflwyd allan y misoedd diweddaf, yr hwn oedd o gant i ddau gan' troedfedd o uchder, yn dra serth, a'i wisg allanol yn lludw mân, a hwnw mor boeth fel yr oeddym yn methu dyoddef ein traed ynddo. Yr oedd yn dra anhawdd esgyn hwn; yr oedd yn rhy serth i ni allu sefyll yn gysurus ar ein traed, a phob cam a roem yr oedd y lludw yn llithro ac yn ein gollwng agos gymaint a hyny yn ol; ac yr oedd yn boeth ofnadwy i ymgropian ar ein gliniau a'n dwylaw ar hyd-ddo. Yma, gan serthedd y lle, nid ellid defnyddio y cadeiriau chwaith, ac yr oedd yr hen *brofessor*, druan, *in trouble* eto; o herwydd er iddo sicrhâu gwasanaeth y gadair rhag llosgi ei ddillad, yr oedd hi yn hollol ddi-wasanaeth pan ddaethom i'r lle poethaf.

Ond, er y cwbl, caed y ddwy foneddiges ac yntau i fyny yn ddïogel, fel hyn: yr oedd tri neu bedwar o'r cludwyr yn myned yn rhês, y naill ar ol y llall, a rhaff dros eu hysgwyddau, ac yn y pen arall iddi yr oedd math o bastwn mawr wedi ei rwymo, am yr hwn yr ymaflai yr un a dŷnid â'i ddwy law; a thrwy fod y cyfeillion hyn yn tŷnu eu goreu, weithiau ar eu traed ac weithiau ar eu gliniau, a bod dau gyfaill arall y tu ol, un pur dàl, yn gwneyd hyny allai o wasanaeth mewn gwthio yn y rhan uchaf o'r corff, ac un arall bŷrach yn gwneyd ei oreu ychydig yn îs, caed pawb i'r pen uchaf yn ddïogel.

Mae yr olygfa o ben Vesuvius yn wir ardderchog. O danom ar un ochr, dyma Naples a'r *Bay of Naples;* yr ochr arall dyma wastadedd mawr y Campagna, a thraw dacw fynyddoedd yr Appenines. Yr oeddym braidd yn dysgwyl pan gyrhaeddem ei ben uchaf y gwelem dwll neu agorfa, trwy ba un y byddai y tân a'r mŵg yn cael eu chwythu allan o'i grombil, yn debyg fel pe buasem yn edrych i lawr i simnai; ond yr olygfa a gawsom ar y *Crater* ar y pryd oedd fel hyn: yr oedd y gwrym ar yr hwn y safem oddeutu chwarter milldir o amgylchedd; yr ydoedd o fewn i'r cylch hwn yn llawn o gèryg lled fân, tra thebyg i odyn galch

pan y bydd tân ynddi, a chèryg newydd eu rhoi arno, a mŵg mawr ac arogl brwmstanaidd cryf yn dyrchafu drwyddynt; yr oedd yr arwyneb hwn yn anwastad, ac o ddwy i dair llath yn îs na'r gwrym, neu ymyl y *Crater*. Nis gallasem gerdded yn hollol o amgylch y *Crater*, buasai y mŵg, y gwres, a'r arogl, yn sicr o'n lladd; rhaid oedd i ni sefyll yr ochr agosaf i'r gwynt; arosasom ar ei ben o ugain mynyd i hanner awr.

Cawsom engraifft yma o'r ysbryd masnachol ac anturiaethus sydd yn nynolryw; yr oedd un cyfaill, heb i ni sylwi arno, wedi ein dilyn i fyny â'i siop ar ei gefn, sef siop ddwfr mewn basged; gwyddai ef yn dda am y syched tost fyddai ar bawb erbyn cyraedd yno; tŷnodd ei botelau allan, a chynnygiodd ei ddwfr ar werth, a'i bris oedd hanner franc, sef pum' ceiniog y glasiad; gwerthodd ei siop oll mewn ychydig fynydau.

Yr oeddym yn disgyn ar yr ochr arall i'r mynydd, trwy ludw mân hyd nes y cyrhaeddasom ein ceffylau. Cyn pen hir, syrthiodd dau o honynt o dan y teithwyr; barnem eu bod yn hoffach o fod ar lawr nag ar eu traed, canys caed trafferth anghyffredin i'w codi. Yn fuan syrthiodd un o honynt drachefn, a chadwyd *committee* mawr uwch ei ben, a'r penderfyniad unfrydol y daethpwyd iddo oedd, y byddai y drafferth o'i gael i fyny yn fwy nag unrhyw fantais a ellid ddysgwyl oddiwrtho ar ol hyny, ac felly yno y gadawsom ef yn gorwedd yn dawel ar ochr y ffordd, a'i ffrwyn yn ei ben, a'r cyfrwy am ei gefn; ac am ddim ar a glywsom ni, yno y mae eto. Wedi cyraedd pen ein taith, hysbysasom ei feddianwyr ei fod i'w gael iddynt yn ddïogel ryw ddwy filldir i fyny y mynydd, os dewisent fyned yno i'w geisio. Cyrhaeddasom Naples oll erbyn y *Table d' Hôte*, yn fyw ac yn iach, a'n haelodau yn gyfain, ond ein bod yn dra lluddedig. Ein taith nesaf fydd o Naples i Rufain.

# EMYNYDDIAETH.

## VIII.

### Y PARCHEDIG WILLIAM WILLIAMS, PANTYCELYN, A'I HYMNAU.

#### RHAN I.

Gyda bod gwawr y Diwygiad Methodistaidd wedi ymddangos, pryd y clywid mewn aml i lwyn a llanerch yn ardaloedd ein gwlad beraidd drydar

Yr adar mân, ar dân yn moli Duw,

llewyrchodd dydd barddoniaeth emynaidd Gymreig yn ddysglaer a chynnyddol yn yspaid oes gyhoeddus a llafurus y Parchedig William Williams. Efe yn ddïau yw ein prif-fardd mewn prydyddiaeth gysegredig, o ran ardderchogrwydd ansawdd, a llïosogrwydd ac amrywiaeth ei gyfansoddiadau. Mae efe fel y lloer yn ei llawn llonaid, ar ei rhawd ymhlith y sêr, pan yr ymddangosont ddysgleiriaf. Mae ei odlau fel seiniau llawnion yr organ beraidd, mewn cymhariaeth i bynciau mwynion y telynau a'r nablau, llai eu grym a'u cwmpas, yn y gyngerdd odidog. Hyn yw ein hesgusawd dros gyflwyno yma i sylw ein darllenwyr grynodeb o hanes yr awdwr,* cyn myned ymlaen yn ein sylwadau ar ei hymnau.

"Y mae yn neillduol i sylwi arno," medd Mr. Charles, "fod Pen mawr yr eglwys, ymhob diwygiad cyffredinol ar yr eglwys, yn rhoddi cyflawnder doniau, fel nad ydyw yn ol mewn dim angenrheidiol er ei hadeiladaeth, ei chysur, a'i rhodiad sanctaidd gyda Duw. Y mae dawn prydyddiaeth ymhob oes wedi bod yn rhodd ardderchog a defnyddiol iawn, er gogoniant Duw, a dyddanwch ei eglwys. Er bod hon, fel pob dawn arall, wedi, ac yn cael ei chamddefnyddio yn achos annuwioldeb, ac er difyru dynion, trwy borthi eu llygredigaethau, eto cafodd llawer o ddynion enwog gymhorth i gysegru hon i'r Arglwydd a'i waith sanctaidd.

"Y mae y diwygiad a ddechreuodd yn y ganrif ddiweddaf yn Nghymru a Lloegr wedi cael ei harddu yn fawr âg amrywiaeth doniau. Hwyrach na bu dawn areithyddiaeth er yr hen oesoedd yn uwch ei grâdd nag yn y Parchedig George Whitfield a'r Parchedig Daniel Rowlands, pen areithwyr yr oes hono; cyfodwyd eraill hefyd â doniau helaeth i ysgrifenu yn adeiladol i'r eglwys. Yr oedd Dr. Watts yn Lloegr, fel prydydd, wedi ei addurno â dawn ardderchog a buddiol iawn, fel y mae ei gyfieithiad ef o'r Salmau, a'i Hymnau, yn cael eu defnyddio yn gyffredinol ymhlith y pleidiau oll yn eu haddoliad cyhoeddus, a thrwy hyny wedi newid a gwella dull eu haddoliad yn fawr. Yn yr ystyr hwn gofalodd Duw hefyd am y Cymry. Er bod llawer o fân ganiadau duwiol wedi cael eu cyfansoddi gan amryw, eto y Parchedig William Williams,

*Mae y crynodeb hwn wedi ei gasglu allan o'r *Drysorfa*, Llyfr ii., gan Charles; Morgan's *Life of W. Williams*; *Cofiant*, &c., gan J. R. Kilsby Jones; *Methodistiaeth Cymru*, &c., &c.

Pantycelyn, a gafodd y blaen arnynt i gyd yn meddwl yr eglwys; a'i gâniadau ef sydd yn awr yn gyffredinol yn yr holl eglwysi, heblaw cyfansoddiad yr Archddïacon Prys o'r Salmau. Gan fod gwaith y gŵr duwiol hwn wedi bod, ac yn parhâu i fod yn ddefnyddiol i eglwys Dduw, bydd ychydig hanes am dano yn gymeradwy gan lawer, er coffadwriaeth am un sydd yn cael ei barchu ganddynt er mwyn ei waith, er nas gwelsant ef erioed, ac nas gwelant chwaith, cyn bore mawr yr adgyfodiad."

Ganwyd ef y flwyddyn 1717, yn amaethdŷ Cefnycoed, yn mhlwyf Llanfair ar y Bryn, gerllaw Llanymddyfri, yn Swydd Gaerfyrddin. Yr oedd ei rieni yn aelodau crefyddol gyda yr Ymneillduwyr mewn lle a elwir Cefnarthen, a'i dad yn ddïacon yn yr eglwys hono tra y bu mewn cysylltiad â hi.* Enw ei dad oedd John Williams, amaethydd gonest a pharchus yn byw ar ei dir ei hun, ac enw morwynol ei fam oedd Dorothy Lewis. Daeth etifeddiaeth Pantycelyn iddi hi ar ol ei brawd, yr hwn a fu farw yn hen lanc, a thrwyddi hi y disgynodd yr etifeddiaeth i'w mab William. Dywedir fod ei gŵr yn llawer hŷn na hi, ac iddo farw pan nad oedd William ond ieuanc, a hithau ond oddeutu 50 mlwydd oed, er hyny arosodd hi yn weddw am y gweddill o'i hoes; bu fyw i gyrhaeddyd yr oedran mawr o 95 o flynyddoedd, a bu farw ond oddeutu saith mlynedd o flaen ei mab. Efe oedd y pedwerydd o chwech o blant, a'r unig un a dyfodd i oedran gŵr o dri o feibion. Pa fanteision addysg a gafodd yn ei ddyddiau boreuol nid yw yn hysbys, ond gorphenodd ei ddysg yn athrofa Llwynllwyd, yn agos i'r Gelli, yn Swydd Frycheiniog, dan ofal Mr. Price, gweinidog yr Ymneillduwyr yn Maes yr Onen.†

Ei fwriad cyntaf oedd bod yn feddyg; ac efe a astudiodd phisygwriaeth yn ddyfal, a bu o lês i lawer hyd ddydd ei farwolaeth trwy ei gyfarwyddiadau meddygol. Ond pan y galwodd yr Arglwydd ef trwy râs, newidiodd ei feddwl, a llwyr ymroddodd i'r weinidogaeth sanctaidd. Wrth ddyfod adref o'r athrofa, yn 1738, y cafodd ei alw, wrth wrandaw ar Mr. Howell Harris yn traethu ei genadwri bwysig ar ol y gwasanaeth yn mynwent Talgarth. Am y tro hwn, ymhen blynyddau lawer, y canodd fel hyn, yn ei farwnad ragorol i Mr. Harris:—

* Ymadawodd ef, a nifer o'i gyd-aelodau, â'r eglwys hono, o herwydd dwyn i mewn Arminiaeth i'r pulpud, ac ymgorfforasant yn eglwys annibynol newydd mewn amaethdŷ o'r enw Clinpentan, rhwng Pentre-tŷ-gwŷn a'r Cefncoed, ac oddeutu dwy filldir o Gefnarthen. Wedi hyny adeiladwyd capel iddynt ar ran o dir Pantycelyn, a chan fam y bardd y cafwyd lle i'w adeiladu, ac yn yr un man y saif yr addoldŷ presennol. Mae yn adnabyddus wrth yr enw Pentre-tŷ-gwŷn.—Gwêl y "Cofiant" yn nechre argraffiad Mackenzie o "*Holl Weithiau, Prydyddol a Rhyddieithol, y diweddar Barch. William Williams, Pantycelyn,*" gan y golygydd, y Parch. J. R. Kilsby Jones.

† Felly y dywed Mr. Charles, ond dywed Mr. Kilsby Jones mai dan ofal y Parchedig Vavasor Griffiths, gweinidog hen eglwys annibynol Maes yr Onen, yn Sir Faesyfed, yr oedd athrofa y Llwynllwyd ar y pryd. Nis gwyddom pa fodd i gysoni y ddau hanes, os nad oedd Mr. Price yn gyd-weinidog â Mr. V. Griffiths, ac yn ei gynnorthwyo yn yr Athrofa. Enwir Mr. Vavasor Griffiths, o'r Maes Gwŷn, a Mr. David Price, o'r Llwynllwyd, yn "Hanes Crefydd yn Nghymru," gan D. Peter, tu dal. 631, ymysg nifer o weinidogion enwog perthynol i'r Presbyteriaid a'r Annibynwyr a fuont feirw yn 1741, a'r ddwy flynedd ganlynol. Mae yn debygol i Mr. C. gael ei hysbysiaeth gan Williams ei hun yn ei fywyd, neu gan ei fab, John Williams, yr hwn oedd yn nghanol ei ddyddiau pan oedd efe yn ysgrifenu. Yr un ydoedd athrofa y Llwynllwyd â'r "*Presbyterian College,*" Caerfyrddin. Gwel "Hanes Crefydd yn Nghymru," gan D. Peter, tu dal. 682—686.

Dyma fore, byth mi gofiaf, clywais innau lais y nef;
Daliwyd fi wrth wŷs oddiuchod, gan ei sŵn dychrynllyd Ef;
Ac er crwydro y dyrys anial, ôl a gwrthol, dileâd,
Tra fo anadl yn fy ffroenau, mi a'i galwaf Ef yn Dad.

Proffesai Harris ei hun yn aelod o'r Eglwys Wladol, ac fe allai mai ei ymlyniad wrtho ef a'i gydweithwyr a ogwyddodd feddwl Mr. Williams i gydymffurfio, er fod ei deulu yn Ymneillduwyr. Pa le y bu yn llafurio i ymbarotöi at gael urddau eglwysig, nid yw yn hysbys; ond ymhen dwy flynedd wedi ei dröedigaeth, sef yn 1740, urddwyd ef yn ddïacon yn yr Eglwys Sefydledig, gan Dr. Nicholas Claget, esgob Tŷ Ddewi, i guradiaeth Llanwrtyd a Llanddewi Abergwesyn. Gwasanaethodd yno am dair blynedd, yn pregethu, gydag ychydig iawn o lwyddiant, i bobl dywyll a thra anfoesol. Tebygol yw ei fod yn gwasanaethu ei blwyfydd hyn o'i gartref, Cefnycoed, yr hyn oedd ddeuddeng milldir, o leiaf, o Landdewi. Yn ystod ei gysylltiad swyddol â'r eglwysi hyny, bu yn ymroddgar i gyflawni gwaith efengylwr, gan bregethu ymhob man yn ddiwahaniaeth, pa le bynag y caffai gyfleusdra. Cyfrifid hyn yn afreolaeth, ac yn achos digon pwysig i'r esgob wrthod iddo ei gyflawn urddau. Arferai ddywedyd, gyda llawer o ddifyrwch, iddo gael ei roddi yn llŷs yr esgob, pan oedd yn gwasanaethu Llanwrtyd, am bedwar ar bymtheg o bechodau y bu yn euog o honynt; megys, am beidio rhoddi arwydd y groes wrth fedyddio, peidio darllen rhai rhanau o'r gwasanaeth, a chyffelyb bethau bychain, dibwys. Nis gallai fod dim yn erbyn ei fuchedd, gan fod ei ymarweddiad yn syml a chrefyddol. Dywedir y byddai y pryd hyny yn cynnal gweddi deuluaidd dair gwaith yn y dydd. Y Parch. George Whitfield, yn benaf, a'i hannogodd i adael yr Eglwys, a throi allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau; ac efe oedd y clerigwr cyntaf yn Nghymru a wnaeth felly. Yr oedd efe y pryd hyny tua chwech ar hugain mlwydd oed. Ynghylch yr amser hwnw y daeth i gydnabyddiaeth â'r Parch. Daniel Rowlands, Llangeithio, a pharhäodd y brawdgarwch anwylaf rhyngddynt tra y buont byw, fel y gellir canfod wrth y farwnad dyner a gyfansoddodd i'r gŵr enwog hwnw oddeutu pum' mis cyn iddo ef ei hun orphen ei yrfa. Wedi gadael yr Eglwys, am nad oedd lle iddo ynddi, ymgymerodd â holl Gymru fel ei blwyf, a pharhäodd i deithio trwy Ddê a Gogledd, i efengylu pethau daionus i'r trigolion tywyll, am oddeutu hanner can' mlynedd. Pregethai unwaith yn y mis yn nghapel eglwysig Llanlluan am bymtheg ar hugain o flynyddau, ac unwaith yn y mis yn Nghaio a Llansawel am yr un yspaid, ond pan ar deithiau meithion yn y Gogledd neu y Deheudir. Cynnorthwyai hefyd yn fisol, mor gyson ag y gallai, yn Llangeitho, yn y cynnulliadau mawrion ar Sabbothau cymundeb, hyd ddydd ei farwolaeth.

Er hyn i gyd, ystyriai ef ei hun yn "Weinidog o Eglwys Loegr," ac ymgyfenwai felly weithiau ar ragddalenau rhai o'i lyfrau; a dywedir nad oedd yn cymeradwyo, yn ol llaw, ar hyd ei oes yr *afreolaeth* a fu yn achos i'w attal i gael ei gyflawn urddau. Dichon fod hyny yn tarddu yn benaf oddiar deimlad o'r anfantais yr oedd yn llafurio dani mewn canlyniad, trwy nas gallai gyflawni holl waith y cysegr yn ol trefn yr Eglwys Sefydledig, megys, darllen "y gollyngdod," a gweinyddu y cymun sanctaidd, a rhai pethau eraill. Ond felly yn amlwg yr oedd

Rhaglnniaeth ddoeth wedi trefnu iddo ef, fel amryw o'i gydlafurwyr, i wasanaethu ei genedlaeth yn ei ddydd; ac nis gallwn gredu iddo erioed edifarhâu am droi allan i bregethu yr efengyl i'r lluoedd oeddent yn amddifad o hóni, pa le bynag, a pha amser bynag, y caffai gyfleusdra i hyny. Dïau pe cyfyngasai ei lafur i blwyfi Llanwrtyd ac Abergwesyn, nas gallasai fod mor ddefnyddiol ag y bu i holl Gymru, "o Gaergybi i Gaerdydd, ac o Dŷ Ddewi i Lanandras." Nid oedd chwaith yn ymddibynu ar yr Eglwys am gynnaliaeth. Yr oedd Cefnycoed iddo yn gartref cysurus, a chroesaw calon iddo gan ei rïeni, gan nad yw yn debyg eu bod hwy, fel Ymneillduwyr, yn teimlo dim rhyw awydd mawr am iddo ymlynu wrth y Sefydliad eglwysig gwladol. Heblaw hyny, wedi iddo ymsefydlu ar ei etifeddiaeth yn Mhantycelyn, yr oedd yn werth 200p. yn y flwyddyn, fel yr oedd efe yn gallu milwrio yn ffyddlawn ar ei draul ei hun, a chadw tŷ da gartref gyda hyny.

Wedi bod am beth amser yn cadw ysgol yn nghymydogaeth Llansawel, pan oedd oddeutu deuddeg ar hugain mlwydd oed, prïododd Mary, *unig* ferch ac etifeddes Thomas Francis, Penlàn, yn mhlwyf Llansawel, yr hon oedd ferch ieuanc landeg, synwyrol, a duwiol, ac a fu yn wraig addas, serchog; a chysurol iddo holl ddyddiau ei fywyd. Yr oedd hi o dymher nodedig o dyner, addfwyn, a phwyllog. Yr oedd wedi bod yn aros yn nheulu y Parch. Griffith Jones, Llanddowror, fel cyfeilles i Mrs. *Jones*, yr hon oedd o deulu pendefigaidd, yn chwaer i Syr John Phillips, Barwnig, o Gastell Pictwn, yr hyn a ddengys ei bod wedi cael dygiad da i fyny; a thra yn y sefyllfa hon, iddi gael y fantais i ddyfod i gydnabyddiaeth a throi yn nghymdeithas dosbarth uwchraddol yn y wlad. Yr oedd hyn yn gymhwysder mawr iddi i lanw lle dylanwadol a phwysig yn ei pherthynas â'i chartref newydd. Bu y pâr ieuanc am beth amser yn preswylio yn Llansawel, ond cyn hir symudasant i Bantycelyn, lle y buont yn trigiannu hyd ddiwedd eu hoes.

Yr oedd darbodaeth deuluaidd Mr. Williams yn cael ei dwyn ymlaen yn ddoeth a gofalus, ac ymddengys fod cydwelediad perffaith rhwng cymhares ei fywyd ac yntau ymhob peth, yr hyn oedd yn werth anmhrisiadwy iddo, gan y byddai mor fynych oddicartref. Yr oeddent yn drefnus ac yn gynnil yn eu holl achosion, ond eto heb fod yn gyrith neu grintach, eithr yn y gwrthwyneb, yn haelionus a llettygar, yn cadw un o'r tai goreu yn eu hardal, ac yn dwyn eu plant i fyny yn anrhydeddus, ac addas i'w sefyllfa.

Heblaw teithio i bregethu, a chynnal cymdeithasau crefyddol, i'r hyn yr oedd yn meddu cymhwysderau arbenig, llafuriodd yn ddiwyd i ysgrifenu a chyhoeddi llyfrau, oll yn tueddu i oleuo ei gydwladwyr anwybodus yn egwyddorion a dyledswyddau crefydd. Yr oedd yn ofalus i gyfaddasu ei gyfansoddiadau llênyddol at amgylchiadau yr oes, a'u dwyn allan fel yr oedd y wlad yn gallu eu derbyn. Nis clywsom y byddai y bobl yn eu teimlo yn faich, na'u bod yn cwyno am ddim ond nad oedd rhai o honynt yn dyfod allan mor gyflym ag y buasent hwy yn dymuno. Yr oedd efe yn medru gwneyd i'w lyfrau dalu eu costau, a rhoddi peth elw ond odid tuag at draul ei deithiau i bregethu yr efengyl. Pan fyddai gwerth cryn swm o arian o rai o'i lyfrau yn aros ar law yn lled hir, byddai yn ochelgar wrth ddwyn allan waith newydd rhag argraffu mwy nag y byddai galwad am danynt. Byddai ganddo gyfeillion yn casglu

enwau derbynwyr, ac yn derbyn rhag daliadau, sef cyfran o bris llyfr, gyda'r enw am dano, a'r gweddill o'i bris i'w dalu ar ei dderbyniad. Yr oedd hyn yn llwybr doeth a dïogel; ond byddai weithiau yn cael ei siomi yr ochr oreu, pan fyddai yr alwad am lyfr yn troi allan yn llawer mwy na'i ddysgwyliad. Tybir na bu yn golledwr ar ddim a gyhoeddodd. Yr oedd ei lafurwaith yn gymeradwy, a'r werin grefyddol yn derbyn ei draethodau, ac yn enwedig ei ganiadau, yn ewyllysgar ac yn awyddus, fel yr oedd rhai o honynt yn myned trwy amryw argraffiadau o fewn ychydig amser.

Yr oedd yn ei ieuenctyd yn ŵr hardd, gwridgoch, bywiog, o'r maintioli cyffredin; ei dymherau oeddynt yn boethlyd, ond yn gyffredinol yr oedd yn dirion, yn siriol, a hawddgar tuag at bawb. Dichon fod ei ddarlun, cyhoeddedig gan Mr. Mackenzie yn ei argraffiad ysblenydd o'i holl gyfansoddiadau llïosog, yn rhoddi syniad pur gywir o'i ymddangosiad personol pan yn ŵr ieuanc. Cafodd ei dŷnu oddiar ei gôf gan luniedydd cywrain yn Bristol, oedd yn gydnabyddus âg ef, yn dra hoff o hóno, ac wedi bod yn ei wrandaw yn pregethu lawer gwaith. Mewn llyfrfa yn Bristol ei darganfuwyd, gan y Parchedig Robert Jones, Periglor All Saints, Rotherhithe, Llundain, mewn hen lyfr ysgrifenedig; ac oddiwrth y copi hwnw ei cerfiwyd i addurno y gyfrol o holl waith yr awdwr. Yr oedd Williams yn nodedig o ddiwyd a gweithgar ar hyd ei oes; ni fedrai fod yn segur, ac ni adawai lonydd i neb o'i amgylch i fod felly. Yr oedd yn amaethwr rhagorol: pan fyddai wedi blino yn astudio yn ei lyfrgell, äi allan, ac ymaflai mewn rhyw orchwyl er trefnu a thacluso o amgylch y tŷ a'r tyddyn; a phan ar y buarth, wedi esgyn ar gefn ei anifail, ar gychwyn i daith, arferai roi cyfarwyddyd i'r gweision pa orchwyl a fyddai i bob un ei wneyd, ar fath o rimpyn cynghaneddol, mewn tymher lòn a siriol, yr hyn a ennillai eu sylw, a'u serch at eu meistr, ac a barai iddynt wneyd eu gwaith yn ffyddlawn ac ewyllysgar. Yr oedd Mrs. Williams hefyd yn deuluyddes mor dda, fel y byddai pob peth yn cael ei ddwyn ymlaen yn y modd goreu, yr hyn oedd yn dawelwch mawr i feddwl ei phrïod pan yn absennol ar ei deithiau. Yr oedd ganddo yn naturiol gorff iach iawn; ond trwy ei lafur dibaid yn astudio, ysgrifenu, teithio, pregethu, a chadw cyfarfodydd neillduol, niweidiodd ei gyfansoddiad, fel yr oedd yn cael ei flino yn aml yn ei flynyddoedd olaf gan y graianwst a'r ddüeg. Arferai eistedd i fyny y nos i astudio ac ysgrifenu, fel mai yn anfynych yr äi i'w wely cyn dau o'r gloch y bore, arferiad tra anfanteisiol i iechyd, er, ond odid, mai y tawelwch a fwynhäi felly i fyfyrio oedd wedi ei lithio fel yn ddiarwybod iddo ei hun i'r arferiad hóno. Yr oedd mor bruddglwyfus yn fynych, wedi ei heneiddio, fel nad allai fyned allan ei hunan fel cynt, a byddai ei brïod ffyddlawn yn myned gydag ef i ofalu am dano a gweini iddo, fel ag i sirioli a chynnal ei feddwl. Yr oedd yn hynod yn ei serch a'i ymlyniad wrth ei gyfeillion llïosog yn y Dë a'r Gogledd, gyda'r rhai yr arferai gydlafurio, ac eraill a'i llettŷent ar ei deithiau, fel y dengys ei farwnadau ar eu hol, pan yr oedd llawer o honynt, o un i un, yn ei ragflaenu i'r byd tragywyddol. Nid llawer o erlidigaeth a oddefodd efe o herwydd crefydd, llai, dybygid, nag amryw o'i gydlafurwyr; ond dywedir y bu amryw ddiwygiadau trwy ei weinidogaeth gyhoeddus, yn y rhai y cymerai ddyddordeb mawr, gan sylwi yn fanwl ar

eu hansawdd, ac ymdrechu rhoddi y cyfeiriad prïodol iddynt, fel y gwelir yn fynych yn ei ysgrifeniadau, yn enwedig llythyrau "Martha Philopur," a "Philo Evangelius," a "Drŵs Society Profiad." Yr oedd yn dduwinydd da, ei ddoniau areithyddol yn helaeth, ei bregethau yn efengylaidd, yn brofiadol, ac yn felus; yn hynod serchiadol a thoddedig yn aml; yn chwilió i mewn i athrawiaethau a phrofiadau gau, ac yn gwahaniaethu yn fanwl rhwng gau a gwir ysbryd wrth weinidogaethu yn gyhoeddus, ac yn ei ymddyddanion â dynion am fater eu heneidiau, yn bersonol, ac yn y cymdeithasau eglwysig.* Mae y rhagoriaethau hyn i'w canfod yn eglur yn amryw o'i ysgrifeniadau. Nid oedd neb o ddysgawdwyr y dyddiau hyny yn fŵy goleu yn yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb, na neb a wrthwynebodd gyfeiliornadau yn fwy egnïol a phenderfynol nag efe, yn enwedig Sandemaniaeth ac Antinomiaeth. Addefwn y gall fod ambell ddywediad o'i eiddo heb gael ei eirio yn y dull goreu, a syniad weithiau y dylid bod yn ofalus i'w gymeryd yn y golygiad esmwythaf; er hyny, wrth roddi pob peth ynddo at eu gilydd, yr oedd yn un o'r dynion mwyaf ei ddoniau, ei barch, a'i ddefnyddioldeb yn ei oes. Pan sefydlodd yr Iarlles Huntingdon ei Hathrofa yn Nhrefecca, daeth yn gydnabyddus â'r *arglwyddes etholedig* hono. Yr oedd ganddi hi feddyliau parchus iawn am dano; safai mor uchel yn ei barn, fel y dywedai yn aml, "Nad oedd gan Gymru un gŵr mwy, ac ystyried pob peth, i ymffrostio o hóno." Tra y byddai hi yn aros yn Nhrefecca, ymwelai â hi bob amser, pan yr elai i'r parthau hyny. Pregethai, ymhlith gweinidogion eraill, yn nghylchwyliau blynyddol yr Athrofa, yn Gymraeg a Saesoneg, gyda chymeradwyaeth mawr. Sonir am yr Iarlles yn cymeryd taith trwy ranau o Gymru, gyda Williams a Rowlands, Llangeitho; y ddau yn pregethu i gynnulleidfäoedd mawrion, mewn eglwysydd, yn y mynwentydd, ac yn yr awyr agored, gyda dylanwad mawr a chanlyniadau daionus.

Yr oedd Williams yn ymroddgar a chyson yn ei deithiau i efengylu, ac i ymweled â'r eglwysi, yn yr hyn yr oedd yr Arglwydd yn bendithio ei lafur yn amlwg ac yn helaeth. Yn y flwyddyn olaf o'i oes, dywed ef ei hun, mewn llythyr at Mr Charles, ei fod, am 43 o flynyddoedd, wedi teithio bob blwyddyn at eu gilydd, rhwng 40 a 50 milldir bob wythnos. Yr oedd wedi cymeryd pedair neu bump o deithiau meithion trwy siroedd y Deheubarth yn ngwanwyn y flwyddyn hono, a phob tro wedi

* Fel hyn y dywed un o'i farwnadwyr am dano, wrth goffâu ei ddefnyddioldeb fel efengylwr yn y cyhoedd, ac fel arweinydd yn y cymdeithasau eglwysig:—

O Lanlluan! ti ge'st golled;
  Tithau, Lanfihangel lon,
Y mae'r pena' o'th efengylwyr
  Heddyw'n gorwedd dan y dòn;
Ac ni welir mwy mo hóno
  Yn canmawl gwaith yr Ysbryd Glân,
A'r dwfr yn treiglo dros ei ruddiau,
  Fel y gwelwyd ef o'r blaen.

Dewch, gwrandewch ef yn pregethu,
  Yn ei ddyddiau ola' i gyd,
A'i lygaid yn ffynnonau dagrau,
  Wrth fawrhâu 'n Gwaredwr drud;
Nid am *system* Newton enwog,
  Pliny hen, neu Ptolemi,
Y mae 'n sôn uwch ben y werin,
  Ond am aberth Calfari.

Pan y delai i'r gymdeithas,
  Hynod yno oedd ei ddawn;
Fe olrheiniai droion calon,
  A'i dichellion hi yn llawn:
Nid oedd raid ond agor genau,
  Chwiliai e 'r cyflyrau maes,
Gwahaniaethai rhwng y rhagrith
  Ac effeithiau dwyfol ras.

Yr oedd yn berchen goleu cyflym,
  Fe anelai at y nôd;
Y llygaid dê, a'r fraich anwylaf,
  Ac ni fethai ddim o'r droed,
Ond i'r golwg dygai'r eilun,
  Fe ddynoethai'r gwraidd yn llwyr,
Nes bai hen galonau celyd
  Yna 'n toddi fel y cŵyr.

JACOB JONES.

teithio oddeutu 200 milldir; ac yr oedd wedi arfaethu myned trwy Ogledd Cymru; ond fel yr oedd y teithiau meithion hyny, ynghyda'i afiechyd wedi ei wanhâu, fel nad oedd ganddo obaith am wellâd, ac yn y sefyllfa hono nis gallodd anturio i'r fath daith bell a llafurus. Pe cymerem 45 o filldiroedd yn yr wythnos ar gyfartaledd, byddent yn 2,330 o filldiroedd yn y flwyddyn; ac mewn 43 o flynyddoedd, byddai y swm 100,190 o filldiroedd, mwy na phedair gwaith amgylchedd y ddaear! Yr oedd hyn hefyd pan ydoedd y ffyrdd yn hynod o ddrwg, dim ond yr hen ffyrdd plwyfol trafaelus i deithio y cymoedd, y gweunydd, a thros fynyddoedd; a'r pontydd yn anaml. a'r rhydau hefyd yn beryglus, i groesi yr afonydd a'r aberoedd. Nid oedd cyfleusderau teithio yr oes hon a'r un o'r blaen, gyda'r cerbydau, ar hyd y prif-ffyrdd a'r rheilffyrdd, yn ei amser ef. Yr oedd y llettŷau hefyd yn fynych yn anghysbell a digon gwael.

Er ei fod yn byw mewn oes erlidgar, fe dybir fod ei enwogrwydd fel bardd yn rhywfaint o amddiffynfa iddo, gan y byddai gan lawer, yn enwedig y werin bobl, feddyliau uchel am brydyddion, fel rhai yn feddiannol ar fath o ysbrydoliaeth. Er hyny, cyfarfu â rhai amgylchiadau tra pheryglus, a gwaredigaethau hynod. Yr oedd unwaith wedi ei gyhoeddi i bregethu mewn tafarndŷ, yn rhywle yn Ngogledd Cymru, ac erbyn yr amser, daeth gŵr boneddig a nifer o fugeiliaid yno i'w erlid. Benthycodd y tafarnwr ei ddillad iddo, modd y gallai drwy ymrithio felly ddïanc rhagddynt; ond wedi myned i blith y bobl, daeth yr adnod hon i'w feddwl gyda phwys neillduol: "Pwy bynag a'm gwado i yn ngŵydd dynion, minnau a'i gwadaf ef yn ngŵydd fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd" (Mat. x. 33), fel y bu raid iddo er mwyn tawelwch i'w fynwes ddychwelyd i'r tŷ, a gwisgo ei ddillad ei hun. Pan y daeth allan, adnabuwyd ef gan y bobl yn ebrwydd, ac ymosodasant arno i'w anmharchu, ond llwyddodd y tafarnwr i'w waredu o'u dwylaw. Dro arall, mewn rhyw fan yn y Gogledd, gollyngwyd ef i wared trwy ffenestr o'i lettŷ, fel Paul, mewn basged, a dïangodd felly rhag ei erlidwyr, a ymddangosent fel yn amcanu am ei fywyd. Bu mewn perygl dro arall, pryd y gorfu arno ymguddio mewn ystabl, lle y cysgodd trwy y nos, ac aeth ymaith yn ddïogel bore drannoeth. Dywedir mai efe oedd y cyntaf o bregethwyr y Methodistiaid a gynnygiodd bregethu yn Nghaernarfon. Yr oedd yn dychwelyd o Sîr Fôn, lle buasai yn pregethu, ac yr oedd ei wraig gydag ef ar y daith hon, fel yr arferai fod yn fynych. Wrth groesi culfor y Menai o borth Tal y Foel, dyrysodd Mrs. Williams rywfodd yn ngodre yr hwyl, a thaflwyd hi dros ymyl y cwch i'r môr. Yr oedd ammheuaeth cryf y pryd hwnw mai y porthweision, neu ryw rai eraill yn y cwch, a wyddent mai crefyddwyr oeddent, a wnaethent hyn o fwriad! Pa fodd bynag, gwaredwyd hi rhag boddi, a thiriasant yn ddïogel yn Nghaernarfon; ond deallodd Williams yn fuan na feiddiai bregethu yn y dref, gan fod y werin yn penderfynu ei rwystro, neu ynte ei ladd. Barnodd mai ei ddyledswydd y pryd hwn oedd llechu yn ddystaw am y noson hono yn y dref, a myned ymaith i'w daith bore drannoeth, mor ddïogel ag y gallai. Yr oedd efe a Mrs. Williams unwaith ar daith yn Sir Gaernarfon wedi disgyn mewn tafarndŷ, lle yr oedd nifer o bobl ieuainc wedi ymgasglu i gânu gyda'r delyn, dawnsio, a gloddesta. Wedi

bod yn y tŷ am beth amser, aethant at y cymdeithion llawen, a dywedasant eu bod hwythau yn dra hoff o gânu, ac os caniatäent, y canai Mrs. Williams un o'i chaniadau. Hyn a ganiatäwyd yn rhwydd, a hithau a ganodd :—

**Mae 'r ddaear a'i llawnder i ddarfod o'r bron,**
**Gwae y rhai fo a'u calon yn ormod ar hon :**
**O Arglwydd, rho gymhorth i'th bobl i gyd**
**Roi 'u trysor i gadw ymhell uwchlaw 'r byd.**

**Pan elo'r byd yma yn wenfflam i gyd,**
**Bydd llawer yn wylo waith arno rôi 'u bryd ;**
**Ond moliant i'r Iesu, pan elo fe'n dân,**
**Bydd rhai y pryd hyny yn uchel eu cân.**

Dywedir i bereidd-dra ei llais, a difrifwch y gân, gael effaith dda ar y cwmni, fel y gwrandawsant yn dawel ar air o gynghor gan Mr. Williams, a fu o lês ysbrydol i rai o honynt o leiaf. Nis gwyddom pwy a wnaeth y ddau bennill, ac nid yw hyny o nemawr bwys.

Gwedi treulio oes hirfaith, lafurus, a defnyddiol yn eglwys Dduw, gorphenodd ei yrfa mewn tangnefedd. Yr afiechyd o ba un y bu farw oedd y graianwst, yr hyn oedd yn ei flino er ys amryw flynyddau. Mae ei lythyrau rhagorol at y Parchedig Thomas Charles, a ysgrifenwyd ganddo ychydig fisoedd, a'r olaf o honynt yn nghylch deng niwrnod cyn ei farwolaeth, a'r pennill olaf o'i farwnad i Rowlands, Llangeitho, yn fynegiad o'i deimladau a'i brofiad yn ei ddyddiau olaf; yn gyflawn o deimlad byw, tyner, a thoddedig,—o wresogrwydd cariad ac ysbryd nefolaidd. "Mi wn," meddai, "mai yr Arglwydd a roddodd y cystudd hwn arnaf; ac mi wn, pa un bynag ai byw ai marw a fyddaf o hono, y bydd er bendith i mi. Dysgais yn y deng wythnos hyn fwy o honof fy hun, ac o ddaioni Duw, nag a ddysgais mewn deugain mlynedd a aethant heibio. Mi a ddaethum i ddarllen y Bibl, ag oeddwn o'r blaen yn ei ddarllen mewn rhan fawr i adeiladaeth eraill, yn awr i gyd i mi fy hunan, fel yr unig lyfr wrth ba un yr wyf i gael fy mhrofi yn y farn fawr. Er bod genyf gannoedd o lyfrau, nid oedd blâs ar un fel y Bibl." Mae ganddo olygiadau gogoneddus ar wir grefydd yn y llythyr hwn, a chynghorion gwerthfawr i'w frodyr gweinidogaethol, pan ar ymadael â hwynt. Tebygol mai y pennill crybwylledig oedd y llinellau prydyddol diweddaf a gyfansoddodd :—

**Eto, er ei lyffetheiriau, sydd yn rhwymo 'r corff ynghyd,**
**Mae y nefoedd fawr yn agos, rhwygwyd y cymylau i gyd ;**
**Mae fy ysbryd am gartrefu gyda 'r dorf aneirif fawr,**
**O rai cyntaf-anedigion, y sydd yn y nef yn awr.**

Yr oedd ei wraig bob dydd yn darllen, wrth ei ddymuniad, ychydig ranau o'r Testament Newydd a'r Salmau iddo. Dros amryw oriau cyn ei ymadawiad nid oedd yn gallel siarad dim i neb ei ddeall, er ymdrechu yn aml, gan y llysnafedd, a'r cyfyngdra drwy hyny yn yr ysgyfaint. Tra y gallodd siarad, annogodd bawb i lynu wrth yr Arglwydd o lwyrfryd calon. Bu farw yn ei gartref, Pantycelyn, yn ei gadair freichiau, lle y gosodasid ef i eistedd, tra y taenid ei wely, ond cyn i'r gwragedd gael amser i gyflawni hyny o orchwyl, dïangodd ei ysbryd i'r orphwysfa dragywyddol, yn y 74 flwyddyn o'i oed. Claddwyd ef yn barchus yn ochr ddwyreiniol yn mynwent Llanfair ar y Bryn. Yr oedd tyrfa lïosog iawn yn ei gladdedigaeth, a phregethodd William Llwyd, Ysw., o

Henllan, Caio, ar yr achlysur, yn enwog, yn ol ei arfer. Canasant yn orfoleddus, yr holl ffordd i'r llàn. Rhoddwyd beddfaen prydferth ar ei fedd, ac argraff brïodol er ei goffadwriaeth yn Saesoneg, o ystyr y cyfieithiad isod, a'r pennill olaf o Theomemphus yn Gymraeg:—

"Er coffadwriaeth i'r diweddar Barchedig W. Williams, o Bantycelyn, yn y plwyf hwn, awdwr amrywiol draethiadau mewn prydyddiaeth a rhyddiaeth. Dysgwyl yma y seren fore, yr hon a arwain i mewn ogoniant yr adgyfodiad cyntaf, pan, wrth sŵn udgorn yr Archangel, yr adfywia y llwch cysglyd, ac y llyncir angeu ei hun mewn buddugoliaeth. Llafuriodd yn ngwinllan yr efengyl dros hanner can' mlynedd, ac a barhäodd yn ei ymdrechiadau er ei llwyddiant, yn gystal wrth bregethu a thrwy ei ysgrifeniadau; ac i'w lawenydd annhraethadwy, gwelodd ei heffeithiau yn helaethu a'i gallu yn ymddangos yn iachawdwriaeth miloedd."

Heb saeth, heb fraw, heb ofn, heb ofid, ac heb boen,
Mae 'n cânu o flaen yr orsedd ogoniant Duw a'r Oen;
Yn nghanol myrdd myrddiynau, yn caru oll heb drai,
Yr anthem ydyw cariad, a chariad i barhâu.

Mae cynnyrchion llênyddol Williams yn lliosog ac amrywiol, ac ar y cyfan yn meddu llawer o deilyngdod; ond rhaid i ni gyfyngu ein nodiadau i'w Hymnau, a rhai dyfyniadau o natur emynaidd allan o'i ganiadau a'i bryddestau eraill, yn unig; ac i'r dyben hwn gosodwn ger bron yn gyntaf dystiolaethau amryw wŷr dysgedig a galluog, y rhai y mae eu barn yn teilyngu y sylw manylaf.

Yn y *Gentleman's Magazine* am y flwyddyn 1791, rhoddwyd darluniad canmoliaethol iddo i'r ystyr a ganlyn:

"Yn Mhantycelyn, ger Llanymddyfri, yn Swydd Gaerfyrddin, yn 74 oed, bu farw y Parchedig W. Williams, clerigwr o dalentau a chymeriad nodedig. Yn gynnar ar ei oes, tueddwyd ef, gan ddyhewyd grefyddol a hawddgar, i ymgymeryd â dull teithiol ac apostolaidd Methodistiaeth; a chan gyfuno dawn prydyddiaeth a hyawdledd ddeniadol a serchus, cynnorthwyodd yn fawr ei llwyddiant a'i chynnaliaeth. Tebygol mai efe yw y prydydd telynegol diweddaf Deheubarth Cymru, gan fod iaith y wlad yn graddol ddifianu. Yr oedd ei awen yn hollawl grefyddol, eto y mae llawer o'i hymnau yn meddu ansawdd yr awdl *(ode)*; gwresogrwydd gwir farddonol, delweddau tarawiadol, ymadroddion tanbaid, yn gyfunedig â chérddoriaeth leddf, gwynfanus y wlad, nes bod eu heffaith ar y bobl yn rhyfeddol, fel y maent yn cael eu hystyried ganddynt gyda'r edmygedd mwyaf. Cyfranogodd yr awdwr o'r edmygedd hwn yn helaeth, ac nid yw yn beth i ryfeddu wrtho, pan y gwyddys ddarfod iddo deithio y Dywysogaeth ymron yn ddibaid am ddeng mlynedd a deugain, yn y cyflawniad brwdfrydig o'i weinidogaeth. Yr oedd ei ddarfelydd yn rhoddi amrywiaeth a dyddordeb yn ei areithiau; yr oedd ei dduwiolder yn wresog, eto yn ddiragfarn a haelfrydig; ei ymddygiadau yn syml, eto yn serchog a chyweithas; a'i ymarweddiad moesol yn bur a diargyhoedd."

Dywed y Parchedig Thomas Charles, yn ei gofiant iddo yn y *Drysorfa*, fel hyn:—

"Yr oedd yn meddiannu doniau prydyddol wedi eu rhoddi yn naturiol ac yn helaeth iddo gan yr Arglwydd. Eheda yn aml ar adenydd cryfion iawn, sydd yn ei gario yn odidog ac yn uchel. Aberth mawr y groes yw sylwedd a phwnc penaf ei holl ysgrifeniadau; a thra byddo cariad at y Gwrthddrych mawr hwnw yn nghalonau y Cymry, bydd ef waith yn gymeradwy yn eu plith,—yn neillduol ei Hymnau. Nid astudiodd nemawr ar gynghanedd brydyddawl y Cymry, nac ar gadw purdeb iaith; ond ehedai ar awel nefol, a chymerai y geiriau nesaf at law, a chwbl ddeallus i'r werin gyffredin, y rhai a hoffent ei ganiadau yn ddirfawr. Er nad oedd yn ganmoladwy ynddo esgeuluso purdeb yr iaith Gymraeg gymaint, eto, yn ei iaith gyffredin, y mae yn ddeallus i bawb, ac yn dwyn eu meddyliau a'u calonau gyda grym a gogoniant ei faterion, a'i ehediadau goruchel. Effeithiodd ei Hymnau gyfnewidiad neillduol ar agwedd crefydd ymhlith y Cymry, a'r addoliad cyhoeddus yn eu cyfarfodydd. Y mae rhai pennillion yn ei Hymn-

au fel marwor tanllyd, yn poethi ac yn tanio yr holl nwydau wrth eu canu, ac yn peri eu dybln yn aml [gan y bobl] nes y byddont yn gwaeddi ac yn llamu o orfoledd. Y mae yr effeithiau cryfion hyn yn brawf neillduol o rym yr achos sydd yn eu peri. Pregethau Mr. Daniel Rowlands, a chaniadau Mr. William Williams, a wnaethant yr oes yr oeddynt yn byw ynddi yn fwy nodedig na nemawr o oesoedd a fu ar Gymru erioed. Y pedwar peth canlynol ydynt yn ymddangos yn nodedig ynddo; sef, grym a helaethrwydd ei ddoniau naturiol;—ei ddiwydrwydd mawr yn eu defnyddio nos a dydd; —a'r graddau helaeth iawn a fwynhäodd ei hun o ddylanwadau a chynnorthwyon yr Ysbryd Glân yn ei waith;—a'r fendith fawr oedd ar y bobl trwyddo."

Y Parchedig Evan Harries, Llandysilio, a ysgrifenodd am Hymnau Williams i'r perwyl a ganlyn:—

"Nid oes genyf y fath gyfansoddiadau â'i Hymnau Cymraeg ef. Nid oedd yn ofalus y mae yn wir, ynghylch dewisiad geiriau, ond y mae rhywbeth tebyg i olew y cysegr yn rhedeg trwyddynt, ac yn maeddu efelychiad; a rhyw symledd prydferth sydd yn amcanu at galon y Cristion, ac yn mathru beirniadaeth dan draed. Fel y mae wyneb yn ateb i wyneb, nis gall y Cristion beidio a chanfod ynddynt y teimladau o orfoledd a gobaith, ofnau ac ammheuon, ag sydd yn ei gynhyrfu ef ei hun.—Y maent o werth mawr, nid yn unig yn eu cyfaddasrwydd i'r addoliad cyhoeddus, ond hefyd i amrywiol achlysuron bywyd cyffredin. Maent yn dyddanu yn yr ystafell, ac yn adeiladu y teulu Cristionogol ar yr aelwyd gartref. Mor ddefnyddiol ydynt mewn henaint, pan y mae yr aelodau wedi colli eu grymusder, a'r galon ei bywiogrwydd, a phan nad yw y bwa mwyach yn aros yn gryf! Gall y dysgybl llesg, methedig, pan nad yw mwy yn allnog i fod yn bresennol yn y cysegr, gael ei sirioli yn fawr trwy ddarllen y cyfansoddiadau sanctaidd hyn, yn y gongl neu yr ystafell gartref."

Afraid ychwanegu yn y dull hwn; yn unig cyfeiriwn y darllenydd at Gofiant Williams yn Saesoneg, gan y diweddar Barch. Edward Morgan, o Syston, ger Leicester, t. 32—34, 93, 94, 98, 99, a 122; ac at sylwadau beirniadol galluog y Parchedig William Rees, D.D., yn y TRAETHODYDD, Llyfr III. t. 159—177, a'r unrhyw yn rhagflaenu argraffiad Mackenzie o "Holl Weithiau Prydyddol a Rhyddiaethol" yr awdwr, am dystiolaethau helaethach i'r un perwyl.

Cyhoeddodd Williams ei Hymnau mewn naw neu ddeg o wahanol lyfrau, a than enwau gwahanol, o bryd i bryd, fel yr oedd yn gallu eu cyfansoddi, a hyny yn gyffredin mewn nifer o ranau bychain, fel y byddent o fewn cyraedd y dosbarth tlotaf, y rhai ymhen enyd a argraffai ynghyd yn un llyfr, o faint a phris cymedrol, ac aeth y nifer fwyaf o honynt trwy amryw argraffiadau yn oes yr awdwr. Ar ol ei farwolaeth, argraffwyd y cwbl yn un gyfrol drwchus, dan olygiad ei fab, y Parchedig John Williams, Pantycelyn, yn Nghaerfyrddin, gan Jonathan Harris, 1811—12. Dyma drefn y gwahanol lyfrau yn yr argraffiad hwn, ac y maent felly yn ol eu hamseriad fel eu cyhoeddwyd gan yr awdwr ar y cyntaf:—

1. "Alelnia; neu Gasgliad o Hymnau ar amryw ystyriaethau."
2. "Caniadau y rhai sydd ar y Môr o Wydr, &c., i Frenin y Saint."
3. "Ffarwel Weledig, Groesaw Anweledig Bethau; neu rai Hymnau o fawl i Dduw a'r Oen." Rhan 1af.
4. Yr ail Ran o'r un.
5. Y drydedd ran o'r un.
6. "Gloria in Excelcis; neu Hymnau o Fawl i Dduw a'r Oen." Y Rhan 1af.
7. Yr ail Ran o'r "Gloria in Excelcis."
8. Hymnau ychwanegol; t. 851—886.
9. "Hosanna to the Son of David." (Saesoneg.)
10. "Gloria in Excelcis, or Hymns of Praise to God and the Lamb." (Saesoneg.

Nid yw rhif 9 a 10 yn gynnwysedig yn argraffiad 1811, nac yn argraffiad dwygolofnog Evan Jones, Caerfyrddin, yn 1824. Maent yn gyflawn yn argraffiad Mackenzie.

Mae genym ychydig nodiadau i'w gwneyd ar y gwahanol lyfrau uchod fel y canlyn:—

1. "*Aleluia, neu Gasgliad o Hymnau ar amryw ystyriaethau.*" Ymddengys i'r "Aleluia" gael ei gyhoeddi y waith gyntaf mewn pump o ranau bychain. Tebygol i'r rhan gyntaf gael ei chyhoeddi tua dechre 1744 neu yn niwedd 1743, (nid yw wedi ei restru yn "Llyfryddiaeth y Cymry,") gan iddi gael ei hail argraffu ryw bryd cyn diwedd 1744. Daeth yr ail a'r drydedd allan yn 1745, a'r ddwy ran arall yn 1746 a 1747. Yr ydys yn casglu ddarfod argraffu y pump ynghyd yn un llyfr, a bod dau argraffiad wedi eu cyhoeddi felly, yn y cyfrwng o 1747 i 1758, gan fod un y flwyddyn hono "y drydedd argraphiad." Nid ydym yn gwybod am un argraffiad arall o'r "Aleluia" yn oes yr awdwr; ac yr ydym yn rhoddi yr amseriadau uchod ymron yn gwbl ar awdurdod "Llyfryddiaeth y Cymry," gan nad oes genym yr un o'r hen argraffiadau, ond "y drydedd argraphiad," yn bresennol wrth law. Prin y gellir meddwl i Williams gyhoeddi dim cyn yr amser a nodwyd. Pryddiaeth, ni a welwn, oedd y gwaith cyntaf a ddygodd trwy y wasg; ac y mae ei lyfr cyntaf hwn yn cynnwys dau gant a dwy a deugain o Hymnau, a thestun neu gynnwysiad byr i bob un o'i blaen. Mae lliaws o'i hymnau boreuol hyn y prydferthaf yn ein hiaith, ac mewn arferiad cyffredinol; ond y mae ganddo eraill braidd yn anystwyth a difarddoniaeth. Yn ei hymnau goreu, mae yr iaith yn gyffredin yn goeth, destlus, a phêrseiniol; ond yn y lleill yn wael a gwallus, yn arwyddo diofalwch ac esgeulusdra, yn hytrach na diffyg gallu.*

Yn rhagymadrodd "y drydedd argraphiad," dywed yr awdwr, yn mherthynas i ansawdd yr hymnau, fel hyn:—

"Yr wyf yn cyfaddef fod rhai (er nid llawer mewn cymhariaeth) o'r Hymnau cyntaf hyn, euwch o ran sicrwydd ffydd, hiraeth am ymddattod, llawenydd ysbrydol, ynghyda chonewest ar elynion, nas gall Cristionogion gweinion yn hawdd eu cânu, a hyny a ddygwyddodd, nid cymaint am fod yr Arglwydd yn cadw fy enaid fy hun mewn hwyl weddol yr amser hyny, ond yn benaf, am fod yr ysbryd hyny wedi cael ei dywallt yn helaeth iawn ar dduwiolion, at wasanaeth pa rai y cyfansoddwyd hwynt; amryw o ba rai sydd yn awr yn gorwedd yn y llwch. Ond angenrhaid yw i mi amddiffyn fy hun, mewn rhan, yn hyn, trwy ddadleu o'm plaid:

"Yn gyntaf, fod swn amrywiol iawn o'r Salmau, os nid y rhan fwyaf, o'r ysbryd hwn o sicrwydd ffydd, o conewest ar elynion, ac ymffrost dduwiol. Caniadau Solomon sydd yn llawn o gariad, mwynhâd, a sicrwydd ffydd; ac hyd yn nôd Galarnad Jeremi ei hun sydd yn gwaeddi allan,—*Yr Arglwydd yw fy rhan, medd fy enaid.*

"Yn ail, eglur yw mai dyled y saint yw yn hytrach ymestyn i fyny mewn profiad at hymnau o sicrwydd ffydd, mwynhâd, llawenydd ysbrydol, a goruchafiaeth ar elynion, na cheisio cael holl ganiadau yr eglwys at ammheuaeth, tywyllwch, a llesgedd.

"Ac yn olaf, nid oes a gân yn hwylus ond sydd wedi profi Duw yn dda iddynt; ond eto, mor belled y mae'r dymmer hon heb ddim golwg ar waeledd dyn, ardderchawgrwydd y cyfammod newydd, ac ar ogoniant, doethineb, ac anfeidroldeb y iechydwriaeth yn Nghrist, nid yw yn cyttuno â'r gair, na gwir brofiad; ac yr wyf yn ceisio credu nad oes yma yr un hymn o'r fath. Ond yr wyf fyth yn addef, er pan y daethum i adnabod mwy o hónof fy hun, a gweled mai Aipht o dywyllwch,

* Mae dyfyniadau o'r nodiadau hyn wedi ymddangos yn *Llyfryddiaeth y Cymry*, t. 397, 466, &c. Cyfroddwyd hwynt i'r gwaith hwnw gan yr Ysgrifenydd, ar ddymuniad y Golygydd, y Parch. D. Silvan Evans, B.D.

môr o aflendid, byd o falchder, yw dyn, i'r iechydwriaeth yn Nghrist i gael ei dyrchafu genyf i radd uwch, ac i ddilyn a'i ddoniau gael eu diystyru yn rhagor; ac mi wnês fy ngoreu, pa beth bynag fyddai natur yr hymn,—achwyniad, erfyniad, ymffrost dduwiol, neu fawl, fod Crist yn ganolbwynt i'r cwbl; ac mi wn bod nifer fawr o Hymnau yn yr elfen hon o glodfori'r Iachawdwr, ei Berson ei Swyddau, ei Naturiaethau, a'i Waith, yn ol y copi a roddir i ni yn y Datguddiad, yr hwn yw y cywiraf i gyfansoddi hymnau wrtho at oes y Testament Newydd, heb gofio agos cymaint am yr hyn a weithiwyd ynom ni o ras, ffydd, a phurdeb; ac o bosibl gymaint arall yn achwynion ar, a gweddi yn erbyn anghrediniaeth, calongaledwch profedigaethau'r byd, y cnawd, a Satan, fel y gall y gwanaf a'r llesgaf ag sydd yn fyd o ammheuaeth, os yn unig y maent yn ymofyn am Grist, ac yn gofidio am eu pechod, eu cânu yn hawdd ac yn gydwybodol."

2. "*Caniadau y rhai sydd ar y Môr o Wydr, &c., i Frenin y Saint.*" Yr ydys yn tybied i'r hymnau adnabyddus wrth yr enw hwn ddyfod allan ar y cyntaf mewn tair o ranau bychain dan yr enw "Hosanna i Fab Dafydd," yn 1751, 1753, a 1754, gyda chwanegiad yn 1757, dan yr enw, "Rhai Hymnau a Chaniadau Duwiol ar amryw Ystyriaethau." Y "Caniadau Duwiol" hyn yw y rhai a welir yn niwedd argraffiad 1811. Argraffwyd y cyfan yn un llyfr amryw weithiau, ar y cyntaf dan yr enw "Hymnau Duwiol ar amryw Ystyriaethau," ac wedi hyny dan yr enw, "Caniadau y rhai sydd ar y Môr o Wydr," &c. Cynnwysai y tair rhan yr hymnau o 243 hyd 329 o'r argraffiadau presennol, a'r chwanegiadau hyd 383. Cyfieithiad o emyn Saesoneg yr awdwr yw yr olaf, gan ei fab, y Parchedig John Williams, golygydd argraffiad 1811. Gadäwyd yr hysbysiad hwn allan o argraffiad mawr Mackenzie. Yn ol hysbysiad Mr. Charles, yn y *Drysorfa*, yn 1762 y daeth yr argraffiad cyntaf o'r "Môr o Wydr;" ac ar ddygiad y llyfr i Langeitho yn y flwyddyn hono, torodd diwygiad grymus iawn allan, a ymdaenodd dros ranau helaeth o'r wlad; ond yr ydym yn tybied y dylasai yr amseriad fod rai blynyddau yn gynt, ac yr ydym yn sicr fod yr Hymnau ymron i gyd, os nad yn gwbl, yn adnabyddus er ys yspaid maith. Oddiwrth Hysbysiad yn niwedd "Attebiad Philo Evangelius i Martha Philopur" yn 1763, ymddengys fod y llyfr dan sylw yn dra chymeradwy, gan y dywedir "y gwerthwyd tros ddeuddeg cant" o hono, mewn ychydig fisoedd, a bod galwad am argraffiad newydd. Nis gallasom gael allan amseriad yr ail a'r trydydd argraffiad, ond daeth y pedwerydd allan yn 1773, a'r pummed yn 1795, ar ol marw yr awdwr. Mae yn llai llyfr na'r "Aleluia;" ond cynnwysa, ar gyfartaledd, fwy o hymnau buddiol ac arferedig, ac y mae cynnydd go fawr i'w ganfod ynddo mewn barn a chwaeth. Gan fod y rhagymadrodd i'r hen argraffiadau wedi ei adael allan o bob un o'r argraffiadau diweddar, cymerwn ein rhyddid i'w osod yma ger bron, gan ei fod yn ddernyn gwerth ei gadw, ac yn taflu goleuni ychwanegol ar gynllun ac amcan yr awdwr yn nghyfansoddiad yr hymnau hyn. Mae yn rhedeg yn y dull yma:—

"At y Darllenyddion.—Anwyl Garedigion, yr wyf yn barod i gredu mai dyma'r Hymnau olaf a gewch chwi o dan y llaw hon byth: os gwnewch ond eu darllen hwy unwaith trostynt, chwi wnewch yr unig beth a allaf ddymuno arnoch;—hwy fyddant adeiladol, neu yn anadeiladol yn ol y mesur y bo Ysbryd Duw yn tywynu arnoch, neu yn dyeithro oddiwrthych, yn yr arferiad o honynt.

"Am y defnydd sydd ynddynt, y maent agos yr un peth a'r hyn oedd yn y rhai o'r blaen, ac mi ryfeddaf os naid y rhai oedd yn caru y rheiny a charu y rhai hyn hefyd, os nid yn fwy, o leiaf gymaint; o ran y mae'r ysbryd ag sydd yn rhedeg trwyddynt wedi addasu at dymherau ysbrydol rhai ag sydd wedi cyfarfod âg amryw brofedig-

aethau, croesau, a chystuddiau o maes, ac aneirif gystuddiau ysbryd ac ymdrechiadau o mewn;—dynion, meddaf, sydd wedi myned dan dywyllwch, culni, anghredin-iaeth, a'r cyffelyb; rhai a drafodwyd o lestr i lestr (cyflwr ag y mae aneirif o broffes-wyr y dyddiau hyn yn ei adnabod) heb ddim ganddynt i ymffrostio ynddo, ond yn eu gwendid, ac yn y iachawdwriaeth fawr yn ngwaed yr Oen. Nid oes yma ond ychydig hymnau nas gall y gwanaf yn yr eglwys eu cânu, am eu bod naill ai yn y dull o weddi am ryw rai o roddion y cyfammod newydd, neu achwyniad am bechod, lle mae llawer o'r rhai cyntaf yn ffaelu cael eu cânu gan rai o herwydd y llawn sicrwydd ffydd sydd ynddynt am fywyd tragywyddol. Fel y maent, byddent er can bendith trwy bob ardal sydd wedi cadw'r iaith Gymraeg tan ei hadenydd.

"Mae yma amryw fesurau nad oedd yn y rhai o'r blaen, ond gobeithio yr wyf nad esgeuluswch eu cael hwynt allan. Am y Caniadau sydd yn niwedd y llyfr, chwi a gawsoch rai o honynt o'r blaen, ac fe allai y cân rhai y rheiny na chanant yr Hymnau. Ond am y Gân Benrhydd (yr hon a eilw'r Saeson arni *Blank Verse)* yr wyf yn gwybod pe b'ech wedi ymgynefino â hi, y carech hi yn oreu o bob prydyddiaeth. Mae hi yn rhoi cenad i'r prydydd i arferyd ei holl ddoniau, ei ddychymygion, ei dröell-ymadroddion, ei ehediadau, a phob dyfais a allo gras a natur i gael allan i wresogi y darllenydd yn y nwydau hyny y bo'r bardd am ennyn ynddo; lle mae cymaint o gaethiwed gyda'r llall, trwy amryw glymu geiriau o'r un sŵn, a hyn mewn iaith nad oes fawr iawn i gael ynddi o eiriau,* ag sydd yn peri fod y bardd yn rhwym draed a dwylaw, eto rhaid iddo neidio, nofio, ymladd, a rhedeg, heb law na throed.—Hyn oddiwrth eich ufudd wasanaethwr dros Grist,

"W. WILLIAMS."

Wrth yr ymadrodd cyntaf yn y llythyr hwn, gellir tybied fod yr awdwr ar y pryd yn lled soddedig ei feddwl gan iselder ysbryd; ac yn y dymher hono efe a gamsyniodd yn fawr, oblegid, fel y gwelodd ar ol hyny, nid oedd efe eto wedi cyflawni hanner ei waith. Er bod yma arwydd bychan o'i anhwyldeb cyfansoddiadol, nis gallwn lai nag edmygu y dôn ostyngedig a charüaidd ymha un y mae yn anerch ei ddarllenwyr. Rhoddodd y Rhagymadrodd hwn heibio yn yr argraffiadau dilynol, mae yn debyg, o herwydd anghyfaddasder y frawddeg ddechreuol, a dododd yn ei le "rai pennillion ar ystyriaethau y llyfr," fel y canlyn:—

Ni gan'som am gystuddiau a choncwest gwaed y gro's,
Ac ymladd temtasiynau, o'r bore hyd y nos;
Picellau'r ddraig, ac angau, a dyfnder mawr y bedd,
Hapusrwydd Merch y Brenin, o fewn i'r nefol wledd.

'Run peth a gan'som yma, 'run iechydwriaeth gu,
Ond in' gyweirio 'n telyn nês i'r caniadau fry;
Ceisiasom ddilyn allwedd eiriolaeth marwol glwy',
Ac ymffrost wedi 'i golli, i harddu 'r gân yn fwy.

Mae'r tafod yma 'n profi o ddwfr y ffynnon fawr,
Pan byddo gorthrymderau yn curo cnawd i lawr;
Pan bo euogrwydd pechod yn rhoddi 'n ffydd tan draed,
Tan grynu, eto nesu mae yma at y gwaed.

Fe genir yma gredu, ac ofni yr un pryd,
Am nerth pleserau gweigion, a'u ffleiddio eto 'nghyd,
Am goncwest ar elynion, ac eilwaith fel maent hwy,
Yn ddiarwybod ryfedd, yn rhoddi ini glwy'.

Os ffaela'r gwan wrth gânu yr Aleluia o'r bla'n,
A rhoddi ei sŵn yn ëon yn mhlith rhai llawn o dân;
Fe all y gwanaf yma, a fo'n dymuno gras,
Heb wlithyn ar ei dafod, i roddi ei sŵn i ma's.

* "Yr oedd y Geiriaduron Cymraeg, yn amser Williams, yn lled brin o eiriau; wedi hyny y cyhoeddodd Walters ac Owen eu Geiriaduron helaeth a gwerthfawr."—*Argraffiad Mackenzie, t. 752, nodiad.*

Yn y dyfyniadau hyn yr ydym yn gadael i'n pêr-ganiedydd lefaru trosto ei hun, yr hyn sydd lawer gwell na dim a allem ni ei ysgrifenu; ond yr ydym yn cael ein tueddu i ddyfynu y sylw canlynol o eiddo Mr. Charles, ar "Y Môr o Wydr," fel yn dra gwerthfawr a phriodol:—

"Amser marwaidd, tywyll iawn ar waith Duw, oedd y dyddiau hyn, yn ganlynol i'r rhwyg a fu rhwng Mr. Harries a'r Parchedig D. Rowlands. Yn y cyfamser, profodd yr hen ŵr duwiol lawer o brofedigaethau, yn dufewnol ac yn allanol, y rhai a barodd yr amrywiol deimladau a osodir allan yn y llyfr hwnw.* Y mae yn nodedig mai y diwrnod y dygodd y llyfr hwn i Langeitho y torodd y diwygiad mawr allan, a'r cyntaf wedi y rhwyg. Profodd ef yn y dyddiau tywyll hyny yr hyn y mae yr eglwysi yn ei gânu heb flino hyd heddyw." [At hyn ychwanega Mr. Morgan,] "Cafodd Williams lawer o gymundeb a chyfeillgarwch â Duw yn ei gariad anghyfnewidiol, ei drugaredd anfeidrol, a'i ddaioni annherfynol," fel y mae "yr hymnau hyny yn neillduol gyfaddas, profiadol, gorfoleddus, ac arddunol."

3—5. "*Ffarwel Weledig, Groesaw Anweledig Bethau; neu rai Hymnau o Fawl i Dduw a'r Oen.*" Daeth yr hymnau hyn allan yn dair o ranau yn 1763, 1766, a 1769. Cyhoeddwyd y tair ynghyd, tua'r flwyddyn 1787, dybygem, gydag enw newydd fel hyn:—

"Aleluia Drachefn; neu dair Rhan o'r Hymnau a gyfenwyd, Ffarwel Weledig, Groesaw Anweledig Bethau; wedi eu hargraphu yn un Llyfr, a'u diwygio. Gan William Williams. Caerfyrddin: argraphwyd ac ar werth gan Ioan Daniel." [Pris 1s.]

Nis gwyddom beth a barai i'r awdwr newid enwau ei lyfrau hymnau mor fynych. Dichon iddo droi enw yr "Hosanna i Fab Dafydd" yn "Hymnau Duwiol," a "Chaniadau y rhai sydd ar y Môr o Wydr," mewn cyfeiriad at Dad. xv. 2, 3, 4; ac am fod ganddo lyfr arall o hymnau, yn Saesoneg, o enw cyfystyr,—"Hosanna to the Son of David;" a'r "Ffarwel Weledig, Groesaw Anweledig Bethau," yn "Aleluia Drachefn," &c., mewn cyfeiriad at ei lyfr cyntaf, ac oddiwrth ansawdd foliannus yr hymnau. Cynnwysa yr hymnau o'r 384 hyd 638, ac y mae oddeutu maint "yr Aleluia o'r blaen," ond ni chadwyd yr enw hwn yn yr argraffiadau o'i holl hymnau. Mewn Rhagymadrodd i'r argraffiad cyntaf o'r ail ran, mae yr awdwr yn ymesgusodi dros gyhoeddi rhagor o hymnau.

"Y rhai sydd am gânu mawl," medd efe, "nis digonir hwynt â chaniadau mawl, mwy nag y digonir gwir wrandäwyr â gwrandaw; ac nid oes neb o berchen dysg, synwyr, a phrofiad, nad yw yn gwybod fod amryw ddoniau yn adeiladol." "Er mai ceisio tynu at yr un sylwedd, ac at yr un athrawiaeth y mae y rhan fwyaf o'r hymnau [hyn]; eto fel y maent wedi eu gwisgo â phrofiadau newyddion, goleuni newydd, tröellymadroddion a mesurau newyddion, mae eu hamrywioldeb, yn llaw yr Ysbryd tragywyddol, i gyffroi teimlad o gariad Duw."

Yma mae yn cwyno o herwydd bod gormodedd o hymnau gwael a diwerth yn cael eu cyhoeddi tua'r amser hwnw; dyma ei eiriau:—

"Y trueni mwyaf yw fod llawer o honom yn rhyfygu cyffwrdd âg arch Duw heb alwad; ac, o bosibl, o awydd i barch, i gael ein henwau mewn print, yn cyfansoddi hymnau, heb gorff, enaid, cymalau, na mêr; heb brofiad nac ysbryd ag sydd yn cael argraff ar galonau difrifol." "Ac os collir blâs ar [h.y. oddiar] hymnau, aent tros fynyddoedd yr India, lle na chlywo Cymro o honynt byth mwy. Mi a gynghorwn yn ostyngedig i bwy bynag eto a ddanfono hymnau i'r argraffwasg, yn 1. I ymofyn am wir ras eu hunain; gwir adnabod Duw yn ei Fab, heb ba beth y mae yn rhyfyg ofnadwy i gyffwrdd âg arch Duw. 2. Darllen yn Saesoneg, os nad allant ddarllen mewn ieithoedd eraill, bob llyfrau o brydyddiaeth addas a allont gyraedd, er mwyn

* Mae y sylw uchod o eiddo Charles yn dra chymhwysiadol at y blynyddoedd ymha rai y cyhoeddwyd yr hymnau dan sylw, o 1751 hyd 1757, fel y dangoswyd o'r blaen.

helaethu eu deall, i adnabod prydyddiaeth, pa le y mae ei thegwch hi yn gorphwys, at ba ddyben y mae, a'r amryw reolau sydd yn perthynu iddi. 3. Pa un bynag a'u bod ai peidio yn gallu cyraedd y peth olaf, eto darllenent, drachefn a thrachefn, lyfrau y Prophwydi a'r Salmau, y Galarnad, y Caniadau, Job, a'r Datguddiad, y rhai sydd nid yn unig yn llawn o ehediadau prydyddiaeth, tröellymadroddion, amrywioldeb, esmwythder iaith, a chyffelybiaethau bywiog, ond âg ysbryd hefyd ag sydd yn ennyn tân, zêl, a bywyd yn y darllenydd, tu hwnt (am mai llyfrau Duw ŷnt) i bob llyfrau yn y byd. 4. Peidio gwneyd un hymn fyth nes y byddont yn teimlo eu heneidiau yn agos i'r nef, tan awelon yr Ysbryd Glân; a'r Ysbryd hwnw a fydd barod i fendithio ei waith. Amen."

6. "*Gloria in Excelsis; neu Hymnau o fawl i Dduw a'r Oen.*" Y rhan gyntaf. Llanymddyfri, 1771.

7. "*Gloria in Excelsis,*" *&c.* Yr ail ran. Caerfyrddin, 1772.

Cyhoeddwyd y "Gloria in Excelsis" mewn dwy o ranau: y mae y gyntaf yn cynnwys yr hymnau 639 hyd 717; a'r ail, o 718 hyd 810 yn argraffiad 1812. Nid oes dim yn y rhaniadau hyn yn effeithio ar ansawdd yr hymnau, ond yn unig yn dangos y modd eu cyhoeddwyd ar y cyntaf, fel yr oedd yr awdwr diwyd a llafurus yn gallu eu cyhoeddi, ymhlith llïaws o orchwylion pwysig eraill. Dichon fod yr enw "Gloria in Excelsis" (*Gogoniant yn y Goruchaf*), yn cyfeirio at, neu yn awgrymu, ansawdd glodforus a gorfoleddus llawer o'r hymnau hyn. Mae llïaws o honynt yn dra godidog o ran eu defnydd a'u cyfansoddiad, a gallem dybied fod yr awdwr yn fynych, wrth eu hysgrifenu, yn profi dylanwadau grymus iawn. Fel yr oedd yn addfedu mewn oedran, yr oedd o ran ei deimlad yn myned nês-nês at borth y nef, ac yn tòri allan i gânu:—

Yn ngweledigaeth nefoedd fry,
'Rwy 'n prisio pethau yn werthfawr sy;
Pan yr agoro pyrth y nef,
'Rwy 'n canfod ei ogoniant Ef.

'Rwy 'n gwel'd dirgelion yn ei waed,
Na chafwyd eto mo 'u mwynhâd;
Gras a gogoniant ynddo 'i hun,
Uwchlaw erioed feddyliodd dyn.

Wel dyma 'r unig fan, fy Nuw,
Dymunaf aros tra fwyf byw;
Blaen-ffrwyth yw hyn o'r hyfryd wledd,
Gaf ei mwynhâu tu draw i'r bedd.

Gâd yma im' fyw, fan goreu erioed,
Heb wel'd, heb glywed, beth sy 'n bod;
Heb wybod beth mae 'r werin fawr
Yn wneyd a dadrys hyd y llawr.

Ond bod fy nghlustiau 'n gwrando o hyd
Ddirgelion dystaw nefol fyd;
A'm pleser unig ddydd a nos,
Yn nyfnion wirioneddau 'r groes.

8. "*Rhai Hymnau Newyddion, ar Fesurau Newyddion: a gyfansoddwyd ar gais cynnulleidfäoedd Sir Aberteifi a Sir Gaerfyrddin.*"—Hymnau ychwanegol oedd y rhai hyn; fe gyhoeddwyd tair o ranau bychain o honynt, o 12 tu dalen bob un: y gyntaf yn 1781, yn cynnwys yr hymnau 811 hyd 828 yn argraffiad 1812. Gwelwn fod Williams yn cael ei annog gan yr eglwysi i gyfansoddi hymnau, yn unol â'r ddïareb,

"Melus, moes eto:" yr oedd y bobl yn cael blâs arnynt, yn eu cânu gyda llawer o fwynhâd, ac yn awyddus i gael ychwaneg o honynt. Daeth yr ail ran allan, dybygem, yn 1782, yn cynnwys yr hymnau 829 hyd 846; a'r drydedd ran yn 1787, yn cynnwys yr hymnau 847 hyd 860, yn yr argraffiadau o'i holl waith. Hymnau olaf "Pêr Ganiedydd y Cymry" yw y rhai hyn, yn gorphen ei lafur gwerthfawr yn y ffordd hon, wedi bod yn cyfansoddi o 1743 hyd 1787, yspaid pedair a deugain o flynyddoedd! Mae yr hymn olaf, sef 860, yn ddiweddglo tra phrïodol i'r cyfan, ac yn gyflawn o deimlad.

9. "*Hosanna to the Son of David; or Hymns of Praise to God, for our glorious Redemption by Christ. Some few translated from the Welsh Hymn-Book, but mostly composed on new subjects.*" Bristol, 1759.—Hwn ydyw Llyfr Hymnau Saesoneg cyntaf W. W. Cynnwysa 51 o hymnau; a dywed Charles mai yn ei ddyddiau boreuol y cyfansoddodd yr awdwr hwynt. Y cyfieithiadau ydynt oll, oddigerth un, wedi eu cymeryd o'r "Aleluia." Mae rhif i., vii., xxiv., xxv., xxvi., xxviii., xxix., xxx., xxxi., xxxii., yn cyfateb i 223, 198, 80, 75, 234, 196, 197, 236, 228; a'r rhif xlix. o'r "Môr o Wydr," rhif 298. Gall y darllenydd, wrth ei hamdden eu cymharu, a chaiff eu bod yn gyfansoddiadau rhagorol yn y ddwy iaith, er nad oes braidd yr un o honynt mewn arferiad ymhlith y Saeson; ond mae y rhai gwreiddiol yn y Gymraeg, gan mwyaf, yn dra chymeradwy. Yr oedd efe yn gallu cyfansoddi yn fwy rhwydd a naturiol yn ei iaith ei hun, nag yn iaith estroniaid.

10. "*Gloria in Excelsis; or Hymns of praise to God and the Lamb.*"—Hwn ydoedd ail Lyfr Hymnau Saesoneg yr awdwr, ac a argraffwyd yn Nghaerfyrddin gan J. Ross, yn 1772. Mae yn cynnwys 71 o hymnau, a rhai o honynt yn lled faith, yn enwedig yr olaf ar "Ddyoddefaint y Gwaredwr," yr hon sydd yn cyraedd i saith o ranau, yn gwneyd 39 o bennillion 6 llinell bob un. Dywed bywgraffwyr Williams, ddarfod i'r Iarlles Huntingdon, wedi iddi weled yr "Hosanna to the Son of David," ei annog i barotôi y "Gloria in Excelsis" i'w anfon at wasanaeth Amddifatty Whitfield yn America. Mae y llyfr hwn yn dangos cynnydd amlwg mewn arddull a chwaeth rhagor y llall, ac o hwn y mae ei hymnau Saesoneg goreu wedi eu cymeryd. Mae tanbeidrwydd ei grebwyll a bywiogrwydd ei ddychymyg yn wastad yn foddhäol, ei fydryddiaeth weithiau yn dra dymunol, a phan y mae yn troseddu gwna hyny drwy aberthu coethder i rymusder.* Mae amryw o'r hymnau hyn yn gyfieithiadau o'i hymnau Cymraeg; cymharer y rhai canlynol: rhif i. â 720; xviii. â 384; xix. â 385; xxviii.—xxxii. â 743—747; xxxvi., xxxvii. â 388, 393, a 383, yn yr argraffiadau o'i holl waith. Mae cryn lawer o ddelw ei hymnau Cymreig i'w ganfod ar ei rai Seisonig, o ran eu rhagoriaethau a'u diffygion. Mae rhif xxxviii.,

O'er those gloomy hills of darkness, &c.

Dros y bryniau tywyll niwliog, &c.

yn dra phoblogaidd; pum' pennill o saith a geir yn gyffredin yn y casgliadau Seisonig. Mae yr odliad yn y pennill cyntaf yn anmherffaith, (*gaze* yn odli â *grace*); ac y mae y pedwerydd pennill yn hollol benrhydd neu ddiodl, a'r llinell olaf o bob un o'r pennillion yr un modd,

* Gwel "*Our Hymns: their Authors and Origin, by Josiah Miller, M. A.*" p. 172.

fel y maent hefyd yn ei holl hymnau Cymreig ar yr un mesur; ond y mae bywiogrwydd y brydyddiaeth, prydferthwch y syniadau, ystwythder geirweddiad, hyder ffyddiog, a thôn arwraidd y dymuniadau, yn gwneyd i fyny am y diffyg odliad, fel nad ydys yn teimlo dim oddiwrtho. Mae dyddordeb neillduol yn perthyn i'r emyn genadol ardderchog hon, am ei bod wedi ei chyfansoddi flynyddau lawer o flaen sefydliad y Cymdeithasau Cenadol diweddar. Yr oedd dyhëwyd cenadol, mae yn amlwg, yn llosgi o fewn ei fynwes, ac yn tòri allan mewn golygiadau ëang a gwresogrwydd ysbryd, a phe buasai byw i weled cychwyniad Cymdeithas Genadol Llundain yn 1795, yr ydym yn tybied y buasai, er gwaethaf amdrymedd henaint, yn llemain ac yn neidio o orfoledd. Mae ansoddau bywiog yr hymn gysefin wedi eu cadw yn hynod o dda yn y cyfieithiad Cymraeg o hóni gan ei fab. Gwelir ysbryd cenadol Williams yn anadlu yn ffyddiog mewn amryw hymnau eraill yn ei waith, megys 28, 427, 439, 463, 755, 810, 811, 837, 850.

Mae yr argraffiadau diweddaf o'r "Gloria in Excelsis" yn cynnwys deuddeg a thriugain o hymnau, drwy chwanegu,—

Guide me, O thou great Jehovah, &c.,

yr hon sydd gyfieithiad o'r emyn Gymreig, rhif 251,—

Arglwydd, arwain trwy 'r anialwch, &c.

Ymddangosodd hon yn gyntaf yn Nghasgliad Hymnau Whitfield, yn 1774, dwy flynedd ar ol cyhoeddi y "Gloria in Excelsis." Nid ydys yn sicr, medd Golygydd argraffiad Mackenzie, t. 816, pa un ai Williams ei hun a'i cyfieithodd, ynte W. Evans, cyfieithydd "Canwyll y Cymry" i'r Saesoneg; ond mae y cyfieithiad, dybygem, yn dwyn arno lawer o ddelw yr awdwr cysefin; a dywed y Parchedig Evan Harries* iddo ei gweled wedi ei nodi ganddo fel yr eiddo ei hun, yn ei gopi o Gasgliad Hymnau Iarlles Huntingdon. Mae y casgliad hwnw yn cynnwys saith o'i hymnau, heblaw yr un dan sylw, ac oll wedi eu nodi W. W. yn ei gopi ef. Y ddwy uchod sydd fwyaf arferedig ymhith y Saeson, er fod amryw o'r lleill i'w gweled mewn gwahanol gasgliadau, ac yn deilwng o'r lle a roddir iddynt.

Mae y gwahanol lyfrau a nodwyd yn cynnwys yr holl hymnau a gyhoeddodd yr awdwr, oddigerth saith o'r rhai sydd yn dilyn ei gân, "Myfyrdod ar Angeu," yn argraffiad Mackenzie, t. 742 a 743, rhif x., xi., xiii —xvii., y rhai a adäwyd allan yn amryfus, ond odid, yn argraffiad 1811. Ond heblaw ei hymnau addefedig y mae ein casgliadau diweddar yn cynnwys nifer o rai da wedi eu tynu o Ganiadau yr awdwr, sef, "Golwg ar Deyrnas Crist," a "Theomemphus," ac o rai o'i ganiadau byrion. Mae y gymeradwyaeth gyffredinol a roddwyd i'r dyfyniadau hyn o amser eu hymddangosiad cyntaf fel pigion o hymnau, yn y "Grawnsypiau Canaan," gan Robert Jones, hyd yn bresenol, yn brawf fod yr eglwysi yn eu gwerthfawrogi. Maent wedi eu trefnu yn yr "Hosanna," agosed ag y gellid i'w ffurf gysefin, heb newid dim ond yn unig yr hyn oedd reidiol er eu cyfaddasu at wasanaeth addoliad cyhoedd. Gosodwn yma rai eraill, o'r un natur, er mwyn y sawl na chawsant gyfleusdra i sylwi ar y detholion crybwylledig yn ein llyfrau hymnau.

* *Morgan's Life of W. Williams, p. 98, note.*

### 1. YR YSGRYTHYR LAN; ALLAN O "GOLWG AR DEYRNAS CRIST."

1 O werthfawr air yr Arglwydd!
Fy enaid iddo crêd,
Ac sed pob iot o hóno
Trwy nghalon fach ar lêd;
Un sill, un gair, na llinell,
O fewn i hwn nid oes,
Na roddai wir ddifyrwch,
I'm henaid ddydd a nos.

2 Paham mor anystyriol,
Pa fodd wyf mor ddifraw,
Wrth ddarllen llyfr y proffir
Fi wrtho maes o law!
Pam na chaiff hwnw argraff,
Lefarodd Iesu Grist,
Pan yw 'n dibynu arno
Hapusrwydd ' enaid trist?

3 Cawn ynddo Iesu 'n oleu
Yn eglurhâu ei hun,
Mai Ef, ac nid neb arall,
Yw iachawdwriaeth dyn;
Mai Ef yw 'r sylfaen gadarn,
Etholwyd gan y Tad,
A bod i'r sawl a gredo
Dangnefedd yn ei waed.

4 Hwn yw y gair sy 'n pwyntio
At Iesu Grist ei hun,
Yn Feichiai, yn Iachawdwr,
Yn Brynwr enaid dyn;
Ac ymhob llin o hóno
Gorchymyn bach nid oes,
Nad yw yn tarddu allan
O rinwedd gwaed y groes.

### 2. Y CYFAMMOD TRAGYWYDDOL O RAS.

1 O ddyfais ddofn anfeidrol!
Doethineb mawr ei grym,
Nad oes yn natur ëang
Gyffelyb iddi ddim;
Cymysgu nef a daear,
Y Duwdod mawr ei hun
Yn gwisgo cnawd, gwneyd ammod,
A marw tros y dyn.

2 O f' enaid, cwymp, rhyfedda,
Ddiderfyn ras y Tad,
A chariad anfesurol,
Maith, fy Iachawdwr rhad;
Cyfammod rhwng Personau
Tragwyddol mawr y nef,
Yn mherson pur yr Iesu,
A ninnau ynddo Ef.

3 Pob peth i ni yw Iesu;
Fe'i gwnaethpwyd gan y Tad,
I'w eiddo yn ddoethineb,
A iachawdwriaeth rad;
Mae ini yn sancteiddrwydd,
Ac yn haeddiannol iawn,—
Pob bendith rad a roddwyd
Yn Iesu Grist yn llawn.

4 O gwỳn-fyd sydd â'i enw
O fewn i'r ammod drud;
A gwỳn-fyd sydd yn credu
I'r drefn cyn seilio 'r byd;
A gwỳn-fyd sydd yn pwyso
Ar gariad pur y Tad;
A gwỳn-fyd sy 'n ymolchi
Yn wastad yn y gwaed.

### 3. CADWEDIGAETH YN GWBL O RAS.

1 Fe gauwyd ar ein hymffrost,
Darfydded sôn am ddyn!
Tragwyddol rad pob bendith
Ddygwyddodd ini 'n un;
Fe gofiwyd am ein hachos,
Yn nirgel gynghor ne',
Cyn rhoddi haul i gerdded,
Na lloer i gadw ei lle.

2 Gras a lifeiriodd allan
O fynwes bur y Tad,
I drefnu achub dynion,
O iachawdwriaeth rad,
Ymadael â'i Etifedd,
A'i hoelio ar y pren,
Par'toi 'ni le digymhar,
Tragwyddol, uwch y nèn.

3 Gras yn y Mab yn foddlawn
I farw ar y groes,
Gan waeddi maes *faddeuant*,
Pan yn ei chwerwaf loes:
Gras yn yr Ysbryd Sanctaidd
I grëu iddei Hun
Ryw nefoedd bur oleu-deg,
Yn nghalon aflan dyn.

4 Nac anobeithiwn bellach
I nofio tua 'r nef;
Mor dda i bechaduriaid
Y gwnaed yr arfaeth gref:
Ni gredwn hyd y diwedd:
Nid ydyw cariad cu
I ddarfod, a ddechreuodd
Cyn creu y nefoedd fry.

### 4. MYFYRDOD HIRAETHUS AM WYNFYD Y NEF.

1 Duw, dyro grêd ddisigl
Fod fath ogoniant pur,
I'm henaid bach feddiannu.
A hyny cyn bo hir;
Hyn sugna fy myfyrdod
At y tragwyddol fyd,
Ac [illegible] fy s[illegible]chiadau
Yn wenfflam oleu i gyd.

2 Ni feddaf mo'r gymdeithas
Sy' gyda hwynt hwy fry,
Na hwythau 'r gwae a'r tristwch
Sydd yma gyda ni;
'Dynt yno fyth yn wylo,
Na 'nabod beth yw poen,
Ond edrych ar wynebpryd
Y croeshoeliedig Oen.

3 I hyny y'm ganwyd innau,
Sef i'r llawenydd fry;
Cyfaddas wyf i wleddoedd
Sy' gan angylaidd lu:
Os na chaf dd'od yn fuan
I brofi 'r afon fawr,
O bleser ar dy ddehau,
Sy 'n llifo bob yr awr;

4 Gâd im' gael ar fy siwrnai
Sychedig yn y byd,
Ryw rai mynydau brofi,
Sy' ganddynt hwy o hyd;
Pe yfwn fwy na 'm llonaid,
Ni fyddai ronyn llai,
Can's llanw dymuniadau
Mil o filiynau mae.

5 Ac er i rif y tywod
Amrywiol raddau gael
Rhan fawr o'th faith ogoniant,
A gwel'd dy degwch hael,
Yr un wyt fyth heb dreulio;
O dragwyddoldeb mae,
Dy dda 'n cael ei gyfranu,
Ac eto ronyn llai.

6 A raid i minnau drengu,
O eisiau dyfroedd pur?
'Rwyf bron llewygu tramwy
Y dyrys anial dir;
Dwg fi i'r dyfroedd tawel,
Porfëydd gleisiou mawr,
Y lle mae rhai lluddedig
Yn dodi eu penau lawr.

G. D. C.

Y ddau ddyfyniad nesaf a gymerwyd allan, un o "Farwnad Fidelius," yn "Hanes tri Wŷr Sodom a'r Aipht," a'r llall o'r "Caniadau Duwiol," argraffiad 1811, t. 889; argraffiad Mackenzie, t. 473, a chyda'r rhai hyn y gorphwyswn* y waith hon:—

5. MAWL I'R DRINDOD YN UNDOD.

Y clod, y nerth, a'r enw,
Anrhydedd, parch a bri,
I'r Drindod fawr yn Undod,
A'r Undod pur yn Dri;
Ei glod ehedo allan,
Ei glod anfeidrol Ef,
Trwy ehangder annherfynol
Mesurau maith y nef.

6. DYMUNIAD Y SAINT.

Duw, os wyt am ddybenu 'r byd,
Cyflawna 'n gyntaf d' air i gyd;
Dy etholedig galw ynghyd,
O gwmpas daear fawr:
Aed sain d' efengyl trwy bob gwlad,
A golch fyrddiynau yn dy waed,
A dyro iddynt wir iachâd,
Ac yna tyr'd i lawr.

* Yr ydym yn teimlo yn dra rhwymedig i'n cyfeillion cymwynasgar a fenthyciasant i ni hen lyfrau hymnau a chaniadau crefyddol perthynol i'r oes o'r blaen. Derbyniasom rai o Swydd Forganwg, ac o fanau eraill, y rhai a fuont o help i ni. Derbynied y cyfryw gyfeillion ein diolchgarwch gwresocaf. Yr ydym yn awyddus i wneyd yr ysgrifau hyn ar ein hen Emynwyr mor gyflawn ag y byddo modd, a bydd pob cynnorthwy tuag at hyny yn dra derbyniol.

# MOSES.

## IV.

*Y Gwyliau dan Gyfraith Moses.* Nid ydym yn cael fod un math o "ŵyliau gosodedig"—ond y Sabbath—mewn arferiad yn y cyfnod "o Adda hyd Moses;" ond bellach ni a gawn amrai, ac amryw o honynt. Y mae dau air Hebräeg yn cael eu defnyddio i osod allan y gwyliau. Y mae y cyntaf yn golygu eu perthynas âg amser, fel gosodiadau, neu gyfnodau sefydlog, ag oedd i gymeryd lle yn eu hadeg benodol. Y mae y llall yn golygu eu perthynas â'r bobl fel adegau i lawenychu a gorfoleddu mewn modd arbenig. Nid ydym yn cael fod cyfraith Moses yn gosod un math o ymprydiau *(fasts)*, ac felly ni cheir dim rheolau o berthynas iddynt. Hyfryd-wleddoedd oedd yr holl ŵyliau *(feasts)*, gyda yr eithriad o ddydd y cymmod, pryd y gorchymynir i'r bobl "gystuddio eu heneidiau"—dydd edifeirwch oedd dydd y cymmod—eto nid oes un gorchymyn i'r bobl ymattal oddiwrth fwyd ar y dydd hwnw, ond yn unig oddiwrth "bob gwaith." Nid oedd cyfraith Moses yn rhoddi gwyneb o gwbl i un math o *benydiau* fel ffordd i gyraedd cymeradwyaeth Duw; yr oedd hyny i'w gyraedd trwy ddyoddefaint yr aberth dros yr aberthwr, ac nid trwy i'r aberthwr ddyoddef drosto ei hun. Yr hyn oedd yr aberthwr i ddyoddef oedd y dyoddefiadau edifeirwch *am* bechod, nid dyoddefiadau iawnol *dros* bechod; felly yr oeddynt i "gystuddio eu *heneidiau*," ond nid eu *cyrff*. Ac eto yr ydym yn cael fod ymprydio wedi dyfod yn arferiad mynych cyn hir ar ol amser Moses, yn mysg y genedl—arferiad ag yr oedd rhai o'r bobl dduwiolaf yn ei arfer, megys Dafydd ac eraill. Ymhen amser, ni gawn fod adegau arbenig o ymprydio wedi eu gosod i fyny, megys "ympryd y pedwerydd mis, ac ympryd y pummed, ac ympryd y seithfed, ac ympryd y degfed;" Zech. viii. 19. Cyfnodau mae yn debyg mewn cysylltiad â'u caethgludiad i Babylon, y côf am ba rai a gadwent trwy ympryd. Ac nid ydym yn cael y prophwydi ychwaith yn condemnio yr arferiad; er y cawn hwy yn fynych yn condemnio yn llym y camarferiad o hôni,—"y plygu pen fel brwynen"—y rhagrith; ac hefyd cysylltu rhyw rinwedd haeddianol â'u hymprydio, ac yna myned at Dduw gan ddywedyd, "Paham yr ymprydiasom ac nis gwelaist." Erbyn dyfod drosodd i'r Testament Newydd, ni a gawn y rhai duwiolaf yn ymprydio; ni a gawn Iesu Grist ei hunan yn ymprydio, er nad yn "fynych," mae yn wir; ac ni a gawn yr Apostol Paul—y mwyaf anseremonïol o bawb—"mewn ymprydiau yn fynych." Nid ydyw Iesu Grist, mwy na'r prophwydi, yn condemnio yr arferiad, er ei fod yntau yn condemnio yn llym y rhagrith a'r camddefnydd o honi oedd ymysg y Phariseaid—"anffurfio eu hwynebau fel yr ymddangosont i ddynion eu bod yn ymprydio," a'u hymffrost falch, hunangyfiawn, eu bod yn "ymprydio ddwywaith yn yr wythnos." Nid ydyw y Bibl yn rhwymo dynion âg un ddeddf ar y pwnc hwn, ond yn ein gadael at ein rhyddid, os teimlir fod ymprydio yn fantais i gymdeithasu â'r ysbrydol, neu os bydd wedi dyfod i wasgu arnom fel ag i

golli blâs ar y naturiol, mae i ni ryddid i ymprydio. Ond rhaid i'r arferiad fod yn hollol *wirfoddol* o du y dyn, ac hefyd yn hollol rydd oddiwrth bob ymddangosiad rhagrithiol, a hunan-benydiad deddfol. "Pan ymprydiech," medd Iesu Grist, os dewisi wneyd hyny, "eneinia dy ben, a golch dy wyneb, fel nad ymddangosech i ddynion dy fod yn ymprydio, ond i'th Dad yr hwn a wêl yn y dirgel." Gan nad yw hyn yn *osodiad* o du Duw ar y dyn, ac felly nad yw yn dyfod o fewn terfynau crefydd gymdeithasol, y mae yr arferiad i fod y *bersonol*, rhwng dyn a Duw, "yr Hwn a wêl yn y dirgel." Y pethau hyny mewn crefydd ag y mae dyn yn eu cyflawni yn *wirfoddol*,—hyny yw, heb orchymyn,—mae mwy o berygl eu camddefnyddio na'r pethau hyny y mae yn gyflawni mewn ufudd-dod i orchymyn; oblegid "wedi i ni wneuthur yr hyn oll a orchymynwyd," yr ydym yn teimlo mai "gweision anfuddiol ydym, oblegid yr hyn a ddylasem ei wneuthur a wnaethom:" ond pan yr ydym yn cyflawni rhywbeth yn wirfoddol heb orchymyn, y mae perygl i ni feddwl y gallwn ymffrostio yn hyny fel rhywbeth i ennill cymeradwyaeth Duw. Dylai pethau felly fod "yn y dirgel," rhag rhoi dim plaid i'r elfen hunangyfiawn sydd ynom.

Ond am y gŵyliau a osododd Duw "trwy ddeddf dragywyddol" yn yr Eglwys Iuddewig, nid ymprydiau oeddynt, ond uchel wleddoedd—adegau i lawenychu ger bron yr Arglwydd. "Sain cân a moliant, fel tyrfa yn *cadw gŵyl*." Yr oedd y gŵyliau hyn yn dri dosbarth, sef yr wythnosol, y misol, a'r blynyddol.

Yr ŵyl wythnosol ydoedd y *Sabbath*. Dyma yr hen sefydliad oedd yn perthyn i ddyn yn ei grëadigaeth, ac felly y mae y rhwymedigaeth i'w gadw yn cyfodi o'r ddeddf foesol. Y mae y Sabbath ar unwaith yn arwain dyn at ei grëadigaeth, ac yn gydnabyddiaeth uniongyrchol o Dduw fel *Elohim*—fel Crëawdwr. Ac er fod crefydd y Bibl yn cyfodi dyn i berthynas newydd â Duw fel *Jehofah*—fel Gwaredwr, eto nid yw hyny yn dinystrio ei berthynas âg ef fel *Elohim*. Un wêdd ar grefydd yw yr *adferol;* er, mewn gwêdd arall, ei bod yn fwy nag adferol—yn codi dyn yn uwch na'r fan y syrthiodd o hóno, ïe, nag y buasai yn bosibl iddo byth ei gyraedd trwy ei gyfiawnder ei hun, pe buasai yn dal ei brawf. Felly y mae crefydd yn codi dyn i gadw y Sabbath, yr hen sefydliad oedd yn sefyll rhwng dyn a Duw yn y grëadigaeth. Ond fel y mae y pethau hyny mewn crefydd ag sydd yn perthyn i ddyn yn ei berthynas *grëadigol* â Duw fel *Elohim*, yn derbyn nerth newydd a chymhelliad cryfach yn ei berthynas *waredol* â Duw fel Jehofah, felly y derbyniodd y Sabbath adnewyddiad yn y waredigaeth o'r Aipht, pan ddaeth y Crëawdwr yn Waredwr. Ac am hyny cysylltir y Sabbath â'r waredigaeth o'r Aipht yn gystal ag â'r grëadigaeth yn y dechreuad. Ac hefyd rhoddwyd cymhwysiad deddfol iddo yn cyfateb i sefyllfa y genedl o dan gyfammod Sinai,—sefyllfa o gaethiwed gwasaidd,—pryd y gwnaed halogiad y Sabbath—fel pob trosedd o'r ddeddf foesol—deddf y grëadigaeth,—yn gosbadwy â marwolaeth. Yr oedd y Sabbath i gael ei gadw trwy "orphwyso" yn hollol oddiwrth bob gwaith—"pob caethwaith,"—ac hefyd trwy ei "sancteiddio" yn "gymanfa sanctaidd i'r Arglwydd,"—ymattaliad oddiwrth bob gwaith cyffredin, ac ymgysegriad i addoli Duw. Gyda golwg ar yr addoliad aberthol yn y cyntedd, yr oedd yr aberthau dyddiol i gael eu dyblu ar y Sabbath. Yr oedd dau oen blwyddiaid i

gael eu hoffrymu yn ddyddiol, dros y genedl, un y boreu a'r llall yr hwyr, "a'u bwyd a'u dïodoffrwm." Ystyr y poethoffrwm, fel yr ydym wedi sylwi, ydoedd sancteiddhâd; a bod y gwaed i gael ei daenellu ar yr allor i arddangos achos *haeddiannol* sancteiddhâd, neu ei berthynas a'r cyfiawnhâd. Wel, i arddangos sancteiddrwydd y Sabbath, yr oedd y poethoffrymau hyn i gael eu dyblu. Yn y cysegr, y gwasanaeth dyddiol oedd adnewyddu yr arogldarth ar yr allor aur bob boreu a hwyr, ynghyda goleuo y lampau, sef, y canwyllbren aur; ond nid ydym yn cael fod dim ychwanegiad yn y pethau hyn fel yn ngwasanaeth y cyntedd. Yr unig ychwanegiad a wneid yn y cysegr oedd adnewyddu y "bara gosod." Yr oedd deuddeg teisen—o ddwy ephah o beilliad bob un—yn ol rhifedi llwythau Israel, i gael eu gosod bob Sabbath ar y bwrdd aur yn y cysegr, yn "ddwy rês;" ac yr oedd "thus" i gael ei osod arnynt, ac yna eu gadael yno ger bron yr Arglwydd dros lwythau Israel hyd y Sabbath canlynol, pryd, ar ol llosgi y "thus," yr oeddynt i gael eu bwyta yn y lle sanctaidd gan Aaron a'i feibion. Arwyddlun oedd y "bara gosod," fel holl fwydoffrwm y genedl, o weithredoedd da dyn yn ngwasanaeth Duw, yn seiliedig ar yr aberth gwaedlyd, ac i gael ei gyflwyno i Dduw gyda thus yn arogldarth peraidd; felly ar y Sabbath, yr oedd y drychfeddwl o ffrwythlondeb y genedl, yn ol ei llwythau, i gael ei arddangos a'i adnewyddu. Ac onid yw hyn yn awgrym mai y Sabbath ydyw yr adeg i ninnau gyflwyno ein rhoddion i Dduw, yn gymysg gyda ein haddoliad a'n mawl?

Yr oedd y drychfeddwl o Sabbath, yn cael ei estyn oddiwrth y seithfed dydd at y seithfed flwyddyn, ac oddiyno drachefn at y ddegfed flwyddyn a deugain, sef blwyddyn y Jubili, yr hon oedd i gynnwys y flwyddyn sabbothol saith o weithiau—"saith mlynedd seithwaith." Mai helaethiad ar y syniad o Sabbath oedd y trefniant hwn, sydd amlwg oddiwrth ei fod yn cael ei alw, "sabbath gorphwysdra," a "sabbath i'r Arglwydd." Ar y seithfed flwyddyn, nid oeddynt i "hau y maes," na "thòri y winllan;" ac felly nid oeddynt "i gynhauafa yr hyn a dyfo o hóno ei hun," nac "i gasglu grawnwin y winwydden ni thaclwyd;" ond yr oedd hyny i fod i'r caethwas, a'r tlawd, a'r alltud yn y wlad, ac hefyd i'r anifail a'r bwystfil yn y tir; Lef. xxv. Ar y flwyddyn hon hefyd yr oedd pob dyledion i gael eu maddeu, a phob "echwynwr i ollwng ei gymydog yn rhydd;" dyma flwyddyn y "gollyngdod." Nid ydym yn cael fod dim gwahaniaeth yn yr addoliad aberthol ar y flwyddyn hon ragor y blynyddoedd eraill, ond pobpeth i fyned ymlaen yn hollol fel arfer, gyda yr eithriad fod yr holl gyfraith i gael ei darllen i'r bobl ar y seithfed mis, sef ar ŵyl y pebyll yn y flwyddyn hono, fel y caent amser i fyfyrio arni ar y flwyddyn sabbathol.

Ymhen "saith sabbath o flynyddoedd," sef y ddegfed flwyddyn a deugain, ac ar y degfed dydd o'r mis, hyny yw, ar ddydd y cymmod y flwyddyn hono, yr oedd udgyrn y Jubili i gael eu cânu, i ddangos fod y flwyddyn hynod hono yn dyfod i mewn. Dyma yr adeg gyntaf yn nghwrs amser yr oedd y rhif *saith*—rhif cyfammod, a'r rhif *deg*—sef rhif perffeithrwyd—yn dyfod i gysylltiad â'u gilydd, i ddangos fod y drychfeddwl o Sabbath yn cyraedd ei berffeithrwydd yn mlwyddyn y Jubili. Ar y flwyddyn hynod hon yr oedd yr holl gaethion (Israelaidd) i fyned yn rhydd o'u caethwasiaeth, ac yr oeddynt i "ddychwelyd i'w

hetifeddiaeth." Nid oedd neb i werthu na phrynu na thŷ na thir,—ond "tŷ o fewn tref gaerog"—oddieithr hyd flwyddyn y Jubili. Yr oedd pob tir wrth ei werthu i gael ei brisio yn ol "nifer y cnydau" hyd y flwyddyn hono, ac yna yr oedd i ddychwelyd i'w berchenog gwreiddiol ar flwyddyn y Jubili.

Fel hyn yr ydym yn cael y drychfeddwl o Sabbath yn dyfod i'r golwg mewn tair gwêdd—sabbath o ddyddiau—sabbath o flynyddoedd—a sabbath o wythnosau o flynyddoedd. Yn y Sabbath o ddyddiau, dyn ac anifail oedd i orphwyso, ar ol chwe' diwrnod o lafur. Ar y sabbath o flynyddoedd y tir oedd i orphwyso ar ol chwe' blynedd o gnydio. Ac ar y sabbath o wythnosau o flynyddoedd, trafnidiaeth oedd i orphwyso ar ol chwe' chyfnod o dreiglo, a symud o'r naill law i'r llall. Mae y Sabbath yn "arwydd tragywyddol" rhwng Duw a dyn, mai Efe ydyw Crëawdwr Hollalluog y nefoedd a'r ddaear, Ex. xxxi. 17. Ac am hyny ceir y Sabbath yn cael ei orchymyn yn y ddeddf foesol, a hyny ar sail y berthynas sydd rhwng dyn â Duw fel crëadur. Ond gan mai Duw ydoedd brenin gwladol y genedl, y mae y drychfeddwl o Sabbath yn cael ei estyn i'r ddeddf farnol, yr hon oedd wedi ei sylfaenu ar, ac yn derbyn ei hawdurdod o'r ddeddf foesol. Fel yr oedd y Sabbath wythnosol yn brawf mai eiddo Duw oedd eu *hamser*, felly yr oedd y flwyddyn sabbothol yn brawf ac yn arwydd mai eiddo Duw oedd y *tir*, a blwyddyn y Jubili yn dangos nas gallent ei werthu: "A'r tir ni cheir ei werthu yn llwyr; eiddof fi yw y tir," Lef. xxv. 23. Ac yr oedd daioni mawr yn deilliaw i'r bobl oddiwrth y trefniant hwn. Yn y flwyddyn sabbothol, yr oedd y tir yn cael gorphwys, rhag cael ei or-gnydio, a thrwy hyny leihâu yn ei werth, a'i ffrwythlondeb i'w plant a'u holynwyr. Ac ar flwyddyn y Jubili, yr oedd cymdeithas yn cael ei gwastadhâu, a phawb yn dychwelyd i'w etifeddiaeth. Yr oedd hyn yn cadw y wlad i raddau yn wastad rhag i un neu ychydig o bersonau feddiannu yr holl dir, a thrwy hyny grëu tlodi a gorthrwm yn y wlad. Yr oedd hyn hefyd yn rhoi mantais i Dduw, fel Duw rhagluniaeth, ddyfod i'r golwg, a ffydd y bobl ynddo fel y cyfryw i gael ymarferiad. Gan ei fod Ef yn bendithio cnŵd y chweched flwyddyn fel y byddai "digon am dair blynedd," yr oedd hyny yn brawf amlwg fod holl awenau rhagluniaeth yn gwbl yn ei law, ac am hyny y gallent fentro rhoddi eu hymddiried ynddo. A dyna y byw mwyaf dedwydd i ddyn, ac i genedl o ddynion, byw mewn ymddiried llwyr a gwastadol ar Dduw.

Gellid meddwl er hyny mai ychydig o sylw ac ufudd-dod a gafodd y trefniadau hyn gan y genedl; oblegid, fel yr oedd Moses wedi eu rhag-rybuddio, os anufuddhäent i'r gorchymynion hyn, y byddai iddynt gael eu gwasgaru ymysg y cenhedloedd, ac y gadewid y wlad yn anghyfannedd, fel y "mwynhâ y tir ei sabbothau;" felly yn y caethgludiad i Babylon y "cyflawnwyd gair yr Arglwydd," "nes mwynhâu o'r wlad ei sabbothau; canys yr holl ddyddiau y bu hi yn anghyfannedd y *gorphwysodd* hi, i gyflawni deng mlynedd a thriugain," 2 Chron. xxxvi. 21. Rhaid felly fod y wlad heb fwynhâu ei sabbothau am gyfnod maith, nemawr llai na 500 o flynyddoedd. Mor ddifudd i bersonau a chenhedloedd yw byw yn groes i air yr Arglwydd!

Deuwn bellach at y Gŵyliau *Misol*. Am fod y genedl yn rheoli ei misoedd wrth y lleuad, yr oedd y dydd cyntaf o'r mis yn newydd-loer, ac

am hyny yn fath o ŵyl, er nad oedd dyddiau y newydd-loerau i'w cadw yn "gymanfa sanctaidd," trwy ymattal oddiwrth bob gwaith, megys y Sabbath. Er, mewn amser diweddarach, ein bod yn cael y "newydd-loerau a'r Sabbothau" yn cael eu cysylltu â'u gilydd fel dyddiau i ymattal oddiwrth waith, i fyned at y prophwydi i geisio addysg grefyddol, ac i ymprydio gerbron yr Arglwydd. Ond nid oedd hyny yn cael ei orchymyn gan y gyfraith am newydd-loerau cyffredin. Yr oedd ymddangosiad cyntaf y newydd-loer yn arwydd iddynt fod y mis yn dechreu; ac yn yr Hebräeg y mae yr enw mis yn dyfod oddiwrth y gair lloer, fel yn y Saesoneg—*moon*, *month*, neu *moonth*. Ar y newydd-loer yr oeddynt i offrymu un bwch gafr yn bech-aberth, a deg anifail yn boethoffrwm dros y genedl, sef dau o fustych ieuainc, un hwrdd, a saith oen blwyddiaid perffaithgwbl, gyda eu bwydoffrwm a'u dïod-offrwm; sef tair degfed ran epha o beilliad wedi ei gymysgu trwy olew, gyda hanner hìn o wîn gyda bustach, dwy ddegfed gyda thrydedd ran hìn o wîn gyda hwrdd, ac un ddegfed ran gyda phedwaredd ran hìn o wîn gydag oen. "Dyma boethoffrwm mis yn ei fis trwy fisoedd y flwyddyn," Numeri xxviii. 14, heblaw yr aberth beunyddiol. Un pech-aberth, a deg poethoffrwm—"dau fustach, un hwrdd, a saith oen blwyddiaid"—oedd y *set* o aberthau a offrymid yn ddyddiol ar y gŵyliau arbenig; a dyna oedd yn rhoddi y cymeriad o ŵyl i'r newydd-loerau. Pa beth oedd ystyr y llawnrif hwn, sydd yn anhawdd ei weled. Heblaw, mae yn amlwg am yr *un pech-aberth* ymhob llawnrif, ei fod yn golygu yr "un aberth," sef "offrymiad corff Iesu Grist *unwaith*," yr hwn a "ymddangosodd unwaith yn niwedd y byd i ddilëu pechod trwy aberthu ei hun." Yr oedd hyn yn cael ei ddangos yn llawnrif pob dydd. Ond beth oedd y deg poethoffrwm, sydd yn fwy anhawdd ei ganfod; ac eto, nis gallwn beidio a meddwl nad oedd yn rhyw gyfuniad o'r rhif saith a deg, yn cael eu gwneyd i fyny o'r gwartheg a'r praidd. Peth arall oedd yn hynodi gŵyl y newydd-loer, oedd chwythiad yr "udgyrn arian" gan y yr offeiriaid, uwch ben eu poethoffrymau. Er fod "sain udgorn" yn fynych yn y Bibl yn golygu llais Duw, megys yn Sinai ar gyhoeddiad y ddeddf, ac hefyd yn yr adgyfodiad, pan y bydd "bloedd a llef yr archangel" yn cael eu ddilyn gan "udgorn Duw;" eto nid ydym yn gweled fod chwythiad yr udgyrn arian yn yr amgylchiad hwn yn ddim mwy nag amlygiad a dadganiad o lawenydd mawr. Yr oedd yr udgyrn hyn wedi eu gwneyd i "beri i'r gwersylloedd gychwyn," "i alw ynghyd y gynnulleidfa," ac arwain y bobl i ryfel yn "erbyn gorthrymwyr eu gwlad." "Ar ddydd eich *llawenydd hefyd*, ac ar eich gŵyliau gosodedig, ac ar ddechreuad eich misoedd, y cenwch ar yr udgyrn uwch ben eich offrymau poeth, ac uwch ben eich aberthau hêdd," Numeri x. 10.

Fel yr oedd y seithfed dydd—ac fel ehangiad ar yr un drychfeddwl, y seithfed flwyddyn—yn gysegredig, felly hefyd yr oedd y seithfed mis. Gwir nad oedd yr holl fis i fod yn sabbath trwyddo oll, eto yr oedd arbenigrwydd yn perthyn iddo oedd yn cario allan y drychfeddwl o fis sabbothol. Yn un peth, yr oedd y dydd cyntaf o'r mis hwn yn "gymanfa sanctaidd," ac nid fel y newydd-loerau cyffredin. Ac yr oedd dau lawnrif o boethoffrymau i gael eu hoffrymu ar ddydd newydd-loer y seithfed mis, fel yr oedd y poethoffrwm dyddiol i gael ei ddyblu ar y seithfed dydd; felly yr oedd y poethoffrwm misol i gael ei ddyblu ar y

seithfed mis. Hefyd yr oedd yr udgyrn arian i gael eu chwythu gyda mwy o fywiogrwydd llawenydd, a pharhâd, nac ar y newydd-loerau eraill, ac am hyny gelwid y dydd cyntaf o'r seithfed mis yn "ŵyl yr udgyrn." Yn ychwanegol at yr arbenigrwydd oedd ar y dydd cyntaf o'r seithfed mis, yr oedd pethau eraill o duedd i roddi iddo y cymeriad o fis sabbothol. Yr oedd yr holl ŵyliau nad oeddynt o angenrheidrwydd yn cael eu cyfyngu i adegau eraill, yn cael eu gosod yn y seithfed mis. Ar y degfed dydd o'r mis hwn yr oedd "Dydd y Cymmod," ac ar y pymthegfed dydd, yr oedd "Gŵyl y Pebyll" yn dyfod i mewn, yr hon oedd i barhau am saith niwrnod, ac i ddiweddu ar yr unfed dydd ar hugain, gyda yr *Azereth*, "cymanfa sanctaidd" diweddaf y flwyddyn. Ar y seithfed mis hefyd yr oedd y gyfraith i gael ei darllen i'r bobl am y flwyddyn sabbothol, ac ar yr un mis yr oedd blwyddyn y Jubili i ddyfod i mewn, fel yr oedd pobpeth yn cyd-dueddu i roddi cymeriad sabbothol i'r seithfed mis, fel y seithfed dydd, a'r seithfed flwyddyn.

Bellach, ceisiwn arwain y darllenydd i gymeryd golwg ar y gŵyliau blynyddol. Yr oedd tair gŵyl flynyddol, ar ba rai yr oedd pob gwryw, oddieithr y cleifion, a'r rhai oedd yn rhy ieuainc ac yn rhy hen, "i ymddangos o flaen yr Arglwydd yn y lle a ddewiso efe." Nid oedd y merched a'r plant chwaith yn cael eu cau allan, os byddai hyny yn gyfleus iddynt, er nad oeddynt o dan angenrheidrwydd i fyned. Yr oedd y trefniant hwn, fel y mae yn eglur yn gadael y wlad yn ddiamddiffyn am amryw wythnosau yn ystod pob blwyddyn, heb neb ond y gwragedd, y plant, a'r methedig i'w hamddiffyn; eto yr oedd yr Arglwydd yn sicrhâu y genedl na byddai i neb gymaint a "chwennych" eu tir o dan y cyfryw amgylchiadau, er pob mantais i hyny oedd i'w gelynion.

Y gyntaf o'r tair gŵyl flynyddol oedd y *Pasc*. Sefydlwyd y pasc yn yr Aipht, lle y derbyniodd yr enw pasc oddiwrth waith Duw yn *pasio heibio* i anneddau yr Israeliaid, pan ydoedd yn troi i anneddau yr Aiphtiaid, ac yn lladd y cyntafanedig ymhob tŷ, trwy holl wlad yr Aipht. Yr oedd y sefydliad cyntaf o'r pasc yn yr Aipht wedi cymeryd lle cyn dwyn y genedl dan gyfammod Sinai, a chyn sefydlu cyfraith yr aberthau. Dygodd y ddeddf seremonïol amrai gyfnewidiadau i mewn gyda golwg ar y sefydliad hwn, fel sefydliadau eraill oedd yn bod cyn y ddeddf; cyfnewidiadau oedd yn cyfateb i amgylchiadau y genedl o dan y ddeddf, i'r wlad yr oeddynt yn myned iddi, ac i'r "lle a ddewiso yr Arglwydd i osod ei enw yno." Yr oedd yr ŵyl hon i'w chynnal yn mis Abib, y mis y daeth Israel allan o'r Aipht, ac o herwydd hyny yr oedd i fod yn "ddecreuad misoedd y flwyddyn" iddynt o hyny allan. Ar y degfed dydd o'r mis, yr oedd pob teulu i gymeryd oen, neu fŷn, yn llwdn blwydd gwryw perffaithgwbl; neu, os byddai y teulu yn rhy fychan i'r oen, gallai ymuno â'i "gymydog nesaf i'w dŷ wrth rifedi o ddynion." Paham yr oedd yr oen i'w ddal ar y degfed dydd sydd yn anhysbys, ac eto nis gallwn lai na meddwl fod hyn, yn gystal a'r degfed dydd o'r seithfed mis, sef gŵyl y cymmod, yn dal rhyw berthynas â'r rhif deg, fel rhif perffeithrwydd. Wedi ei ddal ar y degfed dydd, nid oedd i'w ladd hyd y pedwerydd dydd ar ddeg. Dichon mai dyben cadw y creadur mewn dalfa am yspaid mor faith ydoedd i gynefino meddwl y bobl â'r drychfeddwl, ac i arwain eu meddyliau i mewn i'r gwirioneddau oedd

yn cael eu harddangos yn a thrwy oen y pasc, ac nid rhuthro at yr ordinhâd hon yn ddifeddwl. Dichon y gallem ninnau, yn yr oes hon, gael addysg oddiwrth hyn yn ein hymarferiad â'r ordinhâd sydd yn "coffa" am "Grist ein pasc ni," ac y byddai yn dda fod yr Oen mewn dalfa genym am yspaid fel y gallem alw ein meddyliau i fyned i mewn i ystyr yr hyn yr ydym yn ei wneyd, a thrwy hyny i "iawn farnu corff yr Arglwydd." Ar y pedwerydd dydd ar ddeg yr oedd oen y pasc i gael ei ladd, "yn y cyfnos," neu "rhwng y ddau hwyr." Hyny ydyw, cyn belled ag y gallwn ni ddeall, rhwng dau oleu, sef goleu yr haul a goleu y lloer. Oblegid, gan fod y lleuad yn llawn ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'i hoedran, rhaid fod machludiad yr haul yn y gorllewin, a chyfodiad y lleuad yn y dwyrain, yn cymeryd lle bron ar unwaith, pan oedd goleu y dydd yn darfod, a goleu y lloer lawn llonaid yn meddiannu y byd. Tebygol fod hyn yn arwyddluniol, i ddangos fod yr eglwys yn myned dan oruchwyliaeth newydd, ac eto nad oedd ond goruchwyliaeth *loeraidd*—am dymmor—yr hyn oedd yn wirionedd ac angen mawr ei ddysgu, rhag iddynt feddwl, o herwydd fod Duw wedi ei sefydlu, ei bod i aros byth. Ac nis gallwn feddwl mewn rhyw ystyr nad oedd hi yn fwy o *ddydd* ar yr eglwys o dan oruchwyliaeth syml y Patrïarchiaid, pan oedd gwirioneddau crefydd yn llewyrchu yn eu goleuni eu hunain, nag o dan yr oruchwyliaeth *gysgodol*, pan oedd y goleuni yn cael ei *adlewyrchu* oddiar y cysgodau daearol, fel y mae y lloer yn adlewyrchu goleuni yr haul. Yr ydym yn meddwl hefyd, pan gyfododd "Haul y cyfiawnder," fod hyny yn un peth—er yn llawer ychwaneg—yn adfer yr eglwys o fod "dan y ddeddf," i'r rhyddid patrïarchaidd cyn y ddeddf, fel y mae y mab pan ddelo i addfedrwydd oedran mewn 'stâd mwy tebyg i'w ryddid babanaidd, na phan y mae dan y ddeddf "heb ddim rhagor rhyngddo a gwas." Ond i ddychwelyd. Yr oedd gwaed oen y pasc i gael ei daenellu "ar gapan y drŵs a'r ddau ystlysbôst y tai y bwytäent ef ynddynt." Dyna yr arwydd i'r angel dinystriol i fyned heibio heb droi i mewn yno i ddinystrio. Yr oedd yr oen i'w rostio yn gyfan wrth dân, rhag dinystrio ei gyfanrwydd, "ei ben, a'i draed, a'i ymysgaroedd." Nid oedd i'w fwyta yn "amrwd," am y buasai hyny yn farbaraidd, ac nid oedd i'w "ferwi mewn dwfr," am y buasai trwy hyny yn colli llawer o'i rinwedd. Yr oeddynt i fwyta yr oen yn ei holl rinwedd, yr hyn, mae yn sicr genym, sydd yn awgrym a ddeallir gan y darllenydd. Yr oedd i fod ar y bwrdd yn *gyfan*, heb "dòri asgwrn o hòno," ac yn ei holl rinwedd; a'r hyn a weddillid o hóno hyd y bore, yr oedd i gael ei losgi yn y tân. Yr oedd i gael ei fwyta gyda "bara croew" a "dail surion." Yr oedd bara croew yn arwydd o burdeb, mewn cyferbyniad i fara lefeinllyd, yr hwn sydd mewn 'stâd o fraeniad, ar gyfrif yr ymweithiad sydd ynddo, ac o herwydd hyny yr oedd yn cael ei wrthod o offrymau Duw: "Bara croew purdeb a gwirionedd." Am hyny yr oeddynt i lanhâu eu tai oddiwrth fara lefeinllyd ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis, ac i fwyta bara croew am "saith niwrnod," hyd ar ol terfyn yr ŵyl ar yr unfed dydd ar hugain. Am y "dail surion," yr oeddynt yn adgoffa eu caethiwed caled yn yr Aipht, trwy yr hwn yr oedd eu "heinioes yn chwerw," o herwydd eu gwasanaeth. Yr oeddent yn fantais i roddi blâs iddynt ar oen y pasc, trwy fod y cîg yn archwaethu yn fwy melus mewn cysylltiad â'r dail surion, fel yr oedd y

waredigaeth yn fwy dymunol wrth gofio chwerwder eu heinioes yn y caethiwed. Gyda hyn, yr oeddynt i fwyta y pasc, a'u lwynau wedi eu gwregysu, a'u hesgidiau am eu traed, a'u ffŷn yn eu dwylaw, fel rhai parod i'r daith oedd o'u blaen. Ac yn nerth y wledd hon yr oeddynt i fyned allan o dŷ eu caethiwed, i fyned tua gwlad yr addewid. Yr oedd y ddefod hon i gael ei chadw yn ŵyl trwy eu holl genedlaethau, er côf am eu gwaredigaeth o'r Aipht, a'r amddiffyn Dwyfol drostynt pan laddwyd cyntafanedigion yr Aiphtiaid. Pan ofynid iddynt gan eu meibion, "Pa wasanaeth yw hwn?" yr ateb ydoedd, "Dyma aberth pasc yr Arglwydd, yr hwn a aeth heibio i dai meibion Israel yn yr Aipht, pan darawodd efe yr Aiphtiaid." Gwnaeth dyfodiad y ddeddf i mewn, a dyfodiad y genedl i wlad yr addewid, amrai gyfnewidiadau yn y ddefod o gadw y pasc. Ar ol hyny, nid oedd y pasc i'w fwyta yn y tai a'r pentrefydd ar hŷd a llêd y wlad, ond yn y "lle a ddewiso yr Arglwydd i osod ei enw ynddo," sef y lle y byddai y cysegr. Yr offeiriaid hefyd oedd i daenellu y gwaed ar yr *allor*, ac nid y penauteuluoedd i'w daenellu ar ddrysau y tai, fel yn yr Aipht; er, mae yn ddïau, fod y cîg yn cael ei fwyta yn y tai, a'r ystafelloedd cyhoeddus, yn Jerusalem, ar ol taenellu y gwaed gan yr offeiriaid ar yr allor yn y deml. Y rheswm am y cyfnewidiadau oedd hyn: pan oeddynt yn yr Aipht, nid oedd ganddynt gysegr neillduol, ac yr oedd gwasanaeth Duw heb ei gyfyngu i le arbenig. Hefyd, y pryd hwnw yr oeddynt dan yr oruchwyliaeth batrïarchaidd, pryd yr oedd pob penteulu yn offeiriad i'w deulu; ond wedi dyfod i Sinai, ni pharhäwyd iddynt yr anrhydedd hwnw, ond y cysegrwyd un teulu i fod yn offeiriaid i'r Arglwydd dros y genedl. Dygwyd hwy "dan y ddeddf," o ran *lle* i aberthu, ac o ran y *personau* oedd i weinyddu, ac i gyflwyno yr aberthau i Dduw. Gofyniad na chyttunir yn dda yn yr atebiad iddo ydyw, Pa fath aberth oedd oen y pasc? Tybia rhai mai pech-aberth ydoedd; ond dadleua Kurtz ac eraill yn gadarn mai aberth hêdd ydoedd. Dïau nad oedd y gwahaniaethau yn yr aberthau ddim wedi eu deffinio pan ei sefydlwyd ef gyntaf yn yr Aipht; eto fe'i dygwyd yntau, fel pob peth arall, dan drefn gan y ddeddf. Yn ein byw nis gallwn ni ei roddi yn bech-aberth, nac yn aberth hêdd, ond yn hytrach rhyw gyfuniad o'r ddau. Yr oedd mwy o arbenigrwydd yn cael ei roddi ar daenelliad y gwaed, nag yn yr aberth hêdd, yr hyn oedd nôd angen y pech-aberth; ac o'r tu arall, yr oedd y cîg i gael ei fwyta gan yr aberthwr, ei deulu, a'i gyfeillion, yr hyn oedd arbenigrwydd yr aberth hêdd. Yr oedd yn cynnwys egwyddor y ddau, ac felly yn dyfod yn brif gysgod o'r sylwedd mawr. Fel yr ydym wedi sylwi, y pech-aberth a'r aberth hêdd oeddynt benaf yn gosod allan aberth Crist; yr oedd y poethoffrwm yn arwyddlun o waith dyn yn offrymu ei hun ar sail y pech-aberth. Ond yr oedd y ddau eraill yn gysgod arbenig o'i aberth Ef. Un fel "iawn difai i Dduw," a'r llall fel y mae ef yn ddefnydd gwledd o gymdeithas â Duw i'r pechadur sydd yn ymddiried ynddo fel pech-aberth. Gwledd o foddlonrwydd i Dduw dros bechadur ydyw fel pech-aberth; gwledd o heddwch a chymdeithas â Duw i'r pechadur ydyw fel aberth hêdd. Mae y cyntaf yn golygu yr hyn a alwai y Puritaniaid "*peace of reconciliation*," a'r llall yr hyn a alwent "*peace of conscience*." Tybiwn fod y ddau yn cydgyfarfod yn oen y pasc, fel y maent yn Nghrist, er y dichon fod yr

aberth hêdd yn llawn mor amlwg, fel gwledd i'r aberthwr. Am hyny nid oedd neb i'w fwyta ond y rhai oedd yn lân yn ol y gyfraith. Nid oedd o hóno ei hun yn codi neb i gymmod â Duw, ond yr oedd yn rhaid iddynt fod wedi eu codi i gymmod trwy aberth arall, yr hwn oedd yn hollol yn arddangos iawn i Dduw, ac wedi hyny gallent fwyta y pasc, fel rhai wedi eu dwyn i heddwch â Duw.

Yr un modd y mae "Swper yr Arglwydd," yr hwn a sefydlwyd yn lle y Pasc. Y mae y ddwy elfen yna yn dyfod i'r golwg ynddo. Mewn un ystyr yr ydym i "ddangos marwolaeth yr Arglwydd," ei ddangos i Dduw fel pech aberth drosom; mewn ystyr arall yr ydym i wneyd hyn er "coffa am dano," er ein cysur ni ein hunain, i'r dyben, trwy y "coffa," i sugno gwledd o heddwch a chymdeithas â Duw ar sail ei aberth. Trwy y "dangos" yr ydym yn ei gyflwyno i Dduw fel pech-aberth; trwy y "coffa" yr ydym yn gwledda arno ein hunain fel aberth hêdd. Felly yr oedd swper y pasc yn *dangos* y gwaed er eu gwaredigaeth, ac yn *coffa* yn orfoleddus am eu gwaredigaeth yn y wledd.

Wedi bwyta y pasc ar hwyr y pedwerydd dydd ar ddeg, yr oedd y pymthegfed dydd i'w gadw yn gymanfa sanctaidd i'r Arglwydd, a'r un modd yr unfed dydd ar hugain, sef dydd olaf yr ŵyl; nid oedd dim gwaith i'w wneuthur ar y dyddiau hyn. Yn ystod y saith niwrnod yna yr oeddynt i fwyta bara croew, ac i offrymu ar bob dydd o'r saith, un bwch gafr yn bech-aberth ynghyda dau fustach, un hwrdd, a saith oen blwyddiaid—y cyfrif arferol—yn boethoffrwm. Tebygol mai ystyr y rhif hwn o boethoffrymau, yr hwn oedd yn cael ei wneyd i fyny o saith a thri, sef deg, oedd dangos fod y genedl ar yr adegau hyn i ymsancteiddio hyd raddau uchaf cysegredigrwydd posibl, yn eu hamgylchiadau presennol.

Yr oedd un peth arall i gymeryd lle yn ystod gŵyl y pasc, sef cyflwyno "ysgub y blaenffrwyth." Erbyn canol mis Abib, yr oedd peth cynhauaf o'r ŷd yn barod i'r cryman, ond nid oeddynt i dòri un ysgub o hóno nes yn gyntaf dòri ysgub y blaenffrwyth a'i chyhwfanu i'r Arglwydd. Hyd y gallwn ni ddeall, yr oedd yr ysgub i'w chyflwyno ar yr ail ddydd o'r ŵyl, sef drannoeth wedi y Sabbath, ar y pymthegfed dydd. Ar yr un pryd a'r ysgub yr oedd oen blwydd perffaith-gwbl i gael ei offrymu yn boethoffrwm, gyda *dwy* ddegfed ran epha o beilliad. Nid *un*, fel arferol gydag oen, yn fwyd offrwm. Ac eto, nid oedd y ddïod offrwm i'w chwanegu yn gyfatebol, dim ond pedwaredd ran hín o wîn fel arferol. Yr unig ffordd i gyfrif am hyn ydyw, am fod y ddefod hon yn dàl perthynas uniongyrchol â chynhauaf yr ŷd, pryd yr oedd cynhauaf y grawnwin yn llawer pellach ymlaen yn y flwyddyn, am hyny yr oedd y bwydoffrwm i'w ddyblu ar yr amgylchiad hwn, ar yr un egwyddor ag y dyblid y poethoffrwm ar y Sabbath. Yn y modd yma yr oedd gŵyl y pasc, nid yn unig yn goffâd am eu gwaredigaeth o'r Aipht, ond hefyd yn gydnabyddiaeth o ddaioni Duw fel cynnaliwr ffyddlawn, yn peri i'r ddaear ffrwytho o flwyddyn i flwyddyn, er eu cynnaliaeth yn y wlad y dygodd efe hwynt iddi.

Yr ail ŵyl oedd gŵyl yr wythnosau, neu fel y gelwir hi yn y T. N., y Pentecost. Yr oedd hon i'w chynnal ymhen saith wythnos ar ol y Pasc, am ba reswm y gelwid hi "gŵyl yr wythnosau," neu ymhen deg niwrnod a deugain ar ol offrymu ysgub y blaenffrwyth, am hyny fe'i

gelwid y "Pentecost." Yr oedd ysgub y blaenffrwyth i'w chyflwyno "drannoeth wedi y Sabbath," sef y dydd cyntaf o ŵyl y bara croew, neu y pymthegfed dydd o fis Abib. "A chyfrifwch i chwi o drannoeth wedi y Sabbath, o'r dydd y dygoch ysgub y cyhwfan, saith sabbath cyflawn fyddant; hyd drannoeth wedi y seithfed sabbath, y cyfrifwch ddeng niwrnod a deugain," Lef. xxiii. 15, 16. Dyma wythnos o wythnosau, yn ffurfio deg a deugain o ddyddiau—cymhlethiad o'r rhif *saith* a *deg*. Fel yr oedd "saith mlynedd seithwaith" yn ffurfio deng mlynedd a deugain, sef y Jubili, felly ar raddeg fechan yr oedd saith niwrnod seithwaith yn gwneyd i fyny ddeng niwrnod a deugain, sef Jubili yr wythnosau am y flwyddyn. Nid ydym yn cael fod yr ŵyl hon wedi ei sefydlu er côf am un amgylchiad hynod yn hanes y genedl, fel y pasc, er fod rhai yn tybio ei bod yn goffadwriaeth o roddiad y ddeddf yn Sinai. Y mae yn debyg ei bod yn cymeryd lle yr un amser ar y flwyddyn. Cawn fod Israel wedi dyfod i Sinai yn nechreu y trydydd mis, wedi eu dyfod o'r Aipht; ac yr oedd gŵyl y Pentecost i fod ymhen saith wythnos ar ol y pymthegfed o'r mis cyntaf, o ganlyniad yn nechre y trydydd mis; ond nid oes un cyfeiriad at hyn yn y Bibl. Yn ol fel y gosodir yr ŵyl hon allan yn llyfrau Moses, ei dyben mawr ydoedd cyflwyno i'r Arglwydd flaenffrwyth eu cynhauaf. Fel yr oedd *ysgub* y blaenffrwyth yn cael ei chyflwyno ar y pasc, cyn dechre tòri yr ŷd, felly ar ol saith wythnos o dymmor i gasglu y cynhauaf i mewn, yr oedd *torthau* y blaenffrwyth i gael eu cyflwyno ar y pentecost. Yr oedd *dwy* dorth o ddegfed ran Epha o beilliad bob un—dwbl yr un *un* ysgub ar y pasc, i gael eu cyhwfanu i'r Arglwydd. Yr oedd y torthau hyn i fod o fara lefeinllyd, wedi eu cymeryd "o'u trigfannau," hyny yw, bara cyffredin. Nid oeddynt i'w llosgi ar yr allor. Nid oedd y torthau hyn i fod ar yr allor, ond i'w cyhwfanu ger bron yr Arglwydd, ac yna ei rhoddi i'r offeiriaid i'w bwyta; wedi hyny, yr oedd bara y tymmor hwnw wedi ei gysegru i'r bobl i'w fwyta. Gyda y torthau hyn, fel sylfaen iddynt, yr oedd i gael eu hoffrymu un bwch gafr yn bech-aberth, a dau oen blwyddiaid yn aberth hêdd. Nid oedd yr ŵyl hon i barhâu ond un diwrnod, hyny yw, nid oedd ond un diwrnod o "gymanfa sanctaidd;" ac yn ddïau gallasai y bobl ar ol dyfod i fyny i le y cysegr aros yno yn ol eu hewyllys i addoli, ond nid oedd ond un dydd i'w ystyried yn ŵyl arbenig i'r Arglwydd. Ar y dydd hwnw, yr oedd y rhif arferol o aberthau i gael eu hoffrymu, sef dau fustach, un hwrdd, a saith oen blwyddiaid yn boethoffrwm, ac un bwch gafr yn bech-aberth. Num. xxviii. 27. Yn Lef. xxiii. 18, ni a gawn ychydig o wahaniaeth, sef *un* bustach, *dau* hwrdd, a saith oen, yr hyn a arweiniodd rai i dybied fod yno ddau lawnrif o boethoffrymau. Ond tybir yn gyffredin mai ychydig o wall mewn ysgrif a barodd hyn trwy roddi un bustach, a dau hwrdd, yn lle dau fustach, ac un hwrdd. Eto y mae llawer o ysgrifenwyr Iuddewig yn dal fod dwy *set* ar yr ŵyl hon; ac y mae rhywbeth yn dra ffafriol i hyny, gan y gellid tybio fod yr offrymau i *ddyblu* yr hyn oedd yn cael ei offrymu yn ddyddiol ar y pasc, fel y cawn weled eto eu bod yn treblu ar ŵyl y Pebyll. Gyda y poethoffrymau hyn, yr oedd y dognau arferol o fwyd a dïod offrwm i gael eu cyflwyno; ac yr oedd yn rhaid i'r bwyd-offrwm fod yn "newydd," hyny yw, o gynnyrch y cynhauaf newydd-gynnulledig, fel torthau y blaenffrwyth. Dyna oedd neillduolrwydd yr

ŵyl hon, adeg i'r genedl, fel cenedl, i ymgynnull at eu gilydd i gydnabod yr Arglwydd am ei ddaioni yn y cynhauaf, ac offrymu y blaenffrwythau, fel y byddai cnŵd y maes yn rhydd ac yn gysegredig iddynt i'w fwyta yn eu holl drigfannau am y flwyddyn hono. Yn hyn y mae llawer o addysg i ni, a llawer i'n condemnio yn yr "oes oleu hon."

Y drydedd ŵyl flynyddol oedd Gŵyl y Pebyll. Cedwid hon ar y seithfed mis, sef y mis sabbothol. Ar y dydd cyntaf o'r mis hwn yr oedd gŵyl yr udgyrn. Ar y degfed dydd yr oedd gŵyl y cymmod. Ac ar y pymthegfed dydd yr oedd gŵyl y pebyll yn dyfod i mewn, yr hon oedd i barhâu am saith niwrnod. Y mae dau enw ar yr ŵyl hon yn llyfrau Moses, sef gŵyl y pebyll, a gŵyl y cynnull. Gelwir hi gŵyl y pebyll, neu yn llythyrenol gŵyl y bythod, am fod yr holl bobl i drigo mewn bythod am saith niwrnod, sef ystod yr ŵyl. Ar y dydd cyntaf yr oeddynt i wneyd iddynt eu hunain fythod o "ganghenau pren prydferth, canghenau palmwydd, a brig pren caeadfrig, a helyg afon," ac i ymlawenhâu ynddynt ger bron yr Arglwydd am saith niwrnod. Lef. xxiii. 40—44. Dyben hyn oedd, yn ol geiriau Duw, "Fel y gwypo eich cenedlaethau mai mewn bythod y perais i feibion Israel drigo, pan ddygais hwynt allan o dir yr Aipht." Fel yr oedd gŵyl y pasc yn goffâd am eu gwaredigaeth o'r Aipht, felly yr oedd gŵyl y pebyll yn goffâd am eu trigiad yn yr anialwch. Yr oedd dwy elfen yn cydgyfarfod yn y coffâd hwn: un ydoedd elfen o *lawenydd* o herwydd eu dwyn o "dŷ y caethiwed" i'r mwynhâd o'r rhyddid oeddynt yn fwynhâu yn yr anialwch, wedi eu rhyddhâu o diriogaeth, ac o dan iau greulawn a gorthrymus Pharaoh. Yr elfen arall oedd teimlad o *wyleidd-dra*. Er eu bod yn awr yn trigo yn eu tai, eu trefi, a'u dinasoedd, yn ngwlad yr addewid, yr oedd yn angenrheidiol iddynt gofio eu bod wedi bod yn "trigo mewn bythod" yn yr anialwch. O'i gyferbynu â'r Aipht, yr oedd trigo mewn bythod yn achos o *lawenydd*. O'i gyferbynu â *Chanaan*, yr oedd yn elfen o *wylder*. Yr oeddynt i "ymlawenhâu ger bron yr Arglwydd," ond yr oeddynt i ymlawenhâu mewn *bythod*.

Yr enw arall yw, "Gŵyl y Cynnull." Gelwid hi felly am ei bod yn cymeryd lle yn "niwedd y flwyddyn" ar ol cynnull yr holl ffrwythau i ddïogelwch. Fel yr oedd gŵyl y pasc yn dwyn i mewn "ysgub y blaenffrwyth," a gŵyl yr wythnosau yn adeg o ddiolch am "gnŵd y maes," ac i gyflwyno "blaenffrwyth eu toes," felly yr oedd gŵyl y cynnull" yn niwedd y flwyddyn "yn adeg i gydnabod yr Arglwydd yn ffrwyth y winllan." Ar ol cynnull ffrwyth y coed, yr oeddynt yn gwneyd bythod o'u canghenau, ac yn ymlawenhâu ynddynt ger bron yr Arglwydd saith niwrnod. Yr oedd y tair gŵyl hyn gyda'u gilydd yn eu codi i ymdeimlad o'u perthynas â Duw fel *Gwaredwr*, ac fel *Cynnaliwr*, fel gwaredwr o'r Aipht, ac fel rhoddwr o wlad Canaan, y wlad dda, ffrwythlawn, a chnydfawr.

Ar y dydd cyntaf o ŵyl y pebyll yr oedd cymanfa sanctaidd, dim caethwaith i gael ei wneyd. Yr aberthau ar bob un o'r saith niwrnod, oedd un bwch yn bech aberth, a dau hwrdd, pedwar ar ddeg o ŵyn blwyddiaid, a nifer o fustych yn boethoffrwm. Yr oedd y bustych yn amrywio bob dydd; ar y dydd cyntaf yr oeddynt i fod yn dri ar ddeg, ac yna i leihâu un bob dydd hyd nes dyfod i saith ar y seithfed dydd, ac felly yr oedd y nifer oll yn ystod yr ŵyl yn cyraedd deg a thriugain, sef saith deg. Llawnrif arferol y poethoffrymau, ar bob dydd o'r

gwyliau ydoedd, "dau fustach, un hwrdd, a saith oen blwyddiaid." Ond ar yr ŵyl hon, yr ydym yn cael nifer yr hyrddod yn dyblu, yr ŵyn yn dyblu dau saith, a'r bustych yn llïosog iawn, ac hefyd yn amrywio bob dydd. Anhawdd yw rhoddi cyfrif am hyn. Ar yr un pryd, mewn rhyw ystyr, hon oedd prif ŵyl y flwyddyn; yr oedd holl waredigaethau hanesyddol y genedl, a holl ddaioni y flwyddyn yn cydgyfarfod ynddi, felly buasem yn dysgwyl i'w hoffrymau fod yn llïosocach na'r un ŵyl arall. Hon hefyd oedd yr ŵyl oedd, mewn modd arbenig, yn portrëadu ystâd a theimlad yr Eglwys o dan yr efengyl. Ac o ganlyniad, darlunir yr eglwys gristionogol yn myned i fyny i Jerusalem i "gadw gŵyl y pebyll," fel y portrëad mwyaf bywiog a tharawiadol o'i theimlad gorfoleddus. Yn wyneb y pethau hyn, buasem yn dysgwyl cael yr offrymau yn llïosocach ar yr ŵyl hon, ar yr un egwyddor ag yr oeddynt yn dyblu ar y seithfed dydd a'r seithfed mis. Nid oedd arwyddocâd y pech-aberth yn caniatâu iddo lïosogi,—un aberth perffaith,—felly ni a gawn, yn ol y ddefod arferol, mai un pech-aberth oedd yn cael ei aberthu bob dydd. Ond am y poethoffrwm, yr oedd hwn yn arwyddo cysegriad i wasanaeth Duw, felly yn caniatâu graddau ac amrywiaeth. Tybygem fod y tri math hyn o offrymau, sef ŵyn, hyrddod, ac ychain, mewn ystyr arwyddluniol, yn arddangos gwahanol elfenau mewn cymeriad. Yr oen yn ddarlun o ddiniweidrwydd a phurdeb mewnol; yr hwrdd yn ddarlun o nerth a gwroldeb allanol,—dyna paham yr oedd yn cael ei roddi yn aberth dros gamwedd, am fod camwedd yn drosedd allanol. Gelwid ymherodraeth Media a Phersia ar yr un cyfrif yn "hwrdd deugorn." Yr oedd yr ŷch drachefn yn arwyddlun o ddiwydrwydd a defnyddioldeb. Yn awr, yr oedd yr ŵyl hon, yn ei phoethoffrymau, yn rhoi syniad am gymeriad wedi ei godi yn uchel mewn sancteiddrwydd, fel yn cynnwys llawer o'r oen, ychydig o'r hwrdd, a llawer iawn o'r ŷch,—y defnyddiol. Nid y *diniwed* heb y *gwrol*, ac nid y gwrol heb y *defnyddiol*. Yr oedd yr elfen olaf yn cael lle mawr yn rhif yr offrymau, nes yn niwedd yr ŵyl yr oedd yn cyraedd y rhif cyfriniol o saith deg—rhif cyfammod a rhif perffeithrwydd yn un. Ond paham yr oedd yr ychain yn *lleihâu* bob dydd, ac nid cadw eu nifer, neu yn hytrach cynnyddu, sydd yn anhawdd ei benderfynu. Dichon fod hyn yn gosod allan, er fod yr ŵyl hon yn arddangosiad o'r oruchwyliaeth hono yn ei phwynt uchaf, eto mai goruchwyliaeth i ddarfod ydoedd yn ei gwêdd gysgodol. Ond er fod y nifer yn lleihâu, yr oedd yn dybenu mewn saith, a'r saith hyny yn gorphen eu nifer yn saith deg, yr hyn oedd yn arwyddo, er ei fod yn darfod, fod yr oruchwyliaeth i gael ei gorphen mewn cyfammod mwy perffaith na hi ei hun, yr hwn a godai ddyn yn uwch mewn sancteiddrwydd, ac yn enwedig yn yr elfen hono mewn sancteiddrwydd, yr hon yr oedd yr ŷch yn arddangos, sef y *defnyddiol*.

Ar ol i saith diwrnod fyned drosodd, yr oedd cymanfa sanctaidd ar yr wythfed dydd, ar yr hwn ddydd yr offrymid y rhif arferol o offrymau, sef un bustach, dau hwrdd, a saith oen blwyddiaid; ac yna yr oedd y gŵyliau yn myned drosodd am y flwyddyn, a'r bobl yn dychwelyd i'w trigfanau. Dylid ychwanegu, er nad oes gorchymyn i aberthu aberthau hêdd ar yr ŵyl hon, fel gŵyl yr wythnosau, eto fod rhyddid i'r bobl i wneyd hyny yn ol eu hewyllys, fel aberthau diolch i'r Arglwydd.

Mae un gŵyl bwysig arall heb ei nodi genym, sef *Gŵyl y Cymmod.* Yr oedd y tair gŵyl flynyddol arall yn dal perthynas â'u gilydd, ac yn

perthyn yn benaf i'r ddeddf wladol, ond hon yn arbenig i'r seremonïol. Nid oedd yn rhaid i'r holl bobl ddyfod at eu gilydd i le y cysegr ar y dydd hwn fel ar y gŵyliau gwladol, eto yr oeddynt i gadw y dydd yn "gymanfa sanctaidd," ac i "gystuddio eu heneidiau ger bron yr Arglwydd" yn gyffredinol, a hyny dan boen cael eu "tòri ymaith o fysg y bobl." Yr oedd "dydd y cymmod" i fod yn ddydd edifeirwch ac ymostyngiad iddynt.

Pwynt mawr dydd y cymmod oedd "glanhâu y cysegr oddiwrth aflendid meibion Israel, ac oddiwrth eu hanwireddau, yn eu holl bechodau," Lef. xvi. 16. Dyma y dydd yr oedd y pech-aberth yn cyraedd ei bwynt uchaf. Yr oedd pechodau y bobl yn cael eu hiawnyddu ymhob pech-aberth, càn belled a symud yr euogrwydd oddiar y pechadur. Ystyrid fod y pechod wedi "ei guddio" â gwaed yr aberth. Ond ar yr un pryd, ystyrid fod holl bechodau y bobl yn glynu wrth y tabernacl, yn yr hwn yr oedd Duw yn preswylio yn eu plith, er eu bod wedi eu symud oddiar y pechadur; o ganlyniad yr oedd eisieu rhyw drefn i'w symud oddiar y cysegr, a'u hanfon i "dir neillduaeth" o olwg Duw ei hun. Dyna oedd amcan mawr "dydd y cymmod," sef cario y drychfeddwl yna allan.

Y dydd apwyntiedig ydoedd y degfed dydd o'r seithfed mis—y mis sabbothol, a'r degfed dydd o'r mis hwnw, y mis yn dwyn rhif *saith*, a'r dydd y rhif *deg*. Drachefn, yr archoffeiriad yn unig oedd i weinyddu yn y gwasanaeth hwn, a hyny trwy fyned i'r cysegr sancteiddiolaf, i bresennoldeb y Shechinah Dwyfol, fel yr oedd pob peth yn cael ei gario i'r pwynt eithaf. Nid eid i'r sancteiddiolaf ar un dydd arall. Yr oedd yr archoffeiriad ar y dydd pwysig hwn i ddïosg ei ddillad anrhydeddus, a gwisgo dillad llian glân, yn arwydd o burdeb a gostyngeiddrwydd. "Gwisgoedd sanctaidd yw y rhai hyn; golched yntau ei gnawd mewn dwfr pan wisgo efe hwynt," Lef. xvi. 4. Cyn dechre yn brïodol ar y gwasanaeth dros y gynnulleidfa, yr oedd yn rhaid iddo gael bustach ieuanc yn bech-aberth drosto ei hun a'i dŷ, a hwrdd yn boethoffrwm. Wedi hyny yr oedd dau lwdn gafr yn bech-aberth, ac un hwrdd yn boethoffrwm dros y genedl, i gael eu gosod yn barod wrth ddrŵs pabell y cyfarfod. Ar ol cael pethau yn barod yn y wêdd hon, yr oedd i ladd pech-aberth drosto ei hun, a dwyn ei waed mewn cawg i'r sancteiddiolaf, tra ar yr un pryd yr oedd i gymeryd llonaid thuser aur o farwor oddiar yr allor, a llonaid ei ddwylaw o "arogldarth peraidd mân," a'u dwyn o fewn y wahanlen, a dodi yr arogldarth "ar y tân yn y thuser," fel y cuddio mŵg yr arogldarth y drugareddfa, yr hon sydd ar y dystiolaeth, ac na byddo yn marw." Yna yr oedd i daenellu gwaed y pech-aberth drosto ei hun â'i fŷs, ar y drugareddfa, ac o'i blaen, saith o weithiau. Wedi hyny yr oedd y ddau fwch i'w dwyn ymlaen i fyned dan y coelbren, pa un oedd i'w ladd, a pha un oedd i fod yn "fwch dïangol." Un pech-aberth oedd yn cael ei aberthu bob amser ar y tro, ac *un* oedd y ddau fwch gyda'u gilydd. Yn yr amgylchiad hynod hwn yr oedd eisieu un i farw yn aberth dros bechod, ac am nad allai hwnw adgyfodi, yr oedd yn rhaid cael un arall i ddwyn eu pechodau i dir neillduaeth; am hyny yr oedd yn rhaid cael dau fwch i osod allan y ddwy wêdd yna ar y cymmod. Wedi lladd y bwch y disgynodd y coelbren arno, yr oedd yr archoffeiriad i ddwyn ei waed o fewn y wahanlen, a'i daenellu â'i fŷs ar y drugareddfa, a saith waith o flaen y drugareddfa. Wedi glanhâu

y sancteiddiolaf, yr oedd i wneyd yr un peth drachefn ar yr allor aur yn y cysegr, ac yna dyfod at yr allor brês yn y cyntedd, a thaenellu y gwaed ar gyrn yr allor, a seithwaith ar yr allor. Trwy hyn yr oedd yn glanhâu yr holl dabernacl oddiwrth bechodau y genedl am y flwyddyn.

Bellach yr oedd i ddyfod at y "bwch byw," yr hwn oedd yn sefyll wrth ddrws pabell y cyfarfod, a gosod ei ddwylaw ar ei ben, gan gyffesu holl anwireddau meibion Israel yn eu holl bechodau arno. Yna yr oedd i gael ei osod yn llaw gŵr cymhwys i'w ddwyn i'r anialwch i "dir neillduaeth." Fel hyn y mae y ddau ddrychfeddwl yn cael eu gweithio allan yn y pech-aberth a'r ddau fwch, sef dyhuddiant trwy waed y bwch marw, a chwbl symudid pechod trwy y bwch byw.

Mae llawer o anhawsder yn bod gyda golwg ar ystyr y gair a gyfieithir yn y Bibl Cymraeg, "bŵch dïangol." Y gair yn y gwreiddiol yw *Azazel.* Mae y rhai galluocaf i farnu, megys *Kurtz* ac eraill, yn dywedyd fod Azazel yn golygu *bôd personol,* yr hwn a ystyrid ei fod yn preswylio yn yr anialwch, ac nid yr anialwch ei hun. Ac mewn llïaws o leoedd yn y Bibl, awgrymir fod yr ysbryd drwg yn preswylio yn yr anialwch. Dywed y prophwyd Esaïah y byddai Babylon mor anghyfannedd fel y byddai yr "ellyllon yn llamu yro," pen. xiii. 21. Ac yn Dad. xviii. 2, dywedir y bydd Babylon wedi syrthio nes myned yn "drigfa cythreuliaid." Mae Iesu Grist hefyd yn dywedyd pan elo ysbryd aflan allan o ddyn, ei fod yn "rhodio ar hyd lleoedd sychion." Yn ol y syniad hwn, wrth y "bŵch dïangol," yr ydym i ddeall "bŵch diafol." Ond y cwestiwn ydyw, pa berthynas oedd rhyngddo â'r diafol? Tybia rhai, gan mai y diafol oedd "tywysog y byd hwn," wedi cael yr holl fyd yn "feddiant" trwy bechod, a bod Duw wedi codi neu sefydlu teyrnas fechan iddo ei hun yn nghanol y byd, ei fod yn anfon y bŵch Azazel i'r diafol fel i'w gydnabod, tra y byddai ar yr orsedd yn "dduw y byd hwn," hyd yr amser y byddai yn cael ei "fwrw allan." Nid hawdd i'w derbyn y golygiad yna. Gwir fod y diafol wedi cael awdurdod gyfreithiol—nid gyfreithlawn—ar y byd, fel na fedrai Duw ei "fwrw allan" ond trwy *iawn,* ond nis gallwn weled pa *compliment* i'r diafol, fel "duw y byd hwn," oedd bŵch yn llwythog o bechodau, pa rai, yn eu perthynas â'r genedl oeddynt wedi eu hiawnyddu. Mwy tebyg i'n golwg ni fod y bŵch Azazel yn dwyn pechodau y bobl i'r diafol fel tad y pechodau hyny. Efe yw "tad y celwydd." Trwyddo ef y daeth pechod i *fôd,* a thrwyddo ef y daeth yr hîl ddynol yn bechadurus. Yn awr yr oedd y ddau fŵch, fel un pech-aberth, yn rhyddhâu dyn oddiwrth bechod ar un llaw, ac yn ei anfon i'w dad ei hun, sef y diafol, ar y llaw arall; a dyna oedd yn dangos mor hollol ac effeithiol yr oedd pechod wedi ei symud oddiar y dyn, gan ei fod wedi ei osod ar ei dad, sef y diafol; a dyna yw iawn Crist. Er ei fod ef wedi dyoddef cosbedigaeth pechod yn ei berthynas â dyn, eto nid yw wedi dyoddef y gosb yn ei berthynas â'r diafol, yn hytrach, y mae iawn Crist yn gosod pechod yn hollol ar y diafol. Gwir nad yw yn gosod pechod dyn fel y cyfryw ar y diafol; byddai hyny yn anghyfiawnder. Ond wedi rhoddi iawn dros bechod yn ei berthynas â dyn, yna y mae pechod yn ei berthynas â'r diafol fel tad, a themtiwr i bechod, yn disgyn ar ei ben ei hun. Y mae hyn yn cyunnwys y drychfeddwl o "dragywyddol ryddhâd" yn y modd perffeithiaf. Nid yn unig yn rhyddhâu dyn oddiwrth bechod, ond hefyd yn rhwymo pechod wrth berson y diafol, fel nad all ef byth ymryddhâu oddiwrtho

na'i brïodoli i neb arall, yr hyn sydd yn ei ddiarfogi yn ei "allu" ar y dyn, ac fel "cyhuddwr y brodyr ger bron Duw." Y drychfeddwl yma, dybygem, oedd yn cael ei osod allan yn y ddau fŵch ar ŵyl y cymmod. Yr oedd y bŵch marw yn arddangos pechod wedi ei iawnyddu yn ei berthynas â dyn, a'r pechod hwnw yn ei berthynas â'r diafol, yn y wêdd yr oedd heb ei iawnyddu, yn cael ei osod ar y bŵch byw a'i anfon i'r diafol o'r fan y daeth, a'r hwn bellach yn unig a'i pïai.

Yr oedd cyrff y pech-aberth ar hyn wrth gwrs i gael eu llosgi yn ol y ddefod "tu allan i'r gwersyll." Yna yr oedd un bustach, un hwrdd, a saith o ŵyn blwyddiaid i gael eu hoffrymu yn boethoffrwm. Un yn llai na'r rhif cyflawn, mae yn debyg, i'r dyben o roddi arbenigrwydd ar y dydd, fel "dydd yr iawn," yn fwy na dydd y cysegriad.

Dymunem wrth derfynu gyda y gŵyliau, awgrymu i'r darllenydd eto, fel yr oeddynt gyda'u gilydd yn ffurfio y rhif *saith* o gymanfäoedd sanctaidd yn ystod y flwyddyn, sef, ar y pasc, dwy—y dydd cyntaf a'r olaf; ar y Pentecost, un; gŵyl yr udgyrn, un; gŵyl y cymmod, un; gŵyl y pebyll, dwy; yn gwneyd saith o gwbl yn nghorff y flwyddyn. Mor hynod y mae rhif y cyfammod wedi ei blethu â'r holl ddefodau!

---

# ADDYSGIAETH.

## II.

### Y GELFYDDYD O ADDYSGU.

Nid ydyw y byd eto, pan yn taflu golwg dros y gwahanol gelfyddydau sydd mewn bodolaeth, ond prin wedi dysgu cofio rhestru yn eu plith y gelfyddyd o addysgu. Yn ein hysgrif flaenorol ceisiasom roddi i'r darllenydd fath o gipdrem ar gynnydd graddol addysgiaeth o'r oesoedd boreuol hyd yn bresennol; ac wrth wneuthur hyny, yr oeddem yn amcanu rhoddi iddo ryw ddrychfeddwl am y dull y dadblygwyd y gelfyddyd o addysgu. Dangosasom iddo fod ysgolion i'w cael yn yr oesoedd cyntefig, lle y dysgid plant mewn darllen, ysgrifenu, &c., fel y dysgir y pynciau hyn yn ein hysgolion ni y dyddiau presennol; ond er hyny gellir dywedyd gyda llawer iawn o brïodoldeb mai yn ddiweddar iawn, mewn cymhariaeth, y darganfyddwyd y *gelfyddyd* o addysgu. Pa beth a wnaeth y Diwygiad Protestanaidd o blaid addysgiaeth? Nid dadblygu y gelfyddyd—yn uniongyrchol, beth bynag; ond yr effaith mwyaf arbenig a gafodd y Diwygiad ar addysgiaeth oedd dangos i'r byd mewn modd eglur a nerthol yr angenrheidrwydd cyffredinol am addysg.

Ychydig wedi amser Luther cawn fod Bacon, Locke, ac eraill, yn gwneyd eu rhan tuag at ddysgu y byd i ystyried y gwaith o addysgu fel celfyddyd; ac ymhen blynyddoedd lawer wedi eu hamser hwynt, cawn mai ar y gelfyddyd bron yn hollol y dylanwadodd ymdrechion egnïol Pestalozzi a Fellenberg o blaid addysg Ac wele, erbyn heddyw, y mae pethau wedi perffeithio gymaint, fel y buasid yn ystyried llawer o'r dulliau a fabwysiedid yn ei ysgol, gan hyd yn nôd yr enwog Pestalozzi ei hun, yn ei ymgais at gyflwyno addysg i'w ysgoleigion mewn daearyddiaeth, rhifyddiaeth, &c., fel yn hollol anghelfydd ac annheilwng o alwedigaeth ysgolfeistr; ac hefyd rhaid i ni addef mai *efe*, o bawb, a wnaeth y cam mwyaf pwysig ac effeithiol mewn perthynas i'r gelfyddyd o addysgu. Ar ol ei amser ef, dechreuodd y byd ymysgwyd ychydig, a pharotôi gogyfer a rhoddi sylw mwy arbenig i'r gelfyddyd o addysgu, nag ydoedd hyd hyny wedi ei roddi iddi; ac o'r diwedd, wele Lywodraeth ein gwlad ni yn dilyn esiampl rhai o Lywodraethau y Cyfandir, ac yn agor ei llygaid ar y ffaith fod y fath beth a chelfyddyd o addysgu mewn bodolaeth. Erbyn hyn y maent fel pe am ei hystyried yn llawn mor bwysig â'r un o'r celfyddydau eraill; ac y maent yn gwneuthur bron gymaint a allasem ddysgwyl iddynt wneyd, fe allai, er ei chodi i fri a pharch yn ein plith. Cynnorthwyant ein hysgolion dyddiol yn arianol ar y telerau fod i'r ysgolion cynnorthwyedig feddu ar athrawon trwyddedig, neu, mewn geiriau eraill, ar athrawon sydd wedi rhoddi prawf boddhäol i'r Llywodraeth eu bod wedi meistroli y gelfyddyd o addysgu yn lled drwyadl, a'u bod hefyd wedi cyraedd safon neillduol mewn ysgolheigdod. Heb fanylu ar y gwahanol a'r amrywiol foddion a ddefnyddir gan y Llywodraeth tuag at sicrhâu fod y trwyddedau hyn yn cael eu hennill yn dêg ac heb dwyll, a thuag at gael cyflawniad perffaith o'r rheolau a'r cyfreithiau hyny a ystyrir ganddynt fel yn perthyn yn fwyaf neillduol i'n hysgolion elfenol, awn ymlaen yn bresennol at y gelfyddyd o addysgu, gan alw sylw y darllenydd at y modd y mae yn cael ei dadblygu a'i defnyddio yn ysgolion elfenol dyddiol ein gwlad.

Deued y darllenydd gyda ni am ychydig i Ysgol Frytanaidd, dywedwn, ac edryched o'i amgylch, fel y gwelo sut y mae pethau yn cael eu dwyn ymlaen yno. Y mae y plant i gyd i fewn; y mae athraw i bob dosbarth, ac un prif athraw dros y cwbl i gyd. Rhyfedd y fath ddystawrwydd sydd yn bodoli o fewn y lle! Dystawrwydd! Ië; ond, cofier, nid y dystawrwydd hwnw a fuasai yma pe buasai y plant, wedi dyfod i'r ysgol, yn gorfod dal eu hanadl mewn dychryn rhag meistr calongaled a chreulawn. Dystawrwydd fyddai yn yr ysgol mewn amgylchiad o'r fath hyny, mae'n wir; ond y mae y gair dystawrwydd ag ystyr gwahanol iawn i'r ystyr hwn iddo gan yr ysgolfeistr. Pan y bydd pob un o'r ysgolorion â'i holl feddwl ar ei waith, a dim ond sŵn a sibrwd soniarus gweithio egnïol yn y lle, y mae yno *ddystawrwydd dwfn* i'r ysgolfeistr. Er nas gallwn yn hawdd ddywedyd fod y sibrwd hwn yn anhebgorol angenrheidiol mewn ysgol, eto rhaid dyweyd nad oes modd dwyn ysgol ymlaen yn llwyddiannus iawn hebddo; ac hefyd os bydd yno rywbeth mwy na sŵn gweithio, rhywbeth mwy na sibrwd, i'w glywed, bydd yno waith yn cael ei wneyd yn ofer, a diffyg yn rhywle. Dymunem i'r darllenydd gofio ein bod yn siarad yn awr am ysgol elfenol sydd yn

meddu ar athraw i bob dosbarth, a'r prif-athraw â'i ddwylaw yn rhyddion i arolygu yr oll yn effeithiol. Y mae y rhan fwyaf o ysgolion elfenol Cymru *heb* feddu nifer digonol o athrawon, a'r canlyniad yw, fod rhywbeth tra gwahanol i ddystawrwydd, ymhob ystyr o'r gair, yn aml yn teyrnasu mewn llawer o honynt; ac, yn wir, nid ydyw hyn yn beth i achosi syndod i neb; ond y rhyfeddod yw, fod ein hysgolion dyddiol, yr ysgolion Brytanaidd a Gwladwriaethol sydd yn ein gwlad, dan yr amgylchiadau, yn cael eu dwyn ymlaen mor lwyddiannus ac effeithiol. Yn ol y *Code* newydd, y mae yn ymddangos fod y llywodraeth yn ystyried y dylai un athraw trwyddedig fod yn alluog i gadw mewn trefn, dysgu yn foddhäol, ac arfer dylanwad effeithiol ar 90 o blant, ar gyfartaledd, yr hyn sydd gystal a dysgwyl i *un* dyn gadw mewn trefn a dysgyblu yn effeithiol gymaint a 100 neu 120 o ysgoleigion yn aml! Os bydd nifer yr ysgolorion ar gyfartaledd yn gorwedd rhwng 90 a 130, ystyrir na fydd eisieu ar eu cyfer fwy nag un athraw yn ychwanegol at y prif-athraw; a phan y bydd y plant yn rhifo ar gyfartaledd rhwng 130 a 170, dim ond dau îs athraw a ystyrir gan y llywodraeth yn angenrheidiol er dwyn yr ysgol ymlaen yn llwyddiannus. Yn wyneb y ffeithiau hyn, nid gormod yn ddïau fyddai dyweyd fod y llywodraeth yn dysgwyl ar law yr ysgolfeistr fwy nag a ddylai; er cymaint yw y cynnydd sydd erbyn hyn wedi ei wneyd yn y gelfyddyd o addysgu, y mae yn sicr genym y bydd i bob un sydd yn gwybod rhywbeth am ysgolion ac ysgolfeistri, gyttuno â ni pan y dywedwn fod telerau y llywodraeth ar hyn yn galed ac afresymol. Pe byddai i gant neu ychwaneg o blant mewn ysgol fod i gyd o'r un gallu i ddysgu, ac yn ymwneyd â'r un gwersi, byddai yn hawdd ddigon i un athraw trwyddedig eu dysgyblu a'u hyfforddi yn foddhäol; ond pan y mae plant ein hysgolion elfenol, a siarad yn gyffredinol, yn derbyn addysg mewn chwech, neu ragor, o safonau, a phob safon, yn gyffredin, yn gyfystyr â dosbarth, y mae ymhob ysgol elfenol gymaint a chwech o wahanol ddosbarthiadau, y rhai a ddylent fod, bob un, dan arolygiaeth îs-athraw, neu *pupil teacher*, cyn byth y deuai yr ysgol i hawlio rhagoriaeth fel y cyfryw. Gymaint a hynyna yn eglurhäol.

Er mwyn cael golwg iawn ar yr ysgol, ni a roddwn ger bron gynllun o Daflen Amser. Y mae y daflen fel y gwelir, yn dangos yr *amser* y mae pob dosbarth yn yr ysgol yn ei roddi i'r amrywiol bethau a ddysgir ganddynt yn ystod y dydd, y *drefn* ymha un y mae y pethau hyny yn dilyn eu gilydd, y *man neillduol* yn yr ysgol y bydd pob dosbarth ynddo pan wrth eu gwahanol orchwylion, yngbydag amryw gofnodion dyddorol eraill. Yn ol y daflen y bydd yr ysgolfeistr yn gweithio bob amser; ni fydd byth braidd yn dilyn cyfeiriad gwahanol i'r hwn a osodir i lawr arni iddo i'w ddilyn. Na, y mae yr athraw celfyddgar a thrwyadl wedi bod, yn ddiammheu, yn hir iawn yn cynllunio ei daflen, wedi gorfod gwneyd a dadwneyd llawer iawn mewn perthynas iddi, ac wedi gorfod rhoddi prawf ar ol prawf i lïaws mawr o ddyfeisiadau, cyn y gallodd benderfynu ar y modd y llanwai y gwahanol golofnau ynddi; ond, unwaith y gorphenodd hi, ac y gosododd hi wedi ei hysgrifenu mewn llythyrenau breision ar y mûr, yn amlwg i'r holl ysgol, y mae, ar bob achlysur, cȧn belled ag y bydd modd, yn ei dilyn i'r lythyren yn nygiad ymlaen ei ysgol.

Ysgol Frytanaidd———, 1870.
Rhif yr Ysgol ar gyfartaledd, 180.

# TAFLEN AMSER.

Athrawon { Prif-athraw, Is-athraw, Tri Egwyddorwas, Tri Athraw Cynnorthwyol.

BORE. — PRYDNAWN.

| Y diwrnod. | 9—9.15 | Safon. | 9.15—9.55. | 9.55—10 | 10—10.45. | 10.45—11 | 11—11.50. | 11.50—12 | 2—2.45. | 2.30 | 2.45—3.30. | 3.30—3.53 | 3.35—4.20. | 4.20—4.30 |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Dydd Llun. | Darllen, Canu a Gweddïo. | vi. vii. | Ysgrifenu | Galw yr enwau. | Darllen | Yn y chwareule. | Rhifyddiaeth | Ysgrifenu nodau i'w hanfon at rieni yr absennolion. Cânu, &c. | Rhifyddiaeth | Galw yr enwau. | Daearyddiaeth | Yn y chwareule. | *Dictation* | Ysgrifenu nodau yr absennolion. Rhoddi gwersi cartref i'r gwahanol ddosbarthiadau. Canu, &c. |
| | | v. | " | | Daearyddiaeth | | " | | " | | Darllen | | " | |
| | | iv. | " | | " | | " | | " | | " | | " | |
| | | iii. | Darllen | | Ysgrifenu | | " | | Darllen | | *Dictation* | | Rhifyddiaeth | |
| | | ii. | " | | " | | " | | " | | Ysgrifenu | | " | |
| | | i. | Rhifyddiaeth | | " | | Darllen | | Rhifyddiaeth | | " | | Darllen | |
| | | Bab'd. | " | | " | | " | | " | | *Object Lesson* | | " | |
| Dydd Mawrth. | | vi. vii. | Ysgrifenu | | Darllen | | Rhifyddiaeth | | Rhifyddiaeth | | Hanesyddiaeth | | *Dictation* | |
| | | v. | " | | Daearyddiaeth | | " | | " | | Darllen | | " | |
| | | iv. | " | | " | | " | | " | | *Gallery Lesson* | | " | |
| | | iii. | Darllen | | Ysgrifenu | | " | | *Gallery Lesson* | | *Dictation* | | Rhifyddiaeth | |
| | | ii. | " | | " | | " | | Darllen | | Ysgrifenu | | " | |
| | | i. | Rhifyddiaeth | | " | | Darllen | | Rhifyddiaeth | | " | | Darllen | |
| | | Bab'd. | " | | " | | " | | " | | " | | " | |
| Dydd Mercher. | | vi. vii. | Ysgrifenu | | Darllen | | Rhifyddiaeth | | Rhifyddiaeth | | Gramadeg | | Cyfansoddi | |
| | | v. | " | | Gramadeg | | " | | " | | Darllen | | " | |
| | | iv. | " | | " | | " | | " | | " | | " | |
| | | iii. | Darllen | | Ysgrifenu | | " | | Darllen | | *Dictation Lesson* | | Rhifyddiaeth | |
| | | ii. | " | | " | | " | | " | | Ysgrifenu | | " | |
| | | i. | Rhifyddiaeth | | " | | Darllen | | Rhifyddiaeth | | " | | Darllen | |
| | | Bab'd | " | | " | | " | | " | | *Object Lesson* | | " | |
| Dydd Iau. | | vi. vii. | Ysgrifenu | | Darllen | | Rhifyddiaeth | | Rhifyddiaeth | | Daearyddiaeth | | *Gallery Lesson* | |
| | | v. | " | | " | | " | | " | | Darllen | | *Dictation* | |
| | | iv. | " | | " | | " | | " | | " | | " | |
| | | iii. | Darllen | | Ysgrifenu | | " | | Darllen | | *Dictation* | | Rhifyddiaeth | |
| | | ii. | " | | " | | " | | *Gallery Lesson* | | Ysgrifenu | | " | |
| | | i. | Rhifyddiaeth | | " | | Darllen | | Rhifyddiaeth | | *Gallery Lesson* | | Darllen | |
| | | Bab'd. | " | | " | | " | | " | | " | | " | |
| Dydd Gwener. | | vi. vii. | Ysgrifenu | | Darllen | | Rhifyddiaeth | | Arholiad mewn Rhifyddiaeth a Sillebiaeth. | | Arlunio | | Arlunio | |
| | | v. | " | | " | | " | | | | | | | |
| | | iv. | " | | " | | " | | | | | | | |
| | | iii. | Darllen | | Ysgrifenu | | " | | | | | | | |
| | | ii. | " | | " | | " | | | | | | | |
| | | i. | Rhifyddiaeth | | " | | Darllen | | Arhol mewn Rhifyddiaeth | | Arholiad mewn Ysgrifenu. | | Arholiadmewn Darllen. | |
| | | Bab'd. | " | | " | | " | | | | | | | |

Yn ol y daflen o'n blaen, ymddengys mai am bum' mynyd i ddeg y mae y "newid" cyntaf i gymeryd lle. Wele'r amser wedi dyfod i fyny, a phob dosbarth i'r eiliad bron yn barod, ac yn dysgwyl am yr awgrym oddiwrth y prif-athraw i symud i'w lleoedd newyddion i astudio pethau eraill. Cyn y bydd iddynt ddechreu symud, yn unol âg awgrymiadau yr athraw, y mae y plant yn myned trwy ryw nifer o symudiadau corfforol gyda'r fath gywirdeb a manylrwydd, a chyda'r fath fywiogrwydd, nes y mae pawb o honynt i'w gweled yn cael eu sirioli drwyddynt, a dyma'r ysgol yn barod i gânu. Gwaith tra dyddorol yw cânu ar bob adeg, ond rhaid dyweyd na fyddwn byth yn mwynhâu cânu gymaint ar unrhyw achlysur, na than unrhyw amgylchiad, a phan y cawn ef mewn ysgol o gant a hanner, neu fwy, o blant serchog a bywiog dan ddysgyblaeth dda. *Hon* yw yr adeg pan y bydd cânu yn felus a dyddorol, a gwnelai les i galonau llawer pe byddai iddynt yn awr ac eilwaith droi i mewn i ysgol elfenol dda a ddygwyddo fod o fewn eu cyraedd, i wrando ar y plant yno yn myned dros rai o'u caneuon melus a chalon-gynhyrfiol. Yn gyffredin bydd gan y prif-athraw naill ai cloch fechan, neu chwibanogl, i rybuddio y dosbarthiadau ei bod yn amser iddynt newid eu gwaith a'u lleoedd; ond yma nid oedd na chwibanogl na chloch i alw am ddystawrwydd, na neb yn siarad gair ond y prif-athraw ei hun, nac yntau fwy na rhyw hanner dwsin o eiriau yn ystod yr ychydig fynydau y buwyd yn newid; ac yn unol â'r daflen, erbyn deg o'r gloch, wele bawb wrth eu gorchwylion eto, a dyma y sibrwd gweithio tawel a soniarus i'w glywed drachefn yn llanw y lle

Pa beth sydd i benderfynu y *drefn* yn yr hon y mae yr amrywiol bynciau a astudir gan y plant i gael eu dwyn ger eu bron? Gofyniad digon têg a naturiol, a theilynga gryn sylw oddiar law pawb sydd yn ymwneyd mewn unrhyw fodd âg addysgu. Pe na buasai un reol o fath yn y byd yn bod i'r athraw ei dilyn pan yn ceisio penderfynu y drefn yn ol pa un y mae y gwersi i ganlyn eu gilydd yn y gwahanol ddosbarthiadau, un o'r pethau hawddaf a ellid ei ddychymygu, ymron, fyddai cynllunio taflen amser. Ond y *mae* rheol neu reolau yn bod, ac nid gorchwyl hawdd iawn yw tynu allan daflen amser dda. Yn y lle cyntaf y mae y gwersi i ddilyn eu gilydd yn y fath fodd fel ag y byddo un yn gynnorthwy i'r llall. Y mae y pwnc a ddysgir yn ystod yr ail *newid* i fod mor wahanol ag y mae yn bosibl iddo fod, i'r pwnc yr ymdriniwyd âg ef yn y *newid* cyntaf. Y mae yr athraw deallus yn osgoi, os bydd modd, rhoddi gwers i ddosbarth mewn daearyddiaeth yn union ar ol iddynt dderbyn gwers ganddo mewn hanesiaeth; y mae y ddau bwnc yn rhy debyg i'w gilydd i ganiatâu iddynt yn union ganlyn eu gilydd. Anmhriodol iawn hefyd fyddai gosod dosbarth i dderbyn gwers mewn arlunio, a'r wers flaenorol yn dygwydd bod mewn ysgrifenu. Yr un cynneddfau, yr un galluoedd, a ddefnyddir yn meistroliad y gelfyddyd o ysgrifenu ac o arlunio; felly ni fyddai astudio yr olaf yn ddilynol i'r gyntaf, neu y cyntaf yn ddilynol i'r olaf, yn ddigon adloniadol i'r plant, ac o ganlyniad ni fyddai y pynciau yn y drefn yma yn gynnorthwyol i'w gilydd. Yn y lle nesaf bydd yr athraw, pan yn cynllunio ei daflen, yn cymeryd ystyriaeth o'r ffaith fod rhai o'r plant sydd dan ei ofal, o angenrheidrwydd, yn ddiweddar yn dyfod i'r ysgol y bore a'r prydnawn. Nid oes perffeithrwydd wedi ei gyraedd eto mewn cysylltiad â'r un gelfyddyd;

y mae y gelfyddyd o addysgu, fel pob celfyddyd arall, ymhell o fod yn berffaith, ac o ganlyniad fe geir bob amser, yn ein hysgolion goreu, ryw nifer o ysgolorion yn methu cyraedd drŵs yr ysgol yn brydlawn. Ac wedi y daw y plant i'r ysgol, yn y prydnawn yn enwedig, y mae y rhai mwyaf bywiog o honynt, yn wir bawb o honynt fel eu gilydd, yn cymeryd peth amser i agor eu llygaid yn iawn ar eu gwaith; felly yr ydym yn cael fod yr awr, neu y *newid* cyntaf yn gyffredin mewn ysgolion elfenol yn llai pwysig a gwerthfawr yn ngolwg yr athraw na'r ail, neu yr olaf. Yr ail awr yw y bwysicaf gan yr athraw, oblegid wedi y cyrhaeddir hono bydd cyneddfau yr ysgoleigion ar eu llawn waith, a chan y bydd pob aelod perthynol i'r gwahanol ddosbarthiadau yn dra sicr o fod yn bresennol pan y daw yr amser i ddechreu ar waith yr ail newid, ac felly yn medru dechreu gyda'u gwaith bawb yr un adeg. Mor bell ag y byddo modd, gosodir y dosbarthiadau oll yn ystod yr awr hon i ddysgu y pwnc hwnw y byddont fwyaf ar ol ynddo. Y mae y dosbarth yma yn *darllen* a *sillebu* yr ail awr, tra mai *ysgrifenu* yr ydoedd yn ystod yr awr gyntaf, a'r awr olaf yr ydym yn sicr o'i gael yn astudio *rhifyddiaeth.* Wel, beth am hyny? Hyn: nid ydyw ysgrifenu mor bwysig yn nghyfrif y Llywodraeth, na mor anhawdd ei feistroli gan y plant ychwaith, ag ydyw darllen a sillebu; ac heblaw hyn, fel y dygwydda yn aml yn ysgolion Cymru, fe allai y bydd rhifyddiaeth, yr hyn sydd o gymaint pwys yn ngolwg y Llywodraeth a phawb, yn fwy angenrheidiol ac yn fwy anhawdd ei ddysgu nag ysgrifenu ar un llaw, ond ar y llaw arall yn hawddach o lawer na darllen a sillebu; o ganlyniad ynte, bydd y dosbarthiadau hyny sydd i fyned dan arholiad manwl mewn darllen, sillebu, a rhifyddiaeth, yn adeg ymweliad blynyddol Arolygydd ei Mawrhydi, yn dysgu y cyntaf yn yr *ail* newid, ac yn astudio rhifyddiaeth yn y newid olaf. Eto, tra yn sylwi yn fanwl ar yr hyn sydd wedi ei grybwyll eisoes genym yn y cysylltiad hwn, bydd yr athraw hefyd yn amcanu cael cynifer ag a fyddo yn bosibl o ddosbarthiadau ei ysgol i gymeryd rhifyddiaeth i gyd yr un adeg. Mae rhifyddiaeth yn gofyn mwy o ddystawrwydd i'w astudio yn llwyddiannus na'r un o'r pynciau eraill, ac o herwydd hyny amcana yr athraw, pan yn cynllunio ei daflen amser, tra y bydd y rhan fwyaf o'r dosbarthiadau, dywedwn, yn ymwneyd â rhifyddiaeth, i gael y dosbarthiadau eraill i fod yn ymwneyd â'r pwnc neu y wers fydd yn achosi lleiaf o gynhwrf a thwrw yn ei dygiad ymlaen. Yn olaf oll, pan yn trefnu y daflen, y mae yn ofynol ystyried yr oed y bydd plant yr ardal ymha un y dygwydda yr ysgol fod yn arfer gadael yr ysgol ac yn dechreu gweithio. Os bydd yr ysgolorion, a siarad yn gyffredinol, yn aros yn yr ysgol hyd y cyrhaeddont bymtheg neu un ar bymtheg oed, bydd lle mawr yn cael ei roddi yn y daflen i'r pynciau hyny a ystyrir fel yn ail mewn pwysigrwydd i'r darllen, ysgrifenu, a rhifyddiaeth, megys daearyddiaeth, hanesiaeth, a gramadeg, y rhai nas gorfodir eu dysgu gan y Llywodraeth yn ein hysgolion elfenol, a'r rhai hefyd, am fod tâl ychwanegol i'w gael am eu dysgu yn llwyddiannus, yn unol a thelerau tra chyfyng, a elwir yn gyffredin y dyddiau hyn yn "bynciau ychwanegol." Ar y llaw arall, os bydd y plant yn arfer ymadael o'r ysgol pan y byddont mewn cymhariaeth yn bur ieuainc, fel y ceir hwynt bron yn ddieithriad yn gwneyd mewn ardaloedd masnachol poblogaidd, lle y mae cymaint o gyfleusderau i blant ennill eu

bywioliaeth drwy wneyd ychydig o waith, ni fydd ond ychydig o sylw yn cael ei dalu gan yr athraw i'r pynciau ychwanegol hyn, ac felly ni fyddant yn dal lle pwysig iawn yn y daflen amser; oblegid ni fydd yn bosibl dysgu plant mor ieuainc a deg oed, dyweder, yn y pynciau yma gydag un math o drefn a llwyddiant, am mai digon prin fydd eu hamser hwy, ac iddynt wneyd y goreu o hóno, i feistroli y tri pheth angenrheidiol. At y tri pheth hyn ynte y bydd agos i'r oll o'u hamser yn cael ei roddi, ac ymdrechir eu gwneyd yn ddigon perffaith ynddynt i dderbyn mantais a lles oddiwrthynt yn ol llaw. Braidd na feddyliem y cymer cyfnewidiad le yn fuan yn ein hysgolion o berthynas i'r mater hwn; ac erbyn hyn yr ydym yn cwbl gredu y byddai agwedd arall hollol ar ein gwlad pe deuai y llywodraeth yn wrol i'r maes, a gorfodi rhïeni plant i'w hanfon i'r ysgol yn fwy cyson nag y danfonir hwynt yn bresennol, a hyrwyddo y ffordd iddynt eu gadael yno nes y cyrhaeddont oedran addas, ac hyd nes y delont i feddiant o wybodaeth led gyffredinol o hanesiaeth, daearyddiaeth, a gramadeg, yn ychwanegol at eu medr mewn darllen, ysgrifenu, a rhifyddiaeth.

Dyma unwaith eto ddystawrwydd dwfn yn yr ysgol; dim sibrwd gweithio yn awr; neb yn siarad; neb yn symud na throed na llaw; yr athrawon oll fel y plant yn ddystaw: chwarter i un ar ddeg medd y daflen, chwarter i un ar ddeg medd yr awrlais. Ni ddefnyddiwyd y tro hwn eto yr un chwibanogl na'r un gloch i alw am ddystawrwydd, ond gofalodd pob athraw gael ei ddosbarth ei hun yn barod i'r eiliad erbyn yr amser penodedig. Yn unol âg awgrymiadau oddiwrth y prif-athraw, wele bob dosbarth, un ar ol y llall, yn arwain tua'r chwareule yn y modd mwyaf trefnus. Ac yna y fath chwareu! Ymhen deng mynyd bydd y chwareu drosodd, a bydd y plant wedi gosod eu hunain yn rhengoedd, un dosbarth yn gwneyd i fyny un rheng, dywedwn. Wedi iddynt gânu un o'u tônau mwyaf bywiog, ânt unwaith neu ddwy drwy eu *drill*, ac yna cychwynant tua'r ysgol i fod yn barod i ddechreu ar waith y *newid* olaf yn union am un ar ddeg. Wedi y daw yr holl ddosbarthiadau i'w lleoedd prïodol, angenrheidiol fydd myned â hwynt drwy y *drill* eto unwaith o leiaf, cyn rhoddi caniatâd iddynt i ail ymaflyd yn eu gwaith. Y mae y chwarter awr chwareu wedi newid gwêdd eu hwynebpryd yn hollol, ac wedi eu hadfywio drwyddynt. Y maent oll yn ymddangos fel pe yn llawn brwdfrydedd, a bydd pum' mynyd yn aml yn ddigon prin iddynt fyned drwy eu symudiadau fel ag i ddyfod yn ymwybodol o'r ffaith eu bod unwaith eto mewn lle i weithio, a than reol a dysgyblaeth. Sylwch, mor gyflym a chywir y mae hyd yn nôd y lleiaf o'r plant yma yn ufuddhâu i orchymyn y meistr! Dyma ddau gant o blant yn curo eu dwylaw megys un dyn! Edrychwch arnynt yn codi eu dwylaw, yn eu gostwng, yn gosod eu breichiau ymhleth, &c. Hynod mor berffaith y mae pob un o honynt yn myned drwy y gorchwyl! Nid oes un ymdrech yn cael ei wneyd gan y prif-athraw, ac nid yw yr ís-athrawon ychwaith, sydd yn sefyll o flaen y gwahanol ddosbarthiadau, yn ymddangos fel pe yn dylanwadu y gronyn lleiaf ar y plant yr adeg hon, ac eto, y mae yma berffeithrwydd peiriannol ymron yn cael ei arddangos ganddynt yn yr oll o'r symudiadau hyn. Nid ydyw yr ysgolorion ychwaith, pan yn ufuddhâu mor fanwl, mor foddhäol, a chyda'r fath sirioldeb, yn ymddangos mewn modd yn y byd fel pe yn cael eu rheoli

gan ofn gwasaidd ac annheilwng. Na, nid oes gan yr athraw, pan yn rhoddi ei orchymyn allan, yr un wïalen yn ei law i'w dal o flaen llygaid y plant, neu i'w chwifio yn fygythiol uwch eu penau; ac mewn un ystyr, fe allai nad oes yn yr ysgol i gyd ond pur ychydig o blant yn rhoddi ufudd-dod ac yn talu gwarogaeth iddo oddiar ei ofn. Y mae yn yr ysgol wïalen at weinyddu cosbedigaeth gorfforol, mae'n ddiammheu genym, ond nid hi sydd yn llywodraethu holl symudiadau yr ysgolorion, oblegid mae yr athraw drwy lawer o ymdrech, ni dybiem, wedi llwyddo i ennyn yn eu mynwesau awydd i ufuddhâu i'w orchymynion ac i gydymffurfio â rheolau yr ysgol, nid yn unig am eu bod yn gwybod mai cosb o ryw fath neu gilydd fydd yn sicr o ddeilliaw o droseddu yr un o honynt, ond hefyd am eu bod yn gweled mai eu dyledswydd fel plant da, ac ysgolorion teilwng, ydyw ufuddhâu yn y modd llwyraf i archiadau eu hathraw neu eu hathrawon. Wrth reswm y mae yr athraw o'r dydd cyntaf y daeth i gyffyrddiad â'i ysgoleigion hyd y dydd heddyw wedi gofalu am achub pob cyfleusdra i ddangos iddynt ei fod yn meddu ar ddigon o benderfyniad meddwl i ddwyn ymlaen ei holl fwriadau, ac i gyraedd ei holl amcanion; ac erbyn hyn y mae'r plant wedi hên ddysgu edrych arno fel un a fŷn yr ufudd-dod mwyaf manwl oddiar law pob un o honynt, doed a ddelo. Rhydd Mr. Abbott, yr Americanwr enwog, yr olwg yma ar hyn:—"Sylwer ar y llywodraeth yn gwneuthur miloedd lawer bob blwyddyn o arfau rhyfel at ei gwasanaeth. Y mae pob arf fel y daw allan o'r gweithdŷ yn cael ei brofi yn y modd manylaf gan berson neu bersonau wedi eu cyfaddasu at y gwaith, ac os bydd yr arf yn berffaith, gosodir ef yn ofalus gyda'r llïaws eraill yn yr ystordŷ i huno am byth, fe allai. Can' mil o fagnelau! Y fath nerth dinystriol sydd yn rhaid fod mewn cynifer o arfau o'r fath yma! Er mai tra anaml y bydd cyfleusdra yn cael ei roddi i'r llywodraeth i amlygu maint y *gallu* hwn i'r byd, eto y mae pob un o ddeiliaid y llywodraeth yn ymddangos yn ymddwyn ar bob achlysur fel pe yn berffaith ymwybodol o'i fodolaeth. Wele swyddog y llywodraeth yn cyfarfod y masnachwr ar yr heol, ac yn gofyn iddo dalu y swm neillduol hwnw sydd gyferbyn ei enw yn llyfr y swyddog. Hynod mor foesgar a dirodres y mae y dyn! Nid oes i'w ganlyn yr un fagnel, ac nid oes ganddo na chleddyf na llawddryll. Beth, a fedd y swyddog hwn lawer o awdurdod? Gommedded y dyn dalu ei gyfran, ac yn ebrwydd ceir gweled a oes iddo awdurdod ai peidio. Os gwrthoda dalu ei ran, gosodir ger ei fron fagnel ar ol magnel, a chleddyf ar ol cleddyf, hyd nes y bydd yr holl filoedd o arfau rhyfel ger ei fron yn siarad yn eglur iddo ef yn gystal ag i bawb arall, faint y gallu sydd y tu cefn i'r swyddog moesgar a siriol." Fel hyn yn union y mae gyda'r athraw celfyddgar. Tra y mae y rhan fwyaf o'i ysgoleigion yn ufuddhâu iddo yn benaf oddiar eu hymwybyddiaeth o brïodoldeb y peth, y maent un ac oll ar bob adeg yn dal i gofio pe meiddient anufuddhâu i'w orchymynion, fod yna ddigon o allu yn meddiant yr athraw serchog a thyner i *fŷnu* yr ufudd-dod mwyaf parod a llwyr oddiar eu dwylaw. Nid dyn ffwdanus ydyw yr athraw, yn gwibio byth a hefyd yn awdurdodol a thrystfawr o un man i'r llall: nid oes dim yn ei ymddangosiad a'n harweinia i'r dybiaeth ei fod yn wahanol o ran ei dymher i'r cyffredin o ddynolryw; nid oes ynddo ychwaith ond ychydig neu ddim o'r gormeswr caled. Na, y mae'n dra

thebyg ei fod yn llawn hynawsedd a thynerwch; ac èto i gyd y mae yna rywbeth yn edrychiad ei lygaid, ynghyda'r dull y mae wedi dysgu symud ei fraich a'i law, yn profi yn ddiymwad ei fod yn meddu ar feddwl penderfynol; ac y mae symudiadau bywiog y plant hefyd yn dangos yn eglur eu bod oll wedi dyfod i ddeall hyny i berffeithrwydd.

Bydd y "newid" olaf drosodd ychydig o fynydau cyn hanner dydd. Wele yr holl ddosbarthiadau ar eu traed; ac heb un math o drafferth a ffwdan rhagbarotöawl, dyma'r dôn ymadawol yn cael ei chânu. Y cânu drosodd, dyma'r dosbarthiadau yn symud un ar ol y llall yn y modd mwyaf trefnus a rheolaidd tua'r drŵs, a phob un o'r plant yn troi ar ei ffordd i wneyd y cyfarchiad arferol i'r athraw a'r dyeithriaid. Os bu i chwi sylwi, y mae yr athraw yr un, pan yn gollwng y plant adref ganol dydd, ag ydoedd pan yn eu derbyn i'r ysgol yn y bore. Y mae yn gofalu na fydd i'w ddysgyblaeth lacio y mymryn lleiaf ar unrhyw achlysur. Y mae bob amser ar ei wyliadwriaeth rhag rhoddi esgusawd dros dòri yr un o ddeddfau yr ysgol. Y mae mor fanwl gyda dysgyblaeth yr ysgol, fel y mae yn hawlio parch arbenig oddiar ddwylaw y plant at hyd yn nôd yr adeilad ei hun. Ar achlysuron neillduol, angenrheidiol yn aml fydd caniatâu i rai o'r ysgolorion fod i mewn yn yr ysgol ychydig o amser o flaen neu ar ol oriau arferol yr ysgol; ond ar adegau felly y mae yr athraw yn dra sicr o ofalu am osod rhywun yn yr ysgol gyda hwynt i'w gwylied rhag iddynt anghofio eu hunain gymaint nes llwyr ddinystrio y syniad a arferant goledd ynghylch cysegredigrwydd yr adeilad, drwy ei gwneyd am y pryd yn fath o chwareule, a chario ymlaen ynddi rai o'u campau direidus. Mae mwy yn hyn nag y mae llawer yn ei feddwl.

Yn y prydnawn dilynir cwrs cyffelyb i'r hyn a ddilynwyd yn y bore; ac ar hyd y flwyddyn, rhywbeth yn debyg i hyn y dygir ymlaen y mwyafrif mawr o ysgolion elfenol dyddiol ein gwlad.

Gan gofio fod yr athraw celfyddgar o angenrheidrwydd yn deall yn y modd mwyaf perffaith y ffordd i gadw trefn a dysgyblaeth yn ei ysgol, dylem hefyd feddwl fod rhywbeth mwy na hyn yn ofynol ynddo er ei wneyd yn ysgolfeistr llwyddiannus, yn enwedig yn y dyddiau hyn, pan y mae cymaint o sylw yn cael ei dalu i arholiadau, a phan y mae y Llywodraeth yn gwneyd y cynnorthwy arianol y maent yn ei estyn yn flynyddol i'n hysgolion dyddiol i gyfateb i'r gradd o lwyddiant y mae yr ysgol yn ei ddangos yn yr arholiad blynyddol. Y mae yr athraw, uwchlaw pob peth, i feddu medr neillduol i gyflwyno addysg, ac y mae y gallu hwnw y mae yn ei feddu i gadw dysgyblaeth a threfn yn ei ysgol, yn cael ei ystyried fel peth angenrheidiol er gwneyd ei allu i gyflwyno addysg neu wybodaeth yn fwy effeithiol. Y mae pob athraw trwyddedig y dyddiau hyn, o angenrheidrwydd, wedi astudio yn fanwl iawn y gwahanol ddulliau o addysgu a bleidir gan brif awdurdodau addysgawl ein gwlad, o ganlyniad ni fydd ond pur ychydig o'r sylwadau a wneir genym yn y fan hon ar y dull o ddysgu plant mewn *darllen* yn newydd i braidd neb o honynt. Os bydd rhai o'r manylion yn ddyeithr i rai o honynt, yr ydym yn sicr braidd y bydd iddynt oll weled yr egwyddorion sydd wrth wraidd y dulliau a osodir i lawr ac a gymeradwyir genym isod, ac y bydd iddynt gydweled â ni pan yn rhoddi iddynt y blaen mewn gwerth a phwysigrwydd ar bob egwyddorion eraill.

Buasai yn dda genym gael sylwi ychydig ar y dulliau goreu o ddwyn plant i fyny mewn gwybodaeth o'r oll o'r pynciau a grybwyllir yn y daflen amser, ond ni chaniatâ ein gofod i ni wneyd dim o'r fath beth. Rhaid yw myned heibio y rhan fwyaf o honynt yn bresennol. Yn y lle cyntaf, ynte, gosodwn yn y fan yma ddesgrifiad bŷr o'r drefn a gymeradwyir yn gyffredin gan athrawon ein gwlad, o ddysgu plant mewn

DARLLEN.

Ni a gymerwn yn ganiatäol fod yr ysgolor ieuanc heb fedru cymaint ag un o lythyrenau y wyddor. Y cam cyntaf ynte fydd dysgu iddo enwau dwy neu dair o'r llythyrenau hawddaf eu cofio, a chyda llaw hefyd y mae yn dygwydd, fel y gŵyr pawb o honom, mai y rhai hawddaf eu cofio o'r holl lythyrenau yw y rhai pwysicaf, a'r rhai a ddefnyddir genym amlaf, megys yr *a*, *o*, *s*, *m*, *i*, &c. Gellir dysgu y rhai hyn ac eraill fe allai gyda nhw mewn gwers neu ddwy gan hyd yn nôd y plentyn mwyaf distadl ei amgyffrediad, a'r eiddilaf ei allu. Yna, gan beidio hawlio pwy neillduol i'r ffaith ei fod heb feistroli yr oll o lythyrenau y wyddor, arweinir ef at frawddegau bŷrion a syml wedi eu cyfansoddi yn hollol o'r llythyrenau hyn. Yn y modd yma deffröir chwilfrydedd y plentyn, ac wele ef yn cychwyn yn hynod o galonog gyda'r gwaith o *ddarllen*. Rhydd y gwaith ddyddordeb anarferol iddo, ac ymhen ychydig o amser bydd yn medru gwneyd allan frawddegau fel y canlynol gyda'r hwylusdod mwyaf:—*A mi a mam; mam a mi; os mi a mam, mam a mi*, &c. Wrth ymlwybro ymlaen, dygir yn raddol ger ei fron lythyrenau newyddion, nes cyn pen hir y bydd iddo ddyfod, heb yn wybod iddo ei hun ymron, i fedru y wyddor i gyd.

Pan yn arwain y plant at wers newydd, fe ddichon mai y dull goreu i'w fabwysiadu wrth ddysgu iddynt y llythyrenau newyddion fyddai, i'r athraw ddarllen yn uchel y wers i gyd, frawddeg ar ol brawddeg, ac i'r dosbarth ei ddilyn gam a cham. Gwneir y plant fel hyn yn gyfarwydd a sŵn y gwahanol eiriau newyddion ynghyda'u hymddangosiad, a'r gallu swniol sydd gan bob llythyren yn y geiriau hyn. Ar y cyntaf bydd y rhan fwyaf o'r plant heb ddeall ond y nesaf peth i ddim o'r hyn a fyddont yn ei ddarllen; ond wedi y cyrhaeddont gryn radd o fedr mewn adnabod ymddangosiad a sŵn geiriau, gellir ystyried fod y gwaith mwyaf anhawdd wedi ei wneyd gan yr athraw, ac ychydig mewn cymhariaeth o drafferth a gaiff pan yn ceisio gwneyd gwersi y plant yn ddealladwy iddynt o ran ystyr a meddwl.

Y mae dosbarthiadau ein hysgolion elfenol fel y crybwyllwyd yn flaenorol yn gyffredin yn cyfateb i safonau yr arholiad blynyddol, ac yn aml y dyddiau hyn byddant yn colli yr enw "dosbarth" yn hollol, ac yn ei le defnyddir y gair "safon." Gwneir y "safon cyntaf" i fyny o'r plant hyny sydd yn *dechreu darllen*,* ysgrifenu, a rhifo; yr ail safon wedy'n sydd yn gynnwysedig o blant ychydig ymhellach ymlaen mewn

* Yr ydym am i'r darllenydd gofio ein bod, pan yn egluro yn y fan yma y dull a gymeradwyir genym fel y goreu y gwyddom am dano i ddysgu plant i ddarllen Saesoneg, yn berffaith ymwybodol o'r ffaith na thâl y dull ddim o'i gymhwyso at yr iaith Gymraeg. Tra nad oes ond *un* sŵn i bron yr *oll* o lythyrenau y wyddor Gymreig, yr ydym yn cael fod cymaint a 104 o wahanol ddulliau i osod allan y seiniau a gynnrychiolir gan y pump llafariad Seisonig, heb sôn dim am y cydseiniaid. Y mae dysgu darllen Cymraeg ynte yn orchwyl annhraethol ysgafnach na dysgu darllen Saesoneg.

ysgoleigdod, &c. Gorchwyl tra dyddorol ydyw dysgu plant y safon cyntaf ymhob un o'r tri pheth a grybwyllir uchod, ac yn y fan hon am-canwn osod ger bron y darllenydd rhyw fraslun o'r dull a gymeradwyir genym o addysgu y plant hyn mewn darllen. Tybiwn fod yr holl ddosbarth yn medru ychydig o'r llythyrenau, ac wedi derbyn gwers neu ddwy mewn uno ynghyd y llythyrenau hyn, a gwneu-hur o honynt eiriau a brawddegau. Saif y dosbarth, dywedwn, yn drefnus o flaen yr athraw, pob un â llyfr yn ei law. Eir dros y wers flaenaf, yr hon sydd yn gynnwysedig o eiriau unsill hawdd a chynefin, yn bur llithrig a didrafferth, fe allai. Y maent yn awr yn troi dalen, ac yn dechreu ar yr *ail* wers. Y mae hon ychydig yn fwy anhawdd na'r gyntaf, am ei bod yn cynnwys rhai geiriau a llythyrenau newyddion hollol i'r plant. Cyn cychwyn, ysgrifena'r athraw y llythyrenau dyeithr ar y *blackboard*, ac eir drostynt gan y dosbarth, bawb gyda'u gilydd. Ar ol i'r dosbarth eu meistroli, gosodir y *geiriau*, ymha rai y defnyddir hwynt, ar lawr, a sillebir hwynt yn fanwl, ac wedi iddynt eu dyweyd amryw weithiau ar ol yr athraw, bawb gyda'u gilydd, dechreuir ar y gwaith o *ddarllen* y wers. Os bydd yn angenrheidiol, eir dros bob gair yn y wers ar wahân, a phob brawddeg hefyd, gan yr athraw yn gyntaf, a'r plant oll yn eu dyweyd ar ei ol. Yna darllenir y geiriau yn araf gan y dosbarth, bawb gyda'u gilydd am ychydig o droion. Wedi hyn daw darllen a silliadu *personol* i ymarferiad; ond, dalier sylw, pan yn dysgu plant y safonau isaf, y cyntaf a'r ail yn enwedig, ystyrir y darllen *personol* yn ail mewn pwysigrwydd gan yr athraw, i'r darllen *cydunol*. Y mae *simultaneous reading* yn myned â mwy o amser plant y safonau isaf o lawer na darllen personol, oblegid ystyria yr athraw yr adeg hon yn mywyd y plant, yr adeg fwyaf ffafriol iddo i'w dwyn i fyny yn yr arferiad o ddarllen a siarad yn uchel ac eglur; ac er cael ganddynt wneuthur hyny yn llwyddiannus, nid oes dim sydd well na gwneyd iddynt ddarllen llawer bawb gyda'u gilydd. Hon yw yr adeg hefyd i ddechreu arfer y plant i roddi atebion cyflawn a chywir i'r cwestiynau a ofynir iddynt gan yr athraw. Yn gyffredin, yn ein hysgolion y dyddiau hyn, bydd atebion y plant yn gloff ac anmherffaith. Hanner brawddeg a geir ganddynt yn

Hefyd y mae yn gamsyniad mawr ar ran y Llywodraeth eu bod yn dysgwyl i blant y Safon I. i fedru darllen yn llithrig a didrafferth frawddegau yn cynnwys dim ond geiriau *unsill*. Pe buasent yn gofyn ar fod i blant y safon I. i ddarllen, yn lle brawddegau o eiriau unsill, frawddegau yn cynnwys geiriau cyson o ran sŵn y llythyrenau fyddo yn eu gwneyd i fyny, a gadael *nifer y silliau* yn hollol allan o ystyriaeth, buasent yn ysgafn-hâu yn fawr waith yr ysgolfeistr, a buasent yn gwneyd darllen Saesoneg yn orchwyl llawer hawddach ei ddysgu nag ydyw yn bresennol. Buasai yn dda genym weled y llyfrau a ddefnyddir gan blant y safon I. yn cynnwys, yn lle brawddegau anghyson a diystyr fel y rhai canlynol:—*Do so, A great weight, They say I owe you* (u, o, u), *But put two too, &c.*, darnau bychain, syml, a hawdd fel y canlynol:—

Run run O little rill,
Run and turn the dusty mill;
Run run O little rill,
Past the rocks along the hill,
Ever running, never still,
Run and turn the dusty mill.

Yr un sŵn, sylwer, sydd gan yr *u, a, o, i,* &c., yn yr oll o'r geiriau ymha rai y defnyddir hwynt yn y dernyn uchod; ac fe ddywedir wrthym gan rai mai hawdd ddigon fyddai cael digon o ddarnau tebyg i'r uchod i wneyd llyfrau i'r ddau safon cyntaf, y rhai a fuasent mor hawdd eu dysgu i blant ein hysgolion dyddiol, ag ydyw i ddysgu i Gymro y llyfrau a ddefnyddir yn ein Hysgolion Sabbothol.

aml, ac ambell dro, hwyrach mai hanner gair a geir yn ateb ganddynt i ofyniad ar unrhyw bwnc. Y mae hwn yn ddiffyg pwysig iawn, ac y mae yr athraw llygadog a thrwyadl yn cymeryd mantais o bob cyfleusdra er cyfarfod y diffyg yn effeithiol; ac un ffordd ganddo tuag at wneuthur hyny, fydd eu harfer yn aml i ddarllen yn eglur ac yn gydunol pan yn y safonau cyntaf. Fe ofala yr athraw am wneyd yr holl wers yn ddealladwy i'r dosbarth, cyn symud ymlaen, ac nid anghofia hefyd wneyd pob peth o fewn ei allu tuag at ddeffro meddyliau yr ysgoleigion ieuainc, ac i wneyd eu llafur yn ddyddorol iddynt. Oni fydd i ddyddordeb y plant yn y wers gael ei gadw i fyny, ac oni fydd i'w cywreinrwydd a'u hymchwiliad gael ei ddeffro, bydd llafur yr athraw gyda hwynt bron yn gwbl ddifudd. Dylai'r athraw hefyd dalu sylw neillduol i *sillebu* yn y safonau isaf, yn gystal ag yn y rhai uchaf. Pan y mae y plant yn dechreu dysgu darllen, dyna'r amser y dylid eu harfer i sillebu y geiriau bychain cyffredin hyny, sydd yn britho pob tu dalen ymhob llyfr. Yr ydym yn aml yn cael dynion yn medru ysgrifenu i lawr eiriau hirion ac anhawdd yn berffaith brïodol, o ran sillebiaeth, ond yn methu yn glir a sillebu i berffeithrwydd y geiriau symlaf, a'r geiriau a arferir ganddynt amlaf. Dynion ydyw y rhai hyn sydd wedi cael eu hesgeuluso yn ystod eu hieuenctyd, ac nid yn aml y ceir hwynt yn medru gwneyd yr esgeulusdod hwnw i fyny yn effeithiol. Wel, ynte, os bydd yr athraw yn awyddu cael sillebiaeth yn uchel a boddhäol yn ei ysgol, dylai dalu sylw manwl iddo yn y dosbarthiadau cyntaf. Sillebu cydunol, sillebu personol, sillebu yn y llyfr, a sillebu heb y llyfr,—mae yn ofynol arfer y plant yn feunyddiol yn yr oll o'r rhai hyn er eu gwneyd yn alluog i enwogi eu hunain fel sillebwyr yn ol llaw. Er mwyn talfyru ein sylwadau ar y pwnc hwn, gosodwn yn y fan yma, mewn ffurf o daflen, y dull a gymeradwyir genym o addysgu plant mewn darllen yn y safonau eraill, o'r cyntaf ymlaen:—

SAFON II.—Amser, 45 mynyd.

| | | |
|---|---|---|
| Sillebu y geiriau anhawdd,—eu hesbonio, &c. | 10 | mynyd. |
| Darllen y wers, frawddeg ar ol brawddeg, bawb gyda'u gilydd | 20 | " |
| Sillebu allan o'r llyfr, heb y llyfr, &c.,—a darllen personol | 10 | " |
| Ailgrynhöi | 5 | " |

SAFON III.

| | | |
|---|---|---|
| Esbonio cynnwysiad y wers, sillebu ac esbonio y geiriau newyddion ac anhawdd | 10 | " |
| Darllen y wers drosodd bawb gyda'u gilydd | 10 | " |
| Darllen personol | 15 | " |
| Sillebu ac ailgrynhöi | 10 | " |

SAFON IV.

| | | |
|---|---|---|
| Yr athraw yn darllen y wers drosodd, a'r dosbarth yn ei darllen bob yn frawddeg ar ei ol, bawb gyda'u gilydd—y plant i ddilyn aceniad a phwysleisiad yr athraw yn y modd manylaf. Darllen personol—y plant i unioni camsyniadau y naill y llall. | 20 | " |
| Holi ar, ac esbonio y pwnc dan sylw—rhai o'r darllenwyr gwaelaf i ddarllen y brawddegau mwyaf anhawdd—y darnau hyny fydd yn gofyn pwysleisiad cywrain wrth eu darllen, i gael sylw arnynt | 15 | " |
| Sillebu ac ailgrynhöi | 10 | " |

SAFONAU V. VI. a VII.

| | | |
|---|---|---|
| Darllen personol--yr athraw i dalu sylw arbenig i aceniaeth, pwysleisiad, &c. | 25 | " |
| Holi ar gynnwysiad y wers—sillebu ac ailgrynhöi | 20 | " |

Dylai y *blackboard* fod wrth ymyl bob amser y byddo yr athraw yn rhoddi gwers i ddosbarth mewn darllen. Dylid ysgrifenu arno bob gair cywrain o ran ystyr neu sillebiaith, a phob ffaith bwysig a ddygwyddo ymddangos yn y wers, fel y gallo yr athraw, pan yn ail-grynhöi, alw sylw neillduol y plant at y geiriau a'r ffeithiau hyn, a'u holi ar gynnwys y wers yn fwy trwyadl ac effeithiol. Wele yn y fan hon restr anmherffaith o'r prif feïau y mae plant y Cymry, yn fwyaf neillduol, yn dueddol i'w gwneyd pan yn darllen neu yn siarad yr iaith Saesoneg.

I. Gwallau yn seiniad y llythyrenau:—

1. Rhoddi y sŵn hîr i'r llafariad yn lle y bŷr, a'r bŷr yn lle yr hîr.
2. Rhoddi sŵn y lythyren o i a, a galw *called* yn *cold*, &c.
3. Camswnio y lythyren s, a galw *his*, *hiss*, a *please*, *pleace*, &c.
4. Gadael allan yn hollol sŵn yr y, mewn geiriau tebyg i *day*, *play*, &c.
5. Rhoddi sŵn y lythyren Gymreig u i'r lythyren i, mewn geiriau tebyg i *it*.
6. Rhoddi sŵn y lythyren s i sh, a galw *ship*, *sip*, &c.
7. Rhoddi y sŵn crâs i'r lythyren r, yn lle y meddal.
8. Swnio y lythyren i mewn geiriau tebyg i *fine*, &c., yn *oi*.
9. Rhoddi sŵn y p i'r lythyren b; a sŵn y b i p,* &c.

II. Gwallau yn mharabliad geiriau. Mae y Saeson yn gystal a'r Cymry yn agored i wneyd y camgymeriadau a ganlyn:—

1. Gadael allan y geiriau unsill, megys *to*, *the*, &c.
2. Treiglo sŵn un sill i'r llall.
3. Acenu geiriau yn anmhrïodol.
4. Gadael allan sŵn y sill olaf mewn gair.

III. Pwysleisio yn anghywir.

IV. Esgeuluso yr attalnodau, a darllen yn rhy gyflym.

Y mae yr athraw gofalus a llygadog yn cadw rhestr tebyg i'r uchod yn ei feddiant bob amser, ac i'w chanlyn bydd ganddo hefyd restr o'r geiriau y teimla y plant fwyaf o anhawsder eu swnio yn brïodol, a gofala am eu gosod gerbron y plant yn aml, er cael ganddynt eu dysgu a'u meistroli yn effeithiol. Hwyrach y bydd ambell un o ddarllenwyr y TRAETHODYDD yn cael ei dueddu i dybied ein bod yn dysgwyl oddiar law yr ysgolfeistr ormod o fanylwch gyda'i alwedigaeth nag a ddylesid. Wrth y rhai hyn, hyn yn unig sydd genym i'w ddyweyd ar y pwnc: y mae ein profiad personol ni wedi ein argyhoeddi yn drwyadl erbyn hyn nad yw yn bosibl bron dangos *gormod* o ofal a manylwch pan wrth y gwaith o addysgu plant mewn darllen, yn gystal ag mewn rhifyddiaeth a phethau eraill. Cofus genym ddarllen unwaith am fachgenyn ieuanc un tro yn darllen gwers gartref gyda'i fam. Wedi myned ymlaen dipyn, daeth yr ysgolor ieuanc ar draws y gair *patriarchs*. Yr oedd y gair, o ran ei ymddangosiad, yn hollol ddyeithr iddo, a phetrusodd yn hir cyn gwneyd ymgais at roddi iddo un math o enw yn y byd. O'r diwedd, daeth i benderfyniad yn ei feddwl ei hun ynghylch y gair, a galwodd ef yn *partridges*. "Na, na, nid *partridges*," meddai y fam

* Sir Hugh Evans:—"*Ferry goot*: I will make a *prief* of it in my note book; and we will afterwards *ork* upon the cause with as great discreetly as we can."

*Merry Wives of Windsor.*

dyner, "*ond patriarchs*, y machgen i;" a chyda hyn o eglurhâd, awd heibio yn ddiseremoni ddigon, gan ddilyn y wers hyd at ei therfyn. Ymhen amser wedi hyn, dygwyddodd fod y mab eilwaith yn darllen yn mhresennoldeb ei fam, a daeth eto ar draws y gair *patriarchs*, ac ebai'r mab, gyda gradd helaeth o syndod, "Wel, mam, dyma ni unwaith eto wedi dyfod o hyd i enwa' yr *adar digri'* hyny!" Yr oedd y fam wedi rhoddi yr enw prïodol i'r gair pan y daethpwyd o hyd iddo y tro o'r blaen, ond nid oedd wedi bod yn ddigon manwl mewn perthynas iddo. Nid oedd enwi y gair yn brïodol, yn ddigon; dylasai fyned gam ymhellach, a sylwi wrth ei mab mai enw ar ddynion oedd y gair, ac nid enw ar adar, &c. Gallem grybwyll mil a mwy o engreifftiau tebyg i'r uchod, y rhai ydŷnt oll yn profi yn eglur nad oes modd bod yn rhy fanwl pan wrth y gwaith o addysgu plant mewn unrhŷw bwnc. Nid yr ysgolaig medrus sydd bob amser yn llwyddo fel ysgolfeistr. Na, pe gwnelem ymchwiliad llwyr i elfenau llwyddiant rhai o brif athrawon ysgolion dyddiol ein gwlad, caem weled mai gweithwyr difefl ydynt oll. Y mae yn ddiammheu fod *llawer* o honynt yn rhagori mewn ysgolheigdod, ond y maent *oll* yn ymdrechgar, y maent *oll* yn fanwl, ac yn berffaith drwyadl gyda'u gwaith; a chaem weled hefyd fod pob un o honynt, yn ddieithriad, yn gwirio geiriau yr enwog Coleridge pan y dywed,—

O'er wayward childhood would'st thou hold firm rule,
And sun thee in the light of happy faces,
Love, Hope, and Patience, these must be thy graces,
And in thine own heart let them first keep school.
For as old Atlas on his broad neck places
Heaven 's starry globe and there sustains it; so
Do these upbear the little world below
Of Education, Patience, Love, and Hope.

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Traethodau Llênyddol.* Gan L. Edwards, D.D. Wrexham: Hughes a'i Fab.
*Traethodau Duwinyddol.* Gan L. Edwards, D.D. Wrexham: Hughes a'i Fab.

Galwasom sylw at y *Traethodau Llênyddol* hyn ar ymddangosiad y Rhifyn cyntaf, a rhoisom i'r llyfr y croesaw mwyaf calonog ag oedd yn ein gallu. Y mae yn awr o'n blaen yn gyfrol brydferth a gwerthfawr dros ben. Y mae tri Rhifyn o'r *Traethodau Duwinyddol* hefyd wedi eu hanfon i ni, a diammheu y daw y gweddill allan cyn bo hir. Yna bydd genym yr hyfrydwch o edrych ymlaen at yr *Esboniad ar Efengyl Ioan.* Am y *Traethodau Llênyddol,* y maent, gan mwyaf, wedi eu cymeryd blith draphlith o wahanol gyfrolau y Traethodydd, heb, ar a welwn, unrhyw reol yn eu cyflëad, oddieithr fod yr erthyglau duwinyddol yn cael eu cadw erbyn yr ail gyfrol. Buasai yn llawn cystal genym ni weled y *Traethodau Llênyddol* yn cael eu hargraffu fel y cyfansoddwyd hwynt, gan nad oes un reol arall wedi ei mabwysiadu. Fe fuasai hyny, fodd bynag, yn rhoddi mantais i gael rhyw syniad am *hanes* y meddwl y mae darllenwyr y Traethodau yn rhwym o deimlo dyddordeb mawr yn yr oll a berthyn iddo. Ond fe allai fod yr awdwr hwn fel yn yr erthygl ar Ysgrifeniadau Morgan Llwyd, yn teimlo gradd o foddhâd mewn bod fel y llyfr a adolygai, yn "berffaith rydd oddiwrth bob rheol a ffurf." Ar yr un pryd, y mae digon o unoliaeth yn nghyfansoddiad y Traethodau, a hwnw o natur llawer uwch nag a ellid sicrhâu gan holl reolau a ffurfiau y byd. Fel y dywedodd Syr William Hamilton am Calvin, y mae yn rhyfedd meddwl mor ychydig o waith cyfnewid sydd ar ei ysgrifeniadau yntau, er eu cyfansoddi ar wahanol amseroedd, ac er gorfod gollwng rhai o honynt o'i law, fe allai, yn fwy brysiog nag y buasai yn ddymunol ganddo, gan fel yr oedd càr y wasg yn gwasgu ar ei sodlau, a'i fynydau hamddenol yn cael eu bwyta ymaith gan orchwylion eraill. Am yr ychydig bethau y gwelodd yn angenrheidiol leddfu neu gyfnewid yr hyn a ysgrifenasai yn eu cylch yn flaenorol, y mae i'r pethau hyny hanes nad all yr efrydydd lai na bod ar ei ennill o'i hastudio. Er engraifft, ei olygiadau ieuengaidd ar athroniaeth Brown, a'i farnau am Syr Robert Peel. Ond y mae sefydlogrwydd ei olygiadau, ac addfedrwydd cyffredinol ei chwaeth, wedi ei ddïogelu ar bob adeg rhag ysgrifenu dim yr oedd eisieu colli nemawr o amser i dynu yr ysgrifell drwyddo ar ol hyny. Mae yn wir fod rhai ymadroddion lled eithafol wedi dïanc, ac fod rhywbeth sydd weithiau yn ymylu ar yr anffaeledig yn ei dôn pan yn gwatwar neu yn condemnio y pethau yr ymladdai yn eu herbyn. Ond y mae rhywbeth i'w ddyweyd dros hyny pan ystyriwn y gwaith garw oedd ganddo i'w gyflawni pan yn dyrchafu ei lef yn y diffaethwch, fel y tŷst cyntaf ymron yn Nghymru yn erbyn ein hanwybodaeth a'n gwaseidd-dra cenedlaethol, ac o blaid diwylliad uchel a golygiadau ëang a haelfrydig. Efe ydyw tad y

TRAETHODYDD. **Gellid dyweyd am y dosbarth mwyaf dylanwadol o'n** meddylwyr y dyddiau hyn, mai efe yw eu *pioneer;* nid oes, mae yn ddiammheu, yr un dyn yn fyw sydd wedi gosod ei farc yn ddyfnach ar Gymru nag efe. Y mae yn hapus genym ddeall fod lledaeniad mawr i'r *Traethodau* hyn. Nid yw yn bosibl i genedl y Cymry osod gormod o bris arnynt. Nid oes dim yn yr iaith a roddai i'n llênyddion ieuainc well drychfeddwl am *addfedrwgdd;* ac am eu harddull, y mae y berffeithiaf y gwyddom am dani. Ond eu gwerth mawr ydyw y trysor o wybodaeth fuddiol a gynnwysant. Ac wrth ddefnyddio y gair buddiol yn y fan yma, nid ydym am iddo gael ei ddeall yn ystyr gyfyng iaith y farchnad, fel yn golygu fod y *Traethodau* hyn yn gyforiog o bethau y gallai darllenydd segur eu troi yn fantais iddo. Y mae byd arall yn bod, sydd yn fwy ac yn ogoneddusach na byd y farchnad; byd mawr egwyddorion. Y mae yr awdwr yma wedi cartrefu llawer o ran ei feddwl yn hwnw, ac y mae pobpeth byd ffeithiau yn werthfawr yn ei olwg i'r graddau y mae yn gallu profi ei berthynas â'r egwyddorion tragywyddol sydd yn gorwedd wrth sylfeini crëadigaeth a llywodraeth Duw. Dywedai Mr. Masson am Syr William Hamilton ei fod y "*greatest worshipper of the useless,*" "gwasanaethydd mwyaf y diddefnydd," o neb yn ei oes. Yr ydoedd felly, fel yr oedd ei oes yn cyfrif diddefnydd; ond yn ei fryd ef nid oedd un gwirionedd yn ddiddefnydd. Am y deng miliwn pethau yr oedd ei gyd-ddeiliaid yn ffwdanu mor ofnadwy yn eu cylch, yr oedd yr athronydd yn teimlo y gallai efe fforddio bod yn dra difater. Ond am bob mymryn o wirionedd, pobpeth ag a allai brofi o ryw help iddo i amgyffred yn gliriach y pethau dyrys, neu i ymdeimlo yn fwy dwys â gogoniant y pethau prydferth, yr oedd y pethau hyny o ddirfawr werth yn ei olwg. Mae yr un peth yn wir am Dr. Edwards. Yr ydym yn cofio yn dda gymaint uwchlaw dirnadaeth ein Philistiaid llênyddol oedd ei waith yn cyhoeddi yr erthygl a geir yma ar Göethe. Nid oeddynt yn amgyffred y peth, am hyny ni lysent —y fath yw rhyfyg anwybodaeth—ei sarhâu am ei ffolineb, os nad am rhywbeth gwaeth. Mae efe yn credu fod gwirioneddau yn werthfawr, nid am a gynnyrchant, ond am ag ydynt. Os na ddaw y peth â cheiniog o elw yn dragywydd, y mae efe ei hunan yn meddu gwerth cynhenid, gwerth na fyddai llonaid byd o geiniogau ond fel dim i fod yn gyfwerth âg ef. Mae gan yr awdwr syniad annhraethol uwch am fywyd na bod yn gyfleusdra i fwyta. Da os ceir tamaid o fwyd, gan fod y corff yn gofyn am beth felly; a da os ceir hamdden yn awr ac yn y man i fwynhâu rhyw ychydig o ddiddanwch anianyddol arall sydd yn lleddfu ei feddwl, ac yn rhywfaint o gymhorth iddo i ymollwng i'w freuddwydion. Ond gwell na'r cwbl ydyw cael syllu ar ogoniant y gwirionedd, ac yn enwedig y gwirioneddau hyny sydd yn dysgleirio gan y llewyrch sydd yn dyfod o'r orseddfainc, ac wrth feddiannu ei enaid yn tueddu at ei ddyrchafu yntau tuag yno. Nid ydym yn gwybod am ddim a dueddai yn fwy at feithrin ysbrydolrwydd nag ysgrifeniadau Dr. Edwards. Fe allai fod rhai ysgrifeniadau eraill yn fwy angerddol o dduwiolfrydig, ac yn trîn yn fwy uniongyrchol faterion sydd yn cymeryd i fyny grefydd bersonol dyn; ond pwy a lwyddodd yn fwy i beri i'w ddarllenwyr gyda phob peth deimlo agosrwydd a sylweddolrwydd y byd ysbrydol? **Mae ei dduwinyddiaeth, pa mor bynciol bynag**

fyddo yr ymdriniaethau, yn dyfnhâu yn eich meddwl yr argraff o wirionedd y pethau; ac yn arbenig trwy ei waith yn gwrthod yn ddibetrus bob golygiadau ymddangosiadus, er mwyn sefyll ar graig noeth y gwirionedd, pa mor arw ac ysgythrog bynag y gallo hono fod, y mae yn adeiladu yn meddwl ei efrydydd ystyriol ymdeimlad o fawredd a gogoniant Duw y bydd yn ddiolchgar am dano byth. Mae ei athroniaeth yr un modd yn llewyrchu gan oleuni bywyd. Fe ddallwyd ei feddwl i raddau pan yn ieuanc gan hòniadau yr athroniaeth synwyriaethol, ac yr ydoedd yntau y pryd hyny, fel llawer eraill, ac yn eu plith Dr. Chalmers, yn barod i dyngu yn enw Dr. Brown. Ond gydag addysg ddyfnach Kant a'r athroniaeth Germanaidd, a myfyrdod addfetach, fe ddaeth ei athroniaeth yn chwaer deilwng i'w dduwinyddiaeth. Gwel mai nid rhyw ddarn o beirianwaith ydyw dyn, ond crëadur wedi ei wneyd ar ddelw Duw. Er fod y deml wedi syrthio, eto y mae gormod o Ddwyfoldeb o amgylch ei hadfeilion i neb feiddio gwneyd yn hŷf arnynt. Mae Duw mewn dyn eto, a hyny nid yn unig yn nhystiolaethau ei gydwybod, ond hefyd yn argyhoeddiadau ei feddwl. Yr Hwn a grëodd gynneddfau y meddwl ydyw Brenin byd y gwirionedd; ac y mae pob athroniaeth a fŷnai ddyeithrio dyn oddiwrth ei Grëawdwr, a'i wneuthur yn ddim ond rhyw beiriant i wneyd bargeinion, neu yn grëadur i fwynhâu pleser, yn gwneuthur âg ef anfeidrol gam. Ac nid oes yr un Cymro a wnaeth gymaint, nac yn agos gymaint, i ddyrchafu llênyddiaeth i'w lle ei hun. Yr oedd gan Göethe syniad uchel am lênyddiaeth pan siaradai yn ddiddiwedd am dani fel celfyddyd; ond nid ydym yn ammheu nad ydyw yn nghyfrif Dr. Edwards yn rhywbeth sydd yn llawer uwch. Pa mor berffaith bynag a fyddo cyfansoddiad,—ac nid oes neb yn fyw a all fwynhâu perffeithrwydd cyfansoddiad yn fwy, boed o ba natur bynag,—eto y mae ei werth mawr iddo ef, yn gynnwysedig i raddau llawer mwy yn yr hyn a awgryma, nag yn yr hyn a fynega. Clywsom rai yn synu pam yr oedd yn ymddarostwng yn y Traethodydd i ysgrifenu ynghylch rhyw lênyddiaeth. Y mae y rheswm goreu am hyny. Y mae trwy ei feirniadaethau llênyddol wedi rhoddi i'w genedl ddrychfeddwl newydd am lênyddiaeth, ac wedi ei dangos fel un o'r lampau sydd yn goleuo yn nheml yr Arglwydd. A'r un modd am ei erthyglau gwleidyddol. I ddangos a feddyliwn, gadewch i ni ddyfynu o'i erthygl ar Mr. Gladstone,—un o'r erthyglau newyddion tra gwerthfawr sydd ymhlith y *Traethodau Llênyddol* yma,—i ddangos y gymdeithas agos sydd rhyngddo ef â phethau na feddylir gan lawer ddim yn eu cylch:—

"Y mae Mr. Hunt yn un o'i erthyglau i'r *Pall Mall Gazette* yn sylwi fod Peel a Gladstone wedi codi materion arianol i dir uwch na neb a fu o'u blaen, ac y gellid tybied eu bod yn edrych ar gyllid y deyrnas fel pwnc o grefydd. Y mae hyn yn wir am Mr. Gladstone mewn modd arbenig; ac fe allai mai yr hynodrwydd penaf sydd yn perthyn iddo yw ei duedd i gymeryd golwg ar bob achos o safle crefydd a moesoldeb. Wrth osod trethi, neu wrth eu gostwng, y mae yn edrych ar yr effaith a gaiff y weithred ar feddyliau y bobl, yn gystal ag ar eu hamgylchiadau. Y mae ei areithiau ar y pynciau sychion hyn wedi eu trwytho mewn teimlad moesol i'r fath raddau fel y maent yn dwyn ar gôf i ni bregethau Chrysostom, neu rai o ysgrifeniadau godidocaf Jeremy Taylor. Os gelwir arno i areithio ryw amser ar y gelfyddyd o wneyd llestri pridd, y mae yn sicr o ddyrchafu ei destun, a'i addurno â'r lliwiau mwyaf ysblenydd, trwy ei ddangos yn ei berthynas âg egwyddorion moesol. Dan effeithiau ei areithyddiaeth, y mae yr hyn oedd yn ymddangos yn lled ddistadl yn myned yn un o'r pynciau mwyaf pwysig y

gellir meddwl am dano. Y mae yn peri i'r cwmwl bychan ymehangu, a dyfrhâu y ddaear, a thrwy ddwyn ystyriaethau moesol i lewyrchu arno, y mae yn taenu prydferthwch yr enfys dros holl wlad y llestri pridd. Yn ei araeth drachefn wrth ddwyn i mewn fesur y diwygiad seneddol yn ddiweddar, y mae yn galw sylw at y gwerth sydd yn yr hawl i bleidleisio yn newisiad seneddwyr fel y mae yn effeithio ar feddwl y dyn ei hun, yr un modd ag y mae rhyddid yn werthfawr ynddo ei hun yn annibynol ar ei ganlyniadau. Dyma wreiddyn yr holl ddadl mewn ychydig eirian. Y mae Lowe a Disraeli yn foddlawn i bob llês gael ei wneuthur i'r bobl hyd y gellir, ond dim gan y bobl, rhag ofn y canlyniadau. Nid ydynt yn ystyried mai trwy arfer gweithredu yn rhydd y daw y bobl yn well, ac mai dyma y ffordd sydd yn arwain o'r diwedd hyd yn nôd i'r canlyniadau goreu. Y mae rhyddid yn werth ymdrechu o'i blaid pe gorfyddai i ni ganiatâu fod y bobl yn fwy cysurus eu hamgylchiadau mewn cyflwr o gaethiwed, a bod y gwledydd lle y maent felly yn fwy llwyddiannus. Ond er fod peryglon a thrafferthion yn cydfyned â rhyddid, megys â phob peth gwerthfawr yn y fuchedd hon, eto y gwirionedd ydyw, mai yr hwn sydd yn dda ynddo ei hun sydd ar y cyfan yn ddaioni mwyaf i'r holl wladwriaeth."

Rhaid i ni ymattal. Nid ydym yn meddwl am ganmol Gweithiau Dr. Edwards. Ni a deimlem y byddem trwy hyny yn ei sarhâu. Ond fel yr ydym yn caru ein cenedl, ac yn dymuno yn dda i feddylgarwch, doethineb, a rhinwedd yr oes a'r oesau a ddêl, yr ydym o galon yn dymuno lledaeniad helaeth ac astudiaeth ddofn i holl gynnyrchion ei ysgrifell. Caffed hir oes a llawer o nerth i wasanaethu ei genedl ymhellach.

*"Tŷ fy Nhad:" wedi ei barotôi i'r Frynedigion yn Esgyniad y Cyfryngwr.* Gan y Parch. DAVID JONES, Treborth. Caernarfon: John Davies.

MAE yn hyfrydwch neillduol genym gyflwyno y gwaith hwn i sylw ein darllenwyr. Y mae yn gymunrodd werthfawr i genedl y Cymry, gan un oedd yn ei charu yn fawr, ac un a dreuliodd dymmor maith yn dra ffyddlawn yn ei gwasanaeth. Mae yn debyg mai ychydig a feddyliai yr awdwr hybarch ei hun, mwy na llïaws o'i gyfeillion, ei fod yn ei flynyddoedd olaf, pan yr arosai gymaint o ran ei fyfyrdodau ar *Dŷ fy Nhad*, mor agos iddo. Erbyn hyn, y mae yn bwnc o ddyddordeb mawr i bawb oedd yn ei garu,—ac mor lïosog y nifer!—i gofio fod echwydd einioes y brawd anwyl a'r gweinidog ffyddlawn wedi ei dreulio yn edrych ymlaen gyda y fath awyddfryd ar y gogoniant ag yr ydoedd o hyd, chwedl yntau, "am yr afon" âg ef. Y llyfr olaf a gyfansoddodd Dr. Owen oedd y traethawd prydferth ar "Ogoniant Person Crist." Dywedai brawd wrtho, pan ar ei wely angeu, ei fod wedi rhoddi y gwaith hwnw yn y wasg. Amlygai yntau foddlonrwydd o glywed hyny, ac ychwanegai, "Ond O, frawd Payne, yr ydwyf fi ar fyned i weled y gogoniant hwnw mewn dull na welais ef erioed yma, ac nad oedd yn bosibl i mi ei weled yn y byd hwn." Y mae ein brawd anwyl, Mr. David Jones yr un modd, erbyn hyn, wedi cael golwg ar gartref y gwŷnfyd mawr mewn dull nad oedd yn bosibl iddo gael yn y fuchedd hon. Ac eto nid all ddyweyd dim wrthym ni yn ei gylch. Y mae yn dra dyeithriol meddwl fod ein brawd oedd mor ddiweddar yn ein plith, ac o ganol y tywyllwch sydd yn cau o'n golwg "yr hyn a fyddwn," yn ymdrechu gyda'r fath ddifrifwch i ffurfio rhyw ddyfaliad yn ei gylch, erbyn hyn yn ei weled mor glir, ac eto nad yw yn bosibl i ni gael y bûdd o'r ehangiad mawr sydd wedi cymeryd lle ar ei ddirnadaeth ef ar y fath fater pwysig. Beth pe byddai yn bosibl cael pennod newydd oddiwrtho ar *Dŷ fy Nhad*, wedi ei hysgrifenu ynnghanol ei ogoniant! Mae y dyfodol

wedi ei adael yn dywyll iawn i ni. Ac yn hyn hefyd fe elwir arnom i ymdawelu mewn ymddiried noeth yn yr Hwn sydd yn trugarhâu wrthym. Ar yr un pryd nid allwn lai na theimlo dyddordeb dwfn yn y tywyllwch sydd yn gorchuddio ein dyfodol. Mae cymaint ynddo i ni, cymaint i'w ofni ar y naill law, cymaint ar y llaw arall i'w obeithio. Mae dychymygion dynion ymhob oes wedi gosod allan sefyllfa wŷnfyddedig y dyfodol fel yr *ideal*, y drychfeddwl uchaf, sydd ganddynt hwy eu hunain am ddaioni. Mae cryn lawer o lyfrau ar y nefoedd wedi eu cyhoeddi yn ddiweddar yn yr iaith Saesoneg, y rhai sydd wedi cyraedd poblogrwydd mawr; ond mae y ffrwyn a roddwyd ynddynt i ddychymyg yn peri fod eu hysbryd yn fynych yn dra afiachus. Mae y nefoedd a ddarluniant yn rhywbeth sydd lawer yn rhy gyffredin. Yn yr ystyr yma y mae y llyfr hwn yn tra rhagori ar y llyfrau poblogaidd Seisonig am y nefoedd. Yn lle rhoddi y ffrwyn i'w ddychymyg, a gosod ger ein bron ddesgrifiadau barddonol o'i *ideal* ef o wŷnfyd, y mae Mr. Jones wedi ymgadw yn bur ofalus at y cwestiwn mawr. Pa gynnorthwy a roddir i ni yn yr Ysgrythyrau i ffurfio dirnadaeth am ddedwyddwch y sefyllfa ddyfodol? Ymddengys ei fod wedi gosod ei hun dan rwymau "i synied i sobrwydd." Braidd na fuasem yn dysgwyl cael y llyfr ychydig yn fwy rhydd ac awenyddol; oddiwrtho ef ni fuasai yn ormod i ni edrych am y fath beth; a buasai ei gael felly, yr ydym yn tybied, yn ychwanegu at ei werth. Ond fel y mae fe ddyry i ni olwg lawer uwch ar ystâd meddwl ei awdwr pan yn ei gyfansoddi. Ymddengys ei fod ef yn golygu nad oedd dim mor arddunol â'r gwirionedd dadguddiedig, ac am hyny fe ymroddodd yn ddyfal i geisio cael gafael arno. Yn yr ymdeimlad difrifol oedd ganddo o'i agosrwydd at y fuchedd dragywyddol, ac yn ei bryder am allu ffurfio rhyw ddirnadaeth yn ei chylch, nid oedd yn werth ganddo ymwrando am fynyd ond â geiriau yr Hwn y mae "agoriadau uffern a marwolaeth wrth ei wregys." Gellir dyweyd fod y llyfr drwyddo yn ymdrech gonest i gael allan yr hyn a ddywed y Bibl am y gwŷnfyd didranc sydd yn aros y cyfiawn tu draw i'r bedd; ac nid yw yn bosibl i neb ei ddarllen gyda gradd o ystyriaeth, na theimlai fod awgrymiadau bŷrion yr Ysgrythyrau ar y mater yn dra ffrwythlawn o ystyr, ac fod y nefoedd a ddarluniant yn anfeidrol ragori ar nefoedd y dychymygwyr. Fel y dysgwyliai y darllenydd, mae y llyfr yn dangos cydnabyddiaeth helaeth iawn o'r Bibl, darlleniad maith a manwl ar ein llênyddiaeth dduwinyddol, meddwl clir a chyrhaeddfawr, barn addfed, ac ysbryd wedi eu drwytho yn ysbryd yr Efengyl. Ac y mae fod y llyfr hwn am y wlad well wedi ei gyfansoddi gan un sydd bellach wedi ei chyrhaeddyd, a hyny pan ar ei chyffiniau, yn gosod ynddo elfen ychwanegol o ddyddordeb, ac un a bâr i lawer deimlo fod yma rywbeth iddynt yn y geiriau diweddaf hyn o eiddo y gweinidog anwyl, sydd yn gysegredig iawn.

Prin y mae golygiaeth y llyfr yn bobpéth a ddymunasem. Paham na roddasid taflen o'i gynnwysiad ar y dechre a fuasai yn rhoddi i ni ryw well syniad yn ei gylch nag fod y gwahanol bennodau yn dechreu ar y tu dalenau a nodir? Nid yw yr awdwr ei hun yn ofalus hollol bob amser yn ei ddyfyniadau o'r Bibl; buasai yn dda cywiro yr amryfuseddau hyny; ac yn enwedig pan ddyfynir amryw adnodau o wahanol fanau, nid da dyfynnodi y cyfan gyda'u gilydd fel un dyfyniad. Mae amryw o

wallau y wasg wedi dïanc. Sylwasom fod y gair weithian amryw droion wedi myned yn weithiau. "Yr Arglwydd Dduw Hollalluog a'r Pen yw ei theml hi," meddir mewn un lle. Dïangodd amryw fân frychau eraill. Fe allai y gallasai y papyr fod yn well. Ond mae y gyfrol wedi ei gwneyd i fyny yn bur hardd, ac yr ydym o galon yn dymuno iddi gylchrediad tra helaeth. Byddai yn arwydd dda am Gymru pe byddai raid i waith fel hwn fyned yn fuan trwy amryw o argraffiadau.

*Gwyrthiau Crist; yn egluro Gogoniant ei Berson a Natur ei Waith.* Gan Owen Evans, Llanbrynmair. Wrexham: Hughes & Son.

Dylasem fod wedi galw sylw at y gwaith hwn yn gynt. Ei arwyddair ydyw yr ymadrodd hwnw o eiddo Pascal, "Yr ydym i farnu am athrawiaethau trwy y gwyrthiau sydd yn canlyn, ac am wyrthiau trwy yr athrawiaethau sydd yn canlyn. Yr athrawiaethau ydyw maen prawf y gwyrthiau, y gwyrthiau yr athrawiaethau. Mae hyn yn llythyrenol gywir, ac nid ydyw yn cynnwys dim gwrthddywediad." Mae gwyrthiau y Gwaredwr yn llanw lle mawr iawn mewn Cristionogaeth, ac o herwydd hyny y mae dynion yn gwneuthur arnynt ymosodiadau parhäus. Y maent yn teimlo os gallant dỳnu y sylfeini ymaith na chânt ond ychydig drafferth i ddymchwelyd yr adeiladaeth sydd yn gorphwys arnynt. Ond mae yn hapus meddwl fod y gwyrthiau yn dal yr ymchwiliadau mwyaf manwl i'w dilysrwydd, ac fod yr athrawiaethau y gelwir hwynt ymlaen i'w cadarnhâu yn deilwng o'r fath weithredoedd nerthol. Fe allai mai nid y gwyrthiau, wedi y cwbl, ydyw y profion cryfaf o Ddwyfoldeb Cristionogaeth; y mae gogoniant a nerth ei gwirioneddau, ac yn enwedig perffeithrwydd anfeidrol cymeriad ei Sylfaenydd, yn ein harwain yn mhellach i'r Dwyfol na'r gwyrthiau rhyfeddaf; ond gellir dywedyd mai trwy y gwyrthiau yr ydym yn cael mynediad i gynteddau cyntaf y deml, ac wedi cyrhaeddyd yno, y mae gobaith i ni gael myned gymaint ymlaen i bresennoldeb y gogoniant fel na fyddwn yn credu mwyach oblegid y gwyrthiau, ond wedi gweled ei fawredd Ef â'n llygaid. Y mae Mr. Evans wedi gwneyd gwasanaeth da i'w genedl trwy gyfansoddi y llyfr hwn, a da fyddai genym glywed fod yr holl genedl yn gosod pris mawr arno, ac yn ei astudio. Yr ydym yn ofni fod llawer o niwed yn cael ei wneyd y dyddiau hyn trwy gwacyddiaeth y bobl sydd yn siarad mor awdurdodol am y cwestiynau mawrion, ac heb erioed ymgydnabyddu hyd yn nôd â'u llênyddiaeth. Fe ddysgwylir i ni gredu gair rhyw damaid o feirniaid sydd yn ymffrostio pethau mawrion, a gadael yn ddisylw holl lafur ac ymchwiliad meddylwyr mawrion a difrifol sydd wedi cysegru eu nerth i efrydiaeth y gwirioneddau pwysig. Nid ydyw y darllenydd i ddysgwyl llawer o *dash*, a lliwiau cryfion, yn y gyfrol hon; ond os myn ymgydnabyddu â'r pwnc yn ei fawredd a'i ogoniant ei hunan, nid all gael cymhorth gwell i wneuthur hyny yn yr iaith Gymraeg nag a gaiff yn y llyfr hwn o eiddo Mr. Evans.

*Hanes Bywyd Robert Tomos, Llidiardau; ynghyda llawer o'i Eiriau a'i Bregethau.* Gan y Parch. Owen Jones, B.A., Ffestiniog. Wrexham: Hughes and Son.

Llyfr na raid iddo wrth lythyrau canmoliaeth, ac nad ydyw yn bosibl iddo beidio bod yn dra phoblogaidd. Mae ei awdwr, yn Nghofiant

Dafydd Rolant, wedi "ennill ei yspardynau" fel y cymhwysaf yn Nghymru at y fath waith ag ysgrifenu Hanes Bywyd Robert Tomos hefyd; ac y mae enw Robert Tomos wedi gadael y fath argraff ddymunol ar lïaws mawr o galonau fel y bydd yn dda ganddynt gael y cyfleusderau a geir yn y gwaith hwn i ymgydnabyddu yn helaethach âg ef. Yr oedd llawer, mae yn wir, heb weled dim yn ein hen gyfaill a haeddai y drafferth o ysgrifenu cymaint yn ei gylch; ac mae yn dra thebyg fod amryw fydd yn awchus am ddarllen y llyfr, fel y byddent o fwynhâu ei gymdeithas, yn unig i "beri iddynt chwerthin." Mae rhywbeth yn hanfodol *vulgar* yn y difyrwch eithafol a gymerir gan lawer yn ein gwlad mewn adrodd chwedlau am drwstaneiddiwch cymeriadau fel yr eiddo Robert Tomos,—difyrwch sydd yn tynu rhan fawr o'i nerth o'r dirgel ymogoneddiad a deimlir yn eu tra-ragoriaeth *hwy* ar y fath rai,—tra y maent yn gwbl analluog i ffurfio un dychymyg am athrylith a phurdeb y personau y cymerant yr hyfdra dirmygedig o chwerthin yn ddiddiwedd am eu pen. Da genym weled fod ysgrifenu cofiant Robert Tomos wedi disgyn i ran gŵr sydd ymhob ystyr mor gymhwys i'r gwaith. Yr oedd Mr. Jones yn ei adnabod yn berffaith, ac yn lle rhoddi i ni groniclìad sychlyd o ffeithiau ei fywyd ar y naill law, neu anferthlun i beri i'r ffyliaid chwerthin ar y llaw arall, y mae gyda llaw feistrolgar, dyner, lednais, yn rhoddi i ni ddarlun cyflawn a thra dymunol o hóno. Yr oedd Robert Tomos yn blentyn athrylith, ac yn grefyddol dros ben; elfenau ag y mae eu cydgyfarfyddiad mewn unrhyw berson yn ddigon i'w wneuthur yn dra dyddorol i'w gyd-ddynion. Ond pan ychwanegwn ei fod ef hefyd yn nodedig am ei serchogrwydd, ei ddiniweidrwydd plentynaidd, ei ledchwithdod ffwdanus wrth geisio ymwneyd â'r byd, ynghyda'i ffyddlondeb i'w gyfeillion ac i'w ddyledswyddau, rhaid i ni deimlo ar unwaith fod ei hawl yn ein cydymdeimlad a'n cariad yn neillduol o gref. Ysgrifenasom fel yna pan na ddaethai ond y Rhan gyntaf o'r llyfr i'n llaw; yn awr y mae y gyfrol, a chyfrol dra phrydferth ydyw, yn ein meddiant, ac yr ydym wedi ei darllen drwyddi, a hyny gyda dyhëwyd neillduol. Yr ydym sŷnu at gyfoeth y defnyddiau oedd gan Mr. Jones yn ei feddiant i ysgrifenu y gwaith. Gwyddom yn dda fod llawer o bethau ar góf cydnabod Robert Tomos, ond gwyddom hefyd mor araf ydyw pobl i anfon pethau o'r fath pan y mae angen am danynt. "Cyn terfynu," meddai yr awdwr yn ei ragymadrodd, dealler *nad* wyf yn diolch i'r rhai a ddywedent fod ganddynt lawer o'i ddywediadau, ac a'u hadroddent yma a thraw, gan *addaw* eu hanfon i mi, ond na wnaethant hyny, dyna y cwbl a ddywedaf." Mae yn debyg y teimla y gwŷr hyny bod cymaint a hyna yn ddigon, a hyderwn y bydd y fflangelliad yn lles iddynt. Ond mae yn dda, yn dda iawn erbyn hyn, fod edmygedd cyfeillgar Mr. Jones ei hun o hóno wedi ei arwain i sylwi mor graff ar yr oll a berthynai iddo, ac i wneyd cofnodiadau mor helaeth o'i sylwadau, &c. Ac os oeddym yn meddwl yn uchel o Robert Tomos o'r blaen, yr ydym ar ol darllen y llyfr hwn, a chael felly gyfleusdra llawer gwell i'w adnabod nag a gawsem yr un ffordd arall, yn meddwl yn llawer uwch am dano. Yr ydoedd ar ei ben ei hun o holl feibion dynion, ac y mae wedi cael bywgraffydd a wnaeth gyfiawnder âg ef. Mae y chwedl fod Alexander wedi wylo ar hen safle Caerdroia, a'i ofid ydoedd nad oedd yr un Homer yn bod i gânu ei orchestion ef. Nid allai ein hen gyfaill Robert Tomos, fodd bynag, ddymuno gwell dadganiad o'i fywyd nag a geir

yma. Ymddengys fod yr awdwr yn teimlo ar ei galon wenu, yn nghanol y chwithdod o glywed am ei farwolaeth, wrth feddwl am ei arweiniad i'r cwmni dysglaer, ei gyfarfyddiad â'i hen gyfeillion, a'r dyfalu pa fodd yr ydoedd *efe* yn ymdaro yn y fath sefyllfa ddyeithriol. Buasai yn sicr yn ddyeithriol iawn hefyd pe buasai yn bosibl iddo ragweled yn nyddiau ei gnawd y buasai y fath lyfr difyr a gwerthfawr yn cael ei gyhoeddi yn ei gylch ar ol ei ddydd. Yr ydym yn llongyfarch cenedl y Cymry ar yr ychwanegiad gwerthfawr hwn a wnaed at ei llênyddiaeth, ac yn addaw i'r neb a ddarlleno y llyfr y fath gyfuniad o ddifyrwch ac adeiladaeth ag nad ydyw yn hawdd meddwl am ei well.

*Cymru mewn Perygl. Defodaeth yr un â Phabyddiaeth.* Gan y Parch. David Evans, M.A. Dolgellau: D. H. Jones.

Yr oeddym yn ceisio gobeithio y cedwid Cymru rhag y ffolineb peryglus o Ddefodaeth sydd yn meddiannu cynifer o offeiriaid ac aelodau yr Eglwys Sefydledig mewn rhanau eraill o'r deyrnas y dyddiau hyn; ond mae yn amlwg fod yr haint yn dechreu ymaflyd yn Nghymru hefyd, ac nid heb achos y mae Mr. Evans yn y ddarlith hon yn udgânu mewn udgorn i osod ein cydwladwyr ar eu gwyliadwriaeth. Nid oes ond ychydig o waith ymresymu ar y pwnc, oyhyd ag yr erys pobl o fewn tiriogaeth ymresymu; y mae mympwyon y defodwyr, ar y wyneb, mor groes i holl athrawiaeth a holl ysbryd yr efengyl fel nad oes ond ychydig drafferth yn eisieu i argyhoeddi meddwl unrhyw ddyn o'u ffolineb a'u pechadurusrwydd. Ond y felldith ydyw, pan y mae dynion yn gadael i'w dychymyg a'u teimlad eu llywodraethu, fel y mae y Defodwyr a'r Pabyddion yn gwneyd, nad ydyw o un dyben ymresymu â hwynt. Y mae eu ffydd yn ddigon gwasaidd i ymostwng i bob *fancy*; ac yn wir po wylltaf a mwyaf afresymol a fyddo y *fancy*, mwyaf parod ydynt i gymeryd eu meddiannu ganddi. Y mae "synied i sobrwydd," a phrofi pob peth gan ddal yr hyn sydd dda," yn bethau na feddyliant am danynt. Mae y cyfeiliornad sydd yn ffynu yn eu plith yn gwneuthur y niwed mwyaf iddynt gan ei fod yn dinystrio eu barn, yn diorseddu eu rheswm, ac yn llygru eu cydwybod. Ac wedi gwneuthur y pethau yna, y mae llywodraeth gwirionedd yr Efengyl ar eu meddwl ymron yn anmhosibl; nid oes dim ganddynt mwyach i'w wneyd ond gorwedd wrth drugaredd unrhyw fympwyon y gwelo dychymyg yn dda beri iddynt ymgynnyg i'w meddwl. Mae hyn yn rhoddi cyfrif am anfoesoldeb dirfawr y gwledydd Pabaidd. Gwnaeth yr Archesgob Manning yn ddiweddar sylw rhyfeddol o unochrog ar sefyllfa gymhariaethol anniweirdeb Rhufain a Llundain. Ond erbyn edrych, fel y dywed yr *Examiner*, mae y mater yn sefyll fel y canlyn:—Cyfartaledd plant anghyfreithlawn i bob cant o enedigaethau, Llundain, 4; Paris, 48; Brussels, 58; Monaco, 91; Vienna, 118; Rhufain, 243. Ac yn debyg gyda throseddiadau eraill. Dyma gyfartaledd y llofruddion yn y gwahanol wledydd:—Lloegr, 1 o bob 178,000; Holland, 1 o bob 163,000; Prwsisa, 1 o bob 100,000; Awstria, 1 o bob 77,000; Spaen, 1 o bob 4,113; Naples, 1 o bob 2,750; y Taleithiau Rhufeinig, 1 o bob 750. Ac unwaith yr ymollyngo dyn i feddwl nad ydyw yn gyfrifol am

ei farnau, y gall edrych ar yr offeiriad fel ceidwad ei gydwybod, y gall wneyd iawn rhwydd am y pechodau gwaethaf trwy benyd na bydd ei ddyoddef yn ddim anghyfleusdra iddo, ac fod holl orchwylion celyd ac anhawdd y bywyd ysbrydol yn cael eu darostwng i ryw gylch o ymarferiadau celfyddydol, wrth reswm y mae holl afael Cristionogaeth arno yn diflanu. Y mae y Bibl yn gosod o'i flaen gorff o wirionedd sydd yn galw am ymdrech egnïol o eiddo ei feddwl i'w amgyffred, ac yn dangos ei fod yn bersonol gyfrifol i'w gymeryd iddo ei hun yn rheol ffydd ac ymarweddiad. Ac yn y rhinweddau cristionogol, fe elwir arno yn arbenig i "ychwanegu at ei ffydd rinwedd," *ἀρετη, virtus*, gŵreidd-dra. Ond y mae Pabyddiaeth Rhufain a Lloegr yn gommedd iddo yr ymarferiad meddyliol o geisio chwilio am y gwirionedd, ac ar yr un pryd yn ei amddifadu o bob cyfleusdra i ymarfer, mewn annibyniaeth a rhyddid, y rhinweddau gŵraidd; ac felly yn tueddu yn uniongyrchol i feithrin cenedl a fo, o ran meddwl a buchedd, yn blant gweiniaid a diymadferth. Dywedwn wrth ein cyd-genedl, "Sefwch gan hyny yn y rhyddid â'r hwn y rhyddhäodd Crist chwi, ac na ddalier chwi mwyach gan iau caethiwed!" Hyderwn y darllenir yn helaeth ddarlith ragorol Mr. Evans. Fe agorai lygaid llïaws i weled mawredd y drwg, nad oes ganddynt eto ond dirnadaeth bur anmherffaith am dano; ac yr ydym yn credu hefyd y dyfnhäi yn meddwl pob Cymro diragfarn yr argyhoeddiad, mai goreu po gyntaf y dadsefydlir yr Eglwys Wladol, ac y gadawer i'r sectau llïosog sydd o'i mewn ymladd eu brwydr a thalu eu côst, fel y byddont yn dewis eu hunain.

*Dyledswydd Eglwysi i ddewis Gweinidogion, ac ychydig Gyfarwyddiadau tuag at hyny.* Gan y Parch. WILLIAM GRIFFITH, Caergybi. Dolgellau: Hughes.

NID oes dyn mwy difrifol, na dyn a gariodd argyhoeddiad dyfnach i feddwl pawb a'i gwrandawodd ei fod yn weinidog ffyddlawn i Grist, na Mr. Griffith, Caergybi. Drwg iawn genym na fyddai ei nerth yn goddef iddo gymeryd rhan fwy blaenllaw yn y rhyfel yn erbyn pechod. Mae y tamaid llyfryn yma,—papyr a ddarllenodd mewn Cymanfa a gynnaliwyd y flwyddyn ddiweddaf yn Llanerchymedd,—yn genadwri dra phwrpasol oddiwrtho at eglwysi ei enwad, a da fyddai ei ystyried gan holl eglwysi Cymru o bob enwad. Ymddengys fod llïaws o eglwysi Annibynol yn awr, er dal, fel pwnc o gredo, fod y weinidogaeth i fod yn sefydlog, eto yn ymfoddloni ar ymdaro fel y gallont, ac o herwydd hyny mewn sefyllfa nychlyd a diymadferth. Nid yw ond ffolineb dywedyd y dylai pawb bregethu. A wna pawb bregethu? Ac nid yw ond ffolineb ychwaith myned i faldordd ynghylch yr elfen lëygol. Y mae traddodiadau Ymneillduaeth Cymru yn sicrhâu cymaint o ryddid i'r elfen lëygol weithio ag sydd yn bosibl. Ond wedi y cwbl y llëygwyr sydd yn gweithio fwyaf difrifol eu hunain, sydd yn ymdeimlo ddwysaf â'r ffaith fod Crist wedi "rhoddi rhai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon," a hyny "hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn ŵr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist." Ac y maent hwy yn dra pharod i gydnabod fel un o "ordeiniadau" eraill yr Arglwydd, "fod yr

hwn sydd yn pregethu yr Efengyl i fyw wrth yr Efengyl." Y mae yn resyn fod yr un o eglwysi ein gwlad, o ba enwad bynag, yn nychu, pan nad oes eisieu ond deffro yn ddifrifol i ystyried y sefyllfa, na ddeuid o hyd i foddion ymgeledd ac adnewyddiad iddi. Yr ydym yn argymhell i sylw difrifol yr eglwysi a'r pregethwyr y *math* o ddynion ag y mae doethineb a gras Mr. Griffith yn olygu a ddylid ddewis i fod yn fugeiliaid ac yn athrawon :—Rhaid ei fod yn *ddyn*,—rhaid ei fod yn *ddyn da*,—rhaid ei fod yn ddyn *deallus*,—rhaid ei fod yn ddyn *difrifol*,—rhaid ei fod yn ddyn *diwyd*. Bregethwyr ieuainc Cymru, nac ymfoddlonwch heb wneyd a fyddo yn ddichonadwy eich hunain, ac ymofyn gras gan Dduw, i lanw *ideal* Mr. Griffith. Ac eglwysi Cymru, os gellwch gael dynion o'r fath i'ch porthi â gwybodaeth ac â deall, gwnewch yn fawr o honynt.

*Codi'n Foreuol: neu Draethawd ar y Manteision o Godi yn Foreu.* Gan JOSEPH WILLIAMS, Liverpool.

LLYFRYN da, yn ddiammheu, ac y mae yn sicr y byddai y byd ar ei ennill o'i ddarllen a'i gredu, ac yn enwedig o'i osod mewn ymarferiad.

Meliora video proboque, sed pejora sequor.

Ond yr ydym yn dysgwyl cyfnewidiad mawr wedi darllen llyfr ein cyfaill Mr. Williams. Cynllun da yw yr eiddo Southey, a argymhellir yn y llyfr hwn, sef codi, gylch y flwyddyn, gyda yr haul.

*Traethawd ar Gyfeiriad neu Gyflwyniad Gweddi.* Gan JOHN ROBERTS, Tyddyn Gwilym, Trefriw.

CAWSOM hyfrydwch nid bychan yn ddiweddar yn nghwmni y patrïarch a gyfansoddodd y Traethodyn hwn. Y mae efe wedi gweled llawer tro ar fyd, ac yn engraifft dda o ddosbarth tra dyddorol o'n tadau ag oeddynt, trwy astudiaeth ddyfal o Eiriadur Charles, ysgrifeniadau Dr. Lewis, &c., wedi eu gwneyd eu hunain yn dduwinyddion trwyadl. Yr oedd yn ddifyr genym ei glywed yn desgrifio hen gynnadleddau a gawsai lawer-oedd o weithiau, pan oedd Ieuan Glàn Geirionydd, John Jones, Talysarn, a'i frodyr William a Richard, yn gydaelodau âg ef o eglwys y Methodistiaid yn Nhrefriw, ac y treulid oriau meithion ganddynt gyda eu gilydd mewn dadleuon duwinyddol. Synid at gyrhaeddiadau y gŵr o Dalysarn mewn duwinyddiaeth, yn enwedig yn gymaint ag nad ydoedd yn abl i ddarllen llyfrau Saesoneg. Ond erbyn deall am y gallu rhyfedd oedd ganddo i dynu allan beth bynag a wyddai pobl eraill, nid rhyfedd fod ei wybodaeth mor gyfoethog. Yr ydym yn deall fod Glàn Geirionydd y pryd hyny yn darllen gweithiau Dr. Williams o Rotherham ac eraill, ac yr ydoedd ei gyfaill John Jones, yn enwedig, yn tynu eu cynnwys o hóno yn eu hymddyddanion. Yr ydoedd wrth siarad a dadleu cymaint ynghylch y pethau, yn eu gwneyd, yn yr ystyr uchaf, yn eiddo iddo ei hun, ac ar yr un pryd yn gwneyd y gwasanaeth mwyaf effeithiol i ddiwylliad ei feddwl. Y mae gan ein hen gyfaill o Dyddyn Gwilym yr un modd ddirnadaeth ëang a thra chlir yn ngwirionedd yr Efengyl. Hyderwn na fydd pobl

yr oes hon ddim yn foddlawn i fod yn amddifad o dduwinyddiaeth graff ac ysgrythyrol y tadau. Temtasiwn lliaws o'n cydwladwyr sydd yn darllen yn awr ydyw darllen llawer mewn swm, yn hytrach na darllen llawer mewn sylwedd. Fel cymhellion i lafur, ac fel ymarferiadau iachusol mewn dysgyblaeth feddyliol, y mae yn sicr fod colled fawr i Gymru am y dadleuon duwinyddol a fyddai yn y dyddiau gynt yn ei chynhyrfu yn gymaint. Fe allai fod yn dda i ni eu lle mewn ystyriaethau eraill; ond yn hyn y mae yn chwith i ni ar eu hôl. Pwnc y traethodyn hwn ydyw mai fel Tad, ac nid fel Arglwydd neu Dduw, y mae y Testament Newydd yn ein dysgu i neshâu at a chyfarch Gwrandäwr gweddi. Mae yn sicr fod llawer i'w ddyweyd o blaid y golygiad a amddiffynir yma, ac mae yn debyg mai diffyg crefydd ydyw y rheswm mawr nad ydym yn neshâu at Dduw, pan yn amcanu trefnu ein mater ger ei fron, fel ein Tad.

*Grawnsypiau Canaan*, sef Pregethau gan y Parchn. J. OWEN, Ty'nllwyn; R. ROBERTS, Carneddi; J. PRITCHARD, Amlwch; T. C. EDWARDS, M.A., Liverpool; D. EVANS, Waenfawr; WILLIAM ISLWYN THOMAS, Babell; G. PARRY, Llanrwst; H. JONES, Amlwch; L. EDWARDS, D.D., Bala; E. MATTHEWS, a J. HARRIES JONES, Ph.D., M.A. Llanerchymedd: L. Jones.

PAHAM y roddid y fath enw ar y llyfr hwn? Y mae "Grawnsypiau Canaan" eisoes yn ein llênyddiaeth, ac wedi sicrhâu iddynt eu hunain y fath le nad ydyw yn debyg y bydd i un gwaith arall beri i ni eu hanghofio. Gresyn mawr na fuasai cyhoeddwr y pregethau hyn yn ymgynghori â rhywrai o'r gwŷr enwog y mae wedi cael pregethau ganddynt ynghylch yr enw a ymgynnygiai i'w feddwl. Ar unrhyw dir ni fuasai "Grawnsypiau Canaan" yn enw da ar gyfrol o bregethau; ond fel enw ag sydd wedi cael ei ddefnyddio eisoes ar lyfr hymnau Robert Jones, Rhoslan, ac fel y cyfryw yn swynol yn meddwl y genedl, y mae ei ddefnyddio fel enw ar y fath lyfr a hwn yn anwiredd i'w gosbi gan farnwyr. Fel y gallesid dysgwyl oddiwrth y fath wŷr, y mae y pregethau yn rhagorol iawn; darllenasom hwynt oll gyda hyfrydwch neillduol; a chan fod cynnyrchion mor wirioneddol werthfawr, a chynifer o honynt, yn cael eu cynnyg i'r Cymry mewn llyfr swllt, yr ydym yn hyderu y cânt y lledaeniad mwyaf. Darllenasom yn ddiweddar—yn y *Faner* yr ydym yn meddwl—am gyfeillion ffyddlawn mewn un ardal, pan yn amddifad o bregethwr i'w gwasanaethu, yn cymeryd Bibl Peter Williams, a chyfrol o bregethau Charles, Caerfyrddin, gyda hwynt i'r capel, ac wedi darllen pennod, ynghyda sylwad Peter Williams, a gweddïo, yn darllen un o bregethau Charles. Byddai yn dda genym ddeall fod peth o'r fath yn cael ei wneyd yn amlach mewn amgylchiadau cyffelyb; a diammheu y gallai llyfr fel hwn fod o wasanaeth mawr felly. Mae yn sicr y cenfydd llawer hefyd fod ei ddarllen yn dra difyrus a buddiol iddynt yn eu teuluoedd, ac yn eu hefrydiau personol.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

## Y DEALL DYNOL YN ARWEINYDD DIYMDDIRIED.

YMDDENGYS fod gogwydd cryf yn yr oes bresennol i osod mwy na digon o ymddiried yn arweiniad y deall dynol. Mŷn rhai ei osod yn oruchaf mewn awdurdod, gan ei ystyried yn arweinydd anffaeledig. Hònir ei fod yn abl, gyda phob dïogelwch, i ddethol y gwir oddiwrth y gau, a'r gwych oddiwrth y gwael. Edrychir arno fel gallu holl-ddigonol i chwilio allan y gwirionedd, a nithio ymaith ûs cyfeiliornadau. Mor bur yw ei amcan, ac mor berffaith yw ei allu, fel nad oes arno gymaint ag eisieu help neb na dim ond ei hunan. Edrychir ar hyny o wybodaeth y mae y byd wedi ei gyraedd, a hyny o wirionedd sydd yn ei feddiant, yn ffrwyth ymchwiliadau y deall dynol. Nid yw y dybiaeth o ddadguddiad goruwchnaturiol ond camsyniad, ac y mae arweiniad goruwchddynol yn ddianghenraid ac yn hòniad twyllodrus. Nid yw y Bibl ond dynol. Yn ol y naill, yn llyfr drwg a chyfeiliornus, yn haeddu ei gondemnio a'i wrthod; nid oes dim yn rhy gableddus a dirmygus i'w ddyweyd am dano: yn ol y lleill, yn llyfr da, yn cynnwys ymchwiliadau y dynion goreu, a gwirioneddau a moeswersi o'r gwerth mwyaf; ond y cwbl yn gynnyrch y meddwl dynol. A chan fod y byd yn myned rhagddo, a'r deall dynol yn chwanegu ei nerth ac yn ymberffeithio, fod yn bosibl i ddynion da a doeth yr oes hon gynnyrchu llyfrau gwell a pherffeithiach. Wrth gwrs, y mae y byd yn myned yn well well, a dynion yn dyfod yn gallach gallach, ac felly y mae dynion a dysgawdwyr yr oes hon yn well, a challach, a dïogelach, na neb a fu o'u blaen. Fel y darfu i Grist a'i apostolion daflu Moses a'r prophwydi i'r cysgod, felly y mae dynion da a chall yr oes hon yn taflu Crist a'i apostolion i'r cysgod. Nid oes neb i'w gydnabod yn y cwbl ond y dyn. Y mae pob gwybodaeth a gwelliant yn ffynnoni ynddo ef. Dynion sydd yn dyfod yn gallach gydag amser ac ymarferiad, ac nid ydym yn ddyledus i neb na dim uwchlaw y deall a'r rheswm dynol; os oes neb na dim yn bod, yn wir, uwchlaw y dyn. Ond pa fodd bynag, ceir eraill ychydig yn fwy cymedrol. Edrychant ar sefyllfa y ddynoliaeth yn gyfryw fel ag i wneyd dadguddiad goruwchnaturiol yn ddymunol, os nad yn angenrheidiol. Cydnabyddant fod y Bibl yn cynnwys y dadguddiad dymunol hwnw; ond rywfodd, fod ynddo lawer o gamsyniadau. Llawer o'r dynol wedi llithro yn gymysg â'r Dwyfol; llawer darn o'i hanes yn gyfeiliornus, llawer tystiolaeth ynddo yn ddiymddiried, a llawer hòniad yn dwyllodrus. Nis gellir ymddiried am yr awdwr na'r amser yr hònir i'r llyfrau gael eu hysgrifenu; na chwaith am ddilysrwydd y ffeithiau a adroddir; ac y mae aml un o'i athrawiaethau yn ammhëus.

Ond y fath hyder a deimlir yn y deall dynol, a'r fath awdurdod a roddir ar ei benderfyniadau, fel y gellir ymddiried iddo gyda phob dïogelwch i drîn yr hen lyfr fel y myno. Medr wneyd allan pa faint o'i hanes sydd yn ddilys, a pha faint sydd yn dwyllodrus; pa ranau o'i gynnyrchion sydd yn ddynol, a pha ranau sydd yn Ddwyfol. Mor graff yw ei lygad, ac mor berffaith yw awdurdod ei feirniadaeth, fel y medr wneyd allan, gyda phob dïogelwch, pa nifer o bennodau, o adnodau, os nad o eiriau, ymhob llyfr, sydd yn cael eu cambrïodoli i'r awdwr, a pha amser yr ysgrifenwyd pob llyfr; medr gyflawni pob diffyg, cywiro pob gwall, a phuro yr hen lyfr oddiwrth yr holl gamsyniadau sydd wedi llithro iddo. Y mae yn safon dïogel i farnu pob peth, a rhaid i'r Bibl, fel pob peth arall, blygu i'w awdurdod, a sefyll neu syrthio o flaen ei feirniadaeth. Ond rywfodd, nid yw yn gallu deall pethau yr un fel ymhob oes, nac ymhob dyn yn yr un oes. Yn aml, y peth a dderbynir ganddo fel gwirionedd yn yr oes hon, a gondemnir ganddo fel twyll a chyfeiliornad yn y nesaf. A bydd y deall tywysogaidd yn y naill ddyn yn collfarnu a gwrthod yr hyn y mae, gyda phob awdurdod, yn ei dderbyn a'i gymeradwyo yn y dyn arall. Dyna efe, yn y naill ddyn, yn cael allan gyda phob sicrwydd fod dadguddiad goruwchnaturiol yn ddiangenrhaid, os nad yn anmhosibl; tra, yn y dyn arall, y mae yn cael allan gyda llawn cymaint o sicrwydd ei fod nid yn unig yn angenrheidiol, ond yn ffaith. Yn y naill, bydd yn derbyn y dadguddiad hwnw yn gyflawn a difwlch, gan ddysgu esbonio ei anhawsderau yn gyson â phurdeb dilys yr holl lyfr; yn y llall, yn ei ddarnio wrth ei bleser, gan dderbyn peth a gwrthod y gweddill. Bydd gwirionedd y naill yn gyfeiliornad gan y llall. Dyna y naill yn credu mewn gwyrthiau, ac yn derbyn yr hanes ysgrythyrol fel yn ddilys a ffyddlawn; dyna'r llall yn cael y cwbl yn dwyll a chamdystiolaeth, a gwyrthiau yn anmhosibl. Bydd un yn credu nad oes nac angel, nac ysbryd, na Duw, na dyn, ac nad yw y cwbl ond breuddwyd; pryd y mae un arall yn credu yn y naill a'r llall, a bod canlyniad sylweddol a thragywyddol i'r bywyd presennol. A bydd y naill fel y llall dan arweiniad y deall dynol. Nid yw fod y naill ddyn yn gydradd â'r llall mewn dysg, gwybodaeth, athrylith, barn, dyfalbarhâd, a gonestrwydd, yn abl i symud y gwahaniaeth. Bydd uchelwyr dysgeidiaeth, y rhai yr edrychir arnynt yn awdurdodau mewn gwybodaeth a barn, yn gwahaniaethu llawn cymaint oddiwrth eu gilydd â'r gwirion a'r anwybodus. Ammheuir, wedi'r cwbl, nad oes dim yn fwy peryglus i ymddiried ynddo na'r deall dynol, yn ei sefyllfa bresennol. Ofnwn fod rhyw anffawd wedi dygwydd iddo, fel nas gellir yn ddïogel ei ddilyn fel arweinydd anffaeledig. Mwy na digon iddo yw penderfynu pob dyrys-bwnc, ac y mae ei oleuni yn rhy wan i'n harwain drwy anialwch a thywyllwch y fuchedd bresennol i wlad y goleuni pur a digymysg.

Yn awr, ceisiwn nodi rhai o'r pethau sydd yn dangos gwendid a pherygl y deall dynol fel arweinydd.

1. *Ei anwybodaeth.* Nid yw hyny o wybodaeth sydd yn ddichonadwy i ddyn ei gyraedd yn y fuchedd bresennol ond bychan iawn. Nid yw ei gynneddfau ond eiddil, ei amser ar ei hŷd ond bŷr, llawer o ba un a dreulir i ddarparu ar gyfer angenrheidiau y corff, mewn bwyta, yfed, a chysgu. Llawer darn a gollir mewn niwl a marweidd-dra, a llawer

mewn gorysgafnder a moethau. Nid yw iechyd y corff, ar y goreu, ond anmherffaith; a darllen llawer sydd flinder i'r cnawd. Weithiau, bydd digalondid ac ammheuon yn ei lethu; bryd arall, bydd gorwylltedd hyderus yn ei ddyrysu. Dan y fath amgylchiadau, nis gall ei gynnydd fod ond bychan, na'i wybodaeth ond terfynol ac anmherffaith iawn. I'r graddau y byddwn yn anwybodus, y byddwn yn ddarostyngedig i gyfeiliorni a chamsynied, a'r mwyaf hyderus yn aml fydd y mwyaf cyfeiliornus. Y mae yr ychydig gynnydd yr ydym yn ei wneyd yn ystod ein bywyd yn aml yn gwneyd cyfnewidiad mawr yn ein syniadau. Yr ydym yn gweled y golygiadau a fuom unwaith yn eu dal gyda zêl angerddol yn mabandod ein bywyd, yn troi allan yn ddychymygion camsyniol, a'r tybiau a feddyliem unwaith yn sylfaenedig ar greigiau gwirionedd, yn syrthio yn ddarnau o flaen rhuthr ein tipyn cynnydd mewn gwybodaeth. Os yw felly yn ystod y fuchedd bresennol, beth fydd y dymchweliad wedi y cawn fil a mwy o flynyddau i gynnyddu, gyda chynneddfau llawer cryfach, wedi eu rhyddhâu oddiwrth anfanteision y sefyllfa bresennol? Ond pan awn i fesur ein gwybodaeth bresennol wrth yr hyn ni wyddom, y mae y pellder yn llawer mwy. "Mor fychan yw y peth a wyddom ni!" Pe caem filiwn o flynyddau i gynnyddu, ni byddem wedi hyny ond megys ar drothwy teml gwybodaeth, neu ymylon cyfandiroedd diderfyn, fydd yn aros yn ddirgelwch tragywyddol i ni. Beth all dyn ei wybod byth yn ymyl y Duw hollwybodol? A pha ffolineb fod y fath un yn tybied ei fod uwchlaw cael ei ddysgu a'i gyfarwyddo gan y "Perffaith ei wybodaeth?" Nid yw gwybodaeth yr holl fyd ond megys dim yn ymyl gwybodaeth Duw; ac eto y mae gwybodaeth y byd yn llawer mwy nas gall un dyn ei feistroli yn ystod y fuchedd bresennol. Nis gall un dyn ond meistroli yn anmherffaith ryw un ganghen o wybodaeth, heb wybod braidd fwy am y lleill na'u henwau, gan ymddiried i awdurdod a gwybodaeth pobl eraill. Mor fratiog a therfynol yw yr oll a allwn ei wybod! Gellid meddwl fod pob gwirionedd yn dal rhyw gysylltiad â gwirionedd arall. Y mae y naill fel rhyw agoriad i'r llall, y naill yn ymwau drwy y llall yn un rhwydwaith, ac yn ffurfio un cyfanwaith mawr nad oes neb yn deall ei holl gysylltiadau, nac yn dirnad ei holl gadernid, nac yn gweled ei holl brydferthwch, ond "y Perffaith o wybodaeth" ei hunan. Ac eto dyma y dyn bach yn tybied ei hun uwchlaw derbyn dadguddiad i'w gyfarwyddo yn llwybrau gwirionedd gan yr unig Un a all ei dywys i bob gwirionedd; dyn, nad yw ei hanes ond hanes hurtyn, yn nghanol tryblith o gamsyniadau, yn ymddyrysu mewn anialwch heb ffordd. Pa mor aml y cawn ef yn cyfeiliorni? Mor aml y mae ei hyder a'i ymffrost yn troi yn siomedig! Mor aml, "pan dybient eu bod yn ddoethion, yr aethant yn ffyliaid?" Gynifer o'i dŷrau a'i demlau a sylfaenwyd mewn clai, a chan gymaint o'u defnyddiau a drôdd allan yn wellt, gwair, a sofl? Mor lleied o'i waith sydd yn aros! Prin y cawn gàreg ar gàreg. Y fath chwalfa y mae tipyn cynnydd y byd mewn gwybodaeth wedi ei wneuthur ar ei gyfundraethau; a mil o flynyddau eto a all wneyd yr un difrod ar gyfundraethau ac ymffrost yr oes fawr, falch, yr ydym ni yn byw ynddi, heb sôn am oleuni mwy a pherffaith y byd mawr sydd o'n blaen. Nid oes genym, ac nis gall fod genym, ond "megys rhanau ei ffyrdd Ef, ac mor fychan yw y peth a wyddom ni am dano ef!" Pa mor

ostyngedig a phwyllog y gweddai i ni fod, a pha mor ddiolchgar a pharod i wrando, os yw Duw pob gwirionedd wedi gweled yn dda ein cyfarwyddo a'n dysgu trwy ddadguddiad yn y pethau sydd arnom fwyaf o eisieu eu gwybod, ond, rywsut, sydd yn fwyaf anhawdd i ni eu chwilio allan.

2. Y mae annïogelwch ei *ddeall* fel arweinydd i ddyn, i'w weled hefyd wrth i ni ystyried ei *ragfarnau*. Y mae dyn yn derbyn llawer iawn o'i syniadau drwy draddodiad ei dadau. Bydd hwyrach yn chwanegu ychydig at hyny drwy sylwadaeth bersonol, ac allan o gynnyrch gwreiddiol ei feddwl ef ei hunan; a bydd yn derbyn y cwbl yn ei ddyddiau boreuol gydag awdurdod gwirionedd. Bydd yn syrthio mewn cariad mawr atynt, ac yn meddwl yn fawr iawn o honynt, ac yn aml yn dwyn zêl angerddol drostynt. Y mae parchedigaeth dyn i'w dadau, a'i ffydd naturiol yn eu syniadau, y serch greddfol sydd yn tyfu ynddo yn nhynerwch ei flynyddoedd boreuol tuag at ei genedl, ei arferion, ei grefydd, neu y blaid y bydd yn perthyn iddi, yn rhoddi i'w syniadau boreuol y fath ddyfnder daear yn ei galon nes y mae eu gwreiddiau yn ymblethu drwy ei holl enaid. Y mae eu gafael mor ddwfn, a'u meddiant mor gyflawn, fel yn aml iawn mai ofer yw taflu hâd gwirionedd i'w galon, gan y bydd syniadau camsyniol, ac ofergoelion blynyddoedd boreuol yn tagu y cwbl. Oni bae am ddylanwad goruwchnaturiol, byddai rhagfarnau dynoliaeth yn gwneyd ei chyflwr yn anobeithiol. Nid yw hyd yn nôd cyfnewidiad ysbrydol yr enaid, na gras y bywyd yn y galon, yn abl llwyr ryddhâu dyn o lyfetheiriau ei ragfarnau a chyfeiliornadau yn ystod adeg fèr y bywyd presennol. Mae genym engreifftiau o'r dynion goreu, a'r dynion mwyaf, a'r rhai hyny wedi cael y manteision uchaf, yn aros yn maglau eu syniadau boreuol, cyfeiliornadau a dderbyniasant trwy draddodiad eu tadau, hyd oni arferwyd moddion gwyrthiol i'w dyrchafu i ryddid y gwirionedd. Dyna'r apostolion, wedi derbyn bywyd yr efengyl, yn gyfranogion o Ysbryd Crist, yr hwn oedd yn ei natur yn ymweithio yn erbyn eu rhagfarnau, ac yn ei anian yn ymestyn am ysbrydolrwydd, rhyddid, ac ehangder Cristionogaeth; cawsent y fraint o dreulio blynyddau yn nghymdeithas a than addysgiaeth y Gwaredwr mawr ei hunan; dysgodd hwynt am natur ysbrydol ei deyrnas; gwelsant ef yn ymwrthod â phob mawredd ac awdurdod daearol; yn marw ar y groes; yn adgyfodi y trydydd dydd; a bu yn eu plith wedi hyny "ddeugain niwrnod yn dywedyd y pethau a berthynent i deyrnas Dduw;" eto, pan yn ymyl ei esgyniad, dyma hwy yn troi ato gan ofyn, "Ai y pryd hwn y rhoddi drachefn y frenhiniaeth i Israel?" Er pobpeth yr oeddynt yn aros yn gaethion i'r hen syniad cyfeiliornus am deyrnas ddaearol, ac am ddyrchafiad eu cenedl eu hun mewn awdurdod a llywodraeth, goruwch holl genhedloedd y ddaear. Llefarodd yn eglur wrthynt am ehangder diderfyn cariad Duw, gan ddywedyd, "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab; fel na choller pwy bynag o gredo ynddo ef, ond caffael o hóno fywyd tragywyddol." Dysgodd yr un gwirionedd iddynt eilwaith ac eilwaith mewn dammegion, a thrwy wyrthiau, ac yn ddiweddaf oll gorchymynodd hwynt gan ddywedyd, "Ewch gan hyny a dysgwch yr holl genhedloedd, gan eu bedyddio hwynt yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân." Y mae yn anhawdd i ni roddi cyfrif pa fodd na ddeallasent bellach y gair hwnw. Dyna hwy drachefn yn derbyn addewid yr

Ysbryd; yn llefaru gyda nerth a llwyddiant mawr; yn llanw Jerusalem a'i hamgylchoedd â'u hathrawiaeth; ond yn bur ofalus na ddywedent "air wrth neb, ond yr Iuddewon yn unig." Bu raid cael y llènllïan fawr yn llawn o bedwarcarnolion y ddaear, gwylltfilod, ac ymlusgiaid, ac ehediaid, dair gwaith i lawr o'r nef, a llef Ddwyfol yn dywedyd, "Cyfod, Pedr, lladd a bwyta," gyda gorchymyn caeth, "Y pethau a lanhäodd Duw, na alw di yn aflan," cyn agoryd llygaid Pedr, a chyn ei blygu i bregethu yr efengyl i'r cenhedloedd. Pan y clywyd ei hanes gan ei frodyr, galwyd ef i gyfrif fel troseddwr; ond erbyn hyn yr oedd ganddo hanes y llènllïan i'w gosod ger eu bron, a'r ffaith ryfeddol fod yr Ysbryd Glân "wedi disgyn ar y cenhedloedd megys arnom ninnau yn y dechreuad, ac os rhoddes Duw gan hyny iddynt gyffelyb rodd ag i ninnau, pwy oeddwn i allu lluddias Duw?" Ond heb i ni ddilyn yr hanes, y mae hyn oll yn dangos pa mor anhawdd oedd iddynt ymgodi uwchlaw syniadau cul a chyfeiliornus Iuddewiaeth, yn y rhai eu meithrinwyd hwynt yn eu blynyddoedd boreuol. Diammheu, oni bae am y moddion anarferol a gwyrthiol a arferwyd tuag atynt, y buasai oes yr apostolion yn rhy fèr iddynt dyfu allan, ac ymddyrchafu o gaethiwed a chulni cnawdol Iuddewiaeth, i ryddid yr efengyl. Yn awr, byddai yn gamsyniad o'r mwyaf i ni dybied mai rhywbeth ag oedd yn perthyn yn neillduol i'r dynion hyn oedd y dallineb a'r gafael cyndyn yn eu hen syniadau, ac na fuasem ni mor ffôl a dall a glynu wrth y fath egwyddorion cul a chamsyniol, yn wyneb goleuni yr efengyl. Oni byddai yn llawer dïogelach, ac yn llawer cywirach, i ni edrych arnynt fel engreifftiau o wendid dynoliaeth syrthiedig, o ansawdd ddiymddiried y deall dynol, a'i anghymwysder i dywys dyn i wybodaeth o'r gwirionedd, heb gymhorth goruwch-ddynol. Dywed y bardd am Griffith Jones, Llanddowror, seren y diwygiad Cymreig, er cymaint ei awyddfryd am lesâd ysbrydol ei gyd-ddynion, ac er maint ei lafur i'w dwyn i wybodaeth o'r gwirionedd, a'i barodrwydd i ddefnyddio pob cyfleusdra i wasanaethu ei amcan,—

> Am nad oedd ei foreu ond tywyll,
> Ac nad oedd ei ffydd ond gwan,
> Fe arswydodd fyn'd i'r meusydd,
> Ac i'r lleoedd nad oedd Llan.

Ond yn hytrach, meddwn ni, yr oedd ei ffydd yn gref, a chyflawnodd orchestion ar y ddaear, a bu yn fendith annhraethol i'w gyd-ddynion, ond yr oedd ei oes yn rhy fèr i fwrw ymaith yr holl gamsyniadau eglwysyddol y meithrinwyd ef ynddynt yn ei ddyddiau boreuol, a than ddylanwad oes nad oedd braidd neb ynddi ond ei hunan yn adlewyrchu pelydryn o oleuni i'r gaddug o dywyllwch oedd yn tôi y Dywysogaeth. Dyna Jones, Llangan, wedi tyfu allan drwy y syniad cyfeiliornus, yn myned allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau, i gyhoeddi yr efengyl. Meddai ar ddigon o wroldeb i ateb ei arglwyddiaeth yr esgob gan ddywedyd, "Fod yr holl ddaear wedi ei chysegru i bregethu'r efengyl, y diwrnod y rhoddodd Mab Duw ei droed arni; a'i fod yn ammheu, oni bae am y cysegriad hwnw, na fuasai cysegriad ei arglwyddiaeth werth dim!" Eto mynai efengylydd Llangan gael marw cyn ildio i ordeinio gweinidogion i ymgeleddu yr eglwysi a blànodd, a'r cynnulleidfäoedd a ddaethant ynghyd i'r holl gapeli a adeiladodd. Dyna y Dr. Chalmers a'i frodyr, wedi eu blino gymaint gan sefydliad gwladol o grefydd, fel y casglasant ddigon

o wroldeb duwiol i ymwadu â holl fanteision cnawdol y sefydliad, gan adael eu cyflogau mawrion ar eu hôl, a mentro i'r clwt noeth, heb neb na dim i ymddiried ynddo ond yr efengyl a Phen mawr yr eglwys. Coronwyd eu ffydd â'r amddiffyn mwyaf amlwg, a'u llafur â llwyddiant, llwyddiant fydd yn aros yn bennod ogoneddus yn hanes yr eglwys am byth. Dywedir iddynt wneyd mwy mewn ugain mlynedd, tra yn ymddibynu yn gyfangwbl ar adnoddau yr efengyl, nac a wnaethant yn ystod dau gan' mlynedd dan nawdd y llywodraeth. Eto y mae yr hen syniad o grefydd sefydledig yn dal ei afael ynddynt hyd y diwedd. Yn awr, os yw ymryddhâu oddiwrth eu hen ragfarnau yn fwy na digon o orchwyl yn ystod y fuchedd bresennol, i ddynion o'r fath yma, dynion yn cael eu llywodraethu gan egwyddorion pur a sanctaidd, dynion yn chwilio yn ddifrifol am y gwirionedd, dynion yn abl taflu ymaith bob mantais gnawdol, ac ymwadu â phob teimlad hunanol, er mwyn cydwybod a gwirionedd, pa beth am y dynion hyny sydd yn gaeth i fanteision y cnawd, ac yn cael eu llywodraethu gan egwyddorion llygredig ac amcanion hunanol? Pa mor gamsyniol yw'r hyder diderfyn a roddir yn y deall dynol?

3. Y mae llawer o ddyryswch ymhellach yn cael ei beri trwy fod dynolryw yn *hawlio mwy nag sydd gyfiawn fel ffrwyth ymchwiliad y deall dynol.* Y mae yn anhawdd i ni benderfynu pa mor bell y gall fod y dynion hyny a gyflawnasant orchestion ar feusydd gwyddoniaeth dan arweiniad goruwch-ddynol, hyd yn nôd pan yn hollol anystyriol o hyny, neu yn anewyllysgar i gydnabod y fath beth. Yr ydym yn barnu mai bŷr a gŵyrog fuasai eu camrau, ac mai bychan fuasai eu cynnydd ar feusydd gwyddoniaeth faterol, oni bae am gymhorth yr "Hwn sydd yn dysgu gwybodaeth i ddyn." Y mae pob peth dan ei lywodraeth, a phob peth yn gwneuthur ei air ef. Y mae ganddo ei amcanion mawrion i'w cyraedd, ac yn aml pan y bydd dynion yn llafurio i gyraedd eu hamcanion eu hunain, byddant, yn ddiarwybod iddynt, yn cyraedd amcanion y Penrheolwr mawr. Ië, pan y bydd dyn wedi dyrysu, yn edrych ar ei fywyd yn fethiant, ni bydd Duw byth yn dyrysu, na'i amcanion Ef byth yn pallu. Tra y mae y deall dynol yn analluog i chwilio allan wybodaeth yn ei nerth ei hun, nid yw islaw gwneyd hyny trwy gymhorth Dwyfol. Ond y mae yn anonestrwydd dybryd, ac yn ymffrost twyllodrus i ddyn gymeryd yr holl ogoniant iddo ei hun. Tybiwn y byddai yn llawer dïogelach a chyfiawnach, pe dysgai gydnabod y presennoldeb Dwyfol yn y cwbl, gan ddywedyd "Nid i ni, nid i ni, ond i'th enw dy hun dod ogoniant."

Ond heblaw hyny, bydd dynion yn aml yn cymeryd i'w gwasanaeth gymaint a fyddo yn gyfleus iddynt o wirioneddau a rhinweddau y Bibl a Christionogaeth, gan wenieithio iddynt eu hunain, ac ymffrostio yn chwyddedig ger bron y byd, fel pe byddai y cwbl yn ffrwyth eu rheswm a'u deall eu hunain. Tra y mae egwyddorion Cristionogaeth wedi ymwasgaru drwy y byd, a lefeinio corff cymdeithas; ei gwirioneddau yn cael eu derbyn, a'i rhinweddau yn cael eu harfer o genhedlaeth i genhedlaeth, am ganrifoedd yn olynol; ei hegwyddorion a'i dylanwad ymarferol ar gymdeithas yn ymddadblygu yn raddol, a hwnw megys yn ddiarwybod iddynt yn cyraedd holl gorff cymdeithas yn gyffredinol; y mae yn hawdd iawn i ni edrych ar y cwbl fel rhediad naturiol pethau. Nid

y rhai hyny yn unig sydd yn derbyn Cristionogaeth fel y cyfryw, sydd yn cyfranogi o'i dylanwad, ac yn medi o'i bendithion cymdeithasol; ond byddant yn cyraedd yr anystyriol, a'r anghrediniol, ac hyd yn nôd y gelynion sydd yn ei gwadu ac yn ei chablu. O ba le daeth y wêdd bresennol sydd ar gymdeithas wareiddiedig, ond o ddylanwad Cristionogeth? Pwy ddyrchafodd y tlawd o'r llwch, a'r anghenus o'r tomenau, gan roddi iddo ei safle a'i freiniau fel *dyn*, ynghylch cymdeithas, trefniadau, a deddfau ei wlad? Pwy dynodd iau y caeth oddiar ei wàr, gan ddysgu a thueddu pendefigion a llywodraethwyr y ddaear i'w drîn a'i arddel fel brawd, gan daflu at ei draed holl fanteision rhyddid, addysg, a hunanddiwylliant? Pwy ddysgodd y cryf i helpu y gwan, y cyfoethog i ymgeleddu y tlawd, a'r llwyddiannus i gydymdeimlo â'r anffodus? Pwy ddyrchafodd y rhyw dyneraf i'w safle brïodol i gael y parch a'r tynerwch y mae ei rhinweddau yn haeddu, a'i dïogelwch yn ei ofyn? A than gysgod pwy mae yr hen yn cael ei anrhydeddu, a'r baban ei feithrin mewn dïogelwch? Eto tra y mae y pethau hyn bellach yn disgyn yn draddodiadol o oes i oes, ac wedi dyfod yn arferion cymdeithasol ac yn gyfreithiau gwlad, yn fath o etifeddiaeth gyffredinol, hawdd iawn ydyw i ni anghofio y ffynnonell o ba un y maent wedi tarddu, heb ddychymygu y sefyllfa y buasai dynoliaeth ynddi heddyw oni bae am ddylanwad rhinweddau a gwirioneddau Cristionogaeth. Bydd yn hawdd iawn i ni dybied nad yw y cwbl ond cwrs naturiol pethau, gan anghofio mai tueddfryd anocheladwy byd pechadurus yw myned rhagddo waethwaeth, a suddo ddyfnach ddyfnach yn ffôs pechod a thrueni, oni bae am ddylanwad goleuni a daioni Dwyfol drwy yr efengyl. Bychan y mae yr anystyriol yn ei feddwl faint o ddyledwr yw i Grist a Christionogaeth; a hawdd iawn y gall athronwyr balch a hunanol dybied nad yw y cwbl ond ffrwyth ymchwiliad a rhinweddau y ddynoliaeth, gan gymeryd gogoniant o rinweddau Cristionogaeth, trwy anghyfiawnder, i'w gwisgo yn goron ar ben y deall dynol. Y mae hanes dynolryw yn dysgu, mai dyledwyr i'r efengyl ydym am ein rhyddid, cyfiawnder cymdeithasol, arferion da a rhinweddau cyffredin y boblogaeth. Dan ei nawdd hi y mae trefniadau da a gwareiddiad dynolryw yn ffŷnu. Pan yr ymleddir brwydrau gorchestol yn erbyn hen sefydliadau gormesol, ac o blaid rhyddid, cyfiawnder, a gwelliantau dynol, ar ei hegwyddorion hi y bydd ein gwroniaid yn gorfod syrthio. Ynddi hi y cawsant eu syniadau; ei bywyd hi roddodd iddynt ysbryd i ymaflyd ynddynt, a thrwyddi hi y cawsant nerth i orfod anhawsderau, a dal ati heb ballu na digaloni nes dwyn barn at fuddugoliaeth. Yn llewyrch goleuni cyffredinol yr efengyl y mae holl feddylwyr oesau diweddar y byd yn chwilio allan wybodaeth, a than ddylanwad ei hysbryd a'i harweiniad hi y dygir allan drefniadau doeth a deddfau manteisiol i lywodraethu a gwella y byd. Ni fyddai waeth i ddyn sydd yn rhodio ganol dydd ddiystyru yr haul yn y nefoedd, nac i'r dynion sydd yn mwynhâu manteision goleuni yr efengyl ei chablu. Tra y mae y doethyn anffyddol a'r athronydd hunanol yn cablu y Bibl, ac yn dirmygu Cristionogaeth, y maent yn ddyledus iddynt agos am bob peth gwerthfawr a feddant, ac am hyny o wirionedd a rhinwedd a ddysgant ac a arferant. Nid yw y dychymygion sydd yn gynnyrch eu hymenyddiau eu hunain ond gwair, gwellt, a sofl, y rhai a chwanegant at y perlau gwerthfawr a gawsant yn y Bibl.

4. Y mae *sefyllfa halogedig yr holl enaid trwy bechod* yn peri fod arweiniad ei ddeall i ddyn yn fwy peryglus fyth. Pa un a yw pechod yn tywyllu y deall yn uniongyrchol ai peidio, y mae y fath ddylanwad gan y galon ar yr holl enaid, fel y mae y deall, fel pob peth arall, yn cael ei ddarostwng dan ei dylanwad. Fel y dywedir yn y ddammeg am ddylanwad gras, felly hefyd y gellir dywedyd am ddylanwad pechod, unwaith y caffo feddiant llywodraethol ar yr enaid, y mae yn "*suro y cwbl oll.*" Y mae y fath gysylltiad rhwng y deall a'r galon, fel unwaith yr â y galon yn llygredig, y mae y deall yn annheilwng o ymddiried. Os bydd egwyddorion drwg yn llywodraethu yr ewyllys, awyddfryd y serchiadau yn gweithredu ar wrthddrychau gau, ac amcanion dyn yn llygredig, bydd yn anocheladwy, ac hyd yn nôd yn ddiarwybod i'r dyn, yn dallu ei ddeall, ac yn gŵyro ei farn. Y deall yn hytrach a arweinir gan y galon, ac nid y galon gan y deall. Bydd dyn yn gallu barnu pob peth fel y byddo yn dewis. Y mae yn hynod o gyfleus; gall edrych ar bob peth fel y bydd yn dymuno, a thybied mai felly y mae pethau mewn gwirionedd. Gall gasglu ei resymau, ei ffeithiau, a'i liwiau, a'u gosod at eu gilydd mor fedrus i wasanaethu ei amcanion, nes perswadio ei hun fod pob peth yn bod fel y mae efe yn dymuno. Y mae yn gwneyd yr hòniadau uchaf o onestrwydd a phurdeb, gan ddadleu fod y deall a'r rheswm dynol wedi eu bwriadu i'w dywys i wybodaeth o'r gwirionedd. Gall eu bod wedi eu bwriadu felly, ond peth arall yw eu bod felly yn eu sefyllfa bresennol. Meddyliwch am awrlais wedi syrthio a chael mawr niwed; y mae weithiau yn myned yn rhy heinif, ac weithiau yn rhy araf, bryd arall nid yw yn myned o gwbl. Nid oes dim yn fwy amlwg ac yn haws ei wybod, na bod y peiriant wedi ei fwriadu i fesur amser, a mynegu yn ddïogel yr awr o'r dydd a'r nos; a hwyrach ei fod yn arweinydd dïogel a pherffaith cyn i anffawd y codwm ddygwydd iddo; ond bellach y mae yn arweinydd o'r fath fwyaf peryglus a thwyllodrus, ac nis gall ymddiried ynddo lai nag arwain i gamsyniadau a dyryswch parhäus. Felly, hyd yn nôd pe yr äem mor bell a chydnabod fod y deall dynol wedi ei fwriadu, a'i fod unwaith, yn arweinydd dïogel i dywys dyn i bob gwirionedd, heb gymhorth dadguddiad goruwchnaturiol, ni fyddai hyny ddim yn profi ei fod felly yn ei sefyllfa bresennol. Mor fawr yw y niwed y mae wedi ei gael drwy bechod, ac mor lwyr y mae ei amgylchiadau wedi eu newid er y diwrnod y tröwyd ef allan o baradwys i anialwch y byd, fel y cawn ef gan amlaf yn ymbalfalu â'r pared, yn gŵyro a dyrysu ar bob llaw, ei ddeall yn wan a thwyllodrus, ac o bob peth y mwyaf peryglus i ymddiried ynddo.

Y mae yn wir fel y mae oes ar ol oes yn myned heibio, fod y naill yn manteisio ar ymchwiliadau y llall, ac hyd yn nôd ar gamsyniadau a ffaeleddau eu blaenafiaid. Y mae gwybodaeth yn cynnyddu; ond dylid cofio fod anhawsderau yn cynnyddu hefyd, a bod pob cynnydd ar wybodaeth ddynol yn gadael y mawr niwed y mae y meddwl dynol wedi ei dderbyn trwy bechod heb ei feddyginiaethu. Nid oes modd lai nag fod a wnelo y niwed hwn â dïogelwch a chynnydd y dyn *ymhob* gwybodaeth, ond yn llawer mwy mewn rhai cyfeiriadau na'u gilydd, ac amlwg yw mai y wybodaeth sydd fwyaf angenrheidiol a phwysig i ddyn, yw yr hon y mae pechod yn fwyaf llwyddiannus i'w gamarwain am dani.

Gyda pharodrwydd yr addefwn fod ei fuddugoliaethau wedi bod yn

dra llwyddiannus a gorchestol ar feusydd gwyddoniaeth; a choron gogoniant ei lwyddiant yw ei waith yn darostwng y wybodaeth hono, yn ymarferol, i wasanaethu amcanion a manteision y ddynoliaeth. Ond nid oes dim yn y wybodaeth hono yn galw am hunanymwadiad, nac yn milwrio yn erbyn tueddfryd lywodraethol ei galon. O ganlyniad nid yw dallbleidiaeth ei galon yn ei gamarwain, na theimlad o wrthnaws megys yn ddiarwybod yn ymyraeth i'w ddyrysu. Nid oes dim yn ysbrydiaeth y wybodaeth yn gwrthryfela yn erbyn y cnawd, o ganlyniad nid yw y cnawd chwaith yn gwrthryfela yn erbyn y wybodaeth. Y mae yn wir fod yn rhaid wrth amynedd, a llafur, a dyfalbarhâd, yn meusydd gwyddoniaeth, ond gall y cnawd fforddio arfer pob un o'r rhinweddau hyny i wasanaethu manteision cnawdol a daearol. Tra na byddo y wybodaeth yn ymddyrchafu uwchlaw y materol, a'i hamcanion yn ddaearol, gall tueddfryd cnawdol dyn droi allan yn gefnogaeth. Y mae balchder calon dyn wrth ymestyn am enw, cywreinrwydd dyn yn ymestyn am wybod dirgeledigaethau, neu awyddfryd dyn am chwanegu manteision a gogoniant y byd hwn, yn gymhelliadau cryfion i lafur yn meusydd gwyddoniaeth faterol a naturiol. Fel y mae awyddfryd y dyn, "o'r ddaear yn ddaearol," felly gellir dywedyd am y wybodaeth hon, "yr hon sydd o'r ddaear, sydd o'r ddaear, ac am y ddaear y mae yn llefaru." Er fod sefyllfa lygredig y meddwl yn anfantais i chwilio allan bob gwybodaeth, eto nid oes dim yn y wybodaeth hon yn codi gwrthryfel yn y cnawd yn ei herbyn, na dim yn y cnawd yn gwneyd y wybodaeth yn wrthodedig. Ond am y wybodaeth o egwyddorion moesol a gwirioneddau crefydd, y mae yr achos yn hollol wahanol. Y mae casineb greddfol yn y "cnawd" yn erbyn y gwirionedd. Dan lywodraeth y teimlad hwn, bydd y dyn naill ai yn esgeulus a dilafur am dano, neu ynte yn ei gamesbonio, gan newid gwirionedd Duw yn gelwydd; neu ynte yn syrthio arno mewn nwyd o elyniaeth gan geisio ei ddyfetha. Tra y bydd llawer yn ddiystyr yn myned ymaith, un i'w faes, ac arall i'w fasnach, bydd y lleill yn ymgynddeiriogi, gan ddywedyd, "Deuwch, lladdwn ef." Hwyrach oblegid rhyw dymher naturiol, yn gystal ag amgylchiadau allanol, y bydd gwahaniaeth yn ngraddau gweithrediad yr elyniaeth; ond yr un ydyw yn ei hanfod, a bydd yn sicr o ymyraeth er camarwain y dyn yn ei ymchwiliadau am y gwirionedd. A bydd y gweithrediad yn aml mor ddystaw, yn ymgodi mor naturiol, ac yn ymdaenu mor lwyddiannus dros y deall, fel y bydd y dyn yn gŵyro yn ddiarwybod iddo ei hun, heb godi gymaint a llais dystaw cydwybod yn ei erbyn. Bryd arall bydd y gŵyrni yn rhy amlwg, a'r gagendor yn rhy fawr, i allu croesi terfynau uniondeb mor hawdd a didrafferth, a chymer gryn amser ac ymdrech i wneyd pont dros y gagendor. Bydd raid trethu holl ymadferthoedd ei gyfrwysdra i ŵyrdroi y gwirionedd, a dwyn allan holl gyflawnder ei liwiau, i liwio amgylchiadau, a chamesbonio ffeithiau. Ac fel bydd y dyn yn graddol ymgaledu, llais cydwybod yn dystewi, a'r darlun twyllodrus yn cael ei berffeithio, bydd y dyn nid yn llwyddo i dwyllo eraill, ond i dwyllo ei galon ei hun, gan wneyd i bob peth wasanaethu ei amcanion a'i gyfleusdra. Fel y dywedir fod cariad yn ddall i bob bai yn ei wrthddrych, felly y gellir dywedyd fod casineb yn ddall i bob rhinwedd a rhagoriaeth yn ei wrthddrych. Pa gynifer o weithiau y gwelsom ddynion yn condemnio eraill, gan eu drwgliwio, a'u

gwneyd allan yn bob peth drwg a thwyllodrus, tra nad oedd y cwbl ond dangosiad o'r teimlad câs oedd yn llywodraethu eu calonau tuag atynt! Mor angerddol oedd gweithrediad y teimlad brwnt fel na fedrent weled dim da ynddynt; ni fynent ac nis gallent feddwl dim ond drwg, na chredu na dyweyd dim ond oedd ddiraddiol. Ac fel rheol, yr hwn a wnaeth y cam sydd fwyaf creulawn ei ymosodiadau, ac eto yn fwyaf hunanol ei syniadau am ei degwch a'i uniondeb, yn ddyn gwŷn a difai o'i wadn i'w goryn.

Nid oes dim ag y mae dynolryw yn fwy ar eu gwyliadwriaeth yn ei erbyn nag unrhyw deimlad a ddichon ymyraeth â barn y cyfryw ag a fydd i farnu eu hachosion. Gwyddant yn dda os bydd y barnwr dan ddylanwad perthynas agos, neu hunan-fantais, heb sôn dim am deimlad câs, na bydd mwyach yn ddïogel ymddiried i'w farn. Pe na byddai ond penderfynu gwerth ychydig o nwyddau, neu unrhyw achos cyffredin, os bydd y gŵr canol dan ddylanwad un o'r pethau uchod, nis gall dynion deimlo fod eu hachos yn ddïogel yn ei law. Nid yw o ddim gwahaniaeth ei fod yn ddyn o farn, yn ŵr cyfarwydd a cymhwys i'w orchwyl, yn ddyn cydwybodol, uchel ei gymeriad; ni waeth beth, tra y mae teimladau o'r fath a nodwyd yn ymyraeth â'r galon, bydd gogwyddiad y galon yn fwy na thebyg o gamarwain y deall i ŵyro uniondeb. Y mae hyn oll yn dysgu i ni y pwys mawr sydd mewn fod y galon yn ei lle i arwain y deall a dïogelu y farn. Tra y byddo mantol teimlad y galon yn anghywir, bydd yn sicr o bwyso yn gyfeiliornus ar fantol rheswm a deall dyn, nes gwneyd y farn yn ddiymddiried. Y mae y fath berthynas rhwng y naill a'r llall, fel y mae yn rhaid cael y galon yn uniawn, cyn y gellir sicrhâu uniondeb y farn. Pa hyder ellir ei roddi, a pha obaith ellir ei feithrin, am ddïogelwch deall a rheswm dyn, tra y mae ei galon yn gyflawn dan awdurdod pechod a drygioni: tra y mae yn cario yn ei fynwes "galon ddrwg," "fwy ei thwyll na dim," "drwg ddiobaith," "calon ddrwg anghrediniaeth, yn ymado oddiwrth Dduw byw." Nid rhyfedd nad oes neb yn deall, "nad oes neb yn ceisio Duw. Gŵyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol." Y mae pechod wedi gwneuthur y gwirioneddau mawrion am Dduw, a chyfrifoldeb, anfarwoldeb dyn, &c., yn annymunol a gwrthodedig. Y mae cariad at y gwirionedd wedi dïanc o'r galon. "Nis gallant oddef athrawiaeth iachus, eithr yn ol eu chwantau eu hunain y pentyrant iddynt eu hunain athrawon; ac oddiwrth y gwirionedd y tröant ymaith eu clustiau, ac at chwedlau y tröant." Dilyn arweiniad egwyddorion llywodraethol y galon o hyd y mae dynion. Y rheswm mawr eu bod yn credu celwydd ydyw, "am nad oes ganddynt gariad y gwirionedd." Anffawd mawr a gwreiddyn cyfeiliornadau y byd, yw "*caru* y tywyllwch yn fwy na'r goleuni." Eto ni fedr y dyn oddef y drychfeddwl ofnadwy ei fod yn taflu ymaith y gwirionedd, ac yn cofleidio cyfeiliornad. Fod ei grefydd yn dwyll siomedig, neu ei athroniaeth yn wâg philosophi, y naill fel y llall yn dybenu mewn dinystr. Y mae y fath syniad yn rhy ddiraddiol a phoenus i edrych arno am foment. Byddai meddwl fod y Duw anfeidrol yn elyn parhäus, a chario y fath feddyliau ofnadwy bob moment yn y fynwes, yn gwneyd bywyd yn fflam, wedi ei henyn yn fflam gan uffern. Ni fyddai waeth i ddyn fod yn berwi yn mhoethder y tân nad yw yn diffodd. Rhaid dïanc i rywle oddiyna. Mae y miloedd yn diffodd angerddoldeb

y fath deimladau mewn anystyriaeth, gan ymroddi i fydolrwydd, meluswedd moethau, a chwantau cnawdol. Ond rhaid i'r meddylgar a'r ymhònwyr crefyddol gael rhywbeth o ymddangosiad mwy sylweddol ac anrhydeddus. Rhaid i'r naill gael ei athroniaeth, a'r llall gael ei grefydd. Y mae y naill yn meddwl yn fawr iawn o'i reswm, a'r llall yn ymffrostio yn fawr yn ei dduwiau. Y mae un yn ceisio doethineb, a'r llall yn ceisio arwydd. Y mae un yn gwybod dirgelion gwybodaeth, a'r llall yn nghyfrinach y duwiau. Ond ni waeth beth, pa un ai athroniaeth, ai crefydd, rhaid i'r naill fel y llall fod yn gydnaws â thueddfryd y galon, ac yn gwenieithio i uchder ysbryd dyn llygredig, ac yn dïogelu y fynwes rhag meddyliau poenus a gwrthodedig. Nid yw dychymyg cnawdol a rheswm llygredig byth yn ol o allu dyfeisio y naill a'r llall at eu cyfleusdra. Gynifer o grefyddau a welodd y byd, o grëadigaethau dychymyg a chalon lygredig dyn, a chynifer cyfundrefn o athroniaeth, y rhai a gamenwid felly, ac nad oeddynt mewn gwirionedd ond gwâg dwyll, a chwalwyd fel ûs o flaen gwynt! Eto edrychid arnynt gan eu hedmygwyr fel gwirionedd; ymffrostient ynddynt, a dygent fawr zêl drostynt, gan dybied eu bod yn sylweddau tragywyddol. Gellid meddwl ei fod yn anffawd i ddyn fedru chwilio allan, neu ddyfeisio rhesymau i wasanaethu ei amcanion ac amddiffyn ei dybiau. Medr wneyd adeilad mawr o ymddangosiad cadarn ac anrhydeddus, tra nad yw y cwbl ond twyll siomedig a pheryglus, yn sylfaenedig ar y tywod. Un glew yw dyn am allu gwisgo ei hoff syniadau, cynnyrchion dymuniadau ei galon, âg ymddangosiad golygus o wirionedd. Rhydd drwsiad mor olygus a deniadol o gylch egwyddorion marw a thwyllodrus, nes twyllo ei hunan i ymddiried ynddynt fel egwyddorion byw a sylweddol. Medr dyn fod felly, tra yn teimlo ei fod yn hollol gydwybodol; tybia ei fod yn cerdded llwybrau caled gwirionedd, neu yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw, yn haeddu parch a diolchgarwch ei gyd-ddynion, ac yn dysgwyl taledigaeth y gwobrwy gan ei Farnwr. O ddyn heb ei gyfnewid gan ras, nid wyf yn meddwl i'r byd weled neb yn feddiannol ar galon ehangach, na deall mwy clir, na meddwl mwy cydwybodol, na Saul o Tarsis. Yr oedd yn gwasanaethu Duw o'i ieuenctyd mewn cydwybod bur. Edrychai arno ei hun fel gwron gwirionedd a gwir grefydd. Meddyliai fod ei zêl danllyd a'i weithredoedd gwaedlyd yn wrhydri i ddarostwng cyfeiliornadau, a diwreiddio twyll a thwyllwyr allan o'r byd, a thybiai ei fod yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw. Ond pan dywynodd y gwir oleuni i'w feddwl, gwelodd ei fod nid yn unig yn camsynied am wrthddrychau ei ymosodiadau, a'i fod yn ddiarwybod yn erlid Gwaredwr dynoliaeth a saint y Goruchaf, ond fod egwyddorion llywodraethol ei galon yn bwdr a phechadurus. Gwelodd ei fod yn cael ei yru rhagddo, gan dueddfryd cnawdol a thymherau drygionus. Yn lle gwasanaethu Duw â chalon sanctaidd a dybenion pur, cafodd ei fod yn gyfangwbl dan lywodraeth cnawd a phechod, yn gwasanaethu amcanion hunanol ei galon ei hunan. Sawl ymffrostiwr yn ei gydwybodolrwydd, purdeb ei ddybenion, gonestrwydd ei hòniadau, a dyfalwch ei ymchwiliadau, fydd yn plygu ei ben gan gywilydd, pan dywyno y gwir oleuni i'w feddwl, nid yn gymaint oblegid ei gyfeiliornadau, ag oblegid yr olwg ar yr egwyddorion gwael, y dybenion gau, a'r elfenau hunanol a chnawdol, oedd yn ymwau drwy ei holl fywyd, yn llywodraethu ei holl ymchwiliadau

ac yn anurddo ei holl hòniadau! Bydd bellach yn gorfod gweled mai llygredigaeth y meddwl oedd yn ei lygad-dynu yn ddiarwybod iddo, oddiar lwybrau gwirionedd ac uniondeb, i ganlyn dychymygion gau a thybiau cyfeiliornus, am eu bod yn gydnaws âg archwaeth ei galon.

Hyd yn nôd pan y bydd y teimladau yn gymedrol a'r dymher heb ei chyffrôi, tra y byddo y galon yn gnawdol, bydd y dyn yn sicr o gymeryd golwg ar bethau yn ol yr ysbryd sydd yn ei lywodraethu. Tra y mae ysbryd cyfeiliorni yn teyrnasu ar ddyn, cyfeiliornus fydd llwybrau ei ddeall ac ymarferion ei fywyd. Bydd yn tybied rhyw ddychymyg cnawdol yn ddarganfyddiad pwysig. Y mae yn syrthio mewn cariad â'r syniad, ac yn myned yn orawyddus am wneyd ei dybiaeth yn sicr. Y mae ei ymadferthoedd yn cael eu dwyn allan, nid mwyach i ymchwilio am y gwirionedd, ond i gadarnhâu gwirionedd ei dybiaeth. Y mae yn falch o'r newydd sydd ganddo i'w roddi i'r byd; y mae ganddo wlad newydd i'w dwyn i'r golwg; y mae yn penfeddwi ar ei lwyddiant; tra nad yw y cwbl ond breuddwyd! Bydd un arall yn orawyddus i adeiladu rhyw gyfundrefn, ond nid yw ei gyfundrefn yn ddigon ëang i gymeryd i fewn bob gwirionedd, nac yn ddigon cyflawn i fforddio edrych pob ffaith yn ei hwyneb. Rhaid cymeryd hyny o wirionedd a fyddo cyfleus, a chynifer o ffeithiau ag fyddo yn gwasanaethu ei amcan. Rhaid gadael llawer gwirionedd yn ddisylw, a thaflu llawer ffaith y naill ochr yn ddibris; esbonio ymaith rai eraill, a thaflu pont dychymyg dros lawer gagendor, a thaflu y llèn yn ofalus i guddio llawer gwendid, a threthu ei adnoddau am glai a phoeri, i lanw llawer twll ac agen. A thra mai fel hyn y mae athronwyr y byd yn adeiladu, nid rhyfedd fod y naill yn gwneyd y fath hafog ar adeilad y llall. Peth hawdd yw tynu y tŷ sydd ar y tywod i lawr, ond peth cwbl wahanol yw cloddio a myned yn ddwfn, ac adeiladu tŷ ar y graig, casglu defnyddiau i'r adeilad a'u gosod at eu gilydd yn un cyfanwaith diogel, i allu dal y prawf ddydd y rhuthr. Y mae y dyn a allo wneyd hyny heb ei eni eto, ac nid oes obaith am dano tra y byddo pechod yn teyrnasu arno. Rhaid gwella y calon yn gyntaf, ac adnewyddu sancteiddrwydd yn yr holl enaid. Tra y mae dyn yn ymlygru fwyfwy mewn sefyllfa o anwybodaeth a bywyd diymchwiliad, nid yw gwybodaeth a dysgeidiaeth yn gallu ei feddyginiaethu. Tra nad yw anwybodaeth yn feddyginiaeth i ddim, nid yw gwybodaeth yn feddyginiaeth i bobpeth. Y mae llygredigaeth calon dyn y fath fel na fedr addysg, na gwybodaeth, nac unrhyw radd o wrteithiad dynol ei ragflaenu. Y fath yw'r drwg sydd wedi ymaflyd yn y galon ddynol, fel y mae yn abl troi yn feithriniaeth iddo, y pethau a allesid ddysgwyl i fod yn angeu iddo. "Y mae gwybodaeth yn ymchwyddo." Llawer gwaith y gwelsom ddynion yn ymlenwi âg ymchwydd, ac yn penfeddwi gan uchder ysbryd, oblegid tipyn o lwyddiant mewn gwybodaeth a dysg. Edrychant i lawr gyda dirmyg a sarhâd ar ddynion canwaith callach na hwy eu hunain. Nid gwybodaeth yw doethineb, ac nid dysgeidiaeth yw sancteiddrwydd. Medr uchder ysbryd droi y naill a'r llall yn achles iddo ei hun. Gwna gwybodaeth ei pherchen yn aml yn rhy hyderus i dybied ei fod yn cyfeiliorni, ac yn rhy hunanol a ffroenuchel i neb arall ei ddysgu.

Nid yw talent ac athrylith o radd uchel ychwaith ond gweision neu offerynau, drwy ba rai y bydd y galon yn cyraedd ei hamcanion yn fwy

effeithiol. Mor aml y ceir achos i resynu wrth weled dysg, athrylith, a medr, yn cael eu darostwng i wasanaethu twyll, cyfeiliornad, a phechod. Po fwyaf yr athrylith a'r medr, mwyaf oll yr ymddangosiad twyllodrus, a mwyaf o'll y perygl i gamarwain y dyn i deimlo yn hyderus ar lwybr cyfeiliornad a dinystr. Athrylith o radd uchel a fedr wisgo anwiredd, megys â thrwsiad gwirionedd; a chamesbonio gwirionedd, i gario megys ar ei wyneb wrthuni, twyll, ac anwiredd. Nid pob hurtyn fedr wneyd gwirionedd yn gelwydd, a chelwydd yn wirionedd, fel y dywedir. Athrylith fawr, dysgeidiaeth uchel, gwybodaeth ëang, a llaw fedrus, yn cael eu llywodraethu gan awyddfryd cryf, fedr gario y dyn gydag ymddangosiad o ddïogelwch a gwirionedd, i unrhyw gyfeiriad. Yn ol graddau ei fedr, y gall un chwilio allan ddefnyddiau, a'u gosod at eu gilydd yn daclus i wasanaethu ei amcanion. Dyma'r dyn fedr syrthio ar yr anhawsderau ymddangosiadol sydd yn aml o gwmpas gwirionedd, a'u chwyddo, eu lledu, a'u lliwio, yn ol tueddfryd ei galon, ac i gyfleusdra ei ddybenion. Hwn sydd ar darawiad yn canfod pob peth tebyg i wirionedd, fydd mewn twyll a chyfeiliornad; a phob peth tebyg i rinwedd ac uniondeb, sydd mewn pechod a drygioni; a phob peth tebyg i greulondeb a chamwedd, sydd yn llymder cyfiawnder; gan wneyd y defnydd mwyaf llwyddiannus o'r cwbl i ŵyrdroi gwirionedd, a gwisgo y gau âg ymddangosiad sylweddol. O bob dyn, dyma'r dyn mwyaf peryglus i dwyllo ei hunan a thwyllo eraill. Y dyn hwnw a gododd flaen ei ddryll i saethu y golomen a gerfiodd a'i law ei hun, gan dybied ei bod yn aderyn byw ar godi ar ei aden, a dwyllwyd â gwaith ei ddwylaw ei hun, am ei fod mor gelfydd yn ei orchwyl. Ni fuasai cymaint perygl i'r anghelfydd a'r trwstan i dwyllo ei hunan, na thwyllo eraill. Rhaid cael dynion o athrylith, dysgeidiaeth, a medr, i fod yn arweinwyr llwyddiannus a pheryglus, ar hyd llwybrau dyrys cyfeiliornad a thwyll. Dyma sydd yn gwneyd y diafol ei hun yn elyn mor beryglus. "*Tywysogion* deillion." Tywysogion mewn dysg, mewn gwybodaeth, athrylith, a medr; wedi llwyddo i dwyllo eu hunain, yn teimlo yn hyderus eu bod yn cerdded llwybrau caled uniondeb, ac yn teithio bob cam yn ddïogel tua "dinas y gwirionedd," a bod gwobr a gogoniant yn eu haros, tra y maent yn ymddyrysu mewn anialwch, heb wybod i ba le y maent yn myned: y cwbl yn hunan-dwyll, yn dybenu mewn siomedigaeth a gwarth tragywyddol. "Y dall yn tywys y dall, a'r ddau a syrthiant yn y ffôs."

5. Heblaw hyn oll yr ydym yn cael ein cylchynu âg *anhawsderau.* Nid yw ond peth rhesymol i feddwl fod anhawsderau anorfod i ni, tra yn y sefyllfa bresennol, yn nirgelion gwirionedd, a threfniadau doethineb a daioni anfeidrol. Tra nas gall ein gwybodaeth fod ond bratiog a therfynol, a thra nas gallwn fod ond plentynaidd ac anaddfed, nid rhyfedd fod llawer dyfnder yn rhy ddwfn i ni allu ei blymio, a chysondeb pethau yn rhy ddyrys i ni allu ei ddirnad; a doethineb llawer cynllun, a daioni llawer goruchwyliaeth, yn bethau nas gallwn ni eu gwybod yr awr hon. A thra y mae gwylder a hunan-ddïogelwch yn ein dysgu i geisio a gwerthfawrogi arweinydd cyfarwydd, hawdd y gall ysbryd ffroenuchel a rheswm cnawdol gymeryd mantais ar sefyllfa bresennol pethau i gam-esbonio anhawsderau, i gymylu gwirionedd, a gwisgo pob peth yn ol ei archwaeth a'i amcan, ac hyd yn nôd i fod yn dramgwydd

i droed y gonestaf, a dyrysu doethineb y duwiolaf. Uwchben troion dyrys Rhagluniaeth, dyna'r annuwiol yn penderfynu mai "oferedd yw gwasanaethu yr Arglwydd, a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef?" a dyna y Salmydd duwiol, yntau, mewn penbleth, yn dywedyd, "Yn ofer y glanhëais fy nghalon, yn ofer y golchais fy nwylaw mewn diniweidrwydd;" ac oni bae am oleuni cysegr Duw, goleuni dadguddiad goruwchnaturiol, ni fuasai ganddo ond ymbalfalu yn y tywyllwch. Wrth weled plant dynion, yn dô ar ol tô, drwy holl genedlaethau y ddaear, yn treulio eu nerth a'u bywyd i redeg ar ol oferedd a gwagedd, a'r miliynau, o oes i oes, yn cael eu hysgubo yn eu hannuwioldeb a'u trueni dros geulanau amser i golledigaeth dragywyddol, nis gall y duwiolaf a'r doethaf lai nac ymsynu uwch ben dyfnder y galanasdra, gan ofyn, "Paham y crëaist holl blant dynion yn ofer?" tra y mae y didduw yn ymroddi i'w flysiau, gan ddywedyd, "Bwytäwn ac yfwn, canys yfory marw yr ydym," heb weled dim tu draw i derfynau y bywyd presennol. Peth anhawdd yw i ni allu dirnad uniondeb a doethineb y cyfammod hwnw ag oedd yn gosod tynged y fath nifer ofnadwy o fodau anfarwol i ymddibynu ar ufudd-dod neu anufudd-dod un dyn draw yn Eden, tra yr oedd y diwedd yn hysbys o'r dechre. Rhy ddyrys i ni yw penarglwyddiaeth Duw, a chyfrifoldeb dyn, ac nid oes genym yn aml ond dywedyd, fel yr apostol, "Mor anchwiliadwy yw ei farnau ef." A thra y mae un yn gwadu, a'r llall yn gwawdio, nid oes gan y pur a'r gonest ond ymostwng yn ysbryd ac yn ol esiampl yr Iesu, gan ddywedyd, "O Dad, canys felly y rhyngodd bodd yn dy olwg." Am y Llyfr henaf yn y byd, sydd yn rhifo ei flynyddoedd wrth y miloedd; yn cynnwys talfyriad o hanes y byd o'r dechreuad; wedi ei ysgrifenu gan gynifer o bersonau, mewn cynifer o wahanol fanau, a chynifer o wahanol oesau, a than gynifer o wahanol amgylchiadau; nad yw ei hanes ond crynöad byr o'r prif ddygwyddiadau, gan adael allan, o angenrheidrwydd, fil a mwy o amgylchiadau, a llu aneirif o fanylion; oblegid pe ysgrifenasid yr holl fanylion, nid wyf yn tybied y cynnwysai y byd y llyfrau a ysgrifenasid; a buasai y fath Fibl yn syrthio yn fyr o fod o wasanaeth ymarferol; buasai ei faintioli yn dymchwelyd ei amcan ei hunan; eto pan ystyriom ei fyrdra, ynghyda phellder amser, &c., y mae hyn o angenrheidrwydd yn ein gwneyd yn anwybodus o'r fath lu o amgylchiadau a ffeithiau cysylltiedig â'r hanes, fel nad rhyfedd fod llawer cysylltiad yn rhy ddyrys i ni eu hegluro, a llawer ffaith a ffugyr, bellach, yn anesboniadwy. Ond y mae hyn yn rhoddi mantais i'r neb a ddewiso i greu ammheuaeth am ddilysrwydd y Llyfr Dwyfol, yn gystal a bod yn fagl i lawer meddwl difrifol a gonest. Ond tra y bydd gelyn y gwirionedd yn myned rhagddo, gan gondemnio a gwawdio yr hen Lyfr, nid hir y bydd y gonest, er gwaethaf pob anhawsder, cyn dyfod i'r argyhoeddiad penderfynol, mai "gwir eiriau Duw yw y rhai hyn." Oblegid os oes llu o anhawsderau ynglŷn â'r Bibl, y mae yna lu llawer mwy o brofion anwrthwynebol o ddilysrwydd y llyfr, a tharddiad Dwyfol ei holl gynnwysiad.

Nid yw yn beth anmhosibl fod rhywbeth rhagluniaethol yn yr anhawsderau sydd yn amgylchu trefniadau rhagluniaeth Duw, yn gystal a gwirionedd y dadguddiad Dwyfol o feddwl Duw yn ei Air. Pe buasai eglurder digwmwl y gwirionedd yn gwasgu argyhoeddiad anorchfygol

ac anocheladwy, ni buasai ffydd mwyach yn ymddibynu ar yr ewyllys, ac ni buasai anghrediniaeth o'r gwirionedd yn beth posibl. Ni buasai gwrthodiad y naill, na derbyniad y llall, yn ddadguddiad o ansawdd ysbrydol eu meddyliau. Gellid meddwl fod anhawsderau yn gwasanaethu i brofi calonau dynion. Dyna y naill yn dangos ei elyniaeth at y gwirionedd, drwy gymeryd mantais arnynt i'w-gam-esbonio a'i wadu, a'r llall trwy ddyfalbarhâd a gonestrwydd yn ei chwilio allan, yn ei dderbyn, ac yn ei gofleidio. Tra y mae y llygad yn syml, er gwaethaf anhawsderau, y mae y dyn yn gweled y gwirionedd; ond os bydd y llygad yn ddrwg, y mae y goleuni sydd ynddo yn dywyllwch: "Ac os bydd y goleuni sydd ynot yn dywyllwch, pa faint fydd y tywyllwch?"

Mor werthfawr ac mor angenrheidiol yw darpariaeth Ddwyfol yr efengyl! Nid yn unig y mae yn rhaid i ddyn wrth ddadguddiad o wirioneddau crefydd a meddwl Duw yn ei Air, ond wrth gynnorthwy ac arweiniad Ysbryd y gwirionedd, i'w dywys a'i ddïogelu rhag camddeall a cham-esbonio y Gair hwnw i'w ddinystr ei hun, drwy ddallineb ysbrydol ei galon bechadurus.

Yr oedd myntai o ddynion unwaith yn myned i groesi anialwch dyrys i fangre gyfanneddol, pryd yr oedd yn gyfleus iddynt gael map o'r ffordd, ac arweinydd cyfarwydd i'w tywys. Ond y fath hyder a deimlai rhai o honynt yn eu deall eu hunain, fel yr anturiasant yr anialwch gan wrthod y map a'r *guide*. Ond nid yn hir y buont cyn ymddyrysu yn ddiarwybod iddynt eu hunain. Pan dybient yn hyderus eu bod yn myned rhagddynt yn ddïogel tua'r llanerch a ddymunent, yr oeddynt yn troi, ac yn troi, oddiamgylch ogylch, nes, yn y diwedd, y trengasant gan newyn a lludded, yn ymyl y fan y cychwynasant. Eraill, heb fod yn gwbl mor hyderus, a dderbyniasant y map o'r ffordd, ond a dybient yn sicr, wedi cael y map, nad oedd raid iddynt mwyach wrth arweinydd. Dyna hwythau i'r anialwch, a'r map yn eu dwylaw; ond ni bu eu tynged fawr amgenach; oblegid pan feddylient eu bod yn canlyn y llwybr wrth linellau a nôdau y map, y maent hwythau yn llithro heb wybod iddynt oddiar y ffordd, ac yn dyrysu fwyfwy yn yr anialwch, a bu yn fwy na gorchwyl iddynt ddychwelyd mwyach o'u hynt gyfeiliornus, a threngasant yn nghorsydd yr anialwch, yn ddigon pell o'r wlad a geisient. Ond y mae yna nifer o'r fyntai yn ddigon ofnus a hunanymwadol i dderbyn yn ddiolchgar y map a'r *guide*. Ni fynant gychwyn cam heb yr arweinydd cyfarwydd i'w tywys. Nid yn unig y maent yn astudio y map, ond rhaid iddynt wrth gyfarwyddyd yr arweinydd i'w ddeall. Yn ei law ef yn unig y medrant deimlo eu ffordd yn ddïogel. A thra y mae y lleill yn dyrysu ac yn trengu mewn anobaith yn eithafoedd yr anialwch, dyma'r ofnus a'r hunanymwadol yn teithio eu ffordd yn ddïogel, ac yn cyraedd y llanerch brydferth a chyfoethog, lle y caent fwynhâu bywyd yn nghanol llawnder, llwyddiant, a llawenydd. Rhyw fap o'r "Ffordd a'r Gwirionedd," trwy anialwch y bywyd presennol i'r ddinas gyfanneddol, a gwlad y goleuni a'r bywyd, yw y Bibl. Dyna Ysbryd y gwirionedd wedi ei drefnu, ac yn gyfleus wrth law i dywys y fyntai ar eu pererindod i'r fangre addawedig. Ond dyna rai yn gosod eu holl ymddiried yn eu deall, gan chwythu yn ddirmygus a gwawdus ar yr hen Fibl; a'r lleill, er ei dderbyn, yn gwrthod ei Ysbryd yn arweinydd. Teimlant yn ddïogel y medr eu rheswm a'u deall wneyd

allan ei feddwl, a sicrhâu eu camrau yn llwybr ei wirionedd, heb gymhorth neb na dim uwchlaw eu hunain. Ond y mae yna rai nas medrant roddi y fath hyder yn eu deall, na theimlo yn ddïogel gyda'r Bibl yn eu dwylaw, heb Arweinydd medrus i'w cyfarwyddo. Y maent yn ymdeimlo yn rhy ddifrifol â maint yr anhawsderau, a phwysigrwydd yr anturiaeth; ac y maent yn gwybod gormod am dwyll a drwg eu calonau i anturio cam yn y blaen ond yn llaw yr Arweinydd. Gwelsant y doeth a'r ysgrifenydd yn dyrysu. Gwyddant yn dda nad yw uchder athrylith na helaethder gwybodaeth yn ddïogelwch rhag ystrywiau calon lygredig, a hudoliaethau ysbryd ffroenuchel dyn syrthiedig. Pa gynifer o weithiau y gwelsant ysbryd balch, a gorhyder dyn marwol yn troi yn fagl iddo! Y mae ganddynt brofiad chwerw o galon ddrwg, fwy ei thwyll na dim, drwg ddiobaith, yn eu mynwesau eu hunain. Y mae wedi eu twyllo gannoedd o weithiau, a dwyn tristwch a siomedigaeth flin arnynt lawer tro. Ni fedrant ymddiried ynddi mwyach, nac i'w deall chwaith, tra y byddo dan ei hawdurdod. Y mae arweinydd cyfarwydd yn werth eu bywyd ganddynt hwy. Nid oes ganddynt obaith croesi yr anialwch ond yn ei law. Y mae Ysbryd y gwirionedd i'w tywys, mor werthfawr ganddynt â Christ, yn "Ffordd a Gwirionedd," i'w rhodio. A thra bydd y doethyn hunanol sydd yn gwrthod y Bibl, a'r ysgrifenydd ffroenuchel sydd yn ymddiried yn gyfangwbl yn ei ddeall ei hun, yn ymddyrysu yn magl uchder gorhyderus eu calonau, gan syrthio yn dragywyddol fŷr o'r wlad fendigedig, bydd yr ofnus a'r isel, yn llaw Ysbryd y gwirionedd, yn rhodio y ffordd, "ïe, pe byddent ynfydion ni chyfeiliornant;" y mae'r Arweinydd yn ddigon cyfarwydd. Cyrhaeddant y wlad yn ddifêth. A chânt fwynhâu ei chyfoeth a'i gogoniant; a bydd yr holl fawl i'r Hwn a'u carodd, a'u prynodd, ac a'u tywysodd trwy anialwch y bywyd presennol, i wlad bywyd a dïogelwch tragywyddol.

# DR. JAMES HAMILTON.

*The Life of* JAMES HAMILTON, D.D., F.L.S. *By the Rev.* W. ARNOT, *Edinburgh.* London: Nisbet & Co. 1870.

NID ychydig yw nifer y rhai yn Nghymru ydynt gydnabyddus âg enw gwrthddrych ein hysgrif. Gall fod llawer wedi ei glywed yn pregethu, ond diammheu fod mwy wedi gwrando arno gyda boddhâd trwy y wasg, yn y naill wêdd a'r llall. Y mae i'w gofiant, i lïaws mawr yn y Deyrnas Gyfunol, ddyddordeb llawer uwch nag un llênyddol yn unig. Y mae miloedd trwy y tir yn gyffredinol a ddeffröwyd trwy ei weinidogaeth a'i lyfrau i ymdeimlad o'u cyflwr colledig, ac a arweiniwyd at Waredwr a gyflawnodd iddynt eu holl raid. Yr oedd ei ddylanwad ysbrydol yn ëang iawn. Tarddodd y dylanwad uchel hwn o'i dduwioldeb dysglaer, a'i ddifrifoldeb moesol dwfn. Wedi ei lwyr feddiannu gan fyfyrdod ar wirioneddau Dwyfol, yn teimlo yn fynych fel pe mewn cyffyrddiad â'r presennoldeb Dwyfol, dilynid ei eiriau a'i ymddangosiad â gallu neillduol, a chariai argraff ar bawb o'i gydnabod ei fod yn "ŵr Duw," anfonedig ganddo ar neges bwysig. Fel y mae delweddau cymeriad James Hamilton yn dyfod i'r golwg yn ei ddyddlyfr a'i lythyrau, adnabyddwn ynddynt gymeriad mor dryloew dda, mor felus a chywir drwyddo, fel, pa mor fawr bynag yr edmygwn yr ysgrifenydd rhagorwych a dillynaidd, gorfodir ni i edmygu *y dyn* yn fwy. Gwnaeth lawer i argymhell Cristionogaeth trwy ei bin nawsaidd, ond ammheuwn a wna rhywbeth, neu, yn wir, yr oll a ysgrifenodd, ei hargymhell mor effeithiol â'r coffadwriaeth hwn o'i fywyd dysglaer, anhunangar, a thrwyadl ddifrifol. Y mae bywyd fel hwn yn werth mil o ddarlithiau ar brofion Cristionogaeth.

Y mae ysgrifenydd y cofiant hefyd yn adnabyddus i gylch ëang o ddarllenwyr y TRAETHODYDD, fel gweinidog defnyddiol a phoblogaidd, ac awdwr amryw gyfrolau dyddorol a darllenadwy iawn. Nid yw yr argraff ddymunol a wnaeth yn ei anerchiad dyddan a chwaethus yn Nghymdeithasfa ddiweddaf Caernarfon wedi ei anghofio eto, pan roddodd y fath fywyd i'r cyfarfod, ar ol areithiau ein brodyr anwyl o'r Ynys Werdd. Da genym feddwl y bydd cydnabyddiaeth â Mr. Arnot yn y cofiant hwn yn sicr o ddyrchafu pa syniad rhagorol bynag oedd genym am dano yn flaenorol. Gwnaeth ei waith yn ganmoladwy iawn. Gwnaeth ef yn fwy felly am na ffrwynodd ryddweithrediad ei ddull gwreiddiol ei hunan o feddwl wrth ddesgrifio eiddo ei gyfaill. Arfera y rhan fwyaf o fywgraffwyr wneyd sylwadau o'u heiddo eu hunain wrth fyned ymlaen; ond y mae yr eiddo ef mor synwyrlym, ac mor llawn o ddoethineb addfed, yn cael eu hadrodd mor hapus a grymus, fel ag i ychwanegu llawer at werth y gyfrol, ac i ffurfio amgylch-osodiad teilwng i'r darlun a bortrëada.

Gyda hyn o sylwadau cyffredinol, ni a brysurwn i grynhôi ynghyd brif ffeithiau ac amgylchiadau bywyd ac oes yr enwog Dr. Hamilton.

Hanodd o deulu parchus ac adnabyddus iawn drwy Ysgotland.

Ewythr iddo, brawd ei dad, ydyw Thomas Hamilton, Ysw., penaeth y cwmni cyhoeddwyr enwog, Hamilton, Adams, & Co., Llundain, yr hwn sydd fyw eto mewn oedran patrïarchaidd.

Arferai tad Dr. Hamilton ddyweyd am ei addysg ei hun, mai y Bibl oedd ei wers lyfr, a'i fam ei athrawes. Er na fu ei addysg gyffredinol o'r fath oreu, cyrhaeddodd enwogrwydd yn ei ddydd fel gweinidog ffyddlawn i Iesu Grist. Prïododd William Hamilton â Jane, merch i un William King, o Paisley, gŵr a gyfunodd, i raddau pur fawr, ddiwydrwydd masnachol â gwresogrwydd ysbryd yn ngwasanaeth crefydd Iesu Grist. Felly cafodd gwrthddrych ein sylw y rhagorfraint anmhrisiadwy o fod yn "hâd y cyfiawn." Ganwyd ef yn Lone-end, Paisley, Tachwedd 27ain, 1814, a phan yn dri mis oed, symudwyd ef i Strathebláne, lle yr oedd ei dad yn gweinidogaethu, a lle y parhäodd yntau i *gartrefu* hyd farwolaeth ei dad, yn 1835. Yr oedd yn hynaf o chwech o blant, yr ieuengaf o'r rhai, Andrew Hamilton, sydd enwog am ei wybodaeth o'r ieithoedd Ewropëaidd a llênyddiaeth gyffredinol. Ymddengys fod y tad yn un duwiolfrydig iawn, ac yn ŵr mawr mewn gweddi. Fel y cyffredin o enwogion y nefoedd ar y ddaear, cafodd y baban James, pan yn wyth mis oed, ei waredu rhag angeu mewn dull rhyfeddol, mewn atebiad i weddi daer ei dad a'i fam ar ei ran. Eto ni feiddiai yr un o'r ddau ofyn i'r Arglwydd am ei arbediad; yr oedd arnynt gymaint o ofn pechu wrth fyned ar draws arfaethau Duw, fel mai'r cwbl a ddywedent oedd, "O Dad, gogonedda dy enw;" ac yn uniongyrchol, lleihäodd yr ymosodiad ennynol llym, a gwellhäodd y bychan yn gyflym.

Yr oedd yr "ysfa" (maddeuer y gair) pregethu ar y bachgen yn ieuanc iawn. Byddai yn pregethu llawer i'w gyfoedion, pan yn naw a deg oed, ond gyda hyn o wahaniaeth oddiwrth bawb y clywsom am dano o'r blaen,—*byddai ei bregethau, nid yn areithiau difyfyr, ond wedi eu hysgrifenu yn llawn*, a darllenai hwynt gyda difrifwch mawr. Sicrhâ cefnder iddo, hynach nag ef, fod y pregethau hyn yn rhagori ar eiddo un offeiriad plwyfol lled hynod a drigai mewn Sîr gyfagos. Y mae y nodwedd hwn ar bregethau ei blentyndod—eu bod wedi eu hysgrifenu, ac yn cael eu darllen—yn ddyddorol, fel y mae y reddf lênyddol yn ymddangos ynddo yn ei heginyn cyntaf. Y mae yr hâd mân, disylw, yn cael ei arwisgo â math o arucheledd, pan feddyliom am y pren mawr prydferth a ddeilliodd oddiwrtho.

Dygid ymlaen addysgiaeth y plant, ar y cyntaf, gan athraw arosol yn y teulu; a dywedir am James, er ei fod yn hynod hoff o chwareu, na wnai ar un cyfrif fÿrhâu oriau dysgu i'r amcan hwnw. Yr oedd ei feddwl, er yn fachgen, mewn cydbwysedd rhagorol. Eisteddodd y farn mewn awdurdod o'r dechre, a chadwyd y tueddiadau dan ddarostyngiad penderfynol iddi. Daeth, yn ieuanc iawn, i fod yn ddarllenwr mawr, ac ni threulid un adeg mor ddifyr a buddiol ganddo â'r ddwyawr y dydd a ganiatëid iddo ymweled â llyfrgell ei dad, dan ammodau neillduol. Heblaw y duedd hon at ddarllen, caffai hyfrydwch mawr yn wastad mewn gwrandaw ar ymddyddanion yr ychydig ddynion dysgedig a difrifol a ymwelent â'i gartref. Yr oedd un Mr. Bell, ysgolfeistr y pentref, y llònai yn fawr ei weled. Ymddengys fod y gŵr hwn yn fath o wyddoniadur byw, o'r hwn y rhedai ffrŵd o wybodaeth fel olew, a'r anhawsder mwyaf yn yr ymdrafodaeth lênyddol hon oedd attal y ffrŵd

wedi iddi unwaith ddechreu rhedeg. Derbyniodd y bachgen, pa fodd bynag, lawer o fuddioldeb trwy ei ymddyddanion mynych â'r ysgolfeistr. Ni bu hyn oll heb eu heffeithiau arno; rhyngddynt, ei feddwl a gynhyrfwyd, a addysgwyd, ac a gymerodd ei ffurf iddo ei hunan. Er nad oes ar gael gofnodau neillduol gyda golwg ar adeg a dull cyfnewidiad ei galon, eto gellir casglu fod y bywyd ysbrydol yn ymddadblygu yn gydfynedol â'r meddyliol. Cawn ef, yn y tymmor boreuol hwn, yn uno â'r llafurwyr gwledig ar nos Sadwrn mewn gweddi am wenau Duw arnynt drannoeth.

Pan yn dair ar ddeg oed, dechreuodd gadw dyddlyfr, ar y dydd olaf o'r flwyddyn 1827. Arwydda y dyddlyfr hwn fod yma "fywyd o ddifrif" yn cael ei ddechreu. Y mae wedi gwregysu ei lwynau am daith faith a phwysig. Treuliodd y rhan fwyaf o'r flwyddyn 1828 gartref, mewn darllen cyffredinol, a pharotôi ei Ladin a'i Roeg ar gyfer ei fynediad i Brifysgol Glasgow. Er cymaint a ddarllenai, yr oedd ganddo y gallu i ystorio y cwbl yn ddïogel, i fod yn barod at alwad iddo yn amgylchiadau dyfodol bywyd. O'r braidd na ellir tybied ei fod yn orwancus mewn darllen, yn gystal yn y swm ag yn yr amrywiaeth. Cymerer a ganlyn o'r dyddlyfr, a chofier mai bachgen tair ar ddeg oed ydyw:—"Darllenais Bonar ar Grefydd Bur, a'r erthyglau Seirphiadaeth, Drychiolaeth, Nilus, Nilefydr, a Bywyd William Cowper, o'r Gwyddoniadur Prydeinig." Nid oes dim a gyfiawnhâ wanc mor ofnadwy, gellid meddwl, ond y ffaith flaenorol o'r gallu oedd ynddo *yn awr* i wneyd defnydd rhagorol o'r hyn a ddarllenai. Ar y 3ydd o Dachwedd, 1828, mae yn ymaelodi yn Mhrifysgol Glasgow, cyn bod yn llawn bedair ar ddeg oed. Yn ei lythyr cyntaf at ei rïeni oddiyno, ceir nodweddau amlwg y bachgen, yr efrydydd, a'r darllenwr mawr, ar yr un pryd. Y mae ei ddyddlyfr am hâf 1831 yn werthfawr iawn, fel y mae yn dwyn i'r golwg ddadblygiad ei grefydd ysbrydol, a'i gynnydd mewn gras a duwioldeb. Daw rhai elfenau i'r golwg yn ei fywyd dyfodol yn Llundain a fuasent yn anesboniadwy, oni bae am y drem a geir yn y dyddlyfr hwn i'r tymmor bendithiol yma o'i fywyd. Cymerwyd ef yn glâf iawn, a bu yn agos i angeu, yr hyn fu yn foddion i'w ddwyn i gymundeb agosach â Duw, ac a wna i'w ffydd wreiddio yn ddyfnach ac ehangach nag erioed yn Nuw. Yn yr amgylchiad hwn, ymarferodd lawer â Duw, a daeth yn gryf mewn ffydd at waith dyfodol. Yn y ffordd hon y gweloedd Duw yn dda buro, ehangu, a chryfhâu y llestr etholedig hwn, er derbyn mewn mesur mwy enw Crist, a thywallt allan yr enw hwnw fel enaint gwerthfawr, hyd derfyn ei oes, pa le bynag y disgynai ei goelbren. Rhai o effeithiau uniongyrchol yr afiechyd hwn, a'r ymwybyddiaeth yma o'i agosrwydd i dragywyddoldeb, fu, cynnyrchu graddau helaethach o brofiad ysbrydol, tuedd gryfach o lawer at ddarlleniaeth grefyddol, a theimladau mwy bywiog a neillduol o fwynhâd o Dduw, mewn modd arbenig wrth gofio angeu Crist wrth fwrdd y cymun. Yr adeg yma hefyd yr aeth i gyfammod personol â Duw, gan gysegru ei hunan iddo yn efengyl ei Fab. Arwyddodd hwn â'i law, ac y mae ei gyfansoddiad yn arddangos difrifwch digyffelyb, a chywirdeb cymeradwy iawn, mewn un o'i oedran ef.

Yn fuan wed'yn, ceir ef yn cŵyno am ei ddiffyg mewn gwybodaeth dduwinyddol, &c., &c., ac y mae yn ddiattreg yn rhwymo ei hun i ddar-

llen cyfres o awduron; ac, ddarllenydd, pa nifer, feddyliet ti, a enwa? Dim llai na phedwar ugain a saith o weithiau. Er ei fod yn wan a llesg ar ol yr afiechyd diweddar, ac yn argyhoeddedig, yn ei feddwl ei hun, nad oedd iddo nemawr amser ar y ddaear, gweithiai yn galed, gan godi yn fynych am bedwar o'r gloch y bore i astudio. Yr adeg yma, gorphenodd gofiant bŷr i Richard Baxter, yr hwn a wrthodwyd gan Gymdeithas Traethodau Crefyddol yn Llundain, ond a gyhoeddwyd drachefn gan Gymdeithas o'r un natur yn Glasgow, a chafodd gylchrediad helaeth yn y wlad. Ymhen ugain mlynedd, ceir Cymdeithas y Traethodau yn curo wrth ei ddrws yntau, gan daer erfyn ei gymhorth at ddygiad allan un o'i chylchgronau rhagorol. Gwneir gweddill y flwyddyn hon i fyny o arwyddion pellach (yn ei olwg ef, cofier), fod ei haul ar fachludo, yn y rhagolwg ar yr hyn y sicrhäi mewn tawelwch, y gwyddai i bwy y credasai. Ymrodda hefyd i lênyddiaeth, gan dòri allan waith newydd iddo ei hunan. Y mae peth fel hyn braidd yn anesboniadwy hefyd; teimlo fod ei oes ar ben, ac eto yn cynllunio gwaith blynyddau lawer. Bu farw ei chwaer Elizabeth yn Medi, y flwyddyn hon, a gadawodd hyny effaith mawr arno trwy ei ddwyn yn nês at Dduw, a'i ddwyn i deimlo mai mewn cysylltiad â thragywyddoldeb yn unig y mae bywyd a marwolaeth i'w gweled yn eu pwysfawredd priodol. Dychwelodd i Glasgow yn Tachwedd. Ymröai i lafur yno eto, gan ragori yn ei wersi arferol, a pharotôi llawer ar ei restr Bywgraffiadau Cristionogol i'r wasg. Ennillodd y tymmor hwn y wobr gyntaf mewn Rhesymeg, a'r bennod mewn Groeg, ynghyda'r wobr uchaf yn yr hyn a elwir yn *Greek Prize Profession*. Y mae ei ddesgrifiad o'r gystadleuaeth hon, ynglŷn â chofiant James Halley, yn ddoniol a dyddorol.

Treuliwyd y flwyddyn 1832 rywbeth yn debyg i'w blaenafiaid, a cheir yn ei ddyddlyfr lawer o arwyddion cynnydd ysbrydol, a pharotöad i waith mawr. Ar ddechre 1833, ysgrifena iddo ddarllen y flwyddyn o'r blaen 39 cyfrol deuddegplyg, 18 wythplŷg, ac un pedwarplŷg; o gwbl, 58 cyfrol. "Ysgrifenais hefyd," meddai, "dalfyriad o Boston ar Ymprydio; cyfieithiad o Theophrastus; traethawd ar Reitheg Aristotle; un arall ar Reol Ffydd, &c." Eto: "Dyma amser goreu y coleg—yn awr, a'r ddeufis nesaf—pan gawn gyflenwad gwastad da o waith; eto nid gormod, ac ond ychydig aflonyddiad ac attalfëydd arno." Yn y frawddeg fèr yma, ceir *beau ideal* ysbryd y gwir efrydydd. Treuliodd hâf 1833 gartref, gan mwyaf, a cheir ef mewn ymrafael âg ef ei hun, ac, fel Paul, y mae ei "hen ddyn" a'i "ddyn newydd" yn wastad yn gwrthwynebu eu gilydd. Ar ei fynediad i'r coleg ddiwedd y flwyddyn, y mae yn enwogi ei hun yn fwy nag o'r blaen, trwy ei fedrusrwydd a'i wybodaeth helaeth o Athroniaeth Naturiol. Yr oedd y *session* hon yn terfynu ei gysylltiad âg Adran Gelfyddydol y Brifysgol, ac anrhegir ef ar ei diwedd â llyfr da, o rwymiad destlus, am ei garedigrwydd cyffredinol, a'i lwyddiant fel llywydd y rhyddfrydwyr yn un o'u brwydrau etholiadol diweddar.

Canfyddir gwahaniaeth mawr ynddo o'i gymharu âg eraill yr adeg hon, mewn absennoldeb pryder gyda golwg ar y cyfeiriad goreu i droi yn y dyfodol. Gydag ef yr oedd hyn wedi ei benderfynu er ys blynyddau. Yr oedd yn wastad ac yn drwyadl gysegredig i'r Arglwydd, fel Samuel, o'i enedigaeth, yn ei blentyndod, ac yn awr mewn oedran gŵr.

Yr oedd ei galon i gyd a phob amser yn yr ymgysegriad. Felly y mae efe, yn hollol naturiol, ar ail-agoriad y Brifysgol, yn ymaelodi fel efrydydd duwinyddol. Nid oedd cymeriad athrawon duwinyddol y lle y pryd yma yn rhyw ddysglaer iawn, gellid meddwl; a sicrhëir i ni fod llawer iawn mwy o ddylanwad rhagorol er amaethiad crefydd ysbrydol, cynnydd mewn gwybodaeth, a brwdfrydedd duwiol i wasanaeth Duw, i'w brïodoli i'w cyfathrach fel efrydwyr â'u gilydd yn eu gwahanol gymdeithasau, nag i lafur neillduol rhai, os nad y mwyafrif, o'u hathrawon. Daeth Hamilton i gyfarfyddiad âg un o gyffelyb ysbryd ag yntau y tymmor hwn—y diweddar Barch. W. Burns, y cenadwr Chinëaidd enwog—a chafodd y ddau y fraint o fod yn un â'u gilydd mewn ysbryd ymroddgar a chenadol mewn bywyd, ac ni wahanwyd hwynt (ond mewn lle) yn eu marwolaeth chwaith. Gall mai dyma y lle mwyaf prïodol i gyfleu desgrifiad Mr. Arnot o hóno fel efrydydd:—

Fel efrydydd, yr oedd James Hamilton mor nwyfus a gwibiog a glöyn byw, ond mor ddiwyd a llwyddiannus â'r wenynen. Yr oedd ei addysg wedi ei daenu ar lêd, ond nid oedd am hyny wedi ei daenu yn deneu. Tra yn rhwymedig yn ei efrydiaethau arferol mewn duwinyddiaeth, llwyddai i gario ymlaen yn wastad rhyw îs-gynllun, heb ddinystrio ei brif efrydiaeth. Ymhlith ei efrydiaethau ailraddol, yr oedd llysieuaeth, hanesiaeth naturiol, a fferylliaeth, yn benaf. Bu llysieuaeth yn ddifyrwaith oes iddo; ond y flwyddyn hon, a thrwy ystod ei yrfa dduwinydol yn y coleg, gwnaeth ymgyrch ddifrifol, ac nid aflwyddiannus, ar diriogaeth fferylliaeth. Mawr oedd llawenydd yr efrydwyr wrth weled Hamilton yn derbyn y wobr flaenaf mewn fferylliaeth, mewn dosbarth o rai cannoedd mewn rhif, a'r rhan fwyaf yn rhwym yn ol eu galwedigaeth, mewn efrydu meddyginiaeth.

Dygwyd y tymmor hwn i derfyniad disymwth iddo, trwy farwolaeth sydyn ei anwyl dad, ar yr 16eg o Ebrill, 1835, yr hyn a gynnyrchodd alar mawr yn yr ardal, ac ymdeimlad o wagle a cholled wir bwysig yn y teulu dedwydd y bu yn teyrnasu ynddo yn y fath anwyldeb a chariad diledryw. Y mae llythyrau Hamilton ieuanc at ei ewythr yn Llundain y pryd yma, yn arddangos synwyr cryf, teimlad galarus a llednais, ymddarostyngiad mabaidd i ewyllys Duw, ac ymgymeriad ewyllysgar â gofal y teulu a amddifadwyd mor sydyn o wyliadwriaeth ac amddiffyn un o wir ragorolion y ddaear.

Y mae marwolaeth gweinidog yn Ysgotland, fel offeiriad eglwysig yn Nghymru, yn cynnwys ymadawiad y teulu o'r persondŷ (*manse*), ac y mae y teimlad fod, nid yn unig y gyflog fechan i'w cholli, ond y tŷ, cartref y plant, i'w adael, yn ychwanegu agweddau neillduol i'r galar a'r brofedigaeth. Dyma yr amgylchiad y ceir gwrthddrych ein hysgrif ynddo ar hyn o bryd, ac eto nid oes gair o'i brofiad na'i deimlad yn ei ddyddlyfr ar y mater; gwneir hwn i fyny, o Fai hyd Hydref, o fynegiadau teuluaidd cyffredin. Dïau mai y rheswm am hyn ydyw fod y galar yn ormod i'w drosglwyddo i ffurf mynegiad dyddlyfrol, a chyda ffydd gristionogol, ac nid gwroldeb Stoicaidd, y gwelir y mab teilwng yn arwain ei anwyl fam a'r teulu o'u cartref dedwydd. Wrth gau allan y mynegiadau o ofid a allesid eu dysgwyl, y mae wedi tŷnu gorchudd dros wyneb gwlyb gan ddagrau, fel na ddynoethid gofid mor gysegredig i olwg y cyhoedd. Pa fodd bynag, yn yr adeg hon, ni chollodd olwg ar waith, canys ceir ef wrthi, mewn amser ac allan o amser, yn troi yn nghanol y fath amrywiaeth gwaith ag a fuasai yn dyrysu dyn cyffredin.

Os teimla yn flinedig gan bum' awr o dduwinyddiaeth yr ail ganrif ar bymtheg, caiff un cant ar ddeg o linellau o Virgil wneyd yn lle gorphwysdra; a phan mae ei lygaid yn sychu i fyny wrth astudio Groeg Thucydides ac Euripides, trocha hwynt yn nghyfrolau chwêg a swynol Gibbon ar Hanes Rhufain. Codai bob dydd o bump i saith y bore, a cheir fod parotôi cofiant ei hoffus dad yn myned â rhan fawr o'i amser. Yn nghanol trafferthion y symudiad, ac yn ystod y naw diwrnod casglu a phacio y llyfrau a'r dodrefn, dyma a geir yn ei ddyddlyfr:—"Darllenais ddau gan' tudalen o Whewell ar Seryddiaeth; saith ugain tudalen o Lythyrau Pillans ar Addysg; cant a hanner o dudalenau o Dods ar yr Ymgnawdoliad; a thri chan' tudalen o farddoniaeth Crabbe."

Cyfarfyddwn âg ef y tro nesaf yn Easterhouse, annedd-dŷ a safai ychydig filldiroedd i'r dwyrain o Glasgow, lle y mae efe a'r teulu wedi sefydlu. Gallai efe a'i frawd fyned oddiyno bob dydd i'r Brifysgol, a dychwelyd yn mîn yr hwyr. Tarewir ni o hyd gan y bywiogrwydd a'r gweithgarwch a ddangosai yr hynaf. Yn y flwyddyn hon, llanwodd lyfr, cymedrol o ran maint, gydag amrywiaeth dyddorol ac awgrymiadol o sylwadau y teimlai y byddent o werth iddo yn y dyfodol. Yn eu plith ceir darnau ar Undeb Cristionogol, Hunanoldeb, cynllun o Werslyfr poblogaidd ar Hanesiaeth Eglwysig Ysgotland, &c. Cafodd gwyddoniaeth ran helaeth o'i sylw y tymmor hwn, a llïosog iawn ydyw ei sylwadau ar lysieuaeth, anianaeth, &c.; ond ni roddai dim y fath hyfrydwch iddo ag olrhain y cysylltiad sydd rhwng gwyddor a dadguddiad. Nid yw gwyddoniaeth byth wedi ei hysgaru oddiwrth, na'i gorlethu gan grefydd, yn ei hymchwiliadau. Ar derfyn pob mis, rhydd swm ei ddarlleniadau, o'r rhai y mae y canlynol yn engreifftiau:—"Mehefin, 2530 tu dalen; Gorphenaf, 2250; Awst, 2110."

Tymmor 1835—6 oedd ei ddiweddaf fel efrydydd duwinyddol yn Glasgow, a chydag eithriad o rai misoedd yn hâf 1837, a dreuliwyd mewn efrydiaeth o Lysieuaeth, dan Syr W. Hooker, terfynodd ei gysylltiad â'r ddinas yn Mai, 1836. Y mae Mr. Arnot yn helaethu cryn dipyn ar ddylanwad Glasgow yn ffurfiad ei gymeriad, ac oddiwrth hyny gwna y sylwadau dyeithriol, ond synwyr-lym a ganlyn:—

Tra y mae sefydliad addysgawl o'r dosbarth uchaf yn cario dylanwad urddasol ar y cymundeb masnachol o'i amgylch, y mae y cymundeb hwnw yn anfon yn ol awyr iachusol trwy ystafelloedd y coleg, ac yn attal ei duedd at fynachaeth y canol-oesoedd. Pe dygwyddasai i sylfaenwyr colegau Lloegr fod wedi eu hadeiladu ar y gwelyäu glo a haiarn, a Rhydychain gael ei hun yn nghanol Birmingham bresennol, y mae yn fwy na thebyg na chlywsid sôn am yr ymgiliad Tractaraidd tua Rhufain. Nid yw tyfiantau maswaidd fel hyn yn llwyddo yn nghanol y torfëydd prysur, ac yn agos i dânau diwydrwydd cenedlaethol mawrion. Byddai i fywyd *presennol*, os bodolai mewn niferi mawrion ar y lle, orthrechu holl swyn hynafiaeth eglwysig. Pan y mae efrydydd yn derbyn ei addysg athrofäol, mewn cyffyrddiad uniongyrchol â chymundeb mawr, cyfoethog, a rhyddgarol, y mae gwell siawns i'w synwyr cyffredin gael ei ddadblygu yn gystal a'i ysgolheigdod.

Yn nghorff yr hâf hwn, y mae yn gweithio yn gyson ar gofiant ei anwyl dad, yr hwn a gyhoeddwyd yn y flwyddyn ddilynol. Teimlai yn falchach o gymeradwyaeth ei ewythr o Lundain i'r deyrnged hon o barch i'w rïant ymadawedig na dim. Yr oedd ei sylw i'r cofiant yr hâf blaenorol yn cael ei amrywio â thaith achlysurol, un o ba rai ydoedd i ymweled â Loch Katrine, nodiadau yr hon ydynt addysgiadol a gwerthfawr. Symudodd y teulu i Edinburgh yn mis Tachwedd. Dylid hysbysu,

hwyrach, i Mr. Hamilton, tra yn Easterhouse, wneyd ei hun yn dra defnyddiol gyda'r Ysgol Sabbothol, a moddion eraill. Yn y flwyddyn 1837, y mae yn eistedd o dan ddysgeidiaeth Dr. Chalmers a Dr. Welsh mewn Duwinyddiaeth a Hanesiaeth Eglwysig. Gwneir ei ddyddlyfr i fyny o'r unrhyw fynegiadau ag arferol, ac er na ddywed fawr am ei gynnydd ysbrydol, y mae pob rheswm dros gasglu fod ei ffydd yn parhâu yn gref, a'i gariad yn wresog tuag at ei Waredwr. Yn yr hâf, symudodd i Glasgow, fel y sylwyd yn barod, at Syr W. Hooker, pryd y daeth i ffafr gyda'i athraw a Dr. Thomson, Athraw Athroniaeth Naturiol. Ar un ymddyddan, dywedai Dr. Thomson wrtho, "Nis gwyddoch pa le y byddwch eto. Dywedai Syr F. Burdett na wyddai efe ddim na allai fod yn wystrys rhyw ddiwrnod, ond gwyddai nas gallai byth fod yn Dory. Yn awr chwi a welwch ei fod yn Dory ond nid yw yn wystrys eto." Ceir yma lawer o'i lythyrau at ei berthynasau yn rhoddi hanes manwl am ei efrydiaeth, a'i gynnydd mewn ffafr gyda'i athrawon. Bu ei athraw yn daer arno fyned i Syria a gwlad Canaan, i dreulio blwyddyn mewn casglu planhigion, ac astudio hanesiaeth naturiol y gwledydd hyny, gyda golwg neillduol ar Eglurhadaeth Ysgrythyrol. Pa fodd bynag, wedi ystyriaeth bwyllus, a chyda graddau helaeth o hunanymwadiad, gwrthododd y cynnygiad, gan deimlo mai dyna lais dyledswydd yn y mater. Wrth gwrs, nis gallasai Dr. Hooker ddymuno neb cymhwysach at y gorchwyl, a mwy na gwiriwyd ei obeithion am dano yn ei ddyfodol, fel y dengys yr erthyglau llysieuol o'i waith yn Ngeiriadur Biblaidd Dr. Fairbairn.

Dyma fel yr ysgrifena am ei waith ar ddiwedd 1837:—"Yn ystod y flwyddyn hon, darllenais dair a deugain o gyfrolau drwyddynt, a mwy neu lai ar lyfrau eraill. Darllenais y Bibl o Genesis i Joel. * * * Treuliais Mai, Mehefin, a Gorphenaf, gyda Syr W. Hooker mewn Llysieuaeth, yn ystod yr hwn dymmor y teithiais yn benaf ar draed, dros fil o filldiroedd mewn chwilio am blanhigion." Hwn oedd ei dymmor olaf yn y coleg, ac ennillodd amryw wobrwyon pwysig yn ei holl ddosbarthiadau. Ymgymer yn awr hefyd âg ysgrifenu rhaglith fywgraffiadol i Fyfyrdodau Hall, i Meistri Nelson, cyhoeddwyr. Gallem dybied i hwn roi boddlonrwydd, gan ei fod drachefn yn gwneyd bywgraffiadau byrion o Bunyan, M. Henry, &c., i ddilyn detholiad o'u gweithiau gan yr un cyhoeddwyr. Yr oedd yn llafur cariad ganddo gloddio yn yr haenau Puritanaidd hyn. Am dano yn y cysylltiad hwn y dywed Mr. Arnot:—"Nid oedd drafferth yn y byd iddo ddwyn ei hunan i gydymdeimlad â gwroniaid cristionogol oes flaenorol. * * Ar adeg ddiweddarach ar ei fywyd, fel y cawn weled, dychwelodd at hyn gydag yni ychwanegol. Yr oedd ei allu yn wir yn yr ystyr yma yn ddiail. Meddai fwy o allu nag un ysgrifenydd y gwn am dano i groesi y gagendor a wahana yr 17eg oddiwrth y 19eg ganrif, a dangos fod gwirionedd sylweddol yr un o dan bob grâdd o wahaniaeth amgylchiadol." Cynnydda ei awydd i ymroddi i waith yr Arglwydd fel y mae tymmor ei athrofa yn nesâu i ben, ac y mae yn hyfryd gweled yr ysbryd cenadol ynddo ef a'i gydefrydwyr, yn neillduol eu gwaith yn arfer pob moddion er ei gynnydd a'i amaethiad.

Y mae yn ei ddyddlyfr tua'r adeg yma un mynegiant byr, ond iddo ef y pryd hwnw yn llawn cefnogaeth:—"Talodd Mr. Nelson, y cyhoedd-

wr, bum' punt i mi am fy mywgraffiad o Hall—blaenffrwyth fy llafur llênyddol;" ac mor brydferth yw a ganlyn: "Anfonais un o'r pump i'w rhanu rhwng John, Arthur, a Mary McGregor. Pe byddai i mi byth wneyd ennillion llênyddol pellach, yr wyf yn penderfynu cyfranu yr un cyfartaledd." Fel hyn y tòrodd adenydd ei gyfoeth rhag iddo ehedeg ymaith. Yn hâf 1838, gwnaeth ei ymweliad hir-addawedig â Lloegr. Yr oedd preswyliad teulu ei ewythr yn Llundain yn attyniad cryf iddo. Y mae ei sylwadau ar Lundain yn dangos meddwl clir a barn addfed. Treuliodd lawer o'i amser yn yr Amgueddfa Brydeinig. Canmola Binney yn fawr fel pregethwr, a rhydd gymeradwyaeth i alluoedd meddyliol Dr. Newman, wedi ei glywed yn pregethu yn Rhydychain. Pan y mae efe a'i ewythr yn cyd-deithio, gellir meddwl fod y ddau yn dra dedwydd yn nghwmni eu gilydd.

Pregethodd ei bregeth gyntaf yn eglwys Dr. Somerville, ac y mae yn cael gwahoddiad i bregethu yn bur gyson. Y mae ei chwaer Mary yn marw yn bur ddisymwth, ac i un o'i feddwl tyner a llednais ef, y mae yr amgylchiad yn ddyrnod trwm. Hysbysir iddo wrthod galwad i Morningside, ar derfyn Edinburgh, a'i fod yn cyttuno myned yn genadwr llëol mewn perthynas âg eglwys Mr. (yn awr Dr.) Candlish. Y mae ganddo un sylw mewn llythyr tua'r adeg yma gwerth ei gadw mewn côf, yn neillduol wrth feddwl mor ieuanc oedd. "Yr wyf wedi dyfod i weled na bydd pregeth wedi ei thraddodi yn dda, na wna hyd yn nôd roi *dyddordeb* i'r gwrandäwyr, llawer llai wneyd rhyw ddaioni iddynt, oddieithr iddi fod yn destun gweddi ymlaen llaw. O ddiffyg hyn, y mae dwy neu dair o bregethau a dybiwn i fy rhai goreu, wedi profi eu hunain y fath fethiant nad oes genyf galon i edrych arnynt byth mwy." Yr oedd yn awr wedi cyraedd sylweddoliad ei ddymuniad hir-feithrinol, rhyddid i gyhoeddi "anchwiliadwy olud Crist." Ymgymerodd â chyflawniad ei ddyledswyddau gyda zêl nodweddiadol iawn. Ystyria ei alwedigaeth yr anrhydedd uchaf; mawrhâ ei swydd, tra yr ymostynga ac yr ufuddhâ ei hunan. O'i blentynoed, meithrinai gariad gwresog at y gwaith, ac fe'i carodd hyd y diwedd. Dyma ddechreuad gweinidogaeth, trwy ras Duw, yr hon na laesa byth, ac na ysgoewa, nes y gwysir y gweinidog, yn flinedig a gwanychlyd, gan ei Feistr i "ddyfod i fyny yn uwch." Yn gynnar yn 1839, ar ol bod ond tri mis yn genadwr llëol, derbyniodd Mr. Hamilton alwad i fod yn gynnorthwywr i weinidog plwyf Abernyte, Henaduriaeth Dundee. Yr oedd y gynnulleidfa yno wedi lleihâu yn fawr iawn mewn canlyniad i fethiantwch yr hen weinidog. Un Mr. Nairne, dyn duwiol a da, a weithiodd o gwmpas i gael cynnorthwywr, yr hwn mor effeithiol a gafwyd yn Mr. Hamilton. Cynnyddodd y gynnulleidfa dan ei weinidogaeth, a dechreuai y gweithgarwch a'i hynodai mor fawr, ymddangos mewn sefydlu cyfarfodydd Biblaidd i'r ieuenctyd, a chwilio yr holl blwyf am bob mab a merch ieuanc, er gofyn yn *bersonol* iddynt ymuno â'r dosbarth. Gwnaeth y cyfarfodydd hyn lês annhraethol. Deallwn iddo yn fuan ennill serch yr hen weinidog, fel y dechreuodd feddwl nad oedd cyffelyb i Mr. Hamilton ar y ddaear. Hen *garictor* òd oedd Mr. Wilson yr un pryd. Er ei fod yn hynod serchog a thadol yn ei ymddygiad, eto daliai yn dŷn at ei syniadau ei hun, gan eu hamddiffyn, hyd yn nôd pan yn gyfeiliornus, gydag ymröad eithafol. Un tro, y mae

yn dal llwyad o uwd yn ei law, rhwng y ddysgl a'i enau, am lawn hanner awr, nes gorphen dadleu ar athrawiaeth gwrthodedigaeth. Adeg arall, y mae yn treulio deng mynyd i dywallt cwpanaid o dê i'w gynnorthwywr sychedig, oblegid na chydsyniai âg ef nad oedd a fyno y lleuad â llanw y môr. Dyoddefai Mr. Hamilton gryn lawer gan wendid a gwaeledd tra yn Abernyte; ond er y cwbl, ymroddai fwyfwy i waith, fel un wedi penderfynu anghofio ei ofidiau yn ei ddefnyddioldeb. Y mae ei awydd i ymroddi i'r efengyl yn angerddol o hyd, a hyny er mwyn y gwaith, ac nid y gyflog. Fel y dywed yn un o'i lythyrau at ei frawd, "Nid oes ond un peth gwerth byw er ei fwyn. Ni ddylem ni y rhai y mae Rhagluniaeth wedi ein ffafrio, wrthod yr un eglwys, *oblegid* ei bod yn dlawd. Gall fod yn rhy fawr, ond dylai ei thlodi fod yn rheswm yn ei ffafr." Tua'r adeg yma, gwnaed cais arno i ymsefydlu fel gweinidog yn Greenock, lle llawer mwy poblogaidd a chyfoethog. Ni ddiystyrodd y cynnygiad, ond wedi ystyriaeth ddwys, a llawer o ymwneyd â Duw mewn gweddi, ac ar ol pwyso pob dadl, dros ac yn erbyn, y mae y fantol yn troi o blaid aros yn Abernyte. Yn y cysylltiad hwn, y mae gan Mr. Arnot rai sylwadau nad ydynt gwbl annhymig i Gymru y blynyddoedd hyn. Dywed, "Yr wyf wedi sylwi er ys hir amser, gyda gofid, ar duedd yr ofnwyf sydd yn cynnyddu, o drîn anhawsderau gweinidogion cristionogol yn yr un pryder meddwl a Mr. Hamilton yn bresennol fel cynnifer o ffurfiau gweigion, ac o faentumio fod y penderfyniad îs-law y wyneb, yn gogwyddo i'r ochr a gynnygia y gyflog uchaf. Yr wyf yn foddlawn i addef, fod cyflog-garwyr ymhob galwedigaeth, a lle bynag y ceir y rhai hyn allan, byddaf yn eu rhoddi i fyny i ewyllys eu gelynion; ond yr wyf yn argyhoeddedig fod y cyhuddiad, yn y ffurf gyffredinol a wisga, yn rhy fynych yn gamsyniad, ac o ganlyniad yn gamachwyniad."

Yr oedd y cynnorthwywr ieuanc dipyn yn dueddol i gyfeirio at hanesiaeth naturiol a llysieuaeth yn ei bregethau, eto gan ofalu codi uwchlaw holl ryfeddodau y grëadigaeth at y Crëawdwr. Nid anfynych ar nosweithiau yr wythnos y dygai swp o flodau gydag ef, gan eu gosod ar y bwrdd, er egluro rhyw gyfran o'r gwirionedd a ddarllenai ar ddechre y cyfarfod gweddi. Ond nid oedd pawb o'r trigolion gwledig yn gallu gwerthfawrogi na chymeradwyo hyny. Un tro, daeth â changhen o bren ffigys gydag ef, a dygwyddodd fod ymhlith ei wrandäwyr y noson hono hen wraig o'r enw Sioned, yr hon oedd yn wresog ei hysbryd a thanbaid ei theimlad yn nghanol hwyliau gorfoleddus diwygiad Dundee. Prin yr ymddangosai peth felly yn iawn i un o deimladau a chariad gwresog Sioned; ac er llwyddo i ymattal rhag peri un dyryswch ar y gwasanaeth, gwnaeth ei ffordd y foment y clywodd yr amen at y gweinidog, gan ddyweyd wrtho, "O, Maister Hamilton, hoo do you gie them figleaves, when they are hungerin' for the bread o' life?" (O, Meistr Hamilton, pa fodd yr ydych yn rhoi dail ffigys iddynt, pan y maent yn newynu am fara y bywyd?) Hwyrach mai yn y fan yma yr oedd diffyg mwyaf ei weinidogaeth y blynyddau hyn. Y mae hyn yn rhyfedd wrth gofio mor llawn o *deimlad* yn gystal ag egwyddor yr efengyl yr oedd ei hunan yn wastad. Teimlai ei gyfeillion a'i edmygwyr nad oedd ei bethau yn ddigon cymhwysiadol, a'u bod yn amddifad o'r dadganiad cadarnhäol hwnw o wirionedd yr efengyl a alluoga y gwrandäwyr i ddysgu ffordd y bywyd.

Ar ddechre 1840, cysyllta ei hun â chymdeithas ddetholedig, tua deuddeg mewn nifer, yn rhwym â'u gilydd mewn cyfammod i ymroddi yn hollol er llwyddiant teyrnas Dduw ac adfywiad yr eglwys. Ceisient gynnydd gwaith Duw ar eu hysbrydoedd eu hunain, yna daioni Sïon, llwyddiant eu heglwys ac achos Crist yn y byd. Eu moddion oedd gweddi, yn unigol, neu ddau a thri a ddygwyddent fod yn agos a chyflëus, yn wastad mewn undeb â'u gilydd, a gohebiaeth barhäus. O'r fath wreiddiau a hyn yn gafaelyd yn ddwfn o'r golwg, y daeth i fyny ffrwythau mawrion a phrydferth i Ysgotland a'r byd. Profwyd yn helaeth o ysbryd diwygiad yn Abernyte a'r cymydogaethau mewn canlyniad. Gweithiodd Hamilton yn galed iawn yn y plwyf hwn. Nid ychydig yw y rhai sydd fyw heddyw i ddiolch i Dduw am anfon iddynt y fath weinidog, ac nid ychydig yw nifer y rhai a ymadawsant, gan lawenychu yn y Gwaredwr y clywsant am dano ganddo ef. Mor naturiol a theilwng o "ŵr Duw," yn llawn o gariad yr efengyl, yw y mynegiad canlynol o'i ddyddlyfr!—

Medi 27ain. Tair wythnos yn ol cefais y newydd goreu erioed. Mewn llythyr a achlysurwyd gan rai sylwadau pruddglwyfaidd o'm heiddo ar fy rhagolygon yn y lle hwn, dywed Mrs. K. y rhaid iddi fy ystyried fel offeryn iachawdwriaeth ei henaid, ac o dan ddysgeidiaeth yr Ysbryd Glân, fod ei Bibl wedi dyfod iddi yn llyfr hollol wahanol.

Hyd yma nid oedd wedi ei gyflawn ordeinio, a gwnaed ceisiadau am i'r llywodraeth ei benodi yn gyd-weinidog ac olynydd, fel y gellid ei ordeinio, ond aflwyddwyd ymhob cais. Yr oedd rhywbeth *rhagluniaethol* hyd yn nôd yn y siomedigaeth, oblegid, y mae yn debyg, pe y llwyddesid, mai gweinidog anghyhoedd plwyf gwledig Abernyte a fuasai, fel canwyll dan lestr, yn lle bod yn troi yn y cylchoedd defnyddiol a lanwodd yn ei fywyd dyfodol. Tua'r un adeg ag y mae y llywodraeth yn gwrthod cais Abernyte, y mae Mri. Candlish a Paul yn Edinburgh yn parotöi y ffordd i roi galwad iddo i ofal bugeiliol eglwys Roxburgh, yn y ddinas hono. Derbyniodd yr alwad, gan gredu fod llaw Duw yn yr anfoniad. Ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn yr eglwys hono, Ionawr 24ain, 1841, pryd y gweinyddwyd gan Mr. Candlish. Cynnulleidfa oedd hon a ymunodd â'r sefydliad gwladol ar farwolaeth ei diweddar weinidog; a phan ymgymerodd Mr. Hamilton â'i gofal, yr oeddynt yn ychydig iawn o ran rhif; ac er na bu ei gysylltiad â hwy ond yspaid pum' mis, eto yr oedd ei bregethau yn tynu gwrandäwyr gwahanol o gyrau pellaf y ddinas. Bu o fendith annhraethol i rai personau yn y tymmor byr hwn, fel y dengys llythyr un eneth fach dros ei nain, sydd wedi ei roi yn y cofiant.

Hyd yma, y mae yr hanes wedi ei leoli yn Ysgotland, ond yn bresennol rhaid i ni brysuro tua Llundain er cael golwg ar sefyllfa a rhagolygon Henaduriaeth yn y brifddinas.

Yr oedd Eglwys Ysgotaidd Genedlaethol wedi ei sefydlu yno er dechre y ganrif bresennol, ac er cael amryw weinidogion defnyddiol i arolygu yr achos, ychydig o lewyrch a fu yno hyd ddyfodiad yr enwog, eto yr anffodus, Edward Irving, yn Hydref, 1822. Llanwyd y ddinas yn fuan âg enwogrwydd yr Ysgotiad galluog. Yr oedd ei hyawdledd, ei ddifrifwch, a'i bresennoldeb dylanwadol, gyda'u gilydd, yn swyno y lliaws, ac yn ennill sylw yr addolwyr. Gwnai y tân a ffiachiai yn ei lygad, a mawr-

frydedd prophwydaidd ei holl ddull, i'r bobl ddal eu hanadl tra y siaradai. Dylifai personau o'r graddau uchaf mewn cymdeithas yno i'w wrandaw. Arweiniodd hyn y swyddogion i chwilio am dir i adeiladu eglwys newydd, a chawn fod y gàreg sylfaen yn cael ei gosod yn Regent Square, Gorphenaf, 1824. Ymhen tair blynedd, agorwyd yr eglwys gan Dr. Chalmers, a pharhäodd Irving i weinidogaethu yno hyd 1832, pan y diarddelwyd ef o'r Eglwys Genedlaethol gan ddedfryd ei uchafiaid, am ei gyfeiliornadau mewn athrawiaeth. Drwg genym na oddef gofod i ni ddodi yma sylwadau calon-agored a rhagorol Mr. Arnot ar Irving a'i gamsyniadau.

Yr oedd y terfysg yn achos Mr. Irving wedi teneuo y gynnulleidfa yn fawr. Yr oedd hyn yn fwy gofidus wrth ystyried fod y swm mawr o ddeng mil o bunnau o ddyled ar yr adeilad. Wedi mwynhâu gweinidogaeth un Mr. Mac Leod am bedair blynedd gyda graddau o lwyddiant, y mae sylw y swyddogion yn cael ei alw, mewn ymgynghoriad â rhai o enwogion Ysgotland, at Mr. Hamilton, fel gweinidog ieuanc a fyddai yn debyg o fwy nag ad-dalu am yr holl siomedigaethau a brofasai y gynnulleidfa. Llwyddwyd i'w gael yno i bregethu am ddau Sabbath, a daeth Mr. Hamilton a hwythau i gyd-ddealltwriaeth gyda golwg ar ei symudiad yno. Ar y 25ain o Orphenaf, 1841, sefydlwyd ef yn ffurfiol yn y lle gan Dr. Gordon, Edinburgh. Daw manylion ei hanes o hyn allan yn llawer mwy prin, am fod amledd dyledswyddau cyhoeddus yn peri nas gallai fod mor reolaidd gyda'i ddyddlyfr; ac o ran hyny, nid oes cymaint o'u hangen, oblegid ei fod erbyn hyn yn oleuni wedi ei osod ar fryn, fel y gallai pawb ei weled. Yn y tymmor hwn y daw llafur anferthol Mr. Hamilton gyda llênyddiaeth i'r golwg. Yr oedd y duedd hon wedi cynnyddu fel yr oedd yntau yn myned ymlaen mewn dyddiau, a daeth i'w theimlo yn reddf anwrthwynebol iddo, yn nghanol ei ofalon bugeiliol, y rhai oeddynt lïosog a thrymion. Ei gyfraniad cyntaf trwy y wasg yn Llundain oedd, "Yr Eglwys yn y Tŷ," traethodyn annogaethol i addoliad teuluaidd Dilynwyd ef â chyfres gyffelyb o ran tôn ac amcan daionus. Cynnyrchai pob un sylw mawr ar ei ymddangosiad, a gadawodd pob un ei ôl ar hanesiaeth grefyddol y cyfnod. Yr oedd rhai o honynt hefyd o duedd uniongyrchol i gylymu ei gydwladwyr Ysgotaidd yn Lloegr wrth eglwys eu tadau. Ond cawn yr eglwys hono, ag oedd mor anwyl iddo ef, yr adeg yma yn myned ymlaen gan wynebu dyfroedd dyfnion profedigaeth. "Ymlaen mewn ufudd-dod i'w hegwyddorion hanfodol, a gorchymyn ei Phen Dwyfol, y rhaid iddi o angenrheidrwydd fyned, er fod pob gweinidog a phob aelod yn gwybod yn eithaf da erbyn hyn mai llwybr dyledswydd oedd llwybr perygl. Yr oedd y frwydr yn yr eglwys ar y naill law, a rhwng yr eglwys a'r llysoedd gwladol ar y llaw arall, yn dynesu at y pwynt terfynol (*crisis*)." Gwelai Mr. Hamilton elfenau yr ystorm yn ymgasglu, ac mewn cydymdeimlad dwfn â'i frodyr yn Ysgotland, daeth allan i'w cynnorthwyo ymhob ffordd a allai, trwy ysgrifenu traethodau byrion ar y mater, yn gystal a thrwy roi ei bresennoldeb gyda hwy yn eu cymanfäoedd, a bwrw ei goelbren yn eu plith.

Maddeuer i ni am aros ychydig ar y cyfnod pwysig a gwir dyddorol hwn yn hanes Rhyddid Crefyddol Ysgotland. Haedda hunanymwadiad, aberthiad, a diysgogrwydd y brodyr hyn dros eu hegwyddorion a'u

hargyhoeddiadau cydwybodol, y deyrnged hon (ac un llawer gwell, o ran hyny), oddiar ein llaw. Daw yr hanes yn fwy dyddorol hefyd bob blwyddyn i Fethodistiaid Cymru, fel y mae ein cydnabyddiaeth o'r Eglwys Rydd a Henaduriaethwyr eraill Ysgotland yn cynnyddu.

Gŵyr y rhan fwyaf o'n darllenwyr fod yr Ysgotiaid wedi taflu ymaith iau Esgobyddiaeth fel crefydd y wladwriaeth, tua dau can' mlynedd yn ol. Felly, Henaduriaethol neu Bresbyteraidd ydyw ffurf-lywodraeth yr Eglwys Wladol yn y wlad hono hyd heddyw. Y mae y cysylltiad â'r wladwriaeth yn peri fod nawddogaeth y bywioliaethau yn llaw y Llywodraeth a'r tirfeddiannwyr, yn debyg fel y mae eiddo Eglwys Loegr yn Nghymru. Yr oedd teimlad cryf o gamwri trefniant fel hwn yn myned ar gynnydd yn yr eglwys tua deugain mlynedd yn ol. Cynhyrfid y teimlad i raddau gwaeth trwy benodiad gweinidogion annerbyniol gan y cynnulleidfäoedd, er niwed mawr yn y lle cyntaf i achos crefydd. Nid oedd modd eu gwrthod, am fod holl rym y gyfraith wladol o blaid eu happwyntiad. Erbyn 1840, yr oedd plaid gref iawn yn yr eglwys, dan ormes y caethiwed hwn, yn dyheu am ryddid, a daeth i fod yn y mwyafrif yn y llysoedd eglwysig trwy holl gylch y Gymanfa Gyffredinol. Y canlyniad fu i'r Gymanfa benderfynu nad oedd un gweinidog o hyny allan i'w wthio ar unrhyw blwyf yn groes i aelodau yr eglwys yn y lle. Pa fodd bynag, o fewn cylch Henaduriaeth Strathbogie, bu raid diswyddo, dros dymmor, saith o weinidogion am dderbyn eu galwadau gan lysoedd llëygol, ac anufuddhâu i'w huwchafiaid eglwysig. Er mwyn cyflenwi y cynnulleidfäoedd hyn a wneid yn ddi-weinidog â gweinidogaeth gyson, anfonai y Gymanfa nifer o bregethwyr am dymmor penodol i aros yn eu mysg, i'w gwasanaethu yn yr efengyl. Yn eu plith cawn Mr. Hamilton, gweinyddiadau yr hwn a fuont dra derbyniol gan y cynnulledfäoedd. Mynodd y gweinidogion diswyddedig waharddeb gyfreithiol er attal hyn, ac felly pregethid yn y meusydd ar hîn gyfaddas, ac mewn ysguboriau a lleoedd cyffelyb, ar dywydd anffafriol, am y bygythid cosb arnynt am anturio i'r eglwysi. Cafwyd gwaharddeb bellach drachefn nad oeddynt i bregethu o gwbl o fewn terfynau y plwyfydd hyn. Golygfa ddyeithriol oedd gweled swyddogion y llywodraeth yn gwylio dyfodiad y *mailcoach* ar nos Sadwrn, er cyflwyno gwaharddebau rhag pregethu yr efengyl drannoeth i'r cyfryw deithwyr a dybient oddiwrth eu gwisg eu bod yn weinidogion y gair. Ni thyciai hyn ychwaith. Pregethu wnai y dynion gwrol hyn, a'r gwaharddebau yn eu llogellau, yn wyneb troseddiad agored o'r gyfraith wladol yn ol eglurhâd y barnwyr o hóni; eto, ni feiddid cospi yr un o honynt. Yr oedd egwyddorion goddefiad, a nerth barn y wlad, yn rhy gryf i'r llŷs. Ni roddwyd y waharddeb, er ei chyhoeddi a'i gwasanaethu, erioed mewn grym. Y canlyniadau oeddynt, cyfranu nerth ychwanegol at seiliau rhyddid gwladol a chrefyddol trwy y tir, a chynnydd mawr ar grefydd efengylaidd yn y rhanbarth hono o'r wlad.

Fel yr oedd yr amser yn cerdded, yr oedd y gagendor yn mwyhâu rhwng yr eglwys a'r llywodraeth; ac yn mis Tachwedd, 1842, cynnaliwyd y Gymanfa bwysicaf a gynnaliodd y blaid ddiwygiadol erioed, er ystyried y mater; ac nid oedd ond gweinidogion yn unig yn bresennol. Cynnadleddid â drysau cauedig, ac nid oedd neb fel *reporter* na chyfaill i gael dyfod i mewn; daw y rheswm dros hyn i'r golwg yn y man.

Gwelwyd fod pob peth wedi ei wneyd y gallai dynion o anrhydedd ymostwng iddo, er cadw eu lleoedd yn y sefydliad cenedlaethol, ac fod yr amser wedi dyfod pan y gweddai i'r blaid oeddynt ffyddlawn i egwyddorion ysgrythyrol, a hanesiaeth ogoneddus eu Heglwys, i sefyll yn gryf, ac i hysbysu pawb y perthynai iddynt, os na chaniateid mesur penodol o waredigaeth gan y llywodraeth o fewn amser neillduol, y tòrent bob cysylltiad â'r wladwriaeth, mewn trefn i gadw eu ffyddlondeb i'w Brenin nefol. Yn awr, gan mai ar ran y gweinidogion yr oedd y mesur cynnygiedig yn cynnwys colled arianol, a chan, yn eu hachos hwy, y cynnwysai aberth o'r oll a feddent, tybiwyd mai hwy eu hunain ddylasent ddadleu y cwestiwn, a dyfod i benderfyniad arno, yn hollol annibynol ar ddylanwad, ïe, hyd yn nôd presennoldeb eraill, nad oedd eu buddiannau mor amlwg yn y mater. Cynnaliwyd y Gymanfa hon yn eglwys Roxburgh, Edinburgh, lle, fel yr hysbyswyd, y bu Mr. Hamilton am dymmor bŷr yn gwasanaethu. Yr oedd efe yn bresennol yn yr holl drafodaeth, a chydsyniodd â'i frodyr i sefyll o blaid y rhyddid a gredai y dylasent ei fwynhâu. Yr oedd oddeutu pum' cant yn bresennol yn y Gymanfa. Pregethodd Dr. Chalmers ar yr ysbryd addas i'r gwaith mewn llaw, ac ar arweiniad Duw yn yr amgylchiad, oddiar y geiriau "Cyfyd goleuni i'r cyfiawn yn y tywyllwch." Treuliwyd amser maith mewn gweddïau ac ymbiliau am gyfarwyddyd ac amddiffyniad Dwyfol. Ffŷnai yr unfrydedd mwyaf yn eu mysg, er fod pawb yno yn teimlo difrifwch y sefyllfa yr oeddynt ynddi. Yn unol âg amcan y cynnulliad, tynwyd allan fesur o'u gofynion gan y llywodraeth, a gohiriwyd am wythnos, er cael hamdden i ystyriaeth pellach. Cyfarfuwyd drachefn, a phenderfynwyd yn unfrydol, os na byddai i'r llywodraeth ateb eu cais o gwbl, neu yn nacäol, eu bod i ymadael â'r sefydliad gwladol adeg y Gymanfa ddyfodol yn Mai, 1843. Yr adeg hir-ddysgwyliedig a ddaeth, gan ddwyn yn ei gôl *ymraniad bythgofiadwy Eglwys Ysgotland.* Yr oedd penderfyniadau y Gymanfa flaenorol wedi eu harwyddo gan dros bedwar cant a hanner o weinidogion, heblaw cannoedd o swyddogion eraill. Gosodwyd y cwbl o flaen y llywodraeth, ac er gwaethaf dadleuon y rhan fwyaf rhyddfrydig o'r ddeddfwrfa, y blaid wrthwynebol i ddiwygiad a chyfnewidiad a orfyddodd. Penderfynwyd yn derfynol y dylai sefyllfa a buddiannau y sefydliad berthynu i'r rhai hyny yn unig a wnaent ufuddhâu yn ddiattreg i ddedfryd y llŷs gwladol, yn y cyfryw faterion a phenodiad neu ddiswyddiad gweinidog.

Yr oedd y *crisis* wedi dyfod. Yr oedd rhyddid yr Eglwys Henaduriaethol i'w lethu, neu iddynt fyned allan o'r sefydliad gwladol, gan ddwyn rhyddid gyda hwy, a gadael eu buddiannau ar ol. Yr oedd Edinburgh, gan hyny, yr adeg yma, yn lle o ddyddordeb, nid yn unig i Ysgotland, ond i'r byd crist'onogol. Cyrchid tuag yno gan y gweinidogion mwyaf rhyddfrydig ac ymdrechgar o bob cŵr o'r wlad, y rhai oeddynt barod i weithredu yn deilwng ar amgylchiad mawr eu hanes cenedlaethol. Edrychai Edinburgh y bore hwn (Mai 18fed) fel pe yn dysgwyl dygwyddiad hynod. Casglai holl swyddogion gwahanol sefydliadau y dref ynghyd fel arferol, i dalu eu gwarogaeth flynyddol i Ddirprwywr ei Mawrhydi, yn mhalas Holyrood, ac aethpwyd oddiyno yn un orymdaith ysplenydd i'r *High Church,* lle y cafwyd pregeth fuddiol a grymus ar y geiriau, "Bydded pob un yn sicr yn ei feddwl ei hun."

Ar ddiwedd y gwasanaeth, ymadawodd pawb yn drefnus a rheolaidd am y neuadd gyfagos, lle y dechreuid gweithrediadau priodol y Gymanfa. Yn bur fuan, clywid trwst dyfodiad y dirprwywr brenhinol a'i weinyddwyr i'r neuadd. Yr oedd hyn yn dwyn ar gôf i gannoedd yno eiriau un o'u caneuon cenedlaethol:—

Now 's the day, and now 's the hour.

Gweddïodd y cymedrolwr, Dr. Welsh; ac yna, ynghanol dystawrwydd perffaith, aeth ymlaen i hysbysu *nas* gellid ffurfio y gymanfa eleni fel arferol, oblegid penderfyniad y llywodraeth i wrthod cydnabod eu hawliau henaduriaethol; "a chan hyny," meddai, "yr wyf yn gwrthdystio yn erbyn myned ymlaen ymhellach." Wedi hyny darllenodd gyfres o resymau ysgrifenedig dros fabwysiadu y cwrs hwn; ac ar ol eu rhoi ar y bwrdd, ymgrymodd i'r orsedd, ac ymadawodd. Dilynid ef gan un ar ol un, a rhês ar ol rhês, nes yr oedd yr oll ar yr aswy i'r gadair wedi myned. Yr oedd yn olygfa darawiadol iawn gweled y llinell ddu dros hanner milldir o hŷd yn myned i lawr yr âllt sydd yn arwain i Ddyffryn y Leith Water. Ar bob ochr i'r heol, yr oedd miloedd o edrychwyr, rhai yn *cheerio*, ac eraill yn tynu eu hetiau mewn parch diledryw; rhai yn wylo, llawer yn rhyfeddu, ac ychydig yn ceisio gwenu. Yn nghanol yr heol, parhäi yr orymdaith i symud ymlaen, yn cynnwys y fath ddynion a Chalmers, Welsh, Gordon, Buchanan, Cunningham, a Candlish, yr oll, mewn gair, y meddylia Ysgotiad am dano pan yn meddwl am eglwys ei wlad. Daethant yn orymdaith felly hyd Canon Mills, lle y cyfarfuasant, gan ffurfio eu hunain ar unwaith yn Gymanfa gyffredinol Eglwys Rydd Ysgotland. Etholwyd Dr. Chalmers yn gymedrolwr; ac wedi myned trwy rai ffurfiau angenrheidiol, ymadawsant, gan ohirio y cyfarfod hyd drannoeth. Yr oedd *calon* y wlad yno, os nad oedd ei phendefigion; a chafwyd arwyddion neillduol iawn cyn diwedd y cyfarfod hwnw, fod Un mwy na Solomon yn eu plith. Wedi trefnu amryw bethau ar gyfer y dyfodol, treuliwyd y 23ain o Fai, ar ol gwasanaeth addoliadol, i lawnodi *gweithred yr ymadawiad*, trwy yr hon darfu i 470 o weinidogion "*ymwahanu oddiwrth, a gadael, sefydliad eglwysig presennol Ysgotland, ac ymwrthod â'r holl hawliau a'r buddiannau perthynol iddynt yn rhinwedd y cysylltiad hwnw.*"

Y mae yn anmhosibl prisio yr aberth a wnaed trwy hyn, gan fod rhai cysylltiadau yn gyfryw na ellir eu prynu âg aur neu arian. Eto, cynnorthwyir ni i ddeall yr aberth yn well, wrth ddyweyd iddynt adael ar ol gyllid, y meddent hawl gyfreithlawn iddo, a gyrhaeddai i fwy na chan' mil o bunnau yn y flwyddyn! Rhoisant eu gofal ar Dduw am eu dyfodol, gan ymddiried y gofalai efe am bawb a wnaent aberth cydwybodol ac egwyddorol ynglŷn â'i achos. Yn hyn ni siomwyd hwynt. Bu yr Arglwydd yn dyner o honynt, ac yn dda iawn wrthynt mewn mwy nag un ystyr.

Yr hyn a ddilynodd yr ymraniad, sydd erbyn heddyw yn fater hanesiaeth gyffredinol, ac nid i'w gofnodi yn mywgraffiad person unigol. Digon ydyw dyweyd, fod yr Eglwys Rydd wedi myned ymlaen o'r dechre gyda phrysurdeb a chadernid rhyfeddol. Ennilla gam neu ychwaneg bob tymmor, a dalia y cam a ennilla, fel, erbyn hyn, y mae y profiad a gawsant wedi gwneyd llawer er cyflenwi rhesymau o blaid y

chwyldröad mwyaf mewn gwladlywiaeth Frenhinol, y bu yr oes hon yn llygad-dyst o hóno. Pell iawn ydym o gydsynio âg awdwr yr erthygl ar "yr Eglwys Rydd" yn y *British Quarterly* am Ionawr, fod tymmor y cyfundeb hwn ar ben yn yr amcan mawr o brofi y posiblrwydd i enwad crefyddol lwyddo a chynnyddu ar yr egwyddor wirfoddol. Gwnaeth y cyfundeb hwn hyny, y mae yn wir; ond er ei wneyd, amlwg ydyw fod ganddo lawer eto i'w gyflawni cyn y gall eistedd i lawr ar dir buddugoliaeth, a dyweyd fel hwnw gynt, "Daethum, ymleddais, gorchfygais." Os cyfeiriad yr awdwr ydoedd at undeb tebygol yr Eglwys Rydd â'r canghenau Henaduriaethol eraill, nis gallwn weled grym ei ymresymiad; canys er i'r cyfundeb hwyrach golli rhai nodweddau, bydd yn bod mewn ystyr uwch, mwy manteisiol, ac effeithiolach nag erioed yn yr undeb dymunol hwnw y gobeithiwn yn fuan ei weled ynddo.

Ond i ddychwelyd yn fwy neillduol at hanes Mr. Hamilton. Yn nghorff y misoedd dilynol i'r ymraniad uchod, yr oedd ei ddylanwad yn dechreu cael ei deimlo yn yr eglwysi Ysgotaidd yn Lloegr, a'r trefedigaethau, yn debyg fel y mae tònau y môr yn ehangu eu cylch nes myned tros yr holl wyneb. Bu Mr. Hamilton a'i bobl yn Llundain mewn perygl o golli yr adeilad yn Regent Square, trwy i'r sefydliad yr oeddynt newydd ei adael ei hawlio, fel y gwnaed â channoedd o eglwysi yn Ysgotland. Ond o herwydd y pum' mil punnoedd o ddyled oedd arno, ac o herwydd rhai anhawsderau cyfreithiol, cafodd Mr. Hamilton a'i eglwys gadw meddiant o hóno, fel y mae yn eiddo yr Henaduriaethwyr Anghydffurfiol hyd y dydd hwn.

Yn Medi, 1843, cyfarfyddwn â Mr. Hamilton yn ngogleddbarth Ysgotland, yn teithio er mwyn ei iechyd, ac ymddengys i'r daith droi allan yn bur llesol iddo mewn mwy nag un ystyr. Ymysg ei bapyrau, yr adeg yma, ceir y tri phenderfyniad canlynol, a ddangosant gyfeiriad ei feddwl o ran difrifwch gweinidogaethol:—"1. Gochelyd gwagedd. Peidio adrodd chwedlau difrïol, na chymeryd rhan mewn un ymddyddan annheilwng o weinidog. 2. Rhoddi y gauaf hwn i Regent Square. Ffurfio lleied a fedraf o ymrwymiadau y tu allan i gylch fy ngofal. 3. Bod *y gweinidog—y cenad dros Grist*—pa le bynag yr âf."

Yn 1844, gelwir arno i bregethu tair o bregethau blynyddol ynglŷn â chyfarfodydd Mai y Brifddinas, perthynol i Gymdeithas Genadol Llundain, Cymdeithas Genadol y Wesleyaid, a Chymdeithas Addysg Gristionogol. Ebrill 14eg, y mae adgofion am ei anwyl dad yn pregethu am y tro olaf, naw mlynedd i'r diwrnod hwnw, yn arwain ei feddwl at ofal ac amddiffyniad neillduol Rhagluniaeth drosto o'r adeg hono hyd y dydd hwnw. O'r sefyllfa y caiff ei hunan ynddi fel gweinidog eglwys mor bwysig, y mae yn teimlo ei wendid, ei annheilyngdod a'i anmherffeithrwydd, ynghyda'r cyfrifoldeb mawr a orphwys arno fel gweinidog, awdwr, a christion. Y mae y cofnodiad hwn o'i eiddo yn wir werthfawr, fel y dengys dduwiolfrydedd meddwl, teilwng o saint yr Hen Destament. Cafodd un prawf neillduol yr adeg yma o fendith Duw ar ei weinidogaeth. Gadawn iddo ef ei adrodd yn ei lythyr i'w chwaer:—"Fy nhestun oedd, 'Dyma fy anwylyd, a dyma fy nghyfaill.' Gwnaed argraff ddwys ar feddyliau rhai gwrandäwyr diofal, a chlywais am un dyn ieuanc, yr hwn, mi a obeithiaf, a wir ddeffröwyd. Anffyddiwr ydoedd, ond a ddygwyd allan y boreu hwnw gan gyfaill, ac effeithiodd y gwirionedd mor fawr

arno fel yr arhosodd trwy y dydd, a nos drannoeth cymerodd eisteddle iddo ei hun. Credaf na fu mewn eglwys er ys blynyddau o'r blaen." Tua diwedd y flwyddyn hon yr ymddangosodd ei "Fywyd o Ddifrif," un o'r rhai mwyaf poblogaidd a defnyddiol o'i weithiau. Ar ddechre 1845, gwneir y nodiad canlynol yn ei ddyddlyfr, a dengys gymaint o waith a gyflawnai, a hyny yn nghanol llawer o wendid corfforol. "Pregethais 124 o weithiau, ymwelais â 492, derbyniais 1112 o ymwelwyr, ysgrifenais 855 o lythyrau, astudiais 1254 o oriau, darllenais 21 cyfrol, neu 9010 tudalenau, &c., &c." Y flwyddyn hon cyfansoddodd gofiant Bunyan, a chyhoeddodd gyfrol o'r enw "Mynydd yr Olewydd," yr hon sydd gyfres o ddarlithiau ar weddi.

Yn Mai 1846, y mae yn aros yn Hastings er mwyn ei iechyd, ac yma eto ceir ef yn llawn cynlluniau ar gyfer y dyfodol ynglŷn â llênyddiaeth. Cadwyd ef y tymmor hwn yn hŵy heb weithio nag y meddylid y buasai ar y cyntaf. Teithiodd dan gyfarwyddyd meddyg am beth amser ar y Cyfandir, lle y defnyddiai ddyfroedd un o'r ymdrochlëoedd Germanaidd. Dychwelodd o'r Cyfandir wedi gwella llawer,ond barnwyd yn ddoeth iddo gymeryd gorphwysdra oddiwrth waith am fis ychwaneg. Felly yn nghwmni rhai o'i berthynasau treuliodd y rhan fwyaf o Fedi, 1846, yn Nghymru. Derbyniodd lês annhraethol trwy y teithiau hyn, a gwnaeth ddefnydd rhagorol o'r amser hefyd, er addfedu cynlluniau ar gyfer gwaith y weinidogaeth. Gwna y sylwadau canlynol ar ddiffygion pregethu yr oes, mewn llythyr o Fangor, Medi 6fed: "A gadael allan o'r cyfrif bob cyfeiliornad athrawiaethol, y mae dau ddiffyg i'w teimlo ynglŷn â'r rhan fwyaf o'r pregethau a wrandewais yr ugain Sabbath diweddaf. Ychydig o'r pregethwyr a ymddangosant fel yn meddu nôd arbenig mewn golwg; ac o'r ychydig hyny, nis gallaf feddwl am yr un yr oedd ei bregeth mor newydd, a chlir, a pherswadiol, fel ag i ddal y diofal, ac i roi argraff arosol ar feddyliau y gwrandäwyr. * * * Byddaf yn fynych yn troi at ddechreuad fy ngweinidogaeth, ac yn gofyn *beth* a ddylwn bregethu, a *pha fodd*."

Mewn llythyr arall o Gaernarfon, Medi 17eg, dywed, "Mor drwyadl Gymreig yw y Methodistiaid Calfinaidd, nad ydyw o un dyben myned i'w capeli. * * * Tra digalon fu y prawfiadau a wnaethom ar yr Eglwys Sefydledig. Gwagsaw hollol oedd Esgob Bangor a dyeithr-ddyn arall a glywsom yno y Sul diweddaf. Hysbyswyd fi am ganlyniad ymchwiliad a wnaed i nifer presennolion y sefydliad mewn 73 o eglwysi plwyfol Môn un Sabbath. Mewn poblogaeth o 47,000, yr oeddynt yn llai na phum' cant—ychydig fwy nag un o bob cant. Neithiwyr yr oedd Mr. Rees, Liverpool, yn pregethu yma, ac yr oedd iddo ef, ar nos waith, bum' waith cymaint o wrandäwyr â holl Esgobyddwyr Sir Fôn."

Ar y mater hwn ychwanega Mr. Arnot:—"Rhaid i bob sylwedydd meddylgar, gydag ysbryd cristion a gwladgarwr, wrth dreulio mis yn Nghymru, sylwi mewn gofid neu ddigllonedd, yn ol y dymher, ar sefyllfa yr Eglwys Sefydledig yn y Dywysogaeth. Y Methodistiaid Calfinaidd, yn cael eu hattodi â chyfundebau uniawngred eraill, ydyw y wirioneddol eglwys genedlaethol. Gan wahaniaethu oddiwrth y Gaelic yn Ysgotland, yr hon sydd gyfyngedig i'r cymydogaethau mwyaf anghysbell, ac anwybodus, y mae y Gymraeg yn cael ei meithrin a'i harfer gan gorff y bobl yn y Dywysogaeth. Y mae y pregethu gan

hyny âg sydd yn wirioneddol genedlaethol. Yn y Gymraeg nid oes diffyg mewn arwyddion, pa fodd bynag, i rybuddio Cristionogion y wlad hono, er iddynt lwyddo hyd yma i warchgloddio eu tiriogaeth yn erbyn y llanw Seisonig yn llawer mwy cyflawn na'r ucheldiroedd Ysgotaidd, fod yr amser yn dyfod pan y rhaid i'r terfynau roi ffordd. Nid oes amser i'w golli. Dylai un drem synwyr-gall i'r dyfodol agos fod yn ddigon i ennyn eu holl ymröad yn y cyfeiriad o drefnu moddion ac ordinhadau i'r genedl sydd yn codi yn yr iaith Saesoneg."

Y mae y sylw ynglŷn â'r diweddar Mr. Rees, o Liverpool, yn ddyddorol anghyffredin. "Mr. Rees oedd gwir esgob Gogledd Cymru. Yr oedd y llais hwnw o eiddo pobl dduwiol, ag sydd yn y cyfryw amgylchiadau, yn llais Duw, yn ei ddynodi yn eglur fel arch-fugail ac archbregethwr yr efengyl. Y mae ei goffadwriaeth yn anwyl yn y dalaeth eto. Ni raid ond crybwyll ei enw mewn unrhyw gwmni na welir arwyddion diattal o barchedigaeth dwfn yn cael eu dangos. Eto, pan fu farw y dyn hwn, darfu i offeiriad yr Eglwys Blwyfol, yn rhinwedd ei swydd fel ceidwad y fynwent genedlaethol, oddef i'w lwch gael eu claddu yn unig ar yr ammod i'w ddysgyblion profedigaethus gau eu genau, a pheidio meiddio cymaint a chânu *hymn* ar lân ei fedd!"

Gwelwn y rhaid tòri i fyny yn y fan hon, gan addaw dychwelyd eto ar fyrder at y gweddill o'r hanes dyddorol a gwir addysgiadol hwn.

---

# PRYDFERTHION YR HAF.

TYDI, O ddyn, sy 'n meddu chwaeth
  I syllu ar brydferthion,
Clyw gerdd y gôg, clyw gyngan ffraeth
  Mil myrddiwn o gantorion,
Ar foreu hafaidd yn mis Mai,
  Fel pe 'n dy wahodd allan,
I wel'd y dillad newydd crai
  Ro'es Duw i wisgo anian.

Yr adgof am deleidion hâf
  Yn nyfnder gauaf rhewllyd,
Sydd megys yn meirioli 'r iâ,
  Tynera 'r barug rhynllyd;
Ond *edrych* ar y ceinion dardd
  I fritho mantell anian,
Drawsffurfia unrhyw ddyn yn fardd,
  Heb wybod iddo ei hunan.

Rhyw symudlèni baentiodd Duw
   A phwyntel ardymheredd,
Yn arddangosfa natur yw
   Y pedwar tymmor rhyfedd;
Y naill ar ol y llall a ddaw,
   Gan ddangos ei brydferthion;
Ond rhwydd addefir ar bob llaw,
   Mai 'r hâf yw pena' 'i geinion.

Drwy 'r gauaf oer, ymlecha 'r haul
   Tu arall i'r cyhydedd,
Gan adaw 'r tir i oddef traul
   Anrheithiwr llym y Gogledd;
Digofus guwch ar ael y nef
   Fygythia 'storm-ryfeloedd;
Dynoethi ei breich wna 'r dderwen gref,
   I ymladd â'r corwyntoedd.

Ond, wele, o'r deau, daw 'r huan yn ebrwydd,
Gan chwerthin rhyfeldwrf y 'storm i ddystawrwydd;
Y corwynt yn awel chwarëus ymnewidia,
A llaw yn gymmodlawn â'r goedwig ysgydwa.
Swyn serch i'r hen ddaear sy 'n llygad yr huan,
Cyffröad i'w mynwes bâr teimlo mwyn gusan
Ei hynaws belydrau yn cyffwrdd ei gwefus,
Adwenu 'n ei wyneb wna 'i hâr yn serchglwyfus:
Y mewnol gynhyrfiad serchoglawn a deimla,
Drwy lygaid goleuliw o friall fradycha.
Ymdrwsia fel gwyryf f'ai 'n myn'd i'w phrïodi,
A'r haul a falchïa wrth weled ei thlysni;
A ffurfir cydrhyngddynt ryw ddedwydd gyfathrach,
A cheinion amryliw yr hâf dardd o'u llinach.

O dlysni, mae natur yn Ebrill yn feichiog,
A'r egin ymwthiant drwy grôth âr epiliog;
Mil myrdd o efeilliaid yn Mai gânt eu geni,
Pob un fel yn hawlio 'r flaenoriaeth am dlysni.
Cyflwyno 'i mabanod aneirif wna 'r ddaear,
I'w meithrin ar arffed yr hâf ymgeleddgar.
Mor brydferth yw natur, fel mammaeth drugarog,
Yn mwyn ymgeleddu ei thlŵs blant llïosog!
O'i dwyfron eneiniol, y gwlith-ddyferynau,
Sy 'n dal eu cynnwysiad wrth wefus y blodau;
Geneuau aneirif a sugnant gynnaliaeth
O dethau bendithiol bron laethog naturiaeth.
O! hardded yw 'r olwg, pan egyr y borau,
Wèn amrant y wawrddydd ar fyrddiwn o èmau!
Pob îrdwf laswelltyn, fel teyrn annibynol,
Goronwyd â gwlithyn tra 'r haul yn absennol;
Ac fel pe balchïai yn urdd ei goroniad,
Yn uwch ei wyrdd frigyn ymgwyd mewn hardd dyfiad.

Ond, O! dacw 'r huan i drothwy 'r dwyreingylch,
Yn dilyn y wawrddydd, gan edrych o'i amgylch;
Wrth gychwyn ei yrfa, eurolwyn ei gerbyd
Sydd megys ar balmant o geinion yn symud;
Mae urddas brenhinol i'w wel'd yn ei wyneb,
Dïanga 'r tywyllwch rhag nerth ei ddysgleirdeb;
A'u miwsig, cantorion ystwythlais y llwyni,
I'w orsedd groesawa 'i wybrenol fawrhydi.

'N ol esgyn i'w orsedd hyd risiau o borphor,
A'i dremiad pell-dreiddiawl archwilia bob goror,
I weled a ydyw yr oll yn cydnabod
Ei hawl i awenau llywodraeth y diwrnod.
Mân deyrniaid y weirglodd, cyn hir, dŷn ei sylw,
A'u penau 'n goronog gan berl-wlithos glöew;
A'i belydr cyfarcha 'r beilch flagur, gan wenu,
"Rhowch fyny 'ch coronau, myfi sy i deyrnasu."
A hwythau offrymant eu gèmau 'n ddioedi,
Fel prawf o'u gwarogaeth i deyrn y goleuni.
Wrth ddyfod y boreu o'i 'stafell ddwyreiniol,
Mae 'r haul fel pe byddai 'n fwy llòn nag arferol.
Pa ryfedd ei weled yn codi mor forau,
Tra byd o brydferthion gyfarcha 'i amrantau?
Pa ryfedd ei weled drachefn yn hir oedi
Cyn machlyd, fel un wedi dotio ar dlysni?
Rhy fŷr y cyfrifa gael diwrnod cyffredin
I edrych ar geinion amryliw Mehefin.

Y bywyd ymguddiai yn mynwes y dderwen,
Tra 'r 'stormydd gauafol weryrent drwy 'r wybren,
I'r amlwg sydd heddyw 'n ffurf dail yn ymwthio.
Pob cainc sydd â newydd wyrddlesni 'n ymdrwsio;
Pob llwyn sydd fel pabell döedig â sidan,
A cherdd dan ei chysgod yn gwneyd ei phreswylfan,
Gan arllwys rhyw ddiluw o seiniau perorol,
Nes crëu rhyw adfywiad drwy 'r parthau cylchynol,
Fel pe bae yn nghanol y ceinion gweladwy
Am ddullio 'r prydferthion yn seiniau clywadwy;
Peroriaeth plant greddfau 'n y wîg sydd fel bywyd,
A gwyrddlas brydferthwch yn gorff am ei hysbryd.

Mae 'r meusydd a'r coedydd yn ddiddig ymryson
I ddangos prydferthwch eu dillad newyddion,—
Ymddyrcha 'r afallbren mewn balchder diniwed,
Gan ddangos ei fyrddiwn o flodau agored,
Fel pe bae yn cyfarch y maes diwylliedig,—
"Derch yma dy olwg, gwel dlysed fy niwyg."
Ymwrida 'r meillionfaes mewn harddwch gan ateb,—
"Gwel dithau, 'rwyf innau yn gwisgo tlysineb;

Fy nghlog o wyrddlesni dryfrithwyd â blodau,
O ddyben rhagorach nag addurn fotymau;
Cymhlethir â swynion diail eu tlysineb,
Y peth a ddynoda y gair *defnyddioldeb*."
Mor brydferth yw agwedd y fuwch ar y borfa,
Ar lŵth o sidanwellt tra tawel orphwysa!
Gwna ddarlun boddlonrwydd ar glawr y ddôl werddlas,
A'r meillion yn frithliw ymylwe o'i gwmpas.

Pa beth yw 'r perarogl gyfarcha fy ffroenau?
Ho! balmaidd frys-genad anfonodd pwysïau
I'm gwahodd i edrych ar swynol deleidion
Yr ardd ddiwylliedig, cynnullfan prydferthion.
Awn yno, gan hyny, i syllu yn chwannog
Ar degwch prifddinas y deyrnas lysïeuog.
Ei hunion heolydd arweiniant rhwng blodau,
Pa rai, hyd eu hymyl, sydd megys têg lampau
O liwiau amrywiol, yn prydferth gyfateb
I ddangos amryfath ogoniant tlysineb.
Y llwyni pêrlysiau breswyliant mewn heddwch,
A'r pren box bytholwyrdd yn gaer i'w prydferthwch;
Ymsedda y rhosyn ar gorsen ddyrchafol,
A hafaidd ieuenctyd yn gwrido 'i rudd siriol;
Ei arogl dymunol, ei liw, a'i ffurf ddillyn,
A hawlia ei gyfenwi yn *frenin flodeuyn*.
Rhyw osgordd deyrngarol o flodau o'i gwmpas
Ymwisgant mewn diwyg sy 'n gweddu i'w urddas;
Mewn gwŷndra dilychwin, ymddengys y lili,
Fel glân brïodasferch ei wridog fawrhydi;
Ac fel balch dywysog tàl sytha 'r *sweet william*,
Tra eraill, mwy gwylaidd, foesgrymant yn bengam,
Gan gyfrif, ond odid, y rhosyn brenhinol,
Yn hawlio pengrymiad pob blod'yn teyrngarol.
I'r ardd ar ymweliad daw 'r chwa wrth fyn'd heibio,
A swynion prydferthwch y blodau wna 'i hudo
I dyner gusanu eu mîn peraroglus,
Tra 'u balmaidd sawrhedion ddyfera pob gwefus
Flodeuog, i fynwes yr awel garedig,
I'w dwyn i fendithio ardaloedd pellenig.

O geinion hâf, rhyw gronfa lawn
Yw 'r brydferth ardd, yn boddi dawn,
Wrth geisio ei darlunio hi;
Gan hyny, f' awen, hwylia di
I'r bryniau draw, yn nghwmni 'r chwâ,
I wel'd y fantell roes yr ha'
I wisgo tàl ysgwyddau 'r bryn,
Er tlŵs gyfateb clôg y glŷn.

Twf gyfyd o'i auaf-gwsg trwm,
I guddio noethni 'r llechwedd llwm;

Blodeua 'r eithin ar bob tu,
Ymwthia 'r rhedyn gleis yn llu,
Drwy dòn y tir, gan ddryllio 'r sêl
Roes gauaf oer i'w cadw 'n gêl.
Wrth wel'd pob peth mewn newydd wawr,
Blodeua 'r grûg yn dêg yn awr,
Gan daenu sŵyn ei hafaidd wên,
I guddio tlodi 'r fawnog hen.
Y gwlanog ddëadellau glân
Ymwibiant yno, ar wahân,
Gan wneyd bywioliaeth, fawr a bach,
O gynnyrch garw 'r gweundir iach.

Yn awr, gadawaf gartref bàn unigedd,
Yn ymbrydferthu yn ei wyllt arddunedd;
Er nad yw yn gyfoethog o deleidion,
Mae 'r addurniadau fedd yn llawn o swynion.
I'm tywys lawr, cymeraf yn arweinydd,
Y ffrŵd furmurog, höew ferch y mynydd;
Ond odid, gwelir, ar ei gyrfa hithau,
Drwy 'r ceunant erchyll, rhwng naddedig greigiau,
Rai o brydferthion hâf yn ymsirioli,
Yn sŵn hyawdledd ei siaradus redli'.
Y brithyll nwyfus chwery yn galonog,
Ei nefoedd ef yw dwfr y llŷn llochesog;
Ac uwch ei ben, mewn nwyf, chwareua 'r gwibed,
Fel pe baent hwythau yn ceisio ei ddynwared;
Ac aml wibedyn, yn ei ffôl ddiofalwch,
Ga dalu 'n fuan am ei anfoesgarwch,—
I raib y brithyll, syrthia yn ysglyfaeth,
Am feiddio cellwair gyda phrofedigaeth.
Y creig, bob tu, lle gwelir yr aruthrol
Fel pe 'n ymfachu uwch y dwfn syfrdanol,'
Sydd heddyw 'n cywilyddio am eu noethni,
Gan geisio 'i guddio gyda hafaidd dlysni;—
Ac, megys i dyneru eu cuwchiau llidiog,
Tŷf ambell ddeilen hyd eu haeliau serthgrog,—
Ymffurfia coed llûs duon megys emrynt
I lygad llym *aruthredd* dremio rhyngddynt.

Ardderchog yw 'r olwg o ddibyn y llechwedd,
Ar gynnyrch cyfoethog y ffrwythlawn wastadedd,
Tra hinon Gorphenaf berffeithia 'r cnŵd iesin,
Ddeorodd tynerwch mis Mai a Mehefin.
Gan anadl y chwäon, ymdòna y cnydau,
Môr-lanw prydferthwch ymchwydda i'r glànau.
A! dyna 'r pen llanw! y trai a ddilyna,
Darperir yr offer at waith y cynhaua';
I'm clyw yr ymdreiddia sŵn hogi 'r pladuriau,
Fel rhyfel gyhoeddiad yn erbyn y cnydau.

Ar degwch y weirglodd, Ow! dacw alanas,—
Y bladur sy 'n yfed byw waednodd y gwelltglas;
Mil myrdd o dyfolion, oedd brydferth liwiedig,
Orweddant ar wyneb y maes yn lladdedig;
A'r ydau melynwŷn a syrthiant yn fuan,
Drwy ddurfin anrheithiol y bladur a'r cryman;
Ac yna daw 'r llwydrew a'r gwyntoedd Hydrefol,
I orphen cyflafan y ceinion diflanol.
Cref wyntyll Jehofah a nithia 'r ffurfafen,
A'r dail megys manus chwyrn deifl ar ei haden;
A pheidio â'u cerddi wna 'r côrau asgellog,
Wrth sŵn erch rüadau y corwynt chwibanog;
A'r olaf flodeuyn ei lygad a gaua,
A throed yr anrheithiwr ei gelain a sanga.
Dïanga y wenol rhag gwel'd y trueni,
A chilia 'r wenynen i'w chwch mewn gresyni;
Ac felly, yr hâf a'i brydferthion, mewn anwyd,
Sy 'n marw ar drothwy y gauaf gwyneb-lwyd;
Ac uban y corwynt ar gantau y crëad,
Gan faint y galanas a seinia 'i alarnad!

ADFYFYRDOD.

Arwyddlun yw prydferthion hâf
 O wyrdd ieuenctyd einioes dyn;
Os yw 'n blaguro 'r borau 'n brâf,
 Cyn hwyr yr oes newidia 'r hin;—
Yn Hydref henaint gwywa 'r wêdd,
 Sy 'n gwrido fel y rhôs yn awr,
A gwyntoedd gauaf oer y bedd,
 I'r briddell lòm a'i chwyth i lawr.

Wrth wel'd y ceinion gwycha 'u gwawr,
 Yn llwydrew angeu 'n troi yn wyw,
Mor hoff yw cofio, ambell awr,
 Am geinion hardd paradwys Duw;
Mae yno yn rhyw fythol ha',
 Ar ei phrydferthion llawn, ni chwyth
Un ddeifiol, oer, wenwynig chwa,
 Ni wywa blodau Gwŷnfa byth.

Yn hinsawdd dyner Canaan wlad,
 Mae "Rhosyn Saron," têg ei wêdd,
Yn gwasgar ei arogledd 'mâd
 Ar edyn mwyn awelon hêdd:
Yn nènbwnc claer ffurfafen hon,
 "Haul y Cyfiawnder" geidw ei le;—
Oddiar gyhydedd Gwŷnfa lòn,
 Ni thrŷ 'n estronaidd byth i'r Dê.

Deil coed paradwys yn eu gwyrdd,
 Ardderchog brydferth, am oes Duw;
Ac amlwg iawn, ymysg y myrdd,
 Fydd ffrwythlon "Bren y bywyd" gwiw:
Boreuwawr hafaidd nefol Fai
 Fydd byth ar adar nef y nef,
Ac ni ddaw yn dragywydd drai
 Ar chŵydd yr anthem "Iddo Ef!"

---

# ATHRAWIAETH Y DRINDOD.

## II.

Mae yn sicr fod pawb yn barod i gydnabod fod Athrawiaeth y Drindod yn "ddirgelwch mawr i'w gredu ac nid i'w amgyffred." Mewn un ystyr y mae ffydd yn rhagflaenu gwybodaeth, mewn athroniaeth yn gystal ag mewn duwinyddiaeth; ac y mae gwrthod credu nes bod wedi amgyffred, mor groes i ysbryd y naill ag ydyw i ysbryd y llall. Mae yn rhaid i'r athronydd ofyn ei gwestiynau mewn ysbryd *ffyddiog*, yn gystal ag ymchwilgar, cyn y gall ddysgwyl cael atebiad iddynt. Dengys hanes y gwyddonau yn eglur fod natur yn gwobrwyo ffydd, ac mai y dyn sydd yn credu llawer sydd yn dyfod i ddeall llawer. "A wyt ti yn credu?" ydyw y cwestiwn cyntaf a ofynir gan natur i bawb sydd yn curo wrth ei drŵs, ac yn erfyn am gael mynediad i mewn i weled ei chyfrinion. Y mae y ffydd sydd yn derbyn gwirioneddau mawrion crefydd yn hollol resymol, er fod y gwirioneddau hyny yn anamgyffred-adwy. Gan fod gwrthddrychau y ffydd hon yn perthyn i'r byd ysbrydol, ac am hyny yn anamgyffredadwy i ddyn, nis gellir cymeryd y gallu i'w hamgyffred yn safon i benderfynu eu gwirionedd wrtho. Y cam cyntaf tuag at gyraedd dealltwriaeth glir am bethau crefydd ydyw eu credu. "Nid ydwyf yn ceisio deall er mwyn credu," ebai Anselm, "ond yr ydwyf yn credu fel y gallwyf ddeall." Edrychai Bernard ar ffydd fel yn derbyn y gwirionedd mewn ffurf blygedig megys, ac wedi i ffydd ei dderbyn, gallai rheswm ei ddadblygu fel ag i weled ei gynnwys. Gwaith rheswm yw canfod gydag eglurdeb yr hyn a ŵyr ffydd gyda sicrwydd. Barnai ef mai trwy gredu y gall dyn ddyfod i ddeall, ac am hyny ei arwyddair oedd, "*credo ut intelligam.*" Haerai ei wrthwynebydd, Abelard, fod gwybodaeth yn rhagflaenu ffydd—*non credendum, nisi prius intellectum*—yr hyn sydd yn arwain i resymoliaeth. Nid ydys yn golygu, wrth gwrs, fod rheswm i roddi i fyny i ffydd heb seiliau digonol;

oblegid ni fyddai hyny yn ddim amgen nag ofergoeliaeth. Gan fod dyn yn gyfrifol am yr hyn y mae yn ei gredu, y mae yn rhydd iddo, ac, yn wir, yn ddyledswydd arno, edrych oddiar ba awdurdod y mae y Bibl yn hawlio derbyniad ganddo; ond wedi i'w reswm gael ei foddloni ar hyny, dylai dderbyn teyrnas Dduw fel dyn bach. Pe na chydsyniem â gwirioneddau crefydd nes eu hamgyffred, ni chredem mo honynt byth. Y mae hyn yn wir mewn modd arbenig, pan yr ystyriom yr hyn a ddadguddir yn y Bibl i ni am Dduw, yr "hwn y mae ei fawredd yn anchwiliadwy." Fel y dywed Hiraethog yn ei *Emmanuel*:—

Y DUWDOD? Pwy, pa ddealltwriaeth all
Ymsynio 'n deilwng am ei fawredd? Pwy?
Pa fôd? Pa feddwl neu pa ddawn ymysg
Holl thronau gwych ac arglwyddiaethau 'r nef
A ddichon edrych i'r dirgelwch dwfn—
Y Duwdod! Yn ei ŵydd y seraph glân
A wylaidd guddiai 'i wyneb têg o tan
Ei aden wèn, gan deimlo 'i fod yn llai
Na dim o'i flaen; yr YDWYF, oll yn oll
Un Duw 'n hanfodi 'n wirioneddol Dri,
Yn Dri, ac eto 'n wirioneddol Un—
O! ddyn, abwydyn gwael, a'i sail mewn pridd—
Beth elli di amgyffred am y Bôd
Sy 'n mesur anfeidroldeb ynddo ei hun,
Yn gronfa fawr dragwyddol fythol lawn
O bob perffeithrwydd, y perffeithrwydd yw.

Ond nid ydyw ein hanallu i ddeall unrhyw athrawiaeth yn gyflawn yn rheswm dros adael o'r neilldu yr hyn sydd wedi ei ddadguddio. Ar y naill law, y mae bod yn ddoeth uwchlaw yr hyn a ysgrifenwyd yn ffolineb digymysg; ac, ar y llaw arall, y mae esgeuluso yr hyn a ddadguddiwyd yn ddiffyg gwneuthur defnydd priodol o'r Ysgrythyrau. Fe erys Athrawiaeth y Drindod yn ddirgelwch am dragywyddoldeb; ond nid ydyw hyny yn ein rhyddhâu ni oddiwrth y ddyledswydd i chwilio yr Ysgrythyrau, ac i wneyd ein goreu i gasglu ynghyd yr oll a ddadguddir ynddynt ar y pwnc. Gyda gwylder a pharchedig ofn y dylem agosâu at bwnc mor oruchel, ac mor bell o gyraedd amgyffredion dyn; a chyda phenderfyniad i beidio gwrthod dim am ei fod yn dywyll, neu uwchlaw rheswm, os ceir seiliau digonol dros ei dderbyn yn y dadguddiad Dwyfol.

Yn hyn o ysgrif yr ydym yn bwriadu cyfyngu ein sylwadau at dragywyddol genhedliad y Mab, a thragywyddol ddeilliad yr Ysbryd Glân.

Y farn a adnabyddir fel yr uniongred ydyw, fod yr enwau Tad, Mab, ac Ysbryd, yn gosod allan y berthynas dragywyddol ac angenrheidiol sydd yn bodoli rhwng y Personau Dwyfol â'u gilydd. Y mae y Person cyntaf a'r ail yn yr hanfod Ddwyfol yn sefyll yn y berthynas o Dad a Mab. Yn awr, y gofyniad ydyw, ymha ystyr y maent felly?

Y mae rhai o'r Sociniaid yn dal mai enw swyddol ar yr ail Berson ydyw Mab, fel y gelwir brenhinoedd a swyddogion cyffredin yn y rhif lïosog yn *feibion*. Y mae Sociniaid eraill yn dal fod yr ail Berson yn cael ei alw yn Fab Duw am ei fod wedi ei ddwyn i fôd trwy weithrediad goruwchnaturiol Duw, ac nid yn y dull cyffredin trwy genhedliad.

Tuag at brofi hyn y maent yn appelio at y geiriau hyny yn Luc: "Am hyny hefyd y peth sanctaidd a aner o honot ti, a elwir yn Fab Duw." Yr oedd ei genhedliad gwyrthiol, mae yn wir, yn ei ddadguddio fel Mab Duw, ac yn profi ei fod yn gyfryw; ond nid yn ei wneuthur yn Fab. A chaniatâu ei fod yn cael ei alw yn Fab Duw ar gyfrif ei genhedliad gwyrthiol, ni effeithiai hyny ddim ar y gwirionedd; oblegid y mae y Bibl yn ein dysgu yn eglur ei fod yn Fab o dragywyddoldeb o herwydd rheswm anfeidrol uwch. Barn yr Ariaid ydyw, ei fod yn cael ei alw yn Fab am mai efe ydyw y crëadur cyntaf a mwyaf a ddygwyd i fôd gan y Tad, ac am ei fod ef wedi derbyn ei fodolaeth yn uniongyrchol oddiwrth y Tad; tra y mae pob crëadur arall wedi ei grëu trwy y Mab. Gwrthodir athrawiaeth cynghor Nicea gan rai gwŷr dysgedig a Christionogion da am nad ydynt hwy yn gallu gweled un sail iddi yn yr Ysgrythyrau. Y maent yn dal yn gadarn wir a phrïodol Dduwdod y Mab, ei fod o'r un a'r unrhyw sylwedd â'r Tad, ac yn ogyfuwch mewn gallu a gogoniant. Y maent yn barod i dderbyn y rhan hono o'r credo sydd yn dadgan eu *cydsylweddolrwydd*—yr ὁμοούσιος,—ond nid ydynt yn barod i fyned ymhellach na hyn. "O'r rhai hyny sydd yn dal prïodol Dduwdod y Mab, ac yn gwrthod derbyn ei dragywyddol genhedliad, y mae rhai yn ymfoddloni ar ddyweyd nad ydynt yn canfod seiliau digonol i'r athrawiaeth yn yr Ysgrythyrau, ac am hyny nad ydynt yn ei derbyn i'w credo; tra y mae eraill yn myned ymhellach, ac yn haeru fod yr athrawiaeth yn gyfeiliornus, a'i bod hyd yn nôd yn annghyson â'r athrawiaeth ysgrythyrol am ei wir a'i brïodol Dduwdod. Y mae rhai o'r dosbarth olaf—ac yn neillduol y diweddar *Professor* Moses Stuart, o Andover, un o feirniaid ysgrythyrol blaenaf ei oes—yn tybio fod y clod o fod yr amddiffynwyr doethaf i'r athrawiaeth o brïodol Dduwdod Crist yn perthyn iddynt hwy, ac y maent yn dychymygu eu bod yn derbyn manteision pwysig yn eu hymdriniaeth â'r pwnc mawr hwn trwy wrthod yr athrawiaeth am dragywyddol Fabolaeth. Nid ydyw amddiffynwyr tragywyddol Fabolaeth Crist yn tybio y gellir ei sefydlu ar unrhyw sylfaen oddigerth tystiolaeth yr Ysgrythyr; ond y maent yn credu fod y tystiolaethau ysgrythyrol o'i blaid yn ddigonol a boddhäol; nad oes un rheswm dros ei wrthod neu ei esbonio ymaith; a bod yr athrawiaeth, yn lle gwanhâu neu ddadymchwel prïodol Dduwdod Crist, yn tueddu yn fawr i'w gadarnhâu a'i egluro, yn gystal ag i daflu goleuni ar athrawiaethau pwysig eraill." (Gwel Cunningham's *Historical Theology*. Vol., I., p. 298). Yr oedd *Professor* Stuart yn barnu fod Crist yn cael ei alw yn Fab yn y Bibl i osod allan ei sefyllfa neillduol a'i urddas, ynghyda'r berthynas agos sydd rhyngddo â Duw fel Duw-ddyn. Pe caniatäem fod yr enw hwn yn cael ei roddi arno fel Duw-ddyn, neu gyda chyfeiriad at ei genhedliad gwyrthiol, neu ar gyfrif ei swydd fel Messïah, eto os gellir cael cymaint ag *un engraifft* ei fod yn cael ei alw yn Fab gyda chyfeiriad at ei natur Ddwyfol, neu ei berthynas â'r Person cyntaf yn y Duwdod, bydd hyny yn ddigonol i benderfynu y cwestiwn. Y mae rhai o'r tadau yn sôn am genhedliad tragywyddol y Mab, ei genhedliad cyn bod y byd, a'i genhedliad yn y byd; ac yr oeddynt yn tybio ei fod yn cael ei alw yn Fab yn y Testament Newydd gyda chyfeiriad at y tri chenhedliad. Wrth ei dragywyddol genhedliad yr oeddynt yn golygu ei berthynas dragywyddol a hanfodol â'r Tad. Wrth

ei genhedliad o flaen y byd y meddylient "y mynediad cyntaf allan o'i nerth, a'r amlygiad o'i Berson y tu allan i fynwes y Duwdod, o fewn cylch y grëadigaeth allanol." Yn yr epistol at y Colossiaid dywedir mai Efe ydyw "cyntaf-anedig pob crëadur; canys trwyddo ef y crëwyd pob dim a'r sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear, yn weledig ac yn anweledig, &c." Wrth ei genhedliad yn y byd y golygent ei enedigaeth oruwchnaturiol yn y cnawd.

Tuag at sefydlu yr athrawiaeth hon, nid ydyw yn angenrheidiol i ni brofi nad ydyw Crist mewn un man yn y Testament Newydd yn cael ei alw yn Fab ar gyfrif ei swydd, neu gyda chyfeiriad at ei natur ddynol: yr oll sydd yn angenrheidiol ydyw profi fod yr enw hwn yn cael ei roddi arno, mewn rhai lleoedd o leiaf, fel Duw. Y mae Hodge yn dwyn ymlaen lïaws o ysgrythyrau i brofi fod yr ail berson *fel Duw* yn cael ei alw yn Fab; a chan ein bod yn credu fod "Banau Duwinyddiaeth" yn llaw braidd holl ddarllenwyr y Traethodydd erbyn hyn, ni wnawn ond crybwyll rhyw ychydig o adnodau sydd yn profi yr athrawiaeth y tu hwnt, dybygid, i ammheuaeth. Gorchymynodd Crist i'w ddysgyblion fyned i bregethu yr efengyl i bob crëadur "gan-eu bedyddio yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân." Yn y fan hon y mae yr enw Mab yn eglur yn gydberthynasol neu yn cyfateb i'r enw Tad. Pa ystyr bynag a roddir i'r enw Tad, y mae yn rhaid rhoddi yr un ystyr i'r enw Mab. Ond fe gydnabydda pawb fod yr enw Tad yn dynodi Duwdod y person cyntaf, ac nid i'w gymeryd fel enwad swyddol. Os felly, mae yn rhaid i ni gymeryd fod yr enw Mab yn dynodi Duwdod yr ail berson, ac nid dim arall. Yn ngoleuni y geiriau hyn ni a welwn yn eglur fod y berthynas rhwng y person cyntaf a'r ail yn dragywyddol ac angenrheidiol, a'i bod yn cynnwys tadogaeth o du y person cyntaf, a mabolaeth o du yr ail. Yn Luc x. 22, cawn y geiriau hyn:—"Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad; ac ni ŵyr neb pwy yw y Mab ond y Tad; na phwy yw y Tad, ond y Mab, a'r neb y myno y Mab ei ddadguddio iddo." Yn y geiriau hyn y mae dau berson anfeidrol yn cael siarad am danynt. Y mae y Mab yn anfeidrol mewn gwybodaeth, ac am hyny yn adnabod y Tad. Y mae yn anfeidrol yn ei hanfod, ac am hyny yn adnabyddus gan neb arall ond y Tad. Mae yn rhaid fod yr enw Mab yn y lle hwn yn cael ei arfer i ddynodi natur Ddwyfol yr ail berson yn y Drindod. Yn Rhuf. viii. 32, dywed Paul nad arbedodd Duw ei "brïod Fab," neu ei Fab *ei hun*. Cawn yr un gair yn Ioan v. 18. Y mae ei rym wedi ei golli yn y cyfieithiad Cymraeg—"ond hefyd iddo ddywedyd fod Duw yn Dad iddo." Yma y mae Crist yn galw Duw ei Dad *ei hun*—*ἀλλὰ καὶ πατέρα ἴδιον ἔλεγε τὸν Θεόν*. Yn Ioan i. 14, 18; iii. 16, 18, gelwir Crist yn "unig-anedig Fab Duw." Y mae yr arferiad o'r geiriau neillduol hyn yn profi fod Crist yn cael ei alw yn "Fab Duw" mewn ystyr wahanol oddiwrth yr hyn y mae neb arall yn cael ei alw felly; am hyny y mae yn ei ddynodi ef fel Duw, ac nid fel dyn, neu fel un yn llenwi swydd. Er fod llawer o grëaduriaid Duw yn cael eu galw yn feibion iddo, y mae yr ymadrodd Mab Duw yn yr unigol, a phan yn cael ei derfynu gan y geiriau "ei hun" ac "unig-anedig," yn cael ei arfer yn unig am Grist. Yn Ioan v. 21—23, yr ydym yn cael fod y Mab yn gwneuthur pa beth bynag y mae y Tad yn ei wneuthur, ac i dderbyn yr un anrhydedd. Gan eu bod yn gyfuwch, y mae pawb i "anrhydeddu y Mab, fel y maent yn

anrhydeddu y Tad." Mewn amryw fanau yn y Testament Newydd dywedir fod Duw wedi anfon ei Fab i'r byd, fod y Mab wedi ymddangos, neu wedi ei amlygu. Y mae dyweyd fod y Mab wedi ei anfon, neu wedi ei amlygu, yn cynnwys ei fod yn Fab cyn ei anfon neu ei amlygu.

Oddiwrth yr engreifftiau hyn ni a welwn yn eglur fod yr enw Mab yn cael ei roddi ar yr ail berson i ddynodi ei Dduwdod, ac i ddangos ei berthynas dragywyddol ac angenrheidiol â'r person cyntaf; ac y mae yn bur ammheus a ydyw yr enw Mab yn cael ei roddi arno mewn un ystyr arall.

Y mae yr ail berson yn y Drindod yn Fab trwy dragywyddol genhedliad, wrth yr hyn y golygai y duwinyddion Niceaidd weithred bersonol a thragywyddol o eiddo y Tad; "yn yr hon o angenrheidrwydd natur, nid o ddewisiad ewyllys (fel yr haerai yr Ariaid), y mae efe yn cenhedlu person (nid hanfod) y Mab, trwy roddi iddo holl sylwedd anwahanadwy y Duwdod, heb raniad, heb wahaniad, ac heb gyfnewidiad; fel y mae y Mab yn wir lun person y Tad, ac yn parhâu yn dragywyddol—nid o'r Tad, ond yn y Tad, a'r Tad yn y Mab." Yr ydym yn credu fod y syniad o ddeilliaw yn gynnwysedig o angenrheidrwydd mewn cenhedliad. Os gadewir hyn allan, nid oes ystyr o gwbl i'r gair cenhedliad. Y mae geiriau yr Arglwydd Iesu yn Ioan v. 26 yn taflu goleuni ar y pwnc hwn:—"Canys megys y mae gan y Tad fywyd ynddo ei hunan, felly y rhoddes efe i'r Mab hefyd fod ganddo fywyd ynddo ei hun." Y mae y geiriau hyn yn eglur yn cyfeirio at weithred dragywyddol ac angenrheidiol, hollol wahanol i grëadigaeth; oblegid nid rhoddi bywyd i'r Mab a ddarfu i'r Tad fel i grëadur, ond rhoddi i'r Mab fod ganddo fywyd *ynddo ei hun*. Nid ydym ni yn gweled un ffordd i esbonio yr adnod ond yn unol â golygiadau y duwinyddion Niceaidd; sef fod y Tad wedi rhoddi i'r Mab holl sylwedd y Duwdod, yr hwn yw ffynnonell pob bywyd. Gwel hefyd Ioan x. 38; xiv. 11; xvii. 21; Heb. i. 3.

Sylwa Shedd fod yn angenrheidiol i'r tadau yn eu hymdriniaeth â'r athrawiaeth hon gyfarfod â dau gyfeiliornad. Yr oedd rhai yn cymysgu y drychfeddyliau am Berson a Hanfod. Nid oeddynt yn gwneuthur gwahaniaeth rhwng hanfod y Duwdod a'r gwahaniaethiad personol yn yr hanfod; ac felly i'r rhai hyn yr oedd cenhedliad person yr un peth a chenhedliad yr Hanfod. Buasai hyn yn arwain i syniadau cyfeiliornus am yr Undod Dwyfol, ac i'r grediniaeth am amryw dduwiau. Yr oedd rhai hefyd yn edrych ar genhedliad person fel crëu o ddim. Nid oeddynt yn gallu gweled fod un gwahaniaeth rhwng tragywyddol genhedliad y Mab a chrëadigaeth.

Dygid y pethau canlynol ymlaen i ddangos y gwahaniaeth rhyngddynt:—1. Y mae tragywyddol genhedliad o sylwedd Duw; crëadigaeth yw dwyn sylwedd newydd i fod o ddim. 2. Y rhoddiad o sylwedd tragywyddol yw tragywyddol genhedliad; crëadigaeth yw dwyn sylwedd amserol i fod. 3. Y mae yr hyn a genhedlwyd er tragywyddoldeb o'r un sylwedd a'r cenhedlydd; y mae yr hyn a grëir o sylwedd gwahanol i'r crëawdwr. Y mae y Tad a'r Mab yn un o ran natur a hanfod; y mae Duw a'r byd yn ddwy natur ac yn ddau fôd. 4. Y mae y tragywyddol genhedliad yn angenrheidiol; ond y mae crëadigaeth yn dibynu ar ewyllys y Crëawdwr. 5. Gweithgarwch mewnol parhäus mewn sylwedd tragywyddol yw tragywyddol genhedliad; ond gweithred sydd yn cymeryd

lle ar unwaith yw crëu. Yn ol yr eglurhâd hwn y mae y drychfeddwl o amser yn cael ei gau allan; oblegid gweithgarwch mewnol parhäus mewn sylwedd tragywyddol yw tragywyddol genhedliad. Y mae y drychfeddwl o ddamwain hefyd yn cael ei gau allan; oblegid y mae tragywyddol genhedliad yn angenrheidiol, ac o'r Hanfod Ddwyfol. Yr oedd y tadau y cyfeiriwyd atynt o'r blaen yn rhoddi pwys mawr ar y gwirionedd fod tragywyddol genhedliad y Mab yn angenrheidiol. Pa angenrheidrwydd bynag o fôd sydd yn perthyn i'r hanfod Ddwyfol, y mae yn perthyn yn gyfartal i'r gwahaniaethiad personol yn yr hanfod; oblegid y mae y gwahaniaethiad personol yn ac o'r hanfod ei hunan. Fel y mae Duw yn gyfiawn neu yn dda o natur ac nid o ddewisiad ewyllys; felly yn hollol y mae y Mab wedi ei genhedlu o angenrheidrwydd natur ac nid o ddewisiad ewyllys. Wrth gymeryd y gwirionedd hwn am angenrheidrwydd mewnol, ynghyda'r syniad am Undod y Duwdod—fod y Mab yn meddu yr holl hanfod Ddwyfol yn gwbl a chyfan, yr un a'r unrhyw sylwedd â'r Tad—nid oes berygl i'r athrawiaeth am dragywyddol genhedliad y Mab arwain neb i feddwl mai crëadur ydyw, nac mewn unrhyw fodd i goledd syniadau annheilwng am ei urddas. Y mae y syniadau am "fabolaeth" a "chenhedliad" i'w cyfyngu i'r Person. Nid hanfod y Mab a genhedlwyd, ond ei berson. Nid ydyw y gair cenhedlu yn cyfeirio at ddim ond at y berthynas sydd rhwng y person cyntaf a'r ail. Y mae pob un o'r personau Dwyfol yn meddu yr un natur Ddwyfol yn gwbl a chyfan, a'r *gwahanol ddulliau o'i meddu* sydd yn eu gwneyd yn bersonau gwahaniaethol. Y mae y Tad yn meddu yr hanfod Ddwyfol trwy dadogaeth, y Mab trwy fabolaeth, a'r Ysbryd trwy ddeilliad. Nid ydyw cenhedliad yn cynnwys israddoliaeth yr ail berson mwy na'r cyntaf gyda *golwg ar sylwedd.* Nid yw anghenedledig a chenedledig yn golygu dim ond trefn neillduol o fodolaeth. Sylwedd sydd yn penderfynu *gradd* bôd. "Y mae Crist," ebe Augustin, "gyda golwg arno ei hun yn cael ei alw yn Dduw, gyda golwg ar y Tad, gelwir ef yn Fab." "Pan yn siarad am y Mab ar wahân," ebe Calvin, "heb un cyfeiriad at y Tad, yr ydym yn brïodol yn dyweyd ei fod o hóno ei hun, ac am hyny yr ydym yn ei alw ef yr unig ddechreuad; ond pan y byddwn yn siarad am y berthynas sydd rhyngddo â'r Tad, yr ydym yn gywir yn dyweyd ei fod o'r Tad."

Ond gofynir pa fodd y gall y Mab fod mewn gwirionedd yn Dduw os ydyw efe o'r Tad, neu yn "Dduw o Dduw?" Gellir ateb ei fod o ran ei hanfod o hòno ei hun, ac o ran ei berson o'r Tad. Y mae ei hanfod yr un yn hollol â'r Tad, ac am hyny y mae yn ogyfuwch â'r Tad. "Y mae y sylwedd Dwyfol," ebe Hooker, "gyda'r neillduolrwydd o fod o neb, yn gwneyd person y Tad; yr un sylwedd gyda'r neillduolrwydd o fod o'r Tad, yn gwneyd person y Mab; a'r un a'r unrhyw sylwedd gyda'r neillduolrwydd o fod o'r Tad a'r Mab, yn gwneyd person yr Ysbryd Glân. Fel hyn ymhob un o'r personau y mae yr holl hanfod Ddwyfol, a'r neillduolrwydd sydd yn ei wahaniaethu oddiwrth y personau eraill."

Y mae rhai yn anfoddlawn i ganiatâu fod perthynas yn bodoli rhwng y person cyntaf a'r ail yn y Duwdod, debyg i'r berthynas sydd rhwng tad a mab ymysg dynion, am fod y berthynas ddynol yn cynnwys rhai pethau na ellir eu cymhwyso ar un cyfrif at y personau Dwyfol; ond dylid cofio nad ydyw y pethau hyn yn hanfodol

i'r berthynas, a'u bod yn cyfodi o'r ffaith mai crëadur meidrol ac anmherffaith yw dyn.

Ymysg dynion y mae y tad o flaen y mab o ran trefn amser; ond nid yw hyn yn hanfodol angenrheidiol i'r berthynas. Wedi cymeryd ymaith bob anmherffeithrwydd, bob nodweddion dynol o'r drychfeddwl, yr ydym yn cael y berthynas dragywyddol ac angenrheidiol sydd yn bodoli rhwng y person cyntaf a'r ail yn y Drindod. Ar y pen hwn rhoddwn ddyfyniad o Pearson:—"Yn awr mai cyfraniad o'r hanfod Ddwyfol gan y Tad ydoedd y gwir a'r prïodol genhedliad trwy yr hwn y cenhedlodd efe y Mab, a ymddengys fel hyn: oblegid nid yw y cenhedliad mwyaf prïodol y gwyddom ni am dano yn ddim amgen na chynnyrchiad bywiol o un arall yn yr un natur, gyda llawn gynnrychiol-iad o'r hwn y cynnyrchwyd ef ganddo. Felly y mae dyn yn cenhedlu mab; hyny yw, yn cynnyrchu dyn arall o'r un natur ddynol ag ef ei hun; ac y mae y cynnyrchiad yma, fel cenhedliad perffaith, yn dyfod yn sail y berthynas o dadolaeth yn yr hwn a gynnyrcha, ac o fabolaeth yn yr hwn a gynnyrchir. Fel hyn, ar ol y fendith o ffrwythloniad, *Ffrwythwch ac amlhëwch*, Adda *a genhedlodd fab ar ei lun a'i ddelw ei hun;* a thrwy barhâd yr unrhyw fendith, y mae olyniad cenedlaethau wedi parhâu. Y mae hyn ynte yn cael ei gydnabod gan bawb, nad yw mab yn ddim ond un arall wedi ei gynnyrchu gan ei dad yn yr un natur ag ef. Ond y mae Duw Dad wedi cyfranu i'r Gair yr un hanfod Ddwyfol trwy ba un y mae yn Dduw; ac o ganlyniad y mae o'r un natur ag ef, a thrwy hyny ei berffaith ddelw a'i lun, a chan hyny ei brïodol Fab. Mewn cenhedliadau naturiol gallwn feddwl am ddau fath o debygolrwydd; y naill gyda golwg ar natur dufewnol, y llall gyda golwg ar wêdd neu ffurf allanol. Mae y tebygolrwydd cyntaf yn hanfodol ac angenrheidiol, gan fod yn anmhosibl i ddyn genhedlu mab, ac i'r mab hwnw beidio bod o ran natur yn ddyn: y llall yn ddygwyddiadol; y plentyn yn fynych, nid yn unig yn tebygoli weithiau i'r naill rïant, ac weithiau i'r llall, ond hefyd yn fynych heb fod yn debyg i'r naill na'r llall. Y tebygolrwydd gan hyny, yn yr hwn y cedwir yr hyn sydd brïodol i genhedliad, ydyw yr hwn sydd yn gynnwysedig mewn undod natur; ac y mae y cyfraniad yma o hanfod Ddwyfol gan y Tad i'r Gair, mae yn amlwg, yn sail ddigonol i'r fath debygolrwydd; am yr hyn y gelwir Crist yn *ddelw Duw, dysgleirdeb ei ogoniant, a gwir lun ei berson ef*. Ac nid yw y cyfraniad yma o'r hanfod Ddwyfol yn unig yn brïodol genhedliad y Mab, ond rhaid i ni addef ei fod yn llawer mwy prïodol nag unrhyw genhedliad o eiddo y crëadur, nid yn unig am ei fod mewn dull perffeithiach, ond hefyd am fod yr undod natur yn gwbl berffaith. Fel yr ydym yn yr hanfod Ddwyfol yn cydnabod perffeithderau y crëadur, wedi tynu allan o hon-ynt yr holl anmherffeithderau sydd yn glynu wrthynt yma mewn pethau isod; felly yn y cyfraniad rhaid i ni edrych ar y sylweddolrwydd heb un math o ddiffyg, bai, nac anmhuredd." Yr ydym wedi rhoddi dyfyniadau o'r prif dduwinyddion—dynion ag yr ydym yn teimlo eu bod yn llefaru megys rhai âg awdurdod ganddynt, tuag at i'r darllenydd gael cyfleusdra i weled fod yr athrawiaeth hon wedi cael derbyniad cyffredinol er dyddiau Athanasius, yn gystal ag er mwyn y goleuni y maent yn ei daflu arni.

Gan y bydd rhai, mae yn debyg, yn edrych ar y pwnc hwn yn un

difudd, yn fwy cywrain na phwysig, fe allai y dylem enwi—ni chawn wneyd nemawr ychwaneg—rai o'r gwirioneddau mawrion ag y mae y golygiad y dadleuir drosto yn yr ysgrif hon yn eu hegluro. 1. Y mae y golygiad hwn yn egluro yr hyn a ddywed y Bibl am Undod y Duwdod. Trwy weithred dragywyddol ac angenrheidiol y mae y Tad yn rhoddi i'r Mab holl sylwedd anrhanadwy y Duwdod, heb raniad na chyfnewidiad, ac am hyny gellir eu hystyried yn un Duw. 2. Daw cymhwysder neillduol Crist i fod yn Waredwr i bechaduriaid i'r golwg. Am ei fod yn Fab y mae yn "ddelw y Duw anweledig," ac am hyny y mae yn "oleuni y byd," ac yn dadguddio y Tad. Fel Mab yr oedd Crist yn gallu dyweyd "Yr hwn a'm gwelodd i a welodd y Tad." 3. Dengys yr athrawiaeth hon fawredd cariad Duw at y byd, gan nad arbedodd ei "brïod Fab," ond a'i traddododd trosom ni oll. Cymaint oedd ei raslonrwydd fel yr anfonodd ei "uniganedig Fab" i'r byd. 4. Y mae yn y fan hon hefyd y cymhelliad cryfaf i bechadur i ymddiried i Grist fel Gwaredwr. Os oedd yn gallu dyweyd, "Myfi a'r Tad un ydym," gall dyn syrthiedig weled fod ei gymhorth wedi ei roddi ar "un cadarn."

Mae yn debyg fod y gair Cymraeg *ysbryd*, yn gystal a'r gair Saesoneg *spirit*, yn dyfod o'r Lladin, *spiritus*, "anadl, gwynt, awyr, bywyd, &c.," yr hwn sydd yn dyfod o'r ferf *spiro*, "anadlu." Y mae y geiriau Groeg a Hebräeg cyfystyr yn cael eu harfer mewn ystyr hollol gyffelyb. Rhoddir yr enw hwn ar y trydydd person yn y Drindod i osod allan ei berthynas bersonol â'r Tad a'r Mab. Wrth yr ymadrodd "deilliad yr Ysbryd" y golygir fod y Tad a'r Mab, trwy weithred dragywyddol ac angenrheidiol, yn rhoddi i'r Ysbryd Glân yr holl hanfod Ddwyfol heb raniad ac heb gyfnewidiad. Gellir gofyn os ydyw yr ail berson o'r Tad, a'r trydydd person o'r Tad a'r Mab, beth ydyw yr achos fod yr ail berson yn Fab Duw, a'r trydydd person yn Ysbryd Duw? Gan fod pob un o'r personau yn y Drindod yn meddu yr un hanfod a'r un perffeithiau Dwyfol, y mae yn rhaid i ni edrych i'r gwahaniaeth sydd rhwng *tragywyddol genhedliad* a *deilliad* am atebiad i'r cwestiwn hwn. Y mae Pearson yn cynnyg yr eglurhâd canlynol:—Yr oedd Efa a Seth o Adda, y naill mor wirioneddol a'r llall; ac eto nid oedd Efa yn ferch i Adda, tra yr oedd Seth yn fab iddo. Yr oedd Seth o Adda trwy genhedliad, yr hyn sydd yn effeithio nid yn unig ar bersonoliaeth, ond hefyd ar gyffelybrwydd, ac am hyny yr oedd yn fab iddo. Yr oedd y gwahaniaeth nid yn y natur a gynnyrchwyd, ond yn y dull o gynnyrchu. Gyda golwg ar y Mab a'r Ysbryd, y mae Turettin yn sylwi eu bod yn gwahaniaethu, yn "1. *O ran haniad.* Oddiwrth y Tad yn unig y mae y Mab yn hanu, ond yr Ysbryd oddiwrth y Tad a'r Mab ar yr un pryd. 2. *O ran modd.* Mae y Mab yn hanu mewn ffordd o genhedliad, yr hwn sydd yn effeithio nid yn unig ar bersonoliaeth, ond ar gyffelybrwydd; ar gyfrif yr hwn y gelwir y Mab yn ddelw y Tad, ac mewn canlyniad i'r hyn y derbyniodd efe y gallu i roddi yr unrhyw hanfod i berson arall; ond yr Ysbryd mewn ffordd o anadliad, yr hyn sydd yn effeithio ar bersonoliaeth yn unig; ac mewn canlyniad i hyn, nid ydyw y person sydd yn deilliaw yn derbyn y gallu i roddi yr unrhyw hanfod i berson arall. 3. *O ran trefn.* Y Mab ydyw yr ail berson, a'r Ysbryd ydyw y trydydd; ac er eu bod eill dau yn dragywyddol, heb ddechreuad

na dilyniad, eto, yn null ein dirnadaeth ni, y mae cenhedliad yn rhagflaenu deilliad." Ond fe ddylem gofio fod y pwnc hwn yn ddirgelwch mawr, a'n bod yn sangu a'r dir cysegredig; ar yr un pryd yr ydym yn credu fod y gwirionedd yn gorwedd yn rhywle yn nghyfeiriad sylwadau Turettin.

Barn Eglwys Groeg ydyw fod yr Ysbryd yn deilliaw oddiwrth y Tad yn unig; tra y mae Eglwys Rhufain, ynghyda'r holl Brotestaniaid, yn barnu fod yr Ysgrythyrau yn ein dysgu ei fod yn deilliaw oddiwrth y Tad a'r Mab. Y mae yr enw "Ysbryd" yn gosod allan ei nodwedd bersonol, a'i berthynas dragywyddol ac angenrheidiol â'r Tad a'r Mab. Yn awr y mae yn cael ei alw yn Ysbryd y Mab yn gystal ag yn Ysbryd y Tad; ac am hyny y mae yn rhaid ei fod yn dal yr un berthynas â'r Mab ag sydd rhyngddo â'r Tad.

Y mae y syniad am Undod y Duwdod yn ein rhwymo i gredu ei fod yn meddu yr un hanfod a'r Mab yn gystal ag a'r Tad. Hefyd dywedir fod y Mab yn anfon yr Ysbryd yn hollol yr un modd ag y mae y Tad yn gwneyd. Os ydyw y Mab yn *ddelw* y Tad, ac am hyny "yn gwneuthur pa bethau bynag y mae y Tad yn eu gwneuthur," y mae yn rhaid fod yr Ysbryd yn deilliaw oddiwrtho ef yn gystal ag oddiwrth y Tad. Y mae meddu yr un gallu i roddi yr unrhyw hanfod i berson arall, fel y sylwa Turettin, yn gynnwysedig yn y drychfeddwl ei fod yn "ddelw y Tad." Yr ydym yn credu fod y rhesymau hyn yn ddigonol o blaid yr athrawiaeth fod yr Ysbryd yn deilliaw oddiwrth y Tad a'r Mab, ac yn profi na ddarfu i'r Eglwys Orllewinol, wrth ddwyn y gair *Filioque*—"a'r Mab"—i mewn i'w chredo, wneyd dim croes i'r gwirionedd.

Terfynwn yr ysgrif hon trwy ddyfynu y crynodeb a rydd Neander o olygiadau Augustin ar y pen hwn. "Mae Augustin yn egluro athrawiaeth y Triad trwy gyfatebiaeth o'r trindod yn yr ysbryd dynol. Mae *bôd* yn cyfateb i Dduw Dad; *gwybod,* fel hunanddangosiad bôd, i'r Mab; ac *ewyllysio,* neu gariad yn yr hwn y mae *bôd* a *gwybod* yn ymgofleidio, i'r Ysbryd Glân. Ac o hyn y deillia y syniad am y Tad a'r Mab yn yr Ysbryd Glân yn cofleidio eu gilydd, a'i fod yn deilliaw oddiwrth y Tad a'r Mab. Ymddangosai Trindod iddo ef fel deddf pob bodolaeth; oblegid ymhob peth canfyddai Fodolaeth gyffredinol, y Ffurf arbenig o fodolaeth, ac Undod y ddau. Ni chelai oddiwrtho ei hun nad oedd hyn ddim ond cyfatebiaeth; yr ydym yn adnabod y Triad yn y dull yma càn belled ag y mae yn bosibl, trwy ddrych mewn dammeg. Am yr Ysbryd Glân yn neillduol fe ddywed ei fod yn Ysbryd y Tad a'r Mab, wedi ei ddanfon gan y ddau. Hyny ydyw, trwy ba un yr ydym yn sefyll mewn cysylltiad â Duw ac â'r naill y llall; y Cariad ydyw trwy ba un y mae y Tad a'r Mab yn caru y naill y llall."

# BUGEILIAETH EGLWYSIG.

Yr oedd yr Arglwydd Iesu a saith o'i ddysgyblion wrth Fôr Tiberias. Yr oeddynt newydd giniawa. Ni fwytäodd y saith dysgybl y fath bryd o fwyd erioed o'r blaen, na chyda'r fath deimladau dyeithr. Yr oeddynt wedi bod y pysgota trwy y nos flaenorol, ond heb ddal dim, hyd y daeth eu Harglwydd yn y bore a gorchymyn iddynt, "Bwriwch y rhwyd y tu deau i'r llong, a chwi a gewch." Ac er nad adwaenent y Person a ymddangosai ar y làn, na'r llais a ddaeth atynt o gyfeiriad y traeth, hwy a fwriasant y rhwyd fel y gorchymynwyd iddynt, ac a gawsant ddalfa mor fawr fel nad allent bellach ei thynu, gan y llïaws pysgod. Yr oedd yr amgylchiad hwn mor darawiadol gyffelyb i ddygwyddiad arall oedd wedi cymeryd lle yn agos i'r un fan tua thair blynedd yn flaenorol, fel y dywedodd y dysgybl hwnw yr oedd yr Iesu yn ei garu wrth Pedr, "Yr Arglwydd yw." Mor gynted ag y deallasant mai eu Hathraw oedd yr hwn a safai ar y làn, gwnaeth y saith dysgybl bob brys i ddyfod ato. Nid oeddynt wedi ei weled, bellach, er ys tair wythnos neu fis. Ymddangosasai iddynt hŵyr dydd ei adgyfodiad, a thrachefn ymhen yr wythnos. Yr oeddynt felly wedi cael achlysur i'w ddysgwyl i ymddangos yn eu plith bob dydd cyntaf o'r wythnos, ac ymgynnullent ynghyd i fwynhâu y weledigaeth. Ond dyma ddau neu dri, os nad pedwar, o Sabbathau wedi myned heibio heb iddynt weled eu Harglwydd. Yr oeddynt erbyn hyn yn teimlo yn siomedig a diobaith. Yn y sefyllfa meddwl yma, yn ddiammheu, y dywedodd Pedr wrth ei frodyr, hŵyr y dydd o flaen y bore y cyfeiriwn ato, "Yr ydwyf fi yn myned i byagota;" ac yr atebasant hwythau, "Yr ydym ninnau hefyd yn dyfod gyda thi." Yr Arglwydd Iesu gan hyny, "mewn pryd," a ymddangosodd i'w ddysgyblion y drydedd waith ar ol ei adgyfodiad, ar làn Môr Galilea.

Y peth cyntaf a welsant ar ol glànio ydoedd "tân o farwor wedi ei osod, a physgod wedi eu dodi arno, a bara." O ba le y daethai y darpariaethau hyn? Nis gwyddom. Ni hysbysodd yr Iesu; ac nid anturiodd y dysgyblion ofyn iddo ef, na mynegu yr un dychymyg allasai fod ganddynt am y peth rhyfedd hwn. Yr unig ateb gan hyny a ellir ei roddi ydyw, fod yr Athraw da wedi parotôi y ciniaw mewn modd goruwchnaturiol. Mae dyweyd fod hyn yn annichonadwy yn cymeryd yn ganiatäol yr hyn nas gellir ei brofi. Peth hawdd yw dyweyd fod hyn neu arall yn anmhosibl. Ac y mae dadgan fod pob peth nas gallwn ni ei egluro tu hwnt i derfynau y posibl, yn brawf naill ai o anwybodaeth neu o anfoesoldeb. Yr ydym yn cofio ymddyddan â hen wreigan am y pellebyr—y *telegraph*—ychydig ar ol i genadwriaethau ddechreu cael eu danfon gyda'r gwyfrau, ac ni fỳnai gredu fod y peth yn ffaith; taerai ei fod yn anmhosibl, ac mai anwiredd oedd y cwbl a glywsai yn ei gylch. Ei hanwybodaeth hi, druan, oedd yn peri hyny. Ond y mae yn rhaid prïodoli haeriad yr anffyddwyr fod gwyrthiau yn bethau annichonadwy, yn fynych, i achos sydd yn gorwedd yn ddyfnach,

i falchder calon, a'r tywyllwch sydd yn ymgodi oddiwrth fywyd llygredig, a'r anfoddlonrwydd i ganiatâu fod dim yn ddichonadwy nas gall eu meddyliau mawrion a dysgedig hwy ei amgyffred. I'n tyb ni, mae yn profi mwy o allu meddyliol, yn gystal ag o fawredd moesol, i gydnabod, a chredu, a sylweddoli y goruwchnaturiol fel yr hyn sydd mor ddichonadwy a sicr â dim y gallwn ni ei ddeall. Felly yn yr esiampl dan sylw, y mae synwyr cyffredin a moesoldeb pur yn galw arnom i gredu a chydnabod yn syml mai darpariaeth oruwchnaturiol ydoedd y tân o farwor, a'r pysgod a osodwyd arno, a'r bara, ar draeth llŷn Tiberias, ar yr achlysur o drydydd ymddangosiad ein Harglwydd wedi ei adgyfodiad i'w ddysgyblion. Ond cyn eu gwahodd i gyfranogi o'r ddarpariaeth hon, mae yr Iesu yn dywedydd wrthynt, "Dygwch o'r pysgod a ddaliasoch yr awrhon." Dyma gydnabyddiaeth ddyblyg o du yr Iesu o le a swydd y naturiol mewn cysylltiad â'r goruwchnaturiol yn y bendithion yr ydym yn eu mwynhâu. Yn un peth, mae efe yn cydnabod mai hwy oedd wedi dal y pysgod yr oedd eu rhwyd mor lawn o honynt; er na ddaliasent ddim trwy y nos, ac na fuasent wedi llwyddo yn eu gorchwyl o gwbl, oni buasai iddo Ef ddyfod â gorchymyn fel y gwnaeth; eto gan iddynt hwy lafurio yn ddyfal, a hyny am oriau meithion, ac mai hwy dŷnodd y rhwyd i dir, efe a gyfrifodd iddynt hwy ddal y pysgod. Heblaw hyny, y mae yr Iesu yn galw am gyfran o'r pysgod yr oedd y dysgyblion wedi eu dal i fod yn rhan o'r ciniaw oedd yn eu haros. Diammheu fod y ddarpariaeth oruwchnaturiol yn ddigonol, o leiaf gallasai yr Iesu ei gwneyd yn ddigonol; ond y mae Efe, ar y naill law, am argraffu ar feddyliau ei ddysgyblion fod yr hen ddeddf i barhâu mewn grym—"Trwy chwys dy wyneb y bwytâi fara;" ac, ar y llaw arall, fod y goruwchnaturiol a'r naturiol yn cyfuno yn yr holl fendithion tymmorol ac ysbrydol a roddir i ni. Wrth olrhain hanes ac ansoddau y cyfryw fendithion, yr ydys yn cloddio yn fuan trwy haen y naturiol, ac yn disgyn ar haen ddyfnach y goruwchnaturiol. Ac yn y ciniaw wrth Fôr Tiberias, fe ddangoswyd yn eglur mai y goruwchnaturiol sydd yn ffŷnu fwyaf. Darparwyd y tân yn oruwchnaturiol, ac felly y pysgod a osodwyd arno gyntaf, a'r bara; yr unig ychwanegiad a gafwyd fel cynnyrch llafur dynol i gwblhâu y ddarpariaeth ydoedd cyfran o'r pysgod a ddaliwyd gan y dysgyblion.

Ond er mor ddyddorol ac awgrymiadol ydyw hanes y ciniaw ar draeth Môr Galilea, ac er mor bwysig y ciniaw ei hun i'r dysgyblion newynog a blinedig, eto yn yr ymddyddan fu ar ol y bwyd mae y gwerth mawr. Ail beth ydoedd y pryd ymborth, ac achlysur i gael y gyfeillach ddilynol. Dyma fel y dylai fod eto. Gofyniad mawr yr ymddyddan wrth Fôr Tiberias ydoedd, "A wyt ti yn fy ngharu i?" I Pedr yn benodol y gofynwyd y cwestiwn, ac fe'i hailadroddwyd ddwywaith. Mae y pwnc gan hyny yn un tra phwysig; mae y cwestiwn yn cael ei ofyn dair gwaith, ac i'r un person. A thro gwir ffodus ydoedd mai Pedr oedd y gŵr a anerchwyd felly yn benodol. Dyma gyfle manteisiol iddo dŷnu yn ôl eiriau anhapus ei wadiadau, neu, o leiaf, i osod ar eu cyfer fynegiadau mwy ffyddlawn i'w argyhoeddiadau a theimladau goreu a dyfnaf ei galon ei hun, a mwy anrhydeddus i'w Arglwydd a'i Feistr. Ac felly y cawn, yn lle geiriau y gwadiad cyntaf, "Nid adwaen i, ac ni wn i beth yr wyt ti yn ei ddywedyd," y dadganiad o'i serch,

"Ydwyf, Arglwydd; ti a wyddost fy mod yn dy garu di;" yn lle yr ail wadiad, y mynegiad, "Ydwyf, Arglwydd; ti a wyddost fy mod yn dy garu di;" ac yn lle rhegfëydd y trydydd gwadiad, y geiriau, "Arglwydd, ti a wyddost bob peth: ti a wyddost fy mod i yn dy garu di." Fel yma hefyd yr ydym yn cael golwg ar y ddwy ochr i hanes Pedr. Têg, bellach, ydyw cyfeirio at y sôn am *garu* yn gystal a *gwadu* Simon mab Jonas. Yr oedd traethodyn yn cael ei wasgaru yn ddiweddar mewn rhai manau, testun yr hwn ydoedd, "Ffaeleddau Dafydd." Dyma engraifft arall o lyfrdra anffyddiaeth. Nid oes yr un dosbarth o ddynion sydd yn sôn cymaint am y pwys o edrych ar wirionedd o bob cyfeiriad â'r "meddylwyr rhydd," fel eu gelwir; ond dyma'r dynion, o bawb, sydd fwyaf unochrog yn eu barnau; ac felly edrychant yn unig ar ffaeleddau dynion da y Bibl. Mae pechodau Dafydd, cwymp Solomon, gwadiadau Pedr, yn fwyd blasus ganddynt; prawf amlwg o iselder a llygredd eu harchwaeth. Paham nad ystyriant ragoriaethau Dafydd, ac na feddyliant am adferiad Solomon, ac na fawrhânt serch diffuant a chariad dwfn Pedr tuag at ei Arglwydd bendigedig? Ac fe ddichon, yn wir, fod gwell dynion, a rhai sydd yn nês atom nag anffyddwyr, yn rhy dueddol i gofio yn amlach am, ac i gyfeirio yn fwy mynych at, y tair gwaith y gwadodd Pedr yr Iesu, nag at y tair gwaith y mynegodd y dysgybl hwnw mewn geiriau syml a phendant ei fod yn caru ei Athraw.

Gofyniad ag y dylai pob cristion fod yn barod i'w ateb ydyw, "A wyt ti yn fy ngharu i?" Dyma fater, o bob peth, ag y dylem fod yn glir yn ei gylch. Eithr mae yma beth arall yn ei ymyl ag sydd yn dal cysylltiad hanfodol agos âg ef. Mae i bob bywyd ei ffurf a'i weithrediad. Beth gan hyny yw ffurf gweithredol cariad Crist wedi ei osod ar lêd yn y galon? Yr ateb i'r cwestiwn hwn a geir yn yr atebion a roddes yr Iesu i'r mynegiadau o serch a wnaeth Pedr, sef, "Portha fy ŵyn;" "Bugeilia fy nefaid;" "Portha fy nefaid." Cyflawni y gorchwyl hwn sydd yn profi gwir gariad at yr Arglwydd Iesu, a dyma y gwaith y mae cariad Crist yn ei gymhell ar ei berchenog. Mae y gwasanaeth hwn yn gynnwysedig mewn dau beth—*porthi* a *bugeilio* praidd Duw. Mae hwn yn waith i bawb sydd yn caru yr Arglwydd Iesu, ond yn syrthio yn fwyaf neillduol, ac mewn modd mwy penodol, ar y rhai sydd wedi eu galw i fod yn weinidogion y Testament Newydd, yn gynghorwyr a phrophwydi, yn efengylwyr a bugeiliaid.

Amcanwn yn bresennol roddi ychydig o awgrymiadau a obeithiwn fyddant yn fuddiol, gyda golwg, yn fwyaf neillduol, ar fugeilio. Fe sonir llawer ynglŷn âg un o'r cyfundebau crefyddol Cymreig y dyddiau yma am Fugeiliaeth Eglwysig, amcan yr hyn ydyw sicrhâu ar fod pob eglwys o dan ofal rhyw weinidog. Mae y symudiad hwn wedi bod eisoes yn dra llwyddiannus, er nad, fe allai, yn gymaint felly ag y buasai yn ddymunol, ac, yn wir, y gallesid dysgwyl. Yr ydym yn cyfrif am arafwch y symudiad mewn dwy ffordd; nid ydys bob amser wedi cydnabod yn ddyladwy y ffaith fod lliaws o dadau Methodistiaeth Cymru wedi bod yn ffyddlawn yn eu dydd a'u cenhedlaeth fel bugeiliaid, yn gystal ag fel pregethwyr y gair, er heb eu cydnabod yn gysylltiedig fel gweinidogion âg eglwysi neillduol; ac hefyd y mae yn ffaith ei bod yn fwy na phosibl i bregethwr fod yn weinidog eglwys heb fod yn

fugail. Beth am fyw pell offeiriaid oddiwrth eu bywioliaethau? Mae lliaws o esiamplau o hynyma yn awr o flaen ein llygaid. Mae periglor yn byw nid can' milldir o'r man yr ydym yn ysgrifenu, yr hwn sydd yn ustus heddwch bwrdeisdrefol a sirol, a'r hwn sydd bob amser yn ei le ar y fainc, ac yn mwrdd gwarcheidwaid y tlodion; ond mae yn byw chwe' milldir oddiwrth ei blwyf, ac fe ddywedir mai dim ond unwaith yr wythnos y mae yn ymweled â'i braidd. A chaniatâu fod y gŵr parchedig yn porthi yr ŵyn a'r defaid, yn sicr ddigon nid yw yn eu bugeilio. Ond y mae yn bosibl i offeiriad fyw yn nghanol ei blwyf, neu i weinidog Ymneillduol drigiannu ymhlith ei bobl, ac eto i'r naill a'r llall fod yn esgeulus o fugeilio eu praidd. Beth am y difaterwch, y diffyg bywyd a gofal sydd yn nodweddu ambell i weinidog sefydlog? Wrth y pregethwyr hyny ymhlith y Methodistiaid sydd yn myned dan yr enw bugeiliaid, dywedwn, Ymroddwch o ddifrif at y gwaith y galwyd chwi iddo; mae llwyddiant y symudiad bugeiliol yn ymddibynu i fesur mawr arnoch chwi, a'r hyn sydd yn fwy pwysig, y mae dyfodol y Cyfundeb, a llwyddiant dyfodol crefydd yn Nghymru, yn ymddibynu arnoch, ac yn cael eu rhagffurfio gan y modd yr ydych chwi yn cyflawni gwaith eich swyddogaeth. Eithr tra yr ydym felly yn anerch y bugeiliaid Methodistaidd, mae y cwestiwn ger ein bron, Beth yw gwaith bugail? yn bwnc a ddylai fod o ddyddordeb cyffredinol. Mae ein llygaid felly yn bresennol ar ein gweinidogion sefydlog o bob enwad yn ddiwahaniaeth; a gall y rhai nad ydynt gysylltiedig âg eglwysi neillduol, o bosibl, ddysgu rhywbeth a fydd yn gynnorthwy iddynt i fod yn fwy defnyddiol nag y maent yn y cylch y maent ynddo.

Carem yn y man cyntaf osod i lawr ac argraffu ar feddyliau y rhai y perthyn iddynt, mai nid cysylltiad ffurfiol rhwng gweinidog ac eglwys, a thipyn o gyflog ynglŷn â hyny, sydd yn cyfansoddi bugail, ac nid bod yn bresennol yn y cyfarfodydd wythnosol ac ymweled yn achlysurol â'r cleifion, a galw i yfed tê gyda'r aelodau, yn enwedig y rhai goreu eu hamgylchiadau ohonynt, sydd yn gwneuthur i fyny fugeiliaeth eglwysig. Mae y portrëad o wir fugail ac o wir fugeiliaeth i'w gael yn nammeg y Bugail da, a'r eglurhâd a roddir arni gan y Bugail da ei hun. Mae yn brofedigaeth i ni fyned trwy yr holl ddammeg a'r eglurhâd yn fanwl, o air i air; ond rhaid ymattal, canys byddai hyny yn ddigon o draethawd ynddo ei hunan. Rhaid ymfoddloni gan hyny yn unig ar nodi yn syml yr hyn a brïodolir i'r gwir fugail yn y cysylltiad crybwylledig. "Y mae efe yn galw ei ddefaid ei hun erbyn eu henw, ac yn eu harwain hwynt allan. Ac wedi iddo yru allan ei ddefaid ei hun, y mae efe yn myned o'u blaen hwy. Y bugail da sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid." Dysgir ni yn amlwg yn y geiriau hyn fod bugeiliaeth dda yn cynnwys bywyd o ymroddiad a gofal, cydnabyddiaeth âg aelodau y praidd wrth eu henwau, blaenoriaeth mewn cyfranogiad o freintiau a dyledswyddau y praidd, ac ymdrech ymhob modd i symbylu y defaid,—i'w gyru allan i'r borfa frâs, fel y caffont fywyd yn helaethach. Rhaid i'r bugail adnabod yn dda aelodau ei gynnulleidfa, fel y gallo eu galw hwynt wrth eu henwau, a rhaid iddo ymarfer i hyny. Mae yn perthyn i'w swydd flaenori y rhai sydd dan ei ofal, a thrwy ei esiampl a'i eiriau i'w symbylu, ac hyd yn nôd i'w gyru allan i ymarfer â holl gyflawniadau daionus crefydd. Ac yn y cwbl, dylai fod yn amcan ganddo i feithrin a maethu yr eglwys,

a helaethu ei bywyd ysbrydol; ac y mae gwaith mor bwysig a chysegredig yn gofyn fod y bugail yn treulio ac yn ymdreulio, gorff a meddwl ynddo, mewn gair yn rhoddi ei einioes,—ei holl nerth, ei holl ŷni, a'i holl galon iddo, a hyny i'r dyben a chyda'r bwriad o'i gyflawni yn effeithiol ac yn gymeradwy i'r Pen-bugail mawr.

Yn awr ni a sylwn ar rai o'r manylion perthynol i'r swyddogaeth hon yn eglwys Dduw. Y peth cyntaf, ac fe ddichon y prif beth y cyfeiriwn ato yn bresennol yw *ymweliadau*. Achwynai blaenoriaid eglwys yn ddiweddar wrth eu gweinidog nad oedd yn ymweled â theuluoedd ei gynnulleidfa, fel y gwnai gweinidog perthynol i enwad arall yn y gymydogaeth. Ei ateb oedd, nad oedd efe wedi meddwl am ymweled â neb ond y cleifion, ei fod yn gwneyd hyny, ac mai yn ei fyfyrgell yr oedd yn rhaid iddo ef dreulio ei amser, ac nid mewn ymweliadau ar hŷd a llêd y tai. Mae syniad yr atebiad hwn gyda golwg ar waith bugail yn hyn o beth yn hollol anghywir. Addefwn fod rhai o'n goreugwyr wedi rhoddi nid ychydig o gefnogaeth i'r golygiad trwy adroddiadau mynych a wnaed o'r hanesyn am Mr. Binney yn cymeryd cerbyd ar fore Llun ac yn treulio yr holl wythnos mewn talu ymweliadau â theuluoedd ei gynnulleidfa, ac yn ymddangos yn ei pulpud y Sabbath canlynol heb bregeth. Yr oedd hyn yn ymddygiad eithafol yn nhywysog y Weigh House Chapel, ei hun. Beth allasai fod yn rhwystr hyd yn nôd i ŵr mawr fel efe i ymostwng i gydsynio â chais swyddogion ei eglwys i ddefnyddio ambell i brydnawn i wneuthur ei ymddangosiad yn nhai ei wrandäwyr? Ond caniatäer fod gwaith Mr. Binney yn gwneyd fel y crybwyllwyd yn ganmoladwy ynddo ef, nid yw hyny yn un rheswm i fugeiliaid Cymru weithredu yn y fath fodd. Rhaid i'r hwn fyddo yn esiampl fod ar yr un pryd ddigon o flaen ac yn ddigon agos i'w ganlynwyr. Gwelir y cyfuniad hwn yn berffaith yn mherson a bywyd ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a roddes i ni esiampl, fel y dilynem ei ôl ef. Ac y mae ei nodweddau ef fel y Bugail da, Bugail ac Esgob ein heneidiau, yn amlwg awgrymu y dylai bugeiliaid ein heglwysi wneuthur pob peth i ymgydnabyddu âg aelodau eu praidd, fel ag i fod yn alluog ymhob ystyr o'r gair, i alw y defaid erbyn eu henw. Golygwn fod y *galw* hwn ar y defaid *wrth eu henw* yn cynnwys, fel yr awgrymwyd eisoes, gydnabyddiaeth bersonol y gweinidog â'r rhai sydd yn cyfansoddi ei gynnulleidfa, adnabyddiaeth gyffredinol o'u hamgylchiadau, ac yn benaf, gwybodaeth fanwl am agweddau eu meddyliau ac o'u hangenrheidiau ysbrydol. Trwy yr adnabyddiaeth helaeth yma o'i braidd mae y bugail mewn cyfle nid yn unig ac yn syml i gyfarch gwell iddynt pan yn cyfarfod â hwynt,—yr hyn sydd yn beth digon da a phriodol yn ei le, ac mor bell ag y mae yn myned,—ond hefyd i gydymdeimlo â hwynt ymhob amgylchiad,—"wylo gyda'r rhai sydd yn wylo," i fod yn "llawen gyda'r rhai sydd lawen," ac i ddarparu yn fwy effeithiol mewn ymddyddanion personol a theuluaidd, yn y cyfeillachau eglwysig a thrwy y weinidogaeth gyhoeddus, i'w porthi a'u dyddanu, i'w rhybuddio a'u cynghori, i'w harwain a'u symbylu, ac hefyd eu hamddiffyn mewn pethau ysbrydol.

I hynyma y mae yn rhaid wrth ymweliadau manwl a rheolaidd. Ond ble mae'r amser at hyn? ac oni fyddai hyn yn debyg o yspeilio yr hwn sydd yn ymboeni yn y gair a'r athrawiaeth o amser gwerthfawr ag y

gallai ei dreulio yn fwy buddiol gyda'i lyfrau? Yr ydym yn ateb, yn gyntaf, y gallwn gael amser i beth bynag a fynwn, ond i ni ei ranu yn dda a'i gynnilo yn ofalus. Nid oes dim ag y gellir ei estyn ymhellach nag amser. "Ni wyddost beth" o ran maint a nifer, yn gystal ag o ran pwysigrwydd, "a ddygwydd mewn diwrnod." Sonia'r Bibl am "hir ddyddiau." Mae yr ymadrodd yn golygu rhywbeth heblaw *llawer o ddyddiau;* mae yn cynnwys y syniad o amser yn cael ei dreulio yn dda, ac yn cael ei fwynhâu yn ddedwydd, fod yr oriau fel y maent yn llawn o fynydau ac eiliadau yn cael eu llenwi â gweithrediadau buddiol, ac felly y dyddiau yn ymestyn allan ac yn myned yn "hir." Dynion ag oeddynt yn hwyhâu eu dyddiau oedd tywysogion y Puritaniaid. Dyma'r fath ddyn hefyd oedd John Calvin, onidê ni fuasai y Meistri Clark o Edinburgh yn gallu cyhoeddi hanner cant o gyfrolau hardd a chynnwysfawr o'i weithiau. Ac felly y mae yn ddigon posibl i fugeiliaid eglwysi Cymru, ond iddynt godi yn fore, a chofio arwyddair traethodyn a gyhoeddwyd ychydig o flynyddoedd yn ol, "Dim amser i'w golli," a gwneuthur y defnydd goreu o bob dydd o'r wythnos, gael digon o hamdden i ymweled yn gyson âg aelodau eu praidd, a chyda llaw, i ysgrifenu ambell erthygl i'r cyhoeddiadau misol, ac yn awr ac yn y man hyd yn nôd i'r chwarterolion. Ac "i roi pen ar y mwdwl," mae profiad yn ein dysgu mai po leiaf fyddo genym i'w wneyd, lleiaf i gyd yr ydym yn ei gyflawni. Ac ofnwn yn fawr mai y rhai sydd yn achwyn nad oes ganddynt amser i edrych hynt eu "defaid," sydd yn fynych yn treulio leiaf o amser gyda'u llyfrau, ac uwchben eu llawysgrifau, ac yn y dirgel gyda Duw. Ond atebwn yn nesaf, y dylai ei gynnulleidfa fod i'r bugail eglwysig yn llyfr, a'r nesaf mewn gwerth a phwysigrwydd at y Bibl ei hun. Nid yn unig fe ddylai deall cymeriadau ac anghenion y praidd, ond y mae ymddyddanion personol â'r rhai yr ydys yn gweinidogaethu iddynt yn aml iawn yn agor meusydd ëang a ffrwythlawn o flaen y meddwl, yn awgrymu testynau i bregethu arnynt, ac egluriadau naturiol a tharawiadol i addurno y bregeth. Pe byddai ein pregethwyr yn byw mwy ymhlith y bobl, byddai llai o'r traethodi llafurus ac o'r athronyddu dwfn ag sydd yn awr i fesur gormodol yn nodweddu y weinidogaeth yn Nghymru; a cheid mwy o bregethu, pregethu i bawb, "dyweyd yn uchel fel bo pawb yn clywed," chwedl Arthur Jones o Fangor, pregethu yr efengyl i bechaduriaid. Dyna'r pryd yr ydys yn ysgrifenu y bregeth oreu, gyda mwyaf o hwyl a nerth, ydyw pan y mae y gweinidog yn ei fyfyrgell yn sylweddoli ei gynnulleidfa o flaen ei lygaid yn yr amrywiaeth mawr mewn ymddangosiad, amgylchiadau, dymuniadau, a chyflyrau sydd yn perthyn iddi. Fel y mae yn cofio galar un, mae yn paratöi i gysuro hwnw; fel y mae yn ystyried llwfrdra ac ofnau arall, mae yn ceisio ei galonogi; fel yr edrycha ar y trydydd yn cysgu, defnyddia ei holl nerth i'w ddeffro; ac fel y sylwa ar amryw megys yn penderfynu marw yn eu pechodau, a myned i ddystryw bythol, mae ei enaid yn tanio ac yn ymgolli mewn ymdrech i achub y pentewynion o'r tân tragywyddol. Mae gair Duw i'w draddodi nid yn unig fel cyfundrefn ogoneddus gywrain a chyflawn, ond hefyd yn ei gymhwysder perffaith i ddyn fel creädur moesol, ac fel pechadur colledig a thruenus. Gan hyny, chwi fugeiliaid cynnulleidfäoedd yr Arglwydd, astudiwch y Bibl yn gyntaf, a deallwch eich praidd yn drwyadl yn ail,

ac yna defnyddiwch bob moddion wrth eich llaw, yn ddysg ac yn ddawn, gwyddoniaeth ac athroniaeth, llais a llaw, mewn gair bob peth yn eich meddiant, ac hyd eithaf eich gallu, i ddwyn y bobl at y Bibl, a thrwy hyny i "gadw yn fyw eneidiau lawer."

Nid doeth, modd bynag, yw gwneuthur ymweliadau rhy aml a meithion. Mae cyngor Solomon yn brïodol i fugail eglwys fel i bawb eraill, "Cadw dy droed allan o dŷ dy gymydog; rhag iddo flino arnat, a'th gasâu." Esgeuluso y cyngor hwn sydd wedi esgor ar gamsyniadau lawer ac ar ganlyniadau anhapus i fyd ac eglwys. Os oes blaenor deallus, a da ei amgylchiadau, ac yn serchog ei ffordd, yn perthyn i eglwys, gofaled y bugail gadw ei roesaw i'w dŷ yn dda trwy beidio syrthio i'r brofedigaeth o wneuthur galwadau mynych. Un o'r pethau dïogelaf i gadw gweinidog allan o'r brofedigaeth hon ydyw arfer cydwybod i weled holl aelodau ei braidd yn eu tro. "Nid yw Duw yn derbyn wyneb;" ac ni ddylai "dyn Duw" ddangos ffafraeth ymhlith ei bobl, ond gweinidogaethu yn ffyddlawn i bawb yn ddiwahaniaeth. Dywedai yr hybarch weinidog o Dònyrefail mewn Cymdeithasfa yn Hwlffordd tua deng mlynedd yn ol, pan oeddid yn ymdrin ar y pwnc o grefydd deuluaidd, "Os oes rhywun yn perthyn i'r teulu heb enaid ganddo, gall hwnw fod yn absennol o'r ddyledswydd." Mae ysbryd ac awgrym y nodiad hwn yn bur wahanol i eiddo sylw a glywsom yn ddiweddar gan berson wrth sôn am Ysgol Sul ei eglwys, "Nid ydym yn derbyn neb ond plant cyfrifol i'n hysgol ni." Mae parchusrwydd a chyfoeth yn bethau da yn eu lle, ac i'w cydnabod yn anrhydeddus. Ond nid âg aur ac arian y mae a fyno bugeiliaeth eglwysig, ond âg eneidiau anmhrisiadwy ac anfarwol. Os oes rhywun yn y praidd heb enaid, nid oes eisieu gofal dros hwnw! Fe ddichon fod yna rai sydd yn ddigon anneallus, ac yn druenus o anwybodus; ac y mae yna amryw yn dlawd iawn eu hamgylchiadau; eto cofied y bugail fod gan bob un enaid, ac mai ei waith ef ydyw gwylio yn ddyfal dros a gofalu yn ffyddlawn am holl eneidiau ei gynnulleidfa yn ddiwahaniaeth. Ymweler â phawb gan hyny, mor aml ag y gellir, ond nid yn rhy aml, a hyny heb "dderbyn wyneb." Yr unig eithriadau i'r rheol yma ydynt y cleifion, y galarus, a'r adfydus, y rhai sydd yn gofyn sylw neillduol a gofal arbenig y bugail cristionogol.

Eithr pa fodd y mae dwyn ymlaen yr ymweliadau hyn? beth a ddysgwylir i'r bugail wneyd pan yn galw i weled ei gynnulleidfa yn eu tai annedd? Nis gwyddom am un reol benodol wrth ba un y mae y gweinidog i weithredu ar achlysuron o'r fath. Trefn yr Henaduriaethwyr ydyw galw y teulu ynghyd, ac ar ol ychydig o ymddyddan cyffredinol, darllen a gweddïo gan y gweinidog, ac wrth ddarllen y gyfran o'r ysgrythyr y mae yn gwneuthur sylwadau eglurhäol ac ymarferol. Mae yr Ysgotiaid wedi eu codi a'u dysgu i ddysgwyl am ac i ymbarotôi ar gyfer y drefn yma, ac y maent yn edrych ar yr ymweliad gweinidogaethol gyda pharchedigaeth mawr. Ofnwn fod ymweliad pregethwr â thŷ yn cael ei gysylltu gan y Cymry yn bur gyffredin â dysglaid o dê, a phibell, a thipyn o ymgom difyrus a dim mwy. Nid oes genym y gwrthwynebiad lleiaf i dê, a diau fod ymgomio yn ddifyrus o fewn terfynau prïodol yn beth iachus; ac nid ydym elyniaethol iawn i'r peth arall a nodwyd; ond yn sicr dylai ymweliad gweinidog yr efengyl â theuluoedd ei gynnull-

eidfa ymddyrchafu uwchlaw y cymdeithion hyn, a meddu grâdd o gysegredigaeth yn ngolwg yr holl braidd. I fod yn fŷr, yr ydym yn annog ein bugeiliaid pan yn ymweled â'u praidd, ar ol gofyn eu hynt, i ddechreu mewn modd naturiol a doeth ar ryw ymddyddan crefyddol, ac os bydd yn gyfleus i offrymu gweddi fèr, gynhes, drostynt hwy a'u teuluoedd. Gwnewch sylw neillduol o'r plant, a bydded fod genych eiriau ac hanesynau wrth law priodol iddynt hwy. Cymerwch ddyddordeb yn amgylchiadau tymmorol eich praidd. Dangoswch ymhob dim eich bod yn gofalu drostynt ac o ddifrif am wneyd daioni iddynt. Na fyddwch yn debyg i rai meddygon a adwaenom. Dywedant wrth eu clâf, "Gadewch i mi weled eich tafod?" ac ychwanegant, "Hym:" "Gadewch i mi deimlo'r curiad?" "Hym;" ac ar ol hymio dair neu bedair gwaith dywedant, "danfonaf gostrelaid o foddion i chwi," ac ymaith â hwynt, heb na mynegu syniad, na dadgan teimlad, na dangos y grâdd leiaf o ddyddordeb, a llawer llai o frwdfrydedd. Na fyddwch yn debyg i'r hespiod hyn, ond ymdaflwch o ddifrif ac yn gwbl oll, gorff, enaid, ac ysbryd, i'ch gwaith, a gosodwch yr argraff yn annileädwy ar feddyliau pawb mai dynion Duw ydych, yn gwasanaethu i les ysbrydol a thragywyddol eich cyd-ddynion. Dadleuai aelod Seneddol yn bur ddiweddar dros barhâd y sefydliad eglwysig, gan ddywedyd y byddai hyny yn sicrhâu presennoldeb gŵr bonheddig ymhob plwyf trwy y deyrnas. Da iawn; ond mae bugeiliaeth eglwysig i sicrhâu i bob cynnulleidfa o grefyddwyr bresennoldeb un sydd nid yn unig yn esiampl iddynt mewn moesgarwch a rhinwedd, ond yn byw yn eu plith i wneyd daioni iddynt, ac i'w porthi a'u bugeilio yn y pethau a berthyn i fyd arall, ac i'r bywyd tragywyddol.

Gair neu ddau yn fŷr cyn terfynu gyda golwg ar ychydig o bethau eraill sydd yn dal cysylltiad â'r fugeiliaeth eglwysig. Gyda golwg ar *gyfarfodydd wythnosol* mae yn afreidiol dyweyd y dysgwylir i arweinydd y praidd fod yn bresennol, ac yn brydlawn ynddynt, ac iddo wneuthur ei hun yn ddefnyddiol, heb gymeryd gormod o le a sylw, yn enwedig yn y cwrdd eglwysig. Dylid darllen ar gyfer y cynnulliad hwn, nid i'r amcan o roddi anerchiadau, ond i adfywio ac ystwytho y meddwl a'r galon at waith y cyfarfod yn gyffredinol; i fod yn barod i oleuo un, cynghori arall, cysuro'r trydydd, a phorthi'r oll. Byddai un o hen weinidogion y Methodistiaid, flynyddoedd yn ol, yn arfer darllen pregethau Mr. Charles, Caerfyrddin, cyn myned i'r cyfarfod eglwysig, a gwelid ol hyny bob amser yn y modd deheuig a bywiog yr arweiniai y gyfeillach. Yr oedd cylch o gyfeillion yn byw yn ardal Llantrisant, Morganwg, ddeng mlynedd ar hugain yn ol, a rhoddwyd ffugenw i bob un o honynt gan y cyfaill Watson, yn awr o Mynyddcynffig, a dyma un o'r ffugenwau, "Bywyd y Gyfeillach." Hwn yw y syniad sydd genym ni am le a gwaith y bugail yn y cyfarfod eglwysig; arwain, tŷnu allan, symbylu, a gosod ar waith, gan "fwrw gofal" ar fod y cynnulliad yn fuddiol i'r saint.

Y mae digon eisoes wedi ei ddyweyd mewn lleoedd eraill gyda golwg ar waith y bugeiliaid yn eu perthynas â'r oes sydd yn codi, ac nid yw y cyfryw ddywedyd wedi bod yn ofer, fel y mae y Gobeithluoedd a'r Dosbarthiadau Biblaidd yn profi.

Y mae *achosion cyhoeddus* hefyd a ddylent gael sylw ein bugeiliaid, ac

yn enwedig yr ysgolion cyhoeddus. "Nid ydych yn ymweled â'r Ysgol Frytanaidd fel y gwna y gweinidog arall," achwynid yn ddiweddar wrth fugail. "Nac wyf," meddai yntau, "nid fy ngwaith i yw hyny, gwaith y meistr yw edrych ar ol yr ysgol." Eto yr oedd yn beth digon priodol iddo yntau hefyd yn awr ac eilwaith roi tro i'r ysgol, cymeryd dosbarth, rhoddi gwers iddynt, ac felly gefnogi y sefydliad. Mewn gair—canys y mae ein gofod ar ben—doethineb a dyledswydd pob bugail eglwysig, yn rhinwedd ei swydd, ac fel cynnrychiolydd ei gynnulleidfa, yw cymeryd pob mantais o fewn ei gyraedd i ennill dylanwad yn y cylch y mae ynddo, ac i wasanaethu ei ddydd a'i genedlaeth. Yr oedd Mr. Batchelor, Caerdydd, yn amser yr etholiad diweddaf, yn byw yn unig i ddychwelyd y Milwriad Stuart. Bydded fod pob bugail eglwysig yn byw i wasanaethu yr achos dan ei ofal yn uniongyrchol ac anuniongyrchol, fel y byddo iddo fwynhâu profiad Paul, "Byw i mi yw Crist."

---

# DAVID JONES, LLANGEITHO.

Mae y cymhelliadau i ddarllen yn amrywio yn ol chwaeth y darllenwyr. Mae rhai yn gwneyd hyny oddiar awydd am wybodaeth. Darllena y rhai hyn yn y cyffredin hyny o lênyddiaeth a allant ei chyrhaeddyd, heb ymgynghori fawr â mympwy nac â theimlad; bwytânt pa bethau bynag a roddir ger eu bron, heb ymofyn dim er mwyn cydwybod, yn y pwnc o ddarllen, beth bynag. Newydd-deb a difyrwch y testynau sydd yn denu eraill at hyn. Mae llawer o dylwyth yr Atheniaid i'w cael eto yn y byd, y rhai nad oes ganddynt "hamdden i ddim arall, ond i ddywedyd neu glywed rhyw newydd." Ond os caiff y rhai hyn eu cyfeirio at ryw hanesyn hynod, chwedl ddifyr, neu ddygwyddiad sydyn a rhyfedd, mynant hwythau ddarllen y rhai hyny, serch gadael pob peth arall yn ddisylw; "at chwedlau y tröant." Cydnabyddiaeth â'r pwnc sydd yn cymhell eraill i ddarllen; os gwelant hanes personau neu gyfarfodydd y byddant yn gwybod rhywbeth am danynt o'r blaen, ânt dros y rhai hyny gyda blâs mawr; neu os gwelant draethawd ar ryw fater eglwysig neu wladol, yn yr hwn y byddant hwy yn teimlo dyddordeb, mynant gael gweled beth yw y syniadau a draethir ar hwnw, a hyny fynychaf cyn edrych ar ddim arall. Y cymhelliad olaf hwn yw y goreu o ddigon am godi y *steam* at ddarllen, Brysia dynion yn gyffredin, hyd yn nôd heibio pethau eraill mwy pwysig, at yr hyn y byddant hwy yn teimlo hoffder ynddo, yr un fath ag yr â dyn mewn lle dyeithr trwy ganol y dorf at gymydog iddo, fydd yn ei weled o draw. Yr ydym ninnau yn hyderus y bydd y teimlad olaf a nodasom yn sicr o dynu

llawer i ddarllen hanes David Jones, Llangeitho. Er nad oedd yn bregethwr, nac yn fab i bregethwr, yr oedd degau o'r cyfryw trwy Ogledd a Deheudir Cymru yn ei adwaen yn dda, a hyny, nid yn unig o ran pryd a gwêdd, fel y dywedir, ond fel cymeriad pwysig, ac un oedd ymhell allan o'r cyffredin. Mae yn wir y bydd yn anadnabyddus i lawer o ddarllenwyr y TRAETHODYDD, ond gall y cyfryw benderfynu fod digon o swyn yn yr enw uchod i dŷnu llïaws i edrych arno, a mwy na hyny, y byddant yn ystyried ei fod wedi ennill cymeriad digon anrhydeddus, iddynt fŷnu adeg i adolygu helyntion ei yrfa faith, er cael gweled pa fodd y darfu iddo ei ffurfio, a pha rai yw yr elfenau hyny oedd yn ei gyfansoddi. Cyrhaeddodd y fath "radd dda" fel dyn, cristion, a blaenor, ag a wnaeth ei edmygwyr yn llïaws mawr ymysg pob enwad crefyddol, a phob dosbarth o ddynion oedd yn adnabyddus o hóno.

Yr ydym yn dychymygu clywed llawer pregethwr wedi gweled ei enw yn dyweyd, "*Dear me*, dyma ddyn bach Llangeitho, yr hwn, er ei fod yn fychan o gorffolaeth, y bûm yn pryderu lawer gwaith wrth feddwl am bregethu yn ei glyw, am fy mod yn credu fod y ddau lygad brithyllaidd hyny oedd yn chwareu mor hamddenol yn eu hystafelloedd, yn fy narllen o wadn y troed hyd goryn y pen, ac o'r wyneb i'r galon. Credwn hefyd ei fod yn cadw pwysau a mesurau, er gwneyd prawf ar y dosbarth y perthynwn iddo, ac y byddai yn sicr o gymhwyso y rhai hyny at fy mherson a'm pregeth. Ac ofnwn weithiau wrth geisio meddwl am y bregeth, a'r lle pwysig y safwn ynddo, na allwn anghofio y crëadur bychan bywiog oedd dan y pulpud, a'r pethau ofnadwy hyny oedd yn ei feddiant tuag at fy mhrofi." Bu ei farn ef am deilyngdod i'r weinidogaeth yn safon yn Sir Aberteifi am flynyddoedd. Yr oedd yno lawer o flaenoriaid oedd mor ragorol ag yntau mewn rhyw bethau, ond mewn gwybodaeth a barn yr oedd efe yn rhagori yn fawr. A chan ei fod felly, nid rhyfedd fod "ofn" y dyn hwn wedi bod yn "fagl" i laweroedd, yn enwedig yn nghychwyniad eu gyrfa. A byddai y rhai oedd yn gyfarwydd âg ef yn gwybod wrth arwyddion ei amserau, pa bryd y byddai yn cael ei foddloni neu ei anfoddloni yn y genau cyhoeddus a fyddai yn anerch y gynnulleidfa. Ond er mae cymeriad fel yna ydoedd, nid ydym yn meddwl fod nemawr o flaenoriaid yn Nghymru wedi bod yn fwy siriol i bregethwyr, hen ac ieuanc; wedi bod yn fwy parchus o honynt, nac wedi treulio mwy o amser yn eu cymdeithas; ac nid ychydig yw y chwithdod a deimlant wrth weled nad yw ei "le yn ei adnabod mwy." Yr ydym yn dychymygu clywed eraill yn dyweyd, wedi gweled ei enw, "Wel, wel, dyma hen oracl y Dolaubach, yr hwn a fu fel 'canwyll yn llewyrchu mewn lle tywyll' i ni, pan ar ein hynt i hen ogofau tywyll yr oesoedd o'r blaen, ac wedi methu cael un pelydryn o oleuni pellach. Yr oeddem wedi myned mor bell ag y gallai ein côf ein tywys, ac mor bell ag y gallai côf pawb eraill wneyd gyda dim tebyg i weledigaeth eglur, nes cael ein hunain yn ein barn a'n teimlad wrth droed mynyddoedd uchel tywyll ebargofiant, y rhai a ymddangosent i ni heb yr un agoriad ar hyd yr hon y gallem groesi drosodd i'r tu arall. Ond, wedi dyfod yn lluddedig a gwangalon i'r Dolaubach, a dyweyd ein cwyn, cymerodd ni erbyn ei law, gan ein harwain at ffordd ddïogel a hyfryd, a dyfod gyda ni i'r wlad frâs oedd yn gorwedd yr ochr draw; ac

er ein syndod yr oedd ef mor gyfarwydd yn hono a'r ardal yr ydoedd yn byw ynddi ar y pryd. Gwlad ei febyd a'i ieuenctyd ydoedd, ac nid oedd ymfudo dros fynyddoedd uchel canoloedran i wlad henaint a phenllwydni, wedi gwneyd iddo anghofio dim o hóni; ond yr oedd wedi cymeryd i fyny ei phethau gwerthfawrocaf yn ei gôf mawr, ac yr oeddynt gydag ef wrth law i'w hestyn fel grawnsypiau addfed i bwy bynag ofynai am danynt. Ond at bwy yr awn eto am ychwaneg o oleuni ar y pethau a fu? Pa arweinydd mor ddïogel âg ef a allwn gael i'n tywys ar hyd llwybrau anhygyrch y 'gwŷr hen,' ac i 'flynyddoedd yr hen oesoedd?'"

Nid rhyfedd felly ei fod wedi cael yr enw "oracl" gan feirdd a henafiaethwyr y wlad. Pan oeddym unwaith yn dyweyd wrth fardd ein bod yn myned heibio y Dolaubach, "I ymgynghori â'r oracl, feddyliwn," meddai yntau. Ac nid oedd neb mwy teilwng o'r enw. Byddai rhyw ysbrydiaeth rhyfedd yn ei feddiannu pan ddelai cyfaill i fewn ato, yn enwedig pan deflid rhyw gwestiwn neu bwnc o'i flaen. Fflachiai ei lygaid, taflai ei law ddeheu yn sydyn at ei ben, a'r law arall ar ei hôl yn fwy sydyn fyth, fel pe byddent ar neges frysiog at ddeial y dealltwriaeth, er ei barotôi i ddangos pob peth yn eu gwêdd a'u hamser prïodol. Codai ei ysgwyddau llydain cryfion i fyny y naill ar ol y llall, taflai ei hun o'r naill ochr o'r gadair freichiau i'r ochr arall, gan roddi pesychiad bŷr arwyddol, fel pe byddai yn penderfynu ysgwyd yr holl gyfundrefn gorfforol oddifewn ac oddiallan, er ei chael i hwyl brïodol i fynegu yr oracl. Ac wedi i'r ymwelydd aros ychydig yn ei gwmni, cawsai weled mai nid rhyw ymweithiad bwriadol tuag at gychwyn y peiriant oedd yr holl seremonïau hyn, ond mai ei ddull naturiol o weithredu ydoedd, gan y byddai yn rhaid myned drostynt drachefn a thrachefn tra y byddai yr ymddyddan yn parhâu. Ond mewn mynyd wedi i'r oracl ddechreu cael ei fynegu, byddai yr ymwelydd yn cael ei hun yn nghanol rhyw *picture gallery*, gydag enwogion yr oesoedd a fu, yn cael desgrifiad cywir o'u cymeriad, trwy hanesynau difyr am danynt, neu ddywediadau cynnwysfawr o'u heiddo. Byddai wedi hyny yn cael ei hun mewn athrofa dduwinyddol yn gwrando darlith ar rai o'r pynciau mewn duwinyddiaeth, neu esboniad ar ranau o'r memrwn sanctaidd, ac os yn awyddus weithiau am godi gwrthddadl, teimlai yn rhy wylaidd i wneyd, gan fod Dr. Owen, neu rai o'r hen bregethwyr enwocaf, yn cefnogi y golygiadau. Digon tebyg y bydd iddo hefyd mewn rhyw gysylltiad, gael eglurhâd ar brif bynciau gwleidyddol y dydd, neu ar arwyddion yr amserau yn ffurfafen grefyddol yr oes. Wrth reswm byddai y pethau a fynegid yn ymddibynu i raddau ar natur yr ymgynghoriad; ond pa bethau bynag a gyflwynid i sylw hen oracl y Dolaubach, byddai y mynegiad yn barod a boddhäol, a byddai yn cael ei gymeryd, y rhan amlaf, o oleuni yr oesoedd o'r blaen, yn gystal ag o adlewyrchiad barn bersonol. A chan fod dŷn o'r fath yma wedi cael ei adael i fyw yn y byd am bedwar ugain a saith o flynyddoedd, a'i gôf y flwyddyn olaf yn gallu presennoli pethau goreu pedwar ugain o'r cyfryw, ni allai lai na bod o werth anmhrisiadwy. Mae yn wir y ceir rhai mor hen ag yntau yn cofio rhyw bethau, ond nid ydynt yn bethau gwerth eu cofio, nac yn werth i'r byd eu gwybod; ond yr oedd ei bethau ef yn wahanol. Yr oedd ef yn un o'r dolenau oedd yn cydio y genedlaeth

bresennol o ddynion â'r cenhedlaethau o'r blaen, a ffolineb yw meddwl y gall pob dyn hen wneyd hyny o wasanaeth. Mae yn rhaid cael yr ieuanc a'r hen i gyfarfod yn yr un person, cyn y gall asio pedair oes y naill wrth y llall. A rhaid i'r dolenau fyddo yn cydio oesoedd wrth eu gilydd fod o'r defnyddiau a'r gwneuthuriad goreu. Beth bynag, yr ydym yn sicr pe byddai pob hên yn gallu oraclu mor eglur â'r un a fu yn gwneyd hyny am flynyddoedd yn y Dolaubach, na chawsid cymaint o drafferth i gael dyfod o hyd i'r gwirionedd am y pethau a fu. Rhywbeth tebyg i hyna, ddarllenydd, oedd y gwron y ceisiwn dy arwain at helyntion ei fywyd.

Oddeutu milldir, hytrach i'r gorllewin, o Langeitho, y mae pentref bychan a elwir Capel Bettws. Mae ynddo gapel o dan eglwys blwyfol Llanddewibrefi, a chysylltir hwnw â'r enw, er mwyn ei wahaniaethu oddiwrth Bettws, eglwys blwyfol sydd y tu arall i'r bryn, o fewn pedair milldir i Lanbedr. Yn y pentref hwn yr oedd Evan Evans, Llangeitho, yn byw, yr hen gynghorwr a adnabyddid wrth yr enw Evan Tanner, neu, gan bobl y Gogledd, Creithiog bychan y Deheudir, am fod y frêch wèn wedi gadael ei hargraff yn bur ddwfn ac annyben ar ei wynebpryd. Bu ef a'i frawd yn cadw barcdŷ am flynyddoedd yn y pentref, ond y mae hyny ymysg y pethau a fu. Cyn myned i fewn i'r pentref hwn o Langeitho, y mae heol yn troi i fyny ar y chwith, i riw serth, ac yn arwain i ddarn helaeth o dir a elwir *Commons* Capel Bettws, yr hwn sydd â'r rhan fwyaf o hóno yn aros yn *commons* hyd y dydd hwn, a ffordd fawr Aberaeron a Thregaron yn rhedeg trwy ei ganol. Y tu isaf i'r *commons* hwn, rhwng hyny a chwm dwfn a elwir Cwm-march, am fod yr afon March yn rhedeg trwyddo, y mae ffermdŷ a elwir Castell. Y mae yr afon fechan a nodwyd yn rhedeg trwy Capel y Bettws i'r afon Aeron, a'r ffermdŷ ychydig i fyny o'r pentref. Y mae yma gestyll eraill a elwir Castelluchaf, a Chastellbach, ond â'r mwyaf o honynt y mae a fynom ni yn awr, am mai yno y ganwyd David Jones, un o'r blaenoriaid enwocaf a fagodd y Methodistiaid, a'r hwn a fu yn eu cynnrychioli dros Sîr Aberteifi am flynyddoedd lawer yn Nghymanfäoedd Dê a Gogledd. Gyferbyn â'r Castell, yr ochr arall i Cwm-march, y mae ffermdŷ a elwir gan y rhan fwyaf erbyn hyn Pendysgwylfa, yr hwn sydd yn ymyl y ffordd sydd yn myned trwy Capel Bettws i Lanbedr. Mae dau beth mewn cysylltiad â'r lle hwn nad ydynt wedi eu cofnodi gan neb hyd yma, ar a wyddom ni. Mae un yn dal cysylltiad â'r achos o alw y lle ar y fath enw. Yr oedd yn arferiad ar Sabbath cymundeb yn y Capel* i un dorf o gymunwyr, wedi iddynt dderbyn yr elfenau, fyned allan er mwyn rhoddi lle i eraill ddyfod ymlaen. Yr oedd yn anmhosibl gwneyd yn wahanol pan fyddai yno yn aml yn agos i ddwy fil o nifer yn cymuno. Yr oedd y rhai fyddai yn myned ymaith yn aros mewn rhyw fan penodol i ddysgwyl yr heidiau fyddai ar ol i ddyfod ymlaen. A'r rhai fyddai yn myned yn nghyfeiriad Llanbedr, ar ben y bryn tu hwnt i Capel Bettws y byddent yn dysgwyl, a'r lle oblegid hyny a alwyd yn Pendysgwylfa. Y mae pawb sydd wedi arfer teithio y ffordd hono yn gwybod mai nid gwaith hawdd i'r peiriant

* Dyma yr enw wrth ba un yr adnabyddid tŷ addoliad y Methodistiaid yn Llangeitho bron gan bawb yn y blynyddoedd o'r blaen, a chan lawer o'r hen bobl eto; a dyma yr enw a arferwn ninnau arno, pan ddaw ar ein ffordd.

anadlu ydyw, ac nid ydym yn gwybod am neb allai gamu y tylau hyn yn rhwyddach na hen bererinion Llangeitho, y rhai oedd â digon o zêl yn eu hysbryd i deithio o bymtheg i ugain milldir ar fore Sabbath i ddyfod erbyn yr oedfa ddeg o'r gloch i'r Capel. Yr ydym yn clywed eu bod, lawer gwaith, wedi dringo y tylau serth hyn dan gânu. Yr oedd cymaint o nefoedd yn eu mynwes, fel nad oeddynt yn cofio y corff, nac yn teimlo ei flinder. Ac wedi cyfarfod ar Bendysgwylfa, cychwynent gyda'u gilydd, a hyny yn aml mewn "sain cân a moliant, fel tyrfa yn cadw gŵyl." Mae enwogrwydd arall hefyd yn perthyn i'r lle hwn, gan ei fod wedi cael yr anrhydedd o fod yn gartref i William Richard Llwyd, Llangeitho, am flynyddoedd. Yr oedd ef yn un o'r cynghorwyr enwocaf a fu gyda y Methodistiaid yn eu cychwyniad. Yr oedd yn un o'r chwech hyny oedd yn bresennol yn nhŷ Jeffrey Dafydd y Rhiwiau, Sir Gaerfyrddin, yn 1743, yn y Gymanfa gyntaf a gynnaliodd y Methodistiaid eu hunain erioed. Yr oedd yr un fath hefyd yn y Gymanfa a gynnaliwyd yn Trefecca, gan y Lady Huntingdon, yn 1746. Y mae Joseph Williams, Kidderminster, yn ei ddyddlyfr, yn dyweyd fod yn y Gymanfa hono o Gymru, y Parchn. Daniel Rowlands, Howel Davies, a William Williams, ac ugain o gynghorwyr, a bod un o'r cynghorwyr hyny, sef W. R. Llwyd, wedi gweddïo a phregethu yn Gymraeg. Gallem feddwl fod y ffaith yna yn ddigon i brofi mai nid un cyffredin ymhlith y cynghorwyr oedd y dyn hwn. Wedi iddo symud i Olmarchfach i fyw, bu mewn dadl boeth â rhyw Evan oedd yn ddïacon gyda y Methodistiaid yn Llanddewibrefi, ynghylch Ariaeth, yr hyn oedd yn ymledu y pryd hwnw gyda chyflymdra mawr ar hyd y wlad. Yr oedd yr Evan hwn wedi ei lanw âg "ysbryd y cyfeiliorni," fel yr oedd yn aflonyddu yr holl ardal. Bu W. R. Llwyd yn ymdrechu ei argyhoeddi, ond ymddangosai o hyd yn fwy penderfynol dros ei bwnc, a phenderfynai Llwyd, yntau, o'r diwedd, fŷnu ei drechu. A chan fod Williams Pantycelyn yn arfer dyfod i Langeitho bob mis, er mwyn cynnorthwyo Rowlands ar y cymundeb, rhoddodd Llwyd yr achos iddo ef, a daeth y ddau frawd i wyneb eu gilydd i Landdewi. Ond erbyn dyfod yno, gwelodd pawb fod Llwyd yn ddigon o feistr ar y dyn ac ar y pwnc, fel y gorfu i Evan roddi fyny; a byth ar ol hyny aeth ef a'i blaid i warth yn yr ardal. Mae y darn pennill canlynol a gyfansoddodd Williams ar yr achlysur ar gael eto—

Ti, Llanddewi, fu debyca'
I golli 'th wallt oddiar dy gopa;
Ond fe safodd Wil i fyny,
Pan oedd Ianto laith yn methu.

Felly pa mor debyg bynag fu Llanddewi i golli ei harddwch yn y tro, fe safodd yn anrhydeddus yn erbyn Ariaeth yn awr, fel y safodd yn mherson Dewi Sant yn erbyn Morganiaeth yn y fl. O.C. 519. Yr ydym wedi cymeryd ein rhyddid i ddyweyd cymaint am y gŵr hwn, gan fod haneswyr wedi bod mor ddystaw yn ei gylch, ac yntau yn teilyngu ei restru gydag enwogion y Sîr. Yr ydym yn ddyledus i David Jones am lawer o'r hanes uchod, a dylai fod mewn cysylltiad â'i enw. Nid ydym yn gwybod pa faint fu W. R. Llwyd ac yntau yn cydoesi, ond yr

oedd yn dyweyd nad oedd yn ei gofio, a'r rheswm am hyny oedd i W. R. Llwyd fyned ychydig o'r gymydogaeth i fyw, a hyny tua diwedd ei oes.

Cŷff pren teuluaidd y Castell oedd Dafydd a Mary, ac enwau y canghenau yn ol fel yr ymddangosent oedd John, Stephen, David, Sarah, Jane, Mary, Rachel, a Rees. Felly, y trydydd mab oedd yr un a gymhwysodd natur a gras i fod yn berl yn nghanol "llwch y byd." Yr alwedigaeth yr ennillodd y tad lawer o fara i'w wyth plentyn trwyddi heblaw y tyddyn oedd ganddo, oedd bod yn oruchwyliwr coed dros, Captain Davies, Tan-yr-alltlwyd, Llannon, yr hwn oedd y marsiandwr coed mwyaf yn y wlad y pryd hwnw. Y ffordd fyddai yn gymeryd er gwybod gwerth coedwig, fyddai yn gyntaf ei cherdded ar hŷd ac ar lêd, er gwybod mesur arwynebedd y tir yr oedd yn sefyll arno. Yr oedd yr anghyfarwydd, ar yr adegau hyn, yn credu eu bod yn gweled dyn allan o'i bwyll. Yr oedd yn gyntaf yn syllu ac yn anelu pa gyfeiriad i'w gymeryd, ac yna ynghanol y fath anialwch, byddai ei gamrau oll yr un hŷd, er cymaint y rhwystrau, nes cyrhaeddyd ei nôd. Y peth nesaf a wnelai oedd cerdded yn hamddenol trwyddi, er cael gweled maintioli y coed, a'u pellder cyffredin y naill oddiwrth y llall. Ar gwaith gorphenol fyddai cymeryd arsyllfa mewn man gyfleus, er cael golwg gyflawn ar yr holl goedwig o draw; ac wedi cymeryd yr holl olygfa i fewn i fyd y meddwl, byddai rhyw fath o *process* yn myned ymlaen, fyddai yn penderfynu tynged y coed. Yr oedd yr holl ddefodau hyn yn cael eu cyflawni mewn rhyw ychydig iawn o amser, ac er mor lledchwith ac anmhwrpasol yr ymddangosent i lawer celfyddydwr, yr oedd ganddo ef rywbeth i ddyweyd am bris y goedwig erbyn y diwedd, nad oedd neb a allai ddyweyd yn well. Yr oedd yn cael ei ystyried gan bawb yn ei ardal yn ddyn crâff ei sylw, cywir ei farn, ac yn un fyddai â dyfais yn barod erbyn angen. Yr oedd rhai o'r plant unwaith wedi cymeryd dyddordeb anghyffredin mewn ysmocio, ac er mai dail carn yr ebol oedd y defnyddiau, ac nid nwyddau tramor, eto yr oedd wedi myned yn flŷs ag oedd yn eu llywodraethu. Yr oedd y tad yn deall hyn, ac yn eu cynghori i ymattal, ond yn gwbl aneffeithiol. Ond ryw noson pan ddaeth adref, yr oedd yn dyfod â newydd galarus am rywun oedd wedi marw yn y gymydogaeth, a phan ofynwyd beth oedd ei chlefyd, dywedodd fod y doctor yn dyweyd mai codi gormod o ddwfr o'i brest a wnaeth wrth ysmocio. "Edrychwch chwi ati, blant," meddai, "dyna beth sy'n dyfod o ysmocio." Gwnaeth hyn fwy na'r holl gynghorion blaenorol; yr oedd mor hawdd cael bŵch i odyn, cath i ddwfr, a buwch i dân, a'u cael hwythau mwyach at y bibell. Bu y dyn defnyddiol hwn farw trwy ddamwain a gyfarfyddodd, pan yn tynu ysgaffaldiau capel presennol Llangeitho i lawr, rywbryd yn y flwyddyn 1814. Mae yn debyg wrth bob hysbysiad ydym wedi gael, fod y tad a'r fam yn y Castell yn meddu ar grefydd o'r fath oreu, eu bod yn dwyn llysiau cymhwys i'r gwlaw oedd yn mynych ddisgyn yn Llangeitho yn eu hamser.

Dygwyd David Jones i fyny yn yr alwedigaeth o saer coed. Fe allai i'r hoffder oedd yn ei dad at goed, er nad oedd yn saer, fod yn gymhelliad iddo roddi y fath alwedigaeth i rai o'i feibion. Prentisiwyd ef gyda William, saer Llwynygroes, yn agos i'w gartref. Yr oedd hwnw ar y pryd newydd brïodi, ac i raddau mawr yn anllythyrenog; ond wedi i

Deio'r Castell ddyfod ato, aethant ati o ddifrif i ddysgu rhifyddiaeth, a phethau eraill oedd yn angenrheidiol tuag at eu gwneyd yn grefftwyr defnyddiol. Yr oedd Deio wedi cael mwy o ysgol na William, a William wedi myned yn fwy ymlaen yn y grefft na Deio, a gwnaeth y ddau y goreu o'r wybodaeth oedd ganddynt i ddysgu y naill y llall. Yr oedd y pethau oeddynt yn ddysgu yn myned â chymaint o'u meddwl fel nad oeddynt yn cael hamdden i gysgu y nos gan ddylanwad eu hysbrydiaeth. Ryw noswaith, wedi i'r ddau fyned i'w gwelyau, William gyda'i wraig ar y llawr, a Deio ar ryw fath o lofft uwchben. "Deio," meddai William, "gâd i ni gael myned dros y *multiplication table* yn awr," ac felly y bu. Ond wedi iddynt fod felly am ryw gymaint o amser, un yn dyweyd *twice one*, a'r llall yn dyweyd *three times one*, &c., a'r naill yn helpu y llall pan fyddai yn colli, ac felly yn cadw llawer o sŵn yn nyfnder y nos, llwyr flinodd y wraig ar yr aflonyddwch, a dwrdiodd y ddau yn arw. "O," meddai William, "os wyt ti yn blino, awn ni ein dau at ein gilydd," ac mewn mynyd dyma fe gyda Deio, ac yn ngafael â'r ffigyrau drachefn. Nid oedd y wraig mor amyneddgar ei henaid â rhai o'r rhyw dêg, a chan nad oedd felly, a bod y ddau grëadur gyda phethau mor ddyeithr, a hyny mewn iaith estronol, yr oedd hi yn sicr o fod yn ystorm enbyd yn ngwlad ei meddwl. A gwell oedd gan William yntau drigo am noswaith mewn "congl yn nèn y tŷ, na chyda gwraig anynad mewn tŷ ëang." Ond er i'r ddau saer fel yna gael tipyn o drafferth, colli cwsg, a chael gwaethaf tafod, ymlaen yr aethant nes meistroli yr holl ysgwâr rifyddol i'r *twelve times twelve*, a dysgu cymhwyso yr holl ffigyrau yn rhwydd, yn ol rheolau rhifyddiaeth, at eu gwasanaeth eu hunain. Ymdrechodd y ddau, ac felly y darfu iddynt ragori. Daeth William yn saer o gryn enwogrwydd, dewiswyd ef i gymeryd gofal holl waith ystâd Deri-ormond; a pha le bynag yn y cyffiniau y byddai gwaith o bwys, ymdrechid ei gael ef i gymeryd rhyw ran ynddo, gan y credid wedi hyny y byddai yn sicr o fod yn dda. Gweithiai am byth, a chafodd y rhai oedd yn dadgymalu ei waith er ys ychydig yn ol, wrth adnewyddu capel Llangeitho y tu fewn, deimlo hyny. Darfu iddynt feddwl lawer gwaith na allasent ei gael yn rhydd byth, er ei fod wedi bod yno am hanner canrif. Mae llawer yn meddwl na wnaeth deuparth o'i ysbryd celfyddydol syrthio ar neb ar ei ol, gan mor wahanol y gwaith a wneir yn awr i'r hyn ydoedd pan yn dyfod o dan ei ddwylaw neu ei arolygiaeth ef. Prydferthwch ymddangosiad yw arwyddair yr oes hon o gelfyddydwyr; os byddwn am weled y cadarn, y diddos, a'r defnyddiol, rhaid i ni fyned at yr hen adeiladau a godwyd er ys o ddau gant i'r triugain mlynedd yn ol. Trueni gweled llawer o'r capelau newyddion diweddar bron i gyd o natur egwan ac yn gollwng dwfr. Nid ydym yn meddwl fod y prentis Deio wedi dyfod yn well saer na'i feistr, os cystal, ond rhagorodd arno fel ysgolhaig, ac mewn gwybodaeth gyffredinol. A chan fod Dafydd yn ysgolhaig da "at *use* gwlad," ac wedi ymarfer cymaint â mesur a phrisio coed gyda'i dad, cafodd ei ddewis yn oruchwyliwr coed gan lawer o foneddigion y wlad. Bu felly am flynyddoedd gyda Mr. Lawrence, boneddwr o Loegr, yr hwn oedd berchenog llawer o ffermydd yn agos i Langeitho, ac yntau hefyd yn dyfod i aros am ryw gymaint i'r pentref bob blwyddyn. Yr oedd David Jones yn dyweyd mai y brofedigaeth fwyaf a gyfarfyddodd fel goruchwyliwr coed oedd gyda Mr. Smith,

perchenog ystâd y Foelallt, Llanddewibrefi. Gofynodd hwnw i Mr. Lawrence pa le y gallasai gael goruchwyliwr coed da yn y gymydogaeth; argymhellodd yntau ei *agent* ei hun iddo. Pan anfonodd Mr. Smith am dano, yr oedd yn gweithio allan wrth ei grefft, ond aeth gyda'r genad yn ddioed, a hyny fel yr oedd, heb drwsio na chroen na dillad. Gofynodd Mr. Smith yn ddiystyrllyd pwy ydoedd, ac atebodd yntau ei enw, mor gywir a gostyngedig ag y gallai. Ymddangosai y boneddwr fel wedi cael siomedigaeth fawr, gan nad oedd yn dychymygu mai pwtyn bŷr, gwledig, Cymröaidd, mewn dillad *fustian* felly, oedd David Jones y siaradai Mr. Lawrence mor uchel am dano. Galwodd ef allan gydag ef i goedwig oedd gerllaw y tŷ, lle yr oedd saer yn tòri coed, a gofynodd iddo faint o fesurau oedd rhyw bren penodol, a dywedodd yntau ar unwaith ryw amcangyfrif. Wedi i'r saer dòri y pren, dywedodd Mr. Smith wrth Dafydd am ei fesur. Yr oedd mewn pryder mawr erbyn hyn, gan ei fod yn gweled fod *agent* Mr. Lawrence wedi cael ei daflu fel plentyn i sefyllfa prawf; ond dygwyddodd yn well na'r ofnaù, yr oedd y mesurau a'r amcangyfrif blaenorol yn ateb bron yn berffaith i'w gilydd. Ond nid oedd hyny yn boddloni y boneddwr. "Daniel," meddai wrth y saer, "mesurwch chwithau ef" Os oedd pryder Dafydd yn fawr o'r blaen, yr oedd yn fwy o lawer yn awr, gan fod mesurau Daniel ac yntau mor wahanol ag yw Mesur Hir i Fesur Bŷr; a'r hyn oedd yn gwneyd y peth yn waeth fyth oedd fod Daniel yn dyfod â mesurau y *tape* at fanylrwydd *sliding-scale* y *rule*, yr hyn nad oedd ef wedi cymeryd y drafferth o'i wneyd ar y pryd. Gwnaeth Mr. Smith i'r ddau fesur y pren drachefn a thrachefn, ond yr un oedd y canlyniadau. Aeth y ddau saer o'r diwedd i gymharu y mesurau, a dangosodd Dafydd i Daniel y pwynt o'r hwn yr oedd yn dechre cyfeiliorni; ac felly y terfynwyd y ddadl, ac y gwelodd Mr. Smith mai nid dyn yn y mwgwd oedd Mr. Lawrence, ac mai nid dyn heb feddwl oedd y pwtyn a'r dillad *fustian*. Yr oedd y boneddwr hwn yn ddyn hawdd iawn ei gynhyrfu, ac yr oedd ei deimladau wedi eu codi ar darawiad gan waeledd golwg allanol yr *agent*, ond cododd ei wrês-fesurydd raddau lawer yn uwch wedi gweled annibendod y mesuriad. Pa fodd bynag yr oedd yn teimlo, gwnaeth dadleniad disymwth y dirgelwch oedd yn achosi y fath anghydweledìad, ei ddychwelyd i'w dymheredd canolog, siriolodd ei wynebpryd, a daeth mewn cymhariaeth yn ddyn arall, a chyttunwyd am yr *agency*. Adroddodd Mr. Smith yr ystori yn agos ac ymhell, a bu yn foddion i ddwyn David Jones i sylw llawer o foneddigion, a dewiswyd ef gan lawer i fod yn oruchwyliwr cyffredinol i osod eu ffermydd, a derbyn eu hardreth, yn gystal a golygu eu coedwigoedd. A chan ei fod yn cael cymaint o waith yn y cyfeiriad yma, ni allai fyned ymlaen gyda'i grefft, a rhoddodd hi o'r diwedd i fyny yn hollol. At y gwahanol *agencies* eraill oedd ganddo, ymgymerodd yn ei flynyddoedd olaf a bod yn *Registrar of Births and Deaths*, ac yn *Registrar of Marriages*. Yr ydym wedi nodi y pethau hyn, gan y byddant yn fantais i ni mewn cysylltiad â phethau eraill mwy pwysig.

Bu yntau am y rhan gyntaf o'i oes yn ddigrefydd. Ac wrth ddyweyd hyny, na ddychryned y darllenydd, gan feddwl y bydd raid iddo redeg ar ol rhyw asyn gwyllt dros bant a bryn, trwy y grug, yr eithin, a'r corsydd, a phob tramgwyddiadau, a hyny i bellderau na ŵyr yn y

byd pa faint, cyn cael gweled ei gornelu a'i ddal. Er fod pawb yn cael eu "geni fel llwdn asen wyllt," y mae rhai yn debycach i hwnw wedi y tyfont i oedran nag ydynt ar eu dyfodiad i'r byd. Treuliant eu bywyd megys ar ganol y mynydd gwyllt, llwm, a noeth, heb na chlawdd na pherth, ôl na blaen, nac o gwmpas, ac heb na chebyst na llyffethr am gorff nac enaid. Mae dynion felly yn myned ymhellach mewn egluro meddwl y gair "colledig" ger bron y byd na llawer sydd, fel hwythau, yn golledig o gyflwr. Maent wedi eu colli oddiwrth bob daioni, ac megys yn gwneyd eu goreu i golli pob daioni o'r byd. Mae yn wir mai "hyn fu" llawer o'r hen dduwiolion dysgleiriaf; dygir ni yn nechreuad eu hanes i olwg baner y diafol, ac at brif orchestion ei ryfelgyrch, a hwythau y prif wroniaid oedd yn ei feddiant, nes yr amlygwyd tuag atynt "fawrion weithredoedd Duw." Dyna hanes un dosbarth o rai digrefydd; dechreuad annuwiol iawn, ond diwedd da. Mae eraill yn dechreu yn lled obeithiol, ond rywbryd mewn bywyd yn cymeryd cyfeiriad anhapus, yn myned rhagddynt waeth waeth, a'u diwedd yn myned yn waeth na'u dechreuad. Nid i lwybrau yr un o'r rhai yna yr arweinir ni yn hanes bywyd digrefydd David Jones, ond i lwybrau dosbarth hollol wahanol, sef 'yr un dichlynaidd, nad oes gan gymdeithas unrhyw bechod cyhoeddus i roddi yn eu herbyn; tebyg i'r gŵr ieuanc cyfoethog hwnw y dywedir i'r Iesu ei hoffi am ei fod wedi cadw y gorchymynion. Prif rinwedd y dosbarth hwn yw peidio gwneyd drwg; edrychant ar holl orchymynion Duw fel gwaharddiadau i wneyd drwg, yn hytrach na chymhellion i wneyd daioni. Ond er ein bod wedi penderfynu dosbarth y dyn, rhaid cofio eto mai dyn anghyffredin sydd genym i'w ddesgrifio, a'i fod felly hyd yn nôd yn ei ddosbarth ei hun. Yr oedd Mr. Humphreys, y Dyffryn, yn dyweyd wrth ymddyddan am Thomas John, Cilgeran, "fod Duw yn gwneyd *mould* bwrpasol ar gyfer ambell i ddyn, na fu mewn *use* erioed o'r blaen, ac na fydd byth; ac mor bell ag yr wyf fi yn adnabod y dyn yna, nid wyf yn meddwl i'w *fould* yntau fod yn yr *use* o'r blaen. Nid wyf yn gwybod, o ran hyny, pa fodd y bydd ar ol hyn; mae yn debyg y bydd raid cael rhyw bethau pur *odd* at *fouldio* dynion mawr y mil blynyddau." Felly y rhaid i ninnau ddyweyd am David Jones, gan ei fod yn gymaint allan o'r cyffredin. Pan nad oedd yn proffesu duwioldeb, rhaid dyweyd mai dyn annuwiol broffesedig oedd; ond gan fod ei fywyd digrefydd mor hynod, rhaid dyweyd yr un pryd mai crefyddwr dibroffes oedd y dyn hwn pan allan yn y byd. Ei brif feïau oedd ei dymher siriol a llawen, yr hyn a'i gwnai yn dueddol i fyned yn ysgafn, a'i fod yn ymhyfrydu cymaint mewn prydyddiaeth, yr hyn, yn ol yr arfer, oedd yn ei wneyd yn wrthddrych arswyd yr holl ardal. Yr oedd hefyd yn un o feddwl dyfeisgar, ac felly yn ddïarebol o gyfrwys, yr hyn sydd yn cael ei gyfrif gan y wlad yn nodwedd ddrwg ar ddyn. Pan gyda ei gyd-ieuenctyd, efe, y rhan amlaf, fyddai bywyd y gymdeithas oblegid ei sirioldeb a'i ddigrifwch; ac efe, y rhan amlaf, fyddai y dyfeisydd yn eu plith, er na chawsid ganddo ond yn anfynych fod yn weithredydd. Yr oedd, fel yr awgrymwyd, yn rhigymwr mawr, a chyfansoddai bennillion bron i bob peth a welai ac a glywai, a byddai yn barod ar amrantiad. Bu yn gwneyd hyn ar gais cyfeillion, ac er mwyn eu difyru am ryw amser; ond daeth yn fuan i beidio gwneyd hyny. Un tro, wedi dyfod adref pan oedd yn brentis, yr oedd ei

chwiorydd, rhai o honynt yn ei boeni yn fawr am bennillion, a'r lleill am ystori; ond hyn oedd yr ateb:—

Mae *lot* o ferched gweddwon
  Yn flinion iawn i mi,
Yn gwaeddi am bennillion
  Yn uchel iawn eu cri;
Un yn gwaeddi "Dere,"
  A'r llall yn gwaeddi "Paid,"
A minnau, yr hen brydydd,
  Heb wybod beth i'w wneyd.

Ac wrth reswm, gan fod ei gyfeillach mor ddifyrus, yr oedd pawb am ei gwmni, ac nid oedd dim yn gâs ynddo at neb, os na fyddai rhyw fai mawr yn bod. Ond er ei fod yn meddu ar ryw hynodion oedd yn ei wneuthur yn hoff gan bawb, eto yr oedd ganddo fwy o barch i ddynion a phethau crefyddol nag a ddangosai tuag at neb na dim arall. Siarad am bregethwyr ac adrodd eu pregethau oedd ei brif ddifyrwch, ac ymwasgai llawer o'r hen grefyddwyr at Deio'r Castell er mwyn ei glywed gyda'r pethau hyn; ac nid oes ammheuaeth yn ein meddwl nad ei fynych fyned dros bethau felly, pan yn ieuanc, oedd yr achos ei fod yn eu cofio mor dda wedi myned heibio y 86 mlynedd. Yr oedd ei awydd am wybodaeth hefyd yn ddidòr; dysgai rywbeth am bob cangen o wybodaeth hyd y gallai, a siaradai yr hen bobl lawer am y boen fyddent yn ei gael oddiwrtho, oblegid ei fod yn eu cwestiyno yn barhäus mewn rhyw hanesion neu athrawiaethau Biblaidd. Pethau fel yna oedd ei bethau goreu ef; yn nghyfeillach ei gyd-ieuenctyd difyrai hwy, ond ni allent ei ddenu i wneyd dim fyddai yn isel a niweidiol. Yr oedd ganddo barch mawr i'r Sabbath, a mawr y drafferth a gymerai er attal y plant eraill i'w dòri. Pan fyddai yn myned i'r capel erbyn yr oedfa ddeg y Sabbath, byddai bob amser yn rhoddi adnod i'r rhai fyddai gartref i'w dysgu erbyn y delai yn ol, er mwyn eu hattal i chwareu. Er nad oedd ei rïeni yn ôl mewn dysgu eu plant ymhob rhinwedd, eto dywed ei chwaer mai efe oedd y prif athraw oedd yn y teulu, a bod arni hi fwy o lawer o'i ofn ef nag o ofn ei rhïeni; fel yna y teimlai y plant oedd ieuengach nag ef. Yr oedd ei wybodaeth dda, ei dymher fwynaidd, a'i fuchedd rinweddol, yn gwneyd lle mawr iddo yn eu meddyliau. A chan eu bod yn teimlo fel yna tuag ato, byddent yn sicr o fyned at yr adnod yn gyntaf peth wedi iddo ymadael, fel y byddent yn sicr ei bod yn barod erbyn y deuai yn ol. Ond yn y cyffredin, byddai peth amser dros ben, a byddent hwy a phlant y Castell arall yn defnyddio hwnw i chwareu siglaethan. Y peth gwaethaf oedd ganddynt yn erbyn eu brawd oedd ei fod yn dyfod adref mor ddisymwth, a hyny bron o flaen pawb eraill. Dyddiau yr "arwyddion" oedd y dyddiau hyny; ond ni byddai yr un ganwyll gorff, na theulu, na phïogen, na dim arall, yn hysbysu y plant o ddyfodiad sydyn eu hathraw. "Wedi i mi redeg i ben y clawdd," meddai ei chwaer, "pwy a welwn gyntaf ond Deio 'mrawd yn dyfod dan redeg at y tŷ." Ac felly da oedd fod yr adnod yn barod cyn dechreu y chwareu; ond os gwelai arwyddion eu bod wedi tòri y Sabbath, byddai y canlyniad yn annymunol iawn, gan na fynent ei ddigio ar un cyfrif. Ac felly adeg enbyd fyddai hono yn y Castell pan

waeddai un o'r plant ar hanner dydd, "Y mae Deio yn dyfod!" gan y gwyddent y byddai ar eu gwarthaf mewn mynyd. Ond y mae hi yn dyweyd mai cyfarfyddiad dedwydd fyddai bron bob amser, a bod yn dda ganddi weled dydd Sul yn dyfod, gan mor fwynaidd a dengar y byddai yn eu holi. Er mor hoff oedd o gymdeithas, eto yr oedd yn gwneyd y brys mwyaf i ddyfod adref ar y Sabbath, gan y teimlai fod gwaith pwysig ganddo i'w gyflawni, a goreu po gyntaf i fyned ato a thrwyddo. Yr oedd yr athraw am gael gweled hefyd pa fath ddylanwad oedd ei addysg yn gael er dwyn y plant i ddysgu y Bibl a chadw y Sabbath.

Rywbryd o 1798 i 1800, pan ydoedd oddeutu 16 mlwydd oed, dechreuodd yr Ysgol Sabbothol yn y Capel, o dan arolygiaeth y Parch. William Williams, Cilycwm, Sîr Gaerfyrddin, yr hwn oedd wedi bod yn offeiriad yn Eglwys Loegr, yn rhywle yn agos i Bristol, ac wedi gweled ysgolion Robert Raikes o Gaerloyw. Daeth hwnw drosodd at Mr. Lloyd, Cilpill, offeiriad Llangeitho, a gofynodd am y lle mwyaf cyfleus yn y gymydogaeth at gadw Ysgol Sul, a phenderfynwyd ar unwaith nad oedd un lle yn well na'r Capel, ac yno y buwyd ar ol yr oedfa ddau o'r gloch. Clywsom David Jones yn dyweyd ei fod yn cofio byth am y wêdd siriol oedd ar yr hen weinidog yn rhodio o amgylch yn nghanol y dosbarth, gan ddangos y ffordd iddynt i fyned ymlaen.* Ac, fel y profodd y canlyniadau, y mae yn amlwg nad oedd yno neb yn cael ei wefru yn fwy na Deio y Castell pan wnaed prawf ar y peiriant rhagorol hwn yn y gymydogaeth; oblegid o'r dydd hwnw allan ni ddarfyddodd ei zêl drosti na'i ddefnyddioldeb yn ei gwasanaeth. Dyma fu yr achos iddo gael ei alw gan ei gymydogion yn "Gaplan Evan Dafydd Hugh," yr hwn oedd yn hen flaenor yn y Capel, ac a ddaeth allan gyda y cyntaf i bleidio yr Ysgol Sabbothol. Yr oedd y Dafydd hwn yn dadcu i'r Parch. David Hughes, Nantcaredig, Llywydd presennol Cymdeithasfa y Methodistiaid yn y Deheudir, a bu am flynyddoedd lawer yn cadw ysgol nos yn Capel Bettws, ac yn cael ei dalu gan ei gyd-flaenoriaid cyfoethog yn y Capel. Amcan ei ysgol ef oedd dysgu yr ieuenctyd ac eraill i ddarllen Cymraeg, a gwnaeth lawer yn hyny i godi chwaeth y bobl at waith yr Ysgol Sabbothol. A phan ddechreuodd hono, efe oedd yr arolygwr cyntaf a ddewiswyd arni, ac oblegid hyny yr oedd holl drefniadau yr Ysgol yn cael eu hymddirred iddo ef, ac nid oedd yno un crefyddwr a allai roddi fawr o gymhoeth iddo. Ond yr oedd yn hollol adnabyddus o Deio'r Castell, ac wedi gweled ei ragoriaethau pan oedd gydag ef yn yr ysgol nos, a phenderfynodd wneyd defnydd o hono gyda dwyn ymlaen achosion yr ysgol. Byddai yn ymgynghori âg ef bob amser ynghylch trefniadau newyddion; a phan yn cyfansoddi pwnc, ni fyddai byth yn gwneyd heb help Deio i gyfansoddi ac ysgrifenu. Treulient lawer o'u hamser mewn ymgynghori pa fodd i fyned ymlaen; byddai Deio yn myned at Dafydd, a Dafydd at Deio. Yr oedd rhai yn anfoddlawn iawn fod Dafydd yn cadw un digrefydd yn gaplan; mynent fod un mewn swydd mor bwysig yn gwisgo cochl grefyddol, beth bynag. Ond yr oedd Dafydd â'i lygad yn

* Gan fod David Jones wedi cyfansoddi traethawd ar ddechreuad, &c., yr Ysgol Sabbothol yn nghymydogaeth Llangeitho, ni ddywedwn ragor ar hyn, ond yn unig i hono wywo heb fod yn hir, ac na ddaeth dim trefn dda arni nes ei hail-sefydlu gan y Parchn. Thomas Charles, ac Ebenezer Richard.

ei ben, ac yn gweled yn y bachgen ddefnyddiau rhagorol i ateb ei bwrpas ef ar y pryd, ac ni fynai wrthod ei wasanaeth yn unig am y rheswm nad oedd yn proffesu. Nid oedd yn gweled, chwaith, fawr o bellder rhyngddynt; dim ond rhywbeth yn debyg i'r ddau le yr oeddynt yn byw ynddynt; yr oedd y rhai hyny yn ymyl eu gilydd—ddim ond bod rhyw ychydig o *common* gwastad i'w groesi. Felly yn yr ystyr hwn, nid oedd ond ychydig o dir hynod o wastad, hawdd ei drin a'i gau i fewn, yn gwahanu rhyngddynt, pan oedd milldiroedd o fynydd-oedd uchel, diffrwyth, rhwng llawer a phawb oedd yn byw yn ninas Duw. Ac wedi i Dafydd Evan Hugh fyned i Eglwys Loegr, er mwyn cael cadw ysgol y Lady Bevan, David Jones ddewiswyd yn arolygwr yn ei le; a bu yn y swydd yn Ysgol y Capel hyd y blynyddoedd diweddaf. Ië, dyna fu diwedd yr hen ysgolfeistr Cymraeg, druan, ac na ddyweded neb "yn ei ddiwedd ynfyd fu," gan mai gweled darn o dir gwyrddlas braf yn meddiant ei hen fam a wnaeth, lle y gallai gael gwell gafael, a thynerach porfa i ddannedd henaint wneyd defnydd o hóno, er cadw tipyn o dô *respectable* dros y babell bridd. Beth bynag, gwnaeth y gŵr da hwn lawer yn ei ddydd tuag at ddysgu a goleuo y wlad.

Un o bethau goreu yr Ysgol Sabbothol yn ei dechreuad, ac am flynyddoedd wedi hyny, oedd adrodd y Bibl o'r côf. Gwnelid hyn yn yr ysgol ac mewn cyfarfodydd cyhoeddus. Cychwynodd David Jones gyda hyn mewn brwdfrydedd mawr; dysgai nid yn unig bennodau, ond llyfrau cyfain o'r Bibl. Yr oedd Mr. Richard, Tregaron, ychydig wedi dechreu yr ysgol, yn arfer cadw ambell i gyfarfod adrodd, sef cyfarfod pwrpasol i wrando adroddiad o'r Bibl. A dywedodd ryw ychydig cyn hyny mai dyna fyddai ei waith y boreu Sabbath nesaf yr oedd i fod yn y Capel. Yr un ddaeth ymlaen gyntaf i adrodd oedd Deio y Castell, ac yr oedd pawb yn foddlawn iddo gael y blaen, gan mai efe oedd yr adroddwr penaf. Adroddodd y bennod gyntaf o'r Rhufeiniaid; ond wrth ei hadrodd, yr oedd dynion yn rhyfeddu fod un o'i chwaeth ef wedi dewis pennod felly, oedd yn dyweyd am anifeiliaid pedwar-carnol ac ymlusgiaid, ac yn rhoddi darluniad mor noeth o bechodau Sodom a Gomorrah. Credent fod gwell pennod na hono yn ei etholedigaeth ef i'w hadrodd yn y fath gyfarfod, a hyny ar foreu Sabbath. Ond cyn darfod rhyfeddu a siarad, dyma yr ail bennod yn ei dilyn; ac os oeddent yn rhyfeddu o'r blaen, rhyfeddent fwy yn awr; nid yn unig am ei fod yn adrodd dwy o'r bron, ond am eu bod yn ddwy mor ryfedd; y gyntaf yn rhoddi darluniad o bechodau y cenhedloedd, a'r ail o bechodau yr Iuddewon, fel pe byddai yn penderfynu dynoethi y byd ger bron y cyfarfod. Rhyfeddent hefyd ei fod yn aros cymaint ar Sinai, ac yntau yn un digrefydd. Ond meddyliai rhai fod yno gynllun bwriadol, ei fod ef yn adrodd y pennodau oedd yn dyweyd am drueni y byd, a bod yno rywun arall yn cymeryd darn arall ar ei ol i ddadguddio trefn gras i achub y byd; ac os felly, yr oeddynt yn gweled fod yno rywbeth tebyg i law Deio y Castell. Ust! dyma y drydedd bennod eto ganddo ef ei hun, wedi gollwng y saeth gyntaf at y cenhedloedd, yr ail at yr Iuddewon, dyma y drydedd eto at bob un o'r ddau, "fel y caeer pob genau, ac y byddo yr holl fyd dan farn Duw;" ac wedi eu cornelu fel nad oedd yr un lle i ddïanc, dyma ddrŵs y ddïangfa yn agor o gyfeiriad na feddyliodd y byd ddim am dano. Gwelodd pawb erbyn hyn mai

Deio oedd yno yn ei wisg arferol. Nid oedd ef, mwy na Paul o'i flaen, yn hoffi taflu saethau yn wyllt ar hŷd a llêd y byd er mwyn dychrynu ei drigolion, heb ddangos iddynt un ffynnonell o gysur; ond mỳnodd ef ei hun weled, a mỳnodd i'r gynnulleidfa weled, yr holl saethau yn cael eu claddu yn aberth Calfaria, fel nad oedd yr un niwed yn y tair pennod, ond rhedeg i gysgod yr Iawn a ddadguddir yn niwedd y drydedd bennod. Ni foddlonodd ar hyn chwaith, ond mỳnodd ddilyn Paul yn ei ddadleniad ardderchog o henafiaeth, cadernid, a gogoniant trefn achub, nes gwaeddi, "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! &c." Adroddodd wedi hyny ranau ymarferol yr epistol, i ddangos y rhwymedigaethau y mae y drefn yn gysylltu â phawb y mae yn wynebu arnynt ac yn eu hymgeleddu. Felly aeth dros yr holl epistol, a chadw-odd y cyfarfod i gyd iddo ei hun, fel na wnaeth yr efengylydd o Dregaron ond rhoddi canmoliaeth iddo, cymhell eraill i ddilyn ei esiampl, a therfynu trwy weddi.

Mae lle i ofni fod dysgu y Bibl ar gôf wedi myned allan o arferiad yn fwy nag a fu; ac nid ydym yn rhyfeddu at hyny, gan nad yw yn cael cymaint o sylw yn awr â'r pryd hwnw. Os oedd gwaith Mr. Richard yn cynnal cyfarfod cyfan yn awr a phryd arall at hyny gynt yn angen-rheidiol, nid ydym yn gweled paham nad oes eisieu yr un peth eto, neu rywbeth cyffelyb. Byddai yn dda pe dysgid mwy o bennodau, a byddai yn well pe dysgid llyfrau cyfain o'r Bibl, fel yr oedd David Jones yn gwneyd. Byddai felly holl gynnwys y llyfr yn y côf mewn trefn dda. Wrth ddysgu pennod o lyfr Jonah, darn o hanes mab Amittai fyddai hyny; ond dysger y llyfr i gyd, a bydd holl gyfanwaith yr hanes yn gryno yn y meddwl. Gwell er cryfhâu, trefnu, a choethi y meddwl yw dilyn pob dolen o hanes, nes cael un gadwen gyfan, a dilyn holl gysylltiadau ymresymiad, nes "cael allan y rheswm."

Mae ei fod yn gymaint ei awydd am wybodaeth grefyddol, ac yn ymgymysgu cymaint â'r dynion goreu, yn myned ymhell i brofi nad oedd a fynai â chwantau cyffredin ieuenctyd. Ni ellir meddwl y buasai dynion o fath Dafydd Evan Hugh yn dal cymaint o gyfeillach âg ef, ac yn ymddiried pethau mor gysegredig i'w ofal, oni bae ei fod nid yn unig yn ymhyfrydu mewn gwybodaeth, ond hefyd yn bur lân oddiwrth arferion llygredig ei oes. Nid yn fynych y gwelir ieuenctyd yn sychedu am wybodaeth o air Duw, ac ar yr un pryd yn ymhyfrydu yn y pethau sydd yn ei ddirmygu. Gwnaeth Mr. Lloyd, Cilpill, lawer iddo yn y cyfeiriad hwn; bu gydag ef yn wâs am amser maith, a chydag ef yr oedd pan aeth yn brentis, a dywedodd lawer wrtho pa fodd y dylai ymagweddu nes dysgu ei grefft. A phob tro y cyfarfyddai âg ef byddai yn adnewyddu ei gynghorion, ac yn estyn weithiau hanner coron i'w law, a bob amser fwy neu lai. Unwaith gwelodd ef mewn ffair, ac yr oedd yn hawdd iddo ef gael golwg ar Deio yn y dorf er lleied oedd, gan ei fod ef ei hun yn gorff mor fawr, yr unig anfantais iddo oedd gweled yn agos ato, gan ei fod mor gestog; a phan welodd ef, "Deio, Deio," meddai, "prentis yn myn'd i ffair, *prentis yn myn'd i ffair!* O ffei, ffei!" Mae yn debyg fod hyny yn ei air cyngor iddo bob amser, am iddo beidio myned i ffeiriau i wario ei arian, a myned at oferedd, ac oblegid hyny yr oedd ei weled yn y fath le yn siomedigaeth iddo. Ond beth bynag, adnewyddodd y cyngor, a rhoddodd hanner coron iddo fel arferol.

Gwnaeth y cyngor lês mawr er ei attal i ffeiriau. Clywsom ef yn dyweyd ar hyn yn y cornel ar ryw ddiwrnod ffair, "Yr wyf yn rhyfeddu," meddai, "beth yw yr holl redeg i ffeiriau sydd ar bobl ifainc; bûm yn ieuanc fy hun, ond ni bûm erioed yn hoff o ffair. Yr wyf wedi bod yn meddwl llawer na fyddai dim y dymunwn ei weled yn fwy, na rhyw gyfarfodydd wedi eu sefydlu fyddai yn ateb dyben i'r peth sydd ar bobl ifainc eisiau cyn myned i'r ystâd brïodasol, ac ar yr un pryd yn adeiladol iddynt fel dynion a chrefyddwyr. Gwnaeth y Cymanfäoedd Ysgolion lawer er attal rhai i ffeiriau, ond gan eu bod yn rhy grefyddol i ddynion ifainc gael cyfeillachu ynddynt, rhaid oedd cael y ffeiriau hefyd." Bydd rhai, hwyrach, yn methu deall at ba arferiad yr ydym yn cyfeirio, ond gŵyr pobl Sir Aberteifi a rhai siroedd eraill yn dda, gan ei bod yn arferiad yma er cyn côf, i ieuenctyd fyned i ffeiriau i gyfeillachu â'u gilydd, ac amlygu eu caredigrwydd i'w gilydd, trwy i'r bechgyn fyned â'r merched i dafarnau, neu ryw leoedd eraill, er cael siarad â hwy a rhoddi anrhegion iddynt. Ac y mae hyn wedi bod yn ofid mawr i ddynion fel David Jones, ac nid rhyfedd eu bod yn hiraethu am gael gweled y fath elyn i rinwedd yn cael ei ymlid o'r wlad. Yn un o'r hen draddodiadau clasurol yr ydym yn cael y gwron Ulysses yn cael ei ddal yn gaeth yn ynys Ogygia gan Calypso, duwies yr ynys, yr hon oedd o gymeriad llygredig, nes i'r prif dduw Jupiter anfon gorchymyn iddi i'w ollwng yn rhydd, a'i anfon i'w wlad. Rhyw fân ynysoedd dan lywodraeth lygredig yw y ffeiriau, y neithiorau, y cwrw bach, a phethau cyffelyb sydd ar hyd ein gwlad, yn y rhai y delir llïaws o ieuenctyd ac eraill yn gaeth, fel nad ydynt dda i ddim sydd yn fuddiol iddynt eu hunain nac yn llesol i eraill. A gwŷn fyd na fyddai rhyw genad yn cael ei anfon gan Dduw y nefoedd er eu gollwng yn rhydd! Nid oeddym yn meddwl fod cymaint yn y peth oedd David Jones yn ddyweyd yn ei gysylltiad âg ef ei hun, nes i ni glywed ei chwaer yn dyweyd am ryw ornest ymresymiadol arswydus fu rhyngddi hi âg ef ynghylch myned i ffair Tregaron. Er nad oedd hi ond ieuanc iawn y pryd hwnw, eto yr oedd yn teimlo awydd am gael gweled ffair, fel ei chyfoedion yn gyffredin. Ond yn fuan wedi i'r awydd gael ei amlygu, dechreuodd Caplan Dafydd Evan Hugh ddarllen y gwasanaeth; ac fel yr oedd yr amser yn nesâu, aeth at y bregeth o ddifrif yn erbyn Ffair Gwagedd. Dangosodd ei natur, trwy ddyweyd mai sefydliad at werthu a phrynu moch, da, a cheffylau oedd, ac nid at brynu a gwerthu merched. Mai nid gweddus yw bod mwy o lawer o *girl-drovers* mewn sefydliad sydd wedi ei fwriadu i *horse-dealers, cattle-dealers*, a *pig drovers;* a bod y rhai hyny yn tŷnu a gwthio merched fel y gwna y *jockeys* a'r porthmyn â'r anifeiliaid; mai nid rhyfedd fod yr ymddygiad atynt yn anifeilaidd, gan mai ffair anifeiliaid ydyw; ac mai nid rhyfedd gweled un dan garn y ceffyl fan yma, a'r llall ar flaen corn a than draed y fuwch mewn man arall, gan mai y fuwch a'r ceffyl bia'r ffair. Eu diwrnod hwy yw y diwrnod, teimlant dros eu hanrhydedd, ac y mae ganddynt hawl i fŷnu *fair play* a *full scope*, er mwyn dangos eu hunain ar y geiniog oreu, serch taflu y crëaduriaid deudroed segur sydd yno dan eu traed. Dangosodd y niwed mawr oedd yn y fath arferiad at gadw dynion yn debyg i anifeiliaid, ei fod yn difa blâs at bob peth crefyddol, yn pylu awch yr Ysgol Sabbothol a'r pregethau, yn caledu y galon, ac yn serio y gydwybod.

Pregethu trwy egluro natur a niwed y fath sefydliad yn y defnydd oedd pobl ieuainc yn wneyd o hóno yr oedd hyd yma; ond y nos o flaen, a diwrnod y ffair, cymhwysodd y peth o ddifrif at ei chwaer. Ond nid oedd eisieu y cymhwysiad, gan fod y bregeth wedi hen weithio ei ffordd i'w meddwl; ni chymerai lawer bellach am fyned, gan fod hyny yn gymaint ganddo ef. Fel hyn, nid yn unig ymgadwai rhag llwybrau yr yspeilydd ei hun, ond gwnelai ei oreu i rwystro eraill i fyned iddynt. Dyma fel yr oedd David Jones pan yn ddyn digrefydd; ac nid rhyfedd, yr oedd wedi bod gymaint gyda dynion a phethau da, wedi darllen a meddwl cymaint, fel yr oedd nid yn unig yn oleuedig am hawliau crefydd, ond hefyd yn teimlo rhyw gymaint oddiwrth ei dylanwad.

Os yw ei fywyd dibroffes yn ymddangos mor hynod, fe allai na fydd yn gymaint felly wedi gwybod am ei argraffiadau crefyddol cyntaf. Wel, gwrandewch arno ef ei hun yn dyweyd,—"Os na chês i dröedigaeth pan oeddwn oddeutu saith oed, nid wyf yn meddwl i mi ei chael wedi hyny, gan i mi deimlo rhywbeth mwy grymus ar fy meddwl y pryd hwnw nag a deimlais wedi hyny trwy fy oes." Pan ofynwyd iddo beth oedd yn gwasgu ar ei fedddwl, "Wn i ddim," meddai, "ond gwnaeth i mi weddïo llawer." Hwyrach y dylem adgofio rhai ein bod wrth ddyweyd am dano ef yn saith oed, yn myned yn ol 80 mlynedd i'r amser fu; ac y mae myned yn ol gynifer a hyny o raddau yn neial Llangeitho, yn dyfod â ni at amseroedd na fu eu rhyfeddach, wrth bob hanes, wedi dydd y Pentecost. Amseroedd adferiad o olwg yr Arglwydd oeddynt, amseroedd pan oedd Duw yn prysur aileni Cymru, a Rowlands, gyda zêl a llwyddiant digyffelyb, yn parhâu i gario ymlaen ei waith mawr. Dyma'r amser y cânodd Williams am dano:—

Gwelwch Daniel yn pregethu
  Yn y tarth, y mŵg, a'r tân;
Mil ar unwaith yn clodfori,
  Haleluia yw y gân;
Nes ba'i torf o rai annuwiol
  Mewn rhyw syndod dwfn mud,
Ac yn methu rhoi eu meddwl
  Ar un peth ond diwedd byd.

A chan mai yn Llangeitho yr oedd yntau yn byw, ni allai beidio teimlo oddiwrth y fath ysgwydiadau ofnadwy ar nefoedd a daear. Mae hyn yn sicr, i bregethu Rowlands gael cymaint o argraff arno, nes y cofiodd un o'i ddywediadau am ei oes, a dyma fe, "O NEFOEDD, NEFOEDD, NEFOEDD! BYDDAI YN DDIGON GWAG DY GONGLAU, ONI BAE FOD SION YN MAGU PLANT I TI AR Y DDAEAR." Yr oedd yn pregethu ar y geiriau, "Ac am Sïon y dywedir, y gŵr a'r gŵr a anwyd ynddi, a'r Goruchaf ei hun a'i sicrhâ hi." Yr oedd Rowlands yn aml, pan wedi cael ei orlenwi gan ysbryd ei bethau, yn gorfod sefyll yn sŷn am enyd, yn methu gwybod pa fodd i ddyweyd. Ac adeg ofnadwy yn y bregeth fyddai y dystawrwydd hwnw, tebyg i'r hyn a deimlir rhwng y fellten a'r daran, gwyddai pawb fod rhywbeth aruthrol i ganlyn; ac un o'r taranfolltau dychrynllyd ar ol y dystawrwydd hwnw oedd y dywediad fu yn fythgofiadwy i David Jones. "Gyda'i fod yn dybenu ei ddyweyd," meddai, "aeth yn un floedd trwy yr holl le, fel taro un law yn y llall," ac nid rhyfedd iddo effeithio arno. Pan oedd y fath bregethwr tanllyd yn myned ymlaen yn llifeiriant

gorwyllt ei hyawdledd, a'i lais ar y nodyn uchelaf yn y raddfa, ond yn tòri fyny mòr sydyn, nid rhyfedd i'r penfelyn bychan meddylgar oedd o'i flaen sefydlu ei lygaid arno, a chofio byth y ddwy fraich fawr oedd yn estynedig tua'r nefoedd, a'r wyneb seraphaidd oedd yn tremio yn nghyfeiriad gorseddfainc Duw. Ac wedi unwaith i hynodrwydd yr olygfa a'r dystawrwydd dŷnu ei sylw, yr oedd yn help mawr i'w gôf i gydio yn afaelgar yn y geiriau cyntaf ar ol hyny, gan eu bod yn cael eu dyweyd mewn dull mor ddyeithr a nefolaidd, a chyda dylanwad mor anwrthwynebol ar y dorf. Ac heblaw y bregeth yr oedd ef yn cofio y darn yna o hóni, yr oedd bron yr un fath bob amser yn Llangeitho y pryd hwnw; Rowlands yn ei hwyliau mawrion, a'r miloedd o dano yn ysgwyd fel Libanus o flaen awelon y dylanwad; ac yno y byddent lawer pryd am oriau ar ol y bregeth yn moliannu ac yn bendithio Duw. Ac nid yn yr oedfa yn unig y byddent felly, ond yn aml hefyd llenwid yr holl fro â'u gorfoledd wrth fyned a dyfod. Yn awr yr ydym mewn mantais i roddi y naill beth ar gyfer y llall, er cael gweled beth sydd yn yr hyn a ddywedai yr hen gristion am adeg debygol ei dröedigaeth. Mae yn rhaid i ni gredu yn gyntaf peth mai yn agos i'w farwolaeth y traddododd Rowlands y bregeth a gofiai ef, gan na allai gofio lawer yn gynt na hyny, ac nid oedd ond prin wedi cyraedd ei saith oed pan fu farw Rowlands. Yr oedd yn dyweyd hefyd iddo lefain llawer pan glywodd fod yr hen apostol wedi marw. Ac yn olaf oll, tòrodd diwygiad nerthol iawn allan ymhen y mis wedi i Rowlands farw, yr hwn a ymledodd yn helaeth, ac a barhäodd yn hir. Ac wrth i ni roddi yr holl bethau yna at eu gilydd, a chofio mai tua'r seithfed flwyddyn o'i oedran y cymerodd y cwbl le, maent yn gyfres o amgylchiadau sydd yn rhoddi tystiolaethau cedyrn yn ffafr yr hyn a ddywedai. Beth bynag, nid ydym ni yn meiddio myned mor bell a dyweyd mai un o blant ysbrydol Rowlands oedd David Jones, ac nid oedd ef ei hun yn hòni hyny chwaith, er fod hyny mor debygol a dim oddiwrth yr hyn a ddywedai, a gofiai, ac a deimlai. Ac fe allai fod ei fywyd digrefydd crefyddol yn myned mor bell a dim i brofi hyny; pa fodd y gallai crefydd gael cymaint o'i wasanaeth pan yn ddibroffes o hóni os nad oedd wedi rhoddi ei hanian yn ei feddwl tua dechreuad ei ffordd? Mae cynlluniau y drefn Ddwyfol o achub yn rhy ddirgelaidd i ni allu eu hamgyffred; ond y mae genym le i gasglu oddiwrth dystiolaethau y Bibl, a llawer o rai eraill hefyd, fod gras wedi dechreu ei waith mewn rhai personau yn foreuach na'r seithfed flwyddyn o'u hoedran. Nid yw ei fod heb ddyfod at grefydd am flynyddoedd lawer ar ol hyny yn un prawf yn erbyn hyny. Fel y mae rhai dynion ar ol cael archollion marwol yn byw am amser maith, ac eraill yn marw ar unwaith; felly y mae llawer cyn marw iddynt eu hunain, a myned ar ol yr Iesu, wedi iddynt gael eu harcholli gan gleddyf yr efengyl. Beth bynag, y mae llawer yn credu ei fod yn un o'r plant a "aned yn Sïon" o dan y bregeth ryfedd a draddododd Rowlands, ac na chollodd yr awydd am lenwi gwagder "conglau y nefoedd" byth wedi hyny.

Cafodd Deio'r Castell wraig! Bydd rhai yn sŷnu at hyn, gan iddo ddyweyd na fu erioed yn hoff o ffair, yr oedd yn ddiystyr o'r moddion goreu yn eu tŷb hwy tuag at ennill y da hwn. Crêd llawer fod yn anmhosibl cael gwraig heb lawer o ymdrech mewn amser, ac allan o amser,

a hyny mewn anhunedd, blinder, a phoen. Credant y byddant yn colli y manteision goreu am wraig dda, os esgeulusant ffeiriau, neithiorau, neu ryw gyfarfodydd y bydd merched yn debyg o fod yn ymgyrchu iddynt. Amgylchant fôr a thir, teithiant bant a bryn, treiglant bob càreg, a churant bob llwyn, er gwneuthur yr un proselyt hwn. Eraill, fel David Jones, yn hollol hamddenol yn codi gwragedd o'r fath oreu. Prïododd pan yn rhywle oddeutu yr 28ain oed, â Jane, Cwmclyd, y pryd hwnw yn forwyn yn y Fedw, yn ymyl Capel Bettws.

Cymerodd amgylchiad le mewn cysylltiad â'i brïodas na allwn fyned heibio heb ei gofnodi. Yr oedd yn arferiad gyffredin y pryd hwnw i wneuthur dïod frâg i'w gwerthu, er mwyn cynnorthwyo y pâr ieuanc i wneyd ychydig o brês at ddechre byd, fel y dywedid. Y mae hyny wedi darfod i raddau pell gyda chynnydd gwybodaeth, fel y mae adar y nos yn ymguddio gyda dyfodiad y dydd; ni chlywir am danynt erbyn hyn, ond mewn rhai cymydogaethau, a chyda rhyw fath o ddynion sydd ymhell ar ol eu hoes mewn gwareiddiad a chrefydd. Yr oedd llawer o ddyweyd yn erbyn hyn gan ddynion da yn amser ei brïodas ef, a chynghorwyd llawer arno yntau gan yr hen William y teiliwr, Capel Bettws, ac eraill, i beidio darparu y fath lygredigaeth. Ond gan fod ei dad, fel y dywedwyd, yn orchwyliwr coed dan Captain Davies, Tan-yr-alltlwyd, a bod hwnw yn delio cymaint yn y brâg, ac yn cymhell ei dad ac yntau i wneyd y ddïod, gan ddyfod âg engreifftiau lawer o'r elw oedd yn fforddio i rai ar y fath achlysuron, ildio iddo ef ddarfu iddynt. Ac yr oedd ei gyngor yn cael ei wneyd yn fwy effeithiol fyth, gan ei fod yn rhoddi y brâg am ddim ond ei ymofyn; ac felly gwnaethant hyn mewn rhan i'w foddloni ef, ac mewn rhan dan ddylanwad awydd am yr elw. Aeth Deio at y Captain i gyrchu y brâg; ac wrth ddyfod oddiyno, dyma gi du mawr yn ei ganlyn yn hynod o gyfeillgar, fel pe byddai yn falch iddo gael cwsmer newydd i'r brâg. Ni wnaeth sylw o hóno am ychydig; ond pan welodd ei fod fel yn penderfynu ei ddilyn, aeth yn anesmwyth yn ei gylch; gofynodd i ferch oedd yn myned tua glàn y môr a wyddai pwy oedd ei berchen; dywedodd na wyddai, ond ei bod yn gwybod mai nid Captain Davies. Gwnaeth hono ei erlid goreu y gallai; ac er iddo ymddangos fel yn foddlon i'w dynged ar y pryd, yn ol y daeth mewn ychydig eiliadau. Darfu iddo yntau drachefn ei ddwrdio a'i erlid, ond glynu yr oedd er pob gwrthwynebiad; ac er pob ymdrech i'w attal, dilynodd ef i'r Castell, a gorweddodd y noson hono ar y sachaid frâg, fel gŵr boneddig ar wely o blu brâf o'i eiddo ei hun. Gwelwyd erbyn hyn faint bynag o gariad oedd gan y ci at y dyn a ddilynodd, fod rhywbeth neillduol rhyngddo â'r brâg, fel yr oedd yn rhaid iddo gael bod yn yr un man âg ef ddydd a nos, a mynodd fod er pob rhwystrau. Gwnaed y ddïod, a daeth y dydd i fyned â'r ddau at yr allor i'w cysylltu ynghyd mewn glân ystâd prïodas. Yr oedd Captain Davies ei hun yn bresennol trwy y dydd, ac efe oedd yn gwerthu y ddïod, a gwnaeth lawer tuag at i'r neithior fod yn ddyddorol ac ennillfawr. Cafodd Deio wyth bunt o elw oddiwrth y brâg, o ddechreu y drafodaeth i'r diwedd, a phrynodd fuwch olygus â hwy. Yr oedd y ci yn bresennol yr holl amser, yn gweled gwneyd y ddïod, yn gweled rhialtwch yr holl fasnach, a'r fuwch a brynwyd â chynnyrch yr oll. Yr oedd buwch Deio yn yr un beudŷ a dâ y Castell, ac yr oedd yntau a'r wraig yn y Castell uchaf am ryw

ychydig. Aeth yr oll ymlaen yn esmwyth am ryw gymaint. Ond ryw noswaith aflonyddwyd cwsg yr hen deulu gan gyfarthiad y ci ar y dâ, a galwodd mam Deio ar Dafydd ei gŵr i godi ac erlid y ci, gan ei fod yn dychrynu yr anifeiliaid, ac yn eu rhwystro i bori. Gwnaeth yntau hyny, ac ni welodd y ci byth drachefn. Yr oeddynt yn meddwl erbyn hyn fod ei fawrhydi wedi myned yn fwy anniddig a chroendeneu wedi iddo golli y brâg; dyoddefasai ef fwy o erlidigaeth, a hyny yn amyneddgar a thawel, yn amser y brâg, nag a ddyoddefai yn awr. Ryw ychydig ar ol hyn, yr oedd ffair yn Nhregaron, a daeth Mr. Lewis, Cwmcau, at Deio i ofyn a oedd wedi colli ci, a dywedodd yntau nad oedd ganddo yr un i'w gel. "Wel," meddai hwnw, "y maent wedi lladd ci yn *parcel* Blaenpenal, yr hwn oedd yn *right* gynddeiriog, ac yr oeddynt yn dyweyd mai eich ci chwi oedd." "Fath un oedd?" gofynai yntau; a rhoddodd Mr. Lewis ddesgrifiad mor gywir ag a allai o'r crëadur gwenwynllyd. Dywedodd Deio wedi hyny am y ci dyeithr, a bod yr un a laddwyd yn ateb i'r desgrifiad. Ond adgofiodd mewn mynyd noswaith y cnoi, ac adref y daeth yn ddioedi, gan adael y ffair a'i holl helyntion, er mwyn gwneyd ymchwiliad a oedd rhyw niwed wedi ei wneyd i'r dâ, a rhagflaenu aflwydd. Ac wedi myned i olwg *commons* Capel Bettws, gwelai dwr o ddynion yn sefyll fel pe byddent yn edrych ar rywbeth, ac wedi myned atynt, gwelodd mai ei fuwch ef ei hun oedd yno wedi trigo. Yr oeddynt yn meddwl eu hunain fod rhywbeth tebyg i'r gynddaredd arni. Ac wedi clywed hanes y ci, yr oedd pob peth yn eglur. Erbyn hyn gallem feddwl fod y darllenydd a'i fron yn llawn o gwestiynau, ac mewn pryder mawr yn ceisio dychymygu rhyw atebiad iddynt. Ni ryfeddem os yw yn gofyn yn alarus, Och fi, beth am yr hen gi du hwnw! Pa fodd y gallasai ddyfod i dŷ Captain Davies, a hyny erbyn yr adeg yr oedd David Jones yno? Ai tybed fod y gynddaredd arno pryd hwnw, ynte wedi hyny y cymerodd le? Pa fodd y gallasai y ci ddilyn mor gyfeillgar ddyn dyeithr, a mynu bod gydag ef er pob rhwystrau? Pa fodd na byddai perchen y ci yn dyfod i wybod rhywbeth am dano, a dyfod i'w gyrchu adref? Paham y darfu iddo frathu buwch David Jones a gadael y lleill, neu pa fodd y bu am y lleill? Aros, ddarllenydd, mae yr oll yn gwestiynau anorphen; ni allodd neb o'r rhai oedd â'r manteision goreu ganddynt i wybod, ddyweyd dim oedd yn gwneyd y peth yn weledigaeth eglur. Ond gyda golwg ar David Jones ei hun, penderfynodd ef y mater ar unwaith, mai cerydd arno ef ydoedd, am iddo fod yn gymaint o wasanaeth i'r diafol yn ei brïodas, a hyny wedi iddo gael cymaint o'i gynghori gan hen dduwiolion yr ardal i beidio. Yr oedd yn dyweyd ei fod ef yn rhoddi mwy o bwys y pryd hwnw ar gyngor William y teiliwr, y dïacon, nac ar gynghor Captain Davies y masnachwr; a chan fod ei feddwl mewn ansawdd mor dyner, yr oedd yn naturiol iddo dderbyn argraff o'r fath. "Ac heblaw y cwbl," meddai, "yr oeddwn yn gweled y peth mor naturiol, y ci yn dilyn y brâg, yn aros yno nes prynu y fuwch â'r elw, ac yna yn ei chnoi, a'i chnoi hi yn unig heb gyffwrdd â'r lleill; ac heblaw hyny—wyth punt gafwyd am y brâg, a'r un faint a dalwyd am y fuwch, a dyna yr holl elw wedi myned." "Cefais," meddai drachefn, "fyned i'r ystâd brïodasol yn anrhydeddus heb golli fy nhraed, fel llawer; ac ni fynaswn er dim fod yr ystaen yna wedi myned ar fy mhrïodas wedi y cwbl." Yr ydym o'r un farn a Solomon

am amgylchiadau y byd, na allwn wybod "cariad neu gâs" wrth yr hyn oll a wneir dan haul. Pan oedd un yn dyweyd wrth y Parch. Evan Harries am ryw un oedd wedi tòri ei goes pan wrth ryw waith, "O, yr oedd rhywbeth yn galw am hyna." "Beth ydych yn geisio ddyweyd, y dyn," meddai yntau, "pe byddai Duw yn ateb i bob galw, ni fyddai gan neb o honom yr un goes." Ond rhaid dyweyd, os bydd Duw yn codi offerynau at ei waith, mae yn sicr o arfer moddion priodol er eu cymhwyso at hyny. A chan ei fod yn bwriadu David Jones i fod yn enau drosto i lefaru yn erbyn arferion llygredig y wlad, mýnai wneyd y rhai hyny yn ddigon chwerw iddo ef ei hun yn gyntaf, fel y byddai yn fwy hŷf a phenderfynol yn eu herbyn. Os bydd gweision yn anfoddloni eu meistriaid, tröant hwy ymaith; ceryddant y plant, ond cadwant hwy adref yr un pryd; felly y mae Duw fel yn gadael rhai at eu rhyddid yn y byd yma i wneyd fel y mynont, ond ceidw ei lygaid ar ei blant, ac os byddant yn cyfeiliorni, "Ymwelaf," meddai, "â'u camwedd â gwïalen, ac â'u hanwiredd â ffrewyllau. Ond ni thòraf fy nhrugaredd oddiwrtho."

Ni ddarfu iddo roddi y meddwl am fuwch i fyny er colli y gyntaf mewn dull mor groes i'w deimlad; ond penderfynodd ddechreu ei fyd y tro nesaf ar sylfaen fwy cyfreithlawn a chadarn. "Bu yn galetach arnaf," meddai, "gael yr ail na'r gyntaf, ond yr oeddwn yn teimlo fy nghydwybod yn dawel, a'r hawl oedd genyf yn y crëadur lawer yn fwy cyfreithlawn." Gallai ddyweyd hyny erbyn hyn, gan fod pob ffyrling o'r fasnach anghyfiawn wedi myned gyda y fuwch i ddystryw yr un diwrnod, a theimlai nad oedd unrhyw dramgwydd pechadurus felly yn rhwystro ei lwyddiant yn awr, pa mor gyfyng bynag oedd ei amgylchiadau. Yr oedd yr adnodau canlynol ar ei feddwl yn barhäus,—"Ni thycia trysorau drygioni, ond cyfiawnder a wared rhag angeu. Ni edy yr Arglwydd i enaid y cyfiawn newynu, ond efe a chwâl ymaith gyfoeth y drygionus. Y neb a weithio â llaw dwyllodrus fydd tlawd, ond llaw y diwyd a gyfoethoga." Yr oedd y siomedigaeth a gafodd yn y fuwch gyntaf yn peri iddo weled meddwl yr adnodau yn ngoleuni ei amgylchiadau ei hun, a chafodd eu gweled yn cael eu sylweddoli yn llawn cymaint yn y llwyddiant a ddilynodd yr ail fuwch. Cafodd hono fyw i henaint têg, a hiliogaeth hono sydd yn y Dolaubach hyd heddyw. Ac y mae yn deilwng o sylw na thrigodd yr un crëadur o gylch ei dŷ byth wedi buwch y brâg. "Nid wyf yn cofio," meddai, "i gymaint a châth drigo genyf byth wedi hyny." Nid oedd a fynai â newid na gwerthu yr un crëadur fyddai ganddo, ac felly yr oeddynt yn cael byw faint a allent o'i ran ef, a mýnai eu gweled yn cael chware têg am damaid a allai eu cylla dreulio hyd y diwedd. Ac am yspaid mor faith a thriugain mlynedd, byddai mor hawdd cyfrif y buchod fu gydag ef, a chyfrif y patrïarchiaid o flaen y diluw, gan ei fod yn eu cadw oll o'r pymtheg i'r ugain mlwydd oed, pan y byddai yr amrywiaeth mewn cynifer a hyny o amser mewn llawer man yn rhy ddyrys i neb weled eu hachau. Anner fraith y galwent hwy fuwch deunaw oed. "Danfon yr anner fraith yna i'r tŷ," meddai; pan, er syndod y gŵr dyeithr oedd yn clywed, y gwelai fuwch â phob arwyddion arni ei bod wedi gweled pymtheg o hafau,—ni ddylem ddyweyd gauafau, gan fod mwy o arwyddion hâf arni na gauaf. Trueni na chawsai ef a'i fuchod fyw i fwynhâu bywyd hirhoedlog y mil blynyddoedd, pan y bydd dyddiau dyn fel dyddiau pren, a phan y byddant

yn cyfrif mai bachgen fydd yn marw, er iddo fod yn fab canmlwydd. Yr oedd buchod Dolaubach hefyd, hil ac epil, yn rhai o gymeriad da yn eu hardal, fel yr oedd llawer o ymofyn am eu lloi i'w magu, gan y byddai dynion yn ystyried eu bod yn cael rhywogaeth dda am laeth a bywyd hir, os unwaith y byddai iddynt eu cael hwy. Darfu iddo ef unwaith wneyd cynnyg têg at dòri y rheol am hirhoedledd y buchod, trwy werthu un o honynt i gymydoges iddo i'w phesgi, pan nad oedd ond un mlwydd ar ddeg oed; ond fel yr oedd gwaethaf i'r amcan hwnw, gwelodd y ddynes, wedi ei godro, ei bod yn ormod o wastraff ar haelfrydedd rhagluniaeth i ladd buwch tra byddai mor ffrwythlawn ag yr oedd hono; felly cadwodd hi am flwyddyn drachefn. Ond nid gwell eto, ac felly y bu o flwyddyn i flwyddyn, nes cyraedd i oedran cyffredin y *breed*. Nid yn unig gyda'r gwartheg y byddai ef fel yna, ond yr oedd yr un fath tuag at bob crëadur ynghylch y tŷ, wedi unwaith ddechreu cydfyw, ni fyddai gwahanu yn gyffredin nes y byddai henaint wedi gwneyd hyny yn rhaid. Gadawn ef y tro hwn wedi dyfod unwaith eto yn gysurus, ar ol helynt y brâg a'r priodi.

---

# GWEDDI.

*GAN ISLWYN*

### LLYTHYRGLUDYDD YR ENAID.

AM Weddi lân y cânwyf
A phur aidd, ei hoffi 'r wyf:
Bu i mi heb ammheuaeth
Yn gynnaliol fywiol faeth.
Ffynnon cysuron y sant,
A'i ganwyll i ogoniant.

O fodd y plethwyf iddi
Rwymyn aur o'm hawen i.
Hi fu yni fy enaid,
A'i holl rym mewn llawer rhaid.
Hi redodd lawer adeg
I agor dôr y nef dêg,
A dŷg imi râd gymhorth
Doniau o bell, Duw yn borth.

Fry hi gyfododd o fro gofidiau
Ar hoew adenydd, uwch môr a'i dònau,

Uwchlaw y daran a'r uchelderau,
Uwch pellaf drum olaf y cymylau,
Filwaith i'r nef olau,—a d ŷg yn ol
H ŷd y rhiw sêrol, ddwyfol drysorau.

Fy Nghenades yn fy angen ydoedd
I ofyn nwyfau o nef y nefoedd,
Yn daer uwch y pellderoedd—gwnai ofyn
Rhâd i'r abwydyn uwch rhodau 'r bydoedd.

Er fy mai, deuai bob dydd
Yn glodus lythyrgludydd,
Yn barod yn y bore
A hwyr nos i fyn'd i'r ne'.
Esgynai yn hwylus ganwaith
A'm llythyr, fy llythyr llaith,
Ag ôl edifeiriol f ŷs
Ar y dail, ddagrau dilys;
A Iôr fy Mhorth, er fy mai,
Yn fuan a'm gofwyai.

I fyny eto anfonaf—drwy hon,
A thirion lith yraf,
Nes elo â'm cais olaf
O'r terfyn, i gartref Nâf.

*"Y ffenestri yn agored tua Jerusalem."*

Arddunol gwel'd addolydd
A Gair Duw 'n agor y dydd!

Ei d ŷ ef sy gysegr nefol,—parod
Bob bore at ddwyfol
Wasanaeth, a'i blant swynol—yn gryno
A'i weis yno, heb un yn absennol.

Yn arwain eu tylwyth rhïaint welir
At y Fainc ddwyfol, rasol,—fe 'u rhesir
Yn hardd o'u hogylch, y Bibl mawr ddygir;
Byd a'i ddisylwedd oferedd fwrir
Allan am enyd, a llòn ymunir
I wrando weithian ran o'r Gair enwir;
Gyda phêr emyn trwy 'r Gwaed offrymir
Aberth mawl, fe 'u hatebir,—a hwy, gwn,
O fewn y dwthwn hwnw a fendithir.

Ni ddaw drwg, nac annedwydd dro,—i'w cwrdd,
Cânt eu cyfarwyddo
A'u harwain heb ŵyro,—Gweddi a Chlod
A wna ddiwrnod â nawdd Dduw arno.

Ni ddaw i fwthyn y Weddi fythol
Un ffael annedwydd na phlâ niweidiol;
Lle trîg Gweddi mae Gallu Tragwyddol
A Iôn yn ei ras yno 'n arosol,
Dïau gyda phob duwiol—mae Duw 'r Hêdd
Yn ei gariad rhyfedd yn gartrefol.

Derbyniaf Arch Nâf i' nhŷ,
Daw hoen a rhâd o hyny.
Bo gwell fy Haddef bellach,
Ys hon fo yn Sïon fach.
Yn fy nhŷ, o flaen fy Nâf,
Hyd fedd offeiriad fyddaf:
Ceir hêdd sicr uwch cyraedd som,
Byd odiaeth Obededom.

Arferaf y wawr fore,
Aberthaf i Nâf y ne':

A mîn nôs caf ymnesu,—erfyniaf
Ar i'w Faner ledu,
A'i Gariad fel caëad cu
Drosof, er gwaed yr Iesu.

Af i huno ar fynwes—fy Ngheidwad,
Ef yw 'nghadarn Achles;
Rhydd imi beraidd amwes,
I 'ngwylio rhydd engyl rês:

Yn orddedwydd breuddwydiaf
Trwy y nos am Gartre' Nâf
A dyddan fro dedwyddyd,—am seintiau
Am y fwyn bau, am afon y bywyd,
Am haul heb ddim cymylau,
Am bur hoen mwy i barhâu,
Am y gorau forau fydd
Fawreddog glaer foreuddydd.
Pan gâf uwch poen a gofid
Esgyn goruwch llynclŷn llid,
O wael fedd i nefol fyd
Yn nelw fy Anwylyd.

## CYFOETH GRAS.

*"Y tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno, neu eu meddwl!"*

Iôn drwy 'i wir gariad wna 'n dra rhagorol
Tu hwnt i gaerau ffiniau gorphenol
Ein dymuniadau mwyaf eithafol;
Y Weddi ehangaf, o gystudd ingol

Erioed anfonwyd ar aden fewnol,
Iôn a fedra ragori 'n anfeidrol
Ar y Weddi hono: mor arddunol
Hwnt i'r eidduned a'r natur ddynol
Yr ehanga ei Gariad Cyfryngol
Yn rhyw afonydd pell annherfynol!

O Feddwl dyn! pwy feiddia—roi y ffin
Gorphenol i'w yrfa?
Yn nglöew nef fry angel wna
Ddilyn ei weddi ola'?

Un mynydyn! a'i ddymuniadau
Hwnt a basiant heibio i oesau,
Fry ehêd goruwch dirfawr rodau
Myrdd o fydoedd, moroedd o fodau,
Nid yw 'r bedd y düoer bau—ond bywyd
Iach ar ei loëwbryd a dechreu 'i lwybrau!
Ond, yn Nuw, nid yw ein hawydd—penaf
Ond y lleiaf at râd y Llywydd.

I f' enaid mi ofynaf—y rhadau
Gwaredol uchelaf,
Eto daw 'r geiriau ataf
"Mae yn ol, fil mwy yn Nâf!"

E ddeil y Weddi ola'—yn y man,
A'm dymuniad pella',
Yn ffyddlawn fe 'u cyflawna,
Fe rydd im' ryw fôr o dda

Hwnt i angau, ond dengys—yn y fan
Fôr o hêdd dihyspys,
Neu newydd le 'n nawdd ei Lŷs,
Le mwy tawel i'm tywys!

### Y PRIF ALLU.

"*Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn.*"

Pwy a draeth ei helaeth hawl?
Un Gweddi â'r Tragwyddawl!
Rhoddwyd pob llawnder iddi
Yn eres ran, Aeres Rhi!

Ymguddiwyf dan rym Gweddi,
Agor môr wna ei grym hi.
Ni fedd enwog fyddinoedd—y filfed
O'i nefolfawr nerthoedd;
Gyda 'i nerth Gedeon oedd
Yn uthr fwy na thyrfäoedd.

Y mae gallu holl lüon
Engyl Duw yn ngalwad hon;
Ar ei llais disgyna 'r llu
A chân, i'm hamgylchynu:
Taen o blaid y cristion blin
Ryfeddol ddysglaer fyddin;
Gwarcheidwad gorwch ydynt,
Gwarchlu Iôr goruchel ŷnt.

Er dyfais mawr diafol—a'i allu
Hyllig ac uffernol,
Taran Nâf a'i tery 'n ol,
Rhag Gweddi ffy 'n dragwyddol.

O bob parth os cyfarth cŵn
Drygionus, dreigiau annwn,
O'm henaid ochenaid chŵydd,
Tery hwynt â dystawrwydd,
A throlŷn o gythreuliaid
Yn sydyn fel boglyn* baid. *Bubble.

Yn ddilys pan addolaf
I gysgod y Duwdod âf.

Cuddia fi 'n llòn yn ei gyfion gafell,
I gyd yn nghysgod ei ëang asgell,
Peryglon mawrion ymhell—draw a ŷr,
Yr wyf yn bybyr o fewn ei Babell.

Gweddi dŷn derfyn nas daw
Gelyn drosto i'm gwyliaw;
Llinell bell, lle ni eill byd
Na diafol dd'od hefyd.
Gwneir ysplenydd ddefnydd o
Holl Anian, trwy gynllunio;
Defnyddir ar dir, ar dòn,
Ei hynïau yn ëon.
Cyflymder ager a rydd
Fythol ogonol gynnydd,
Mewn hoen pasia, gwawdia 'r gwynt,
Fel hoen cerub flaen corwynt:
Segur ar y gwyrddlas eigion—unwaith
Fu yni 'r awelon,
Hwythau a chwyddant weithion
Yr hwyl dêg ar ròl y dòn.
Y nant, o bu gynt heb waith,
Ar yr olwyn dröir eilwaith;
Try draw â chyngherdd lawen
Olwyn y wiw felin wèn:
Ond Gweddi, y Weddi wir,—(y fwyaf
Wyrth a fawrygaf) ni werthfawrogir!

O, mor ddi-barch yw myrdd y byd
O Elfen fawr Ysbrydolfyd,
Lle mae y gallu mwyaf,
Ië, holl nerth llaw ein Nâf!
Llais hon yn Ollallu sydd
Yn awyr y Crëad Newydd.
Y mae ager a grym eigion,
Dŵr a thir, dan lywodraeth hon.

Trydan uwchlaw anian yw,
Eneidiol drydan ydyw,
A'i gwifrau ar heuliau 'r rhôd,
Ar ochor y sêr uchod,
Cedyrn wifrau yn cydiaw
Yn eirian drôn yr Iôn draw.

Mae 'r enaid mawr ei hunan
A holl fyd Ysbryd o dan
Ei rhëolaeth helaeth hi,
Byd meddwl bob dim eiddi.

O eiddil ŵr diweddi!
Y gŵr marw idd ei grym hi:
Soflyn gwan, ûs o flaen gwynt,
Gŵyra i bob rhyw gorwynt

Egwyddor rymus Gweddi
Wna â Iôn ein huno ni.
Iôr â'i nerth wna 'n cadarnhâu,
Ymhongiwn am ei angau!
Os tŷr y gref ystorom
A sŷn drŵst o Sinai drom,
Os trom fydd y storom faith,
Ymafaelwn mwy filwaith!
Bo gafael ymhob gofid
Yn Nuw Iôr nes lleddfo 'r llid.

"FY NGWEDDIWYR."

E gafodd Jacob gyfion
Orchfygu trwy allu hon.

Ef un nos ofnai Esau
Yn ei sòr oedd yn nesâu.
Y nos hono nis hunodd,
A mawr rym i weddi ymrôdd.
Aeth i'r man lle ca'dd ganwaith
Ras i fyw drwy ei oes faith.

Bu daer hen Jacob dirion
A'r "Gŵr" o fri ger ei fron:
Y Gŵr ar fŷr ragorodd,
Niwl ei ffurf ddynol a ffôdd;

I Angel prid newidiodd;
Newydd drem—yn Dduw e drôdd!
Ryfedded gweled y gwael
Am Iehofah 'n ymafael!
Ah! llwyddodd llaw y Weddi
Ddihafal, er attal Rhi;
O ddwylaw ei addolydd
Ni allai ffoi—llaw y ffydd
Blethai brid addewidion
Fawrwych rwym am fraich yr Iôn;
Ef a geid mewn dalfa gan
Ei air enwir ei Hunan.

Mor ryfedd i'm Hiôr ofyn—y Mawr Dduw!—
Am ryddhâd gan bryfyn!
Ai 'r craff seraph yn sŷn—wel'd Duw 'r lluoedd
Llywiwr y bydoedd yn llaw 'r abwydyn!

Trwy nos hir, er taerni y sant
A'i holl aidd, ni fu llwyddiant.
Gohiriai Duw ei gariad
O'i hoffder yn mwynder mâd
Y Weddi, ac er addas
Brofi ffydd ei brif hoff was.
Pur weddi yw 'r pereiddiaf
Alaw a wneir yn nghlyw Nâf.
Melusach, hoffach ei cherdd
Dawel, nag angel-gyngherdd.
Iôn gâr ei sŵn ger ei sêdd,—a chyn hir
Draw, draw agorir dôr ei drugaredd.

Hyd drannoeth y taerineb—a'r hewyd
Barhäi yn ddiwrtheb,
Sŵn taerach, uchelach, heb
I Iôr eto roi 'i ateb.

Po mwyaf profir gweddi 'r gwael
Tan ei gofid, tŷnâ 'i gafael.

Ar wêniad gwawr y wiwnef
Daeth y ddawn, "Bendithiodd ef!"
Iôn i'w daith a'i bendithiodd,
Ac anian draig yn oen drôdd.
Dygasedd llidiog Esau
Tröai 'n serch, tra yn nesâu.

Rhag fy Esau innau âf,
Hon i finnau ofynaf.
O, Fendith y bendithion!
I minnau fyth mynaf hon!
Hyd y glŷn dïogel âf,
Yn nawdd hon llonydd hunaf.

**Dirym yw gweddi daeraf**
**Enaid prid, i *newid* Nâf;**
**Ond ei nerth wna 'n newid ni**
**I'w Ddelw wrth ei addoli.**
**Ni thŷn Nêr o'i Lŷs eres,**
**Ond tŷn ni at Iôn yn nês.**

**Hi yw f' Ysgol, câf esgyn**
**Yn dra phell hyd ei haur ffŷn**
**Cadernid addewidion**
**Iôn a'i ras, yw ffŷn aur hon.**
**Uwch pellder y sêr os âf**
**Hyd hon, ni thŷr o danaf.**
**Cryfach po uchelach yw,**
**Cadarn hyd y Fainc ydyw.**
**Cânaf ar eithaf ei rhâd,**
**Uwch caer awen, uwch crëad**
**Drwy engyl hyd-ddi dringaf**
**Nes fy n'od i Lŷs fy Nâf.**

**Dirym fu lluoedd dewrion**
**Amalec yn ymyl hon.**
**Ei lew dorf a wnaed fal dim**
**Ar ffodus faes Rephidim.**
**Gwyliai Moesen y gelyn**
**Heb un braw o ben y bryn;**
**E ddaliodd fry ei ddwylaw**
**Ar lêd,—dyferai i'w law**
**Cyn hwyr, y lwyr fendith lòn,—sef helaeth**
**Fuddugoliaeth wrth fodd ei galon.**
**Rhoddes Duw urddas y dydd**
**I ddwylo ei addolydd.**

**Natur fawr un tro fu—ar Weddi fwyn,**
**Fel llawforwyn addwyn yn gweinyddu.**
**Rhoed holl Anian o dani,**
**Daear a nef i'w dwrn hi:—**

**Gweddi i'w llaw ga'dd y lleuad,—a'r haul**
**A roed at ei galwad;**
**Safent wrth ei deisyfiad**
**Er parhâu 'r golau i'r gâd.**

**Uchod bu syndod i'r sêr—nas deuai**
**Nos dywell fel arfer:**
**Dydd a nos, difododd Nêr**
**Eu chwyldaith trwy 'r uchelder.**

**O ryfedd fri Gweddïydd,**
**A'i law 'n dal Olwyn y Dydd!**

**Y santaidd Elias, yntef,**
**Oedd yn hŷ ar allweddau nef.**

Ar Dduw e daer weddïodd,
A'r wybren glaerwen a glôdd;
Ei rymus Weddi oedd rwymyn
Acw amlloyw gŵr y cwmwl gwŷn.

Bu y loywnef, dair blynedd—a chwe' mis,
At ei arch mŷg rhyfedd:
Elias ar angel-sedd!
Fe roed arno fawr deyrnedd.

Ail-blygodd addolodd Dduw
Oni ddelai'r gwlaw 'n ddiluw,
Dylif, erfawr lif ar lêd,
Daear sech dòrai 'i syched.

Ac hono 'r Wraig o Canaan,—nis enwai
Y briwsionyn bychan
Na roes ei Holl Dŷ i'w rhan,—a hawl i
'R holl ddaioni, yr allwedd ei hunan!

O'r nef fe edrych yr Iôr anfeidrol
Ar y gwael a'i weddi anryglyddol,
Rhana ei ddoniau i'r anhaeddiannol;
Y gwael a'r rheidus ga'i law waredol,
A chynnorthwy 'i fraich nerthol—i'w ddyrchu
Trwy iawn Iesu, o'i wae truenusol.

Iôn ni agora i'r hunangarol
Aur drysorfëydd ei rad ras rhyfeddol;
E gaua 'r nènau rhag yr hunanol,
Gweddi ddigyni yr hunddigonol,
Nid â 'r wâg weddi hon yn dragwyddol
O fewn i furiau y nef anfarwol.

Gweddi y truan gwan annigonol
Ystormia 'n ebrwydd y Gaer Dragwyddol,
Y nefoedd egyr, saif yn fuddugol
Ar eirian furiau 'r oror anfarwol!
Deigryn, *un* dyferyn edifeiriol
Nofia longau nefol—yn llawn rhadau
I fewn i ddu enau 'r afon ddynol.

Ah! pobl y cŵynion, y Publicanod
Sy' yn llochesu yn y llwch isod,
Hwy sy dda 'u hachos ger y sêdd uchod;
Edifar ŵr sy 'n dyfod—yn enwawg,
Ië 'n dywysawg godidawg Duwdod.

Pharisëad ni chaffai 'i roesawi,
Iôr a guddiodd ei hun rhag ei weddi,
Ei Iawn oedd ei hunan a'i ddaioni;
Yn nheml Iôn sôn am ei eluseni!

Wael adyn, ei ddilyn yn addoli
Ei hunan, gan anghofio ei gŷni:
Ai y gŵr adref mewn gau wrhydri,
Ynfyd ŵr annoeth, yn fwy 'i drueni.

I'r euog arall Iôr agorai—'i aur borth
O hir bell tra safai;
At yr euog mewn hêdd tröai,
Ei Ras oedd Iôr i suddo 'i fai.

Euogrwydd ei fywyd i gyd godai
I'w olwg ar unwaith, a'r gwael grynai:
Fry yn yr awyr y Farn a rüai;
Ai 'n nos hollol, tua 'r nef ni syllai;
Hyd ei gydwybod euog e dybiai
Rolio o synol 'storm farwol Sinai!
Yn y dwys ofid o flaen Duw safai
Yn fud, heb esgus am fai,—dan gyfion
Farn y Geron, ei ddwyfron a gurai.

Yn ei ran ni feddai un rinwedd
Na degymau, na dim ond ei gamwedd,
Na modd i ddysgwyl am hêdd—a bywyd
Ond trwy agoryd o ddrŵs trugaredd.

E dòrai allan mewn geiriau drylliog
Gyda pharodwedd a llygaid ffrydiog,
"I bechadur dan gur bydd drugarog,
Dy ras, Dduw, rho i droseddwr euog!"

Dïau hwn aeth i'w dŷ 'n ol—yn ŵr rhydd,
O fewn newydd gylch cyfiawnhäol,
Ai adref heb y ddedryd,
A hyn oedd fel newydd fyd!

Draw e welai 'r Lleidr halog—lwybr gweddi
Yn egori tua 'r nef dêg eurog,
Llwybr i wan weddi 'r annuw
Trosodd hyd at Orsedd Duw.

Erfyn ar derfyn ei daith
Yn nôr uffern, O 'r effaith!
Ei weddi fèr ddygodd faith—fythol râd
Iddo 'n atebiad, braidd hwnt i Obaith.

Gwelai Frawd ar Galfari
Goludog at galedi;
E welai fodd, ger ail fyd,—i faddeu
Holl feïau hyll ei fywyd.

Er cŷni y Gŵr canol,—er ei gur
A'r goron ddrain wawdiol,
E welai dêg ddelw ei Dad
A'i hàniad uchfrenhinol.

A thrwy *un* weddi 'n unig—y tröwyd
Y truan colledig,
*Un* ymddiried puredig
I'r pryniad ar y pren dîg.

Ai 'n lân i'r Wŷnfa lonydd
Dan wên Duw brydnawn y dydd!

Iôr o'i nef, prysuro a wnaeth—weithion
Olwynion ei dirion Iachawdwriaeth.

I ras yr Iôr, gwaith o oriau—ydoedd
Ei waredu 'n ddïau;
Aeth i wlad y câniadau,
"Cân yr Oen," cyn ei hwyrhâu.

Mewn un prydnawn gwaith Oes a gyflawnwyd,
O fywiol ŷni ef a ailanwyd,
Yr halog ddyn euog gyfiawnhäwyd,
A'i enaid eilchwyl yn y gwaed olchwyd,
I'r nef lwys fe 'i cymhwyswyd,—cyn hwyr ef
Yn y gain haddef a ogoneddwyd.

Egyr rhyfedd allwedd hon
Ddorau carcharau chwerwon.
Paul anfarwol a fwriwyd
I garchar gan anwar nwyd;
A Silas wâs yr Iesu,
A roed yn y dyfnder du:
Uchel fûr a chloïau fel
Ar gell engur coll-angel!

Er poenus artaith ac effaith cyffion,
Er uchel gaerau a chloïau geirwon,
Tröes y ddau at orsedd Iôn,—Gweddi glau
Ai trwy y nènau at Iôr yn union:—
'Hedai 'n ol o'i Dwyfol daith,
Yn ol fel mellten eilwaith,
A chanddi arch newydd Iôn
I rwygaw daear-eigion,
A darwain o'r dyfnderoedd
Ddaeargryn sydyn nes oedd
Y gell bybyr ail i gawell baban!
Fel myr enwyllt, fel y môr ei hunan!
Pob caer arswydus gwgus yn gwegian,
Pob dôr yn agor, pob dûr yn egwan:
Crynai 'r tŷ fel deildŷ dan
Ystorom a thrŵst taran.

Y drysau cryfion geirwon agorwyd,
A heiyrn fàrau cadarnaf a yrwyd
Oll yn eu hol, a llaw ni welwyd!
Y cyffion oll gollwyd,—a'r ddau enwog
Wrth wir weddïo gan wyrth ryddhäwyd.

Urddas oedd ar y ddau sánt,—at ryddhâd
Rhodd eu Hiôr Ogoniant,
Crëodd hoen ac urdduniant
A bri Jubili i'w blant.

Ceidwad y carchar cadarn
Waeddai fel yn ngŵydd y farn
A sêdd yr Iôr, "Beth sydd raid
I fi estron, O Feistriaid?"
Cei râd y nef os credi
I'r Oen fu ar Galfari;
Euog adyn, fe 'th gedwir
Yn ei waed o chredi 'n wir!
Cyn agor gwawr y borau
Yr oedd hwn wedi 'i ryddâu
Rhag nerth diafol serth a'i sŵyn
A chadwyn ei bechodau.

"MYFI YW Y FFORDD."

Nid oes un Ffordd ond Iesu—a'i Haeddiant
I Weddi ddyrchafu
O fynwes dlawd i fynu,
Arwydda gwaed ei ffordd gu.

Agorai 'i waed Ef y cysegr Dwyfol,
A rhwygai 'r gadarn wahanlèn farnol
Acw er oesau lènai 'r Fainc rasol,
Lènai Dduw! Fe luniodd hëol—olau,
Hardd, fawr, yn nènau, sef ffordd frenhinol
I weddi yr anhaeddol—fyn'd i'r làn
At lŷs nef eirian, at lês anfarwol.

Ryfeddol Iawn! Cyfiawnder foddlonodd!
Ei waed a'i haeddiant mawr a'i dyhuddodd:
Y Ddeddf-daran ddiweddaf a dòrodd
Ar ei ben, a'i holl lîd a dderbyniodd;
Y Gyfraith bur gâf wrth ei bodd,—heb lîd,
Mwyach ei ryddid i'r Meichiai roddodd,
Ac o'i Fodd, Ynddo rhoddai
Ryddid i Fyrdd o'u du fai.

O farw 'r trydydd forau—e gododd
Heb gadwyn yr angau,
Yn ei nerth "i'n cyfiawnhâu'
Drwy ei Iawn a'i fâd riniau,

Fe godai yn fyw Geidwad—yn fore,
Yn Mawr Archoffeiriad,
Hoff Un, er amddiffyniad
A llês dyn yn Llŷs ei Dad.

Yn ebrwydd trwy 'r cain wybrau—adref aeth
Drwy fythol ororau,
I'r Dwyfol gysegr golau
Bellach er "ein cwbl iachâu."

Ah! y mae Swyddog grymus i Weddi
Diail ei urddas yn dadleu erddi,
"Ac Ef yw'r Iawn"—dadl lawn i'n hadlòni,
"Efe yw'r Iawn"—dyna 'i ddirfawr ŷni:
Yn ei Iawn llawenhäwn ni!—Crist Iesu
Sy orlwyddiannus Eiriolydd ini!
O, cânwn yn ein cŷni!—mae Mab Iôn
Yn yr uchelion i'n cynnrychioli!

Ar ddeheulaw Nêr e ddeil yn eiriol
O du ei eiddo, er ei waed haeddol,
Hyd nes daw'r Eglwys fawr annifeiriol
Fore a fydd, yn dyrfa ryfeddol
Allan o'r bedd yn lân hollol,—pob sant
Hwnt i fethiant megys Yntau fythol,
Uwch du ofid, uwch diafol,—uwch pryder,
Uwch sêr, uwch eisiau eiriol!

Fry 'ngweddi innau trwy 'i ing haeddiannol
Yn rymus yn awr, mae Iesu 'n eiriol,
Ni obeithiaf bythol—am achubiaeth
Ond o'i Offeiriadaeth a'i waed ffrydiol.

O bythol eiriol erof—fy Nuw cu!
O dyro Iesu, dy Weddi drosof!

# TAITH I ITALY.

## III.

CYMER y daith o Naples i Rufain gyda y rheilffordd ryw ddeuddeg awr; tua hanner y ffordd yn ngorsaf Isoleta yr oeddym yn croesi y terfyn i diriogaethau y Pab. Yma gofynwyd am ein *passports*, archwiliwyd ein *luggage* yn ofalus, a newidiasom ein cerbydau am rai Victor Emmanuel; ac erbyn naw o'r gloch yn yr hwyr cyrhaeddasom orsaf Rhufain. Wedi cryn helynt, cyrhaeddasom ein *hotel*, a gwnaethom gyfiawnder â'r ciniaw. Yna galwyd am chwech o gerbydau yr adeg hono o'r nos—nos Sadwrn hyfryd, oleu—i'n cludo i weled rhai o brif ryfeddodau y dref, megys y Coliseum, ac eglwys St. Pedr. Clywsem lawer gwaith fod yr olygfa oreu, fwyaf fawreddog, i'w chael ar hen adfeilion anferth y Coliseum wrth oleuni y lloer; a rhaid addef ei bod yn wir ardderchog, yn gyfryw nas gellir ei desgrifio, yn un o'r golygfëydd hyny ag y pery ei hargraff yn fyw ac annilëadwy ar y meddwl am oes. Oddiyno aethom ar draws y dref er cael golwg ar hen eglwys ardderchog St. Pedr; ac yr ydym yn cofio yn dda ein bod yn sefyll yn y cerbydau yn y *square* fawr sydd o'i blaen, ac yn syllu arni, pan oedd ei hen awrlais mawr yn taro hanner nos.

Hen ddinas enwog iawn, ar lawer o ystyriaethau, yw Rhufain. Mae iddi le mawr yn hanes ein byd ni. Bu am oesau yn frenhines y ddaear, a'i buddugoliaethau a'i dylanwad yn cyraedd dros ran ëang iawn o hóni. Ei hynodrwydd mwyaf er ys canrifoedd, bellach, yw, mai hi yw eisteddle y grefydd Babaidd. Yma y mae y Pab yn byw, ac oddiyma yr ysgogir ac y llywodraethir y gyfundrefn hon dros y byd. Mae yn debyg na fu un gyfundrefn ddynol yn y byd erioed a ddeil ei chystadlu â'r Babaeth. Nid yw y llinachau brenhinol hynaf sydd ar y ddaear yn awr ond megys er doe wrth eu cymharu â llinell y Pabau; gellir eu holrain fel brenhinoedd o'r Pab presennol yn ol, yn ddifwlch, am un cant ar ddeg o flynyddoedd, o leiaf; ac y mae llawer iawn o fywyd yn y Babaeth eto; yn wir, bernir fod mwy o Babyddion yn y byd yn awr nag a fu erioed o'r blaen, trwy ei bod wedi ennill mwy yn y byd newydd nag a gollodd yn yr hen. Bernir fod nifer y Pabyddion trwy y byd yn gant a hanner o filiynau, tra nad yw nifer pob plaid gristionogol arall ynghyd dros gant ac ugain miliwn. Gwelodd ddechreuad pob llywodraeth wladol, a phob sefydliad eglwysig sydd yn y byd; a barna llawer y gwêl eu diwedd hwy oll hefyd.

Saif dinas Rhufain ar ganol gwastadedd mawr y Campagno, ryw bymtheg milldir o'r môr; mae yr afon Tiber yn rhedeg trwyddi, yr hon sydd at faintioli afon Caer, y fan y mae pont y rheilffordd yn ei chroesi. Yr oedd yr hen ddinas gynt yn gorwedd ar saith o fryniau, ac yn llawer ehangach a llïosocach ei thrigolion nag ydyw yn awr. Mae y muriau sydd o'i hamgylch yn bresennol yn bymtheg milldir o hŷd. Oddeutu un ran o dair o'r tir amgauedig yna sydd o dan y dref bresennol; mae y gweddill yn feusydd, gerddi, rhodfëydd, ac adfeilion temlau, palasau, &c. Mae ei phoblogaeth bresennol ychydig dros 200,000.

Nis gellir dyweyd ei bod o ran ei hadeiladau yn dref hardd mewn un modd. Oddieithr yn unig yr eglwysi, ni ddeil ei chymharu â Florence, Milan, &c. Mae yr heolydd yn hynod gulion; nid oes ond un yn y dref, sef y Corso, âg iddi *parapets*, ac nid yw hono ond cul. Mae y tai yn uchel, a golwg drymaidd arnynt, bàrau heiyrn croesion ar braidd holl ffenestri y tai, tebyg fel sydd yn ein gwlad ni ar ffenestri carcharau. Ychydig hefyd sydd ynddi o siopau, a'r rhai hyny yn fychain mewn cymhariaeth i drefi eraill o'i maint; dim llaw-weithfäoedd; ac ychydig iawn o dròliau na gwageni a welir yn cludo nwyddau hyd yr heolydd: ymddengys ei bod yn hynod ddifywyd mewn ystyr fasnachol.

Pe disgynai dyn o'r lleuad, dyweder, i Rufain, heb wybod yn y byd pa le ydyw, ni theithiai fawr ynddi nad argyhoeddid ef ei bod wedi bod yn lle enwog iawn rywbryd; mae yr adfeilion mawrion, aml, ardderchog, sydd ynddi ar bob llaw, yn profi hyny, ac yn tystio hefyd ei bod wedi gweled dyddiau gwell. Mae gan bob modfedd o hóni ei hanes; mewn un man gwelir adfeilion anferth hen demlau y duwiau paganaidd, Mawrth, Gwener, Sadwrn, &c.; man arall gwelir *arches* mawrion wedi eu codi er côf am fuddugoliaethau pwysig a ennillwyd; man arall gwelir beddrodau ymherawdwyr, merthyron, a Phabau; mewn cŵr arall gwelir adfeilion palasau y Cæsars; yn y fan draw y safai palas Nero greulawn, a dyna y gerddi y bu y cristionogion yn cael eu llosgi yn fyw ynddynt, wedi eu trochi mewn olew, i oleuo eu rhodfëydd yn y nos.

Golwg ddigon tlodaidd a budr sydd ar lïaws mawr o'r trigolion. Pe edrychid ar y rhai sydd yn cerdded yr heolydd am ddiwrnod, yr ydym yn sicr fod mwy na'u hanner naill ai yn offeiriaid, begeriaid, neu filwyr. Mae yn Rhufain rhwng offeiriaid a mynachod dros 4,500: dylai y trigolion fod yn dra chrefyddol gyda chynifer o ddysgawdwyr. Mae golwg tra neillduol ar yr offeiriad yn Italy; gwisga gôb ddu fawr, a chlôs pen glin, ac esgidiau a bwclau mawrion arnynt, ac y mae llïaws mawr o honynt yn gwisgo peisiau. Mae yr *hat* yn anferth o fawr, a rhyw dair clust fawr yn taflu allan o'r cantel, pa rai a dŷnir at eu gilydd ac a wnïr wrth y coryn. Mae ganddynt ddull tra rhyfedd o fegio,—gwelsom amryw felly yn Rhufain, a rhai mewn trefi eraill hefyd,—sef, ymwisgo â mantell ddu fawr hyd eu traed, a chap neu *hood* du dros eu penau a'u hwynebau hyd yr ysgwyddau, a dim ond dau dwll bychan yn yr *hood* gyferbyn â'r llygaid, a *ladle* yn eu llaw; ânt felly o'r naill dŷ i'r llall i gasglu. Nid yw yn bosibl i neb eu hadnabod. Sonir yn yr efengyl am ryw oruchwyliwr wedi colli ei swydd, a'i fod yn dyweyd, "Cloddio nis gallaf, a chardota sydd gywilyddus genyf;" ac fe ddywedir hefyd ei fod yn gall; ond fe ymddengys nad oedd yn agos càn galled â'r cyfeillion hyn, pe amgen, gallasai gardota faint a fŷnasai, heb achos iddo gywilyddio dim, canys ni wybuasai neb yn y byd pwy fuasai. Methasom a chael allan y rheswm am y dull hwn o fegio, nac ychwaith at pa beth y casglent.

Dïau mai prif ryfeddod Rhufain yn awr yw ei heglwysi, o ba rai y mae ynddi dros bedwar cant, ac oll braidd yn fawrion a heirdd, ac yn cynnwys trysorau o'u mewn o werth anhygoel braidd, yn *mosaics*, mŷnor amryliw, meini gwerthfawr, cerfddelwau, arluniau, lampau aur ac arian, &c., nas gall un ddinas arall yn y byd ddangos eu cyffelyb.

Yr eglwys benaf yw un St. Pedr. Hon yw yr eglwys grìstionogol

fwyaf yn y byd; gallai gynnwys eglwys St. Paul yn Llundain yn gyfan o'i mewn, heb i neb wybod ei bod yno, wrth edrych arni oddiallan. Adeiladwyd hi ar y fan y safai *circus* Nero gynt, lle, meddir, y croeshoeliwyd yr apostol Pedr. Adeiladwyd yr eglwys gyntaf yma gan Cystenyn Fawr, yn y flwyddyn O.C. 330. Adeiladwyd yr un bresennol oddeutu tri chan' mlynedd yn ol, yn ol cynllun Michael Angelo. Buwyd 116 o flynyddoedd yn ei hadeiladu, ar hyd teyrnasiad deunaw o Babau; ac un o honynt, sef Leo X., er cael arian i orphen ei hadeiladu, a ordeiniodd werthu y maddeuant-lythyrau hyny, pa rai fuont yn achlysur dechreuad y Diwygiad Protestanaidd. Costiodd 8,000,000p. Y mae *square* ëang o'i blaen, ac y mae golwg hardd ar ei *front*, ar ben yr hon y mae cerfddelwau o Grist a'i apostolion. Y mae un o'i dôrau nad agorir hi ond unwaith bob hanner can' mlynedd—blwyddyn y Jubili.

Pan eir i mewn iddi, mae y meddwl yn cael ei daraw â syndod, wrth syllu ar ei mawredd a'i harddwch; mae yn llawn o golofnau, cerfddelwau, &c.; y mae pedair o golofnau anferth o fawrion oddiamgylch yr allor, o dan y *dome*. O dan yr allor hon y dywedir fod corff St. Pedr, ond y mae ei ben ef a phen St. Paul o dan yr allor mewn eglwys arall. Y mae 93 o lampau aur yn oleu yn wastadol o flaen yr allor hon ac o amgylch y grisiau sydd yn myned i lawr i feddgell St. Pedr. Yn agos i ganol yr eglwys mewn lle amlwg, ar *pedestal* wrth un o'r colofnau, y mae delw mewn *bronze* o St. Pedr, wedi ei gwneyd yn y 5ed ganrif; ystyrir hon yn dra chysegredig, ac y mae y Pabyddion o bob gwlad, a phawb dyeithr, yn wir, a ddaw i Rufain, yn arfer cusanu bâwd troed y ddelw hon er ys canrifoedd, nes y mae y fawd wedi gwisgo ymaith braidd oll, a rhanau o'r ddau fŷs agosaf ati. Y mae yr offeiriaid sydd yn gwasanaethu yn yr eglwys yn arfer ei chusanu bob tro yr ânt heibio, ac y mae y Pab ei hun yn gwneyd hyny ar yr uchel ŵyliau yn ngwydd miloedd o edrychwyr. Rhag y dygwydda i rai o'n darllenwyr fyned yno, dïau y dylid hysbysu pa fodd y mae iddynt wneyd hyny, yn weddaidd ac mewn trefn. Y mae ambell un pur ddefosiynol yn myned ar ei liniau ar lawr o'i blaen, a'i ddwylaw ymhleth am fynyd neu ddwy, ond nid yw pawb yn gwneyd hyny. Ond y mae pawb yn gwneyd fel y canlyn: 1. Cymeryd eu cadach llogell i sychu y fawd. 2. Ei chusanu â'u gwefusau. 3. Rhoi eu talcen ar y fawd. 4. Ei chusanu â'r gwefusau fel o'r blaen. Gwelsom amryw ugeiniau y naill dro a'r llall yn cyflawni y gwasanaeth, a dyna yn hollol y modd yr oeddynt oll yn gwneyd. Y mae creiriau tra phwysig yn nghadw yn yr eglwys hon, ac y mae taflen yn cynnwys enwau y pethau canlynol mewn llythyrenau o aur uwch ben yr allor:—1. *Handkerchief* Veronica, ar yr hon y dywedir fod darlun o'r Arglwydd Iesu; y traddodiad yw ddarfod i ferch ieuanc o'r enw Veronica, yr hon oedd yn sefyll ar ochr yr heol pan oedd Crist yn cario ei groes gynt i ben Calfaria, estyn ei chadach llogell iddo, i sychu y chwys oddiar ei wyneb; ar ol iddo ef wneyd hyny a'i ddychwelyd, yr oedd darlun gwyrthiol o'i wyneb ar y cadach, ac y mae yn parhâu felly hyd yn awr, a dangosir ef ar y gŵyliau er llês i eneidiau y ffyddloniaid. 2. Pen Andrëas yr Apostol. 3. Darn o flaen y waewffon a wanodd ystlys Crist. 4. Darn o'r wir groes, wedi ei dwyn yma gan Helena o Jerusalem. Dangosir hwy oll mewn lle amlwg yr wythnos sanctaidd, wythnos y Pasc, a phenlinia y Pab a'r Cardinaliaid yn dra defosiynol

o'u blaen. Mewn rhan arall o'r eglwys a elwir y Tribune y mae cadair St. Pedr, yn yr hon y bu ef, meddant, a llawer o'i olynwyr yn eistedd. Dywedir fod penderfyniad er ys canrifoedd i roi delw fawr o'r Pab cyntaf a fo yn y swydd am 25 mlynedd, yn y fan y mae cadair Pedr yn bresennol, man tra amlwg yn yr eglwys; ond na bu yr un eto yn y swydd cyhyd a hyny, ond os bydd y Pab presennol fyw am flwyddyn eto, bydd ef wedi bod am bum' mlynedd ar hugain; ac os felly caiff ei ddelw ei gosod yno.

Buom mewn gwasanaeth crefyddol, *High Mass*, ynddi un Sabbath. Yr oedd yn gwasanaethu chwech neu saith o offeiriaid, ac oddeutu cant o gantorion, rhyw ddwsin o honom ninnau yn ddyeithriaid, a llai na dwsin o drigolion y dref; dyna yr holl gynnulleidfa. Buom mewn degau o eglwysi ar adeg eu gwasanaeth mewn gwahanol fanau o'r wlad, a gallwn dystio mai ychydig iawn yw nifer y gwrandäwyr, ar adegau cyffredin; ond ar adegau neillduol, megys yr uchel ŵyliau, pryd y dangosir y creiriau, ac y gwneir rhyw arddangosiadau neillduol, bydd y cynnulleidfäoedd yn llïosog iawn. Barnant eu bod yn gallu crefydda digon ar adegau felly i wneyd iawn am esgeulusdra adegau eraill. Gellid barnu fod eu syniad am addoli yn dra gwahanol i'r syniad a goleddwn ni yn y wlad hon; nid oes yno nemor ddim pregethu, na dim i ddifrifoli y meddwl mewn un modd; ond yn hytrach pob peth i ddifyru, megys cânu swynol, gwisgoedd heirdd, gorymdeithiau mawreddog, &c. Gellid barnu mai eu syniad am grefydd ydyw, mai cyfres o ymarferiadau corfforol yn unig ydyw, heb fod dim a fyno â'r meddwl a'r galon o gwbl. Bydd yr arddangosiadau yn yr eglwys hon ar wythnos y Pasc yn wir ardderchog; pryd hyn cludir y Pab yn ei wisgoedd gwychion, a'i dair coron ar ei ben, ar ysgwyddau i'r eglwys; yna bydd yn golchi traed tri ar ddeg o bererinion tlodion ar *gallery* fechan yn ngwydd miloedd o edrychwyr, er dangos a dysgu gostyngeiddrwydd, a dynwared gwaith y Gwaredwr mawr yn golchi traed ei ddysgyblion gynt. Mae deuddeg o honynt yn golygu y deuddeg apostol, a'r trydydd ar ddeg yr angel Gabriel; ond paham y golchir ei draed ef nid ydym yn gwybod. Eistedda y tri ar ddeg ar fainc uchel fel y bydd eu traed agos mor uchel â dwylaw y Pab, rhag iddo ef wyro llawer. Pan ddaw i mewn bydd esgob yn dwyn o'i flaen gawgiad o ddwfr mewn llestr arian; bydd esgob arall yn cludo tri ar ddeg o doweli; yna bydd esgob arall yn gafael yn nhroed y cyntaf ac yn ei godi i fyny, pryd y cymer y Pab un o'r toweli ac y gwlych ei gŵr yn y dwfr, ac yna cymhwysa at y troed; a'r un modd gyda'r deuddeg eraill; a dyna yr holl olchi. O ran hyny fe ddywedir na bydd un mymryn o eisieu eu golchi, y byddant mor lân ac y gall dwfr a sebon eu gwneyd cyn hyny. Ar ol hyny ânt i ystafell arall lle y bydd y Pab yn gwasanaethu arnynt wrth y bwrdd a'i ffedog o'i flaen, trwy roddi ymborth ger eu bron, &c.

Yr eglwys nesaf y crybwyllwn am dani yw *St. John the Lateran.* Y mae hon mewn rhai pethau yn meddu blaenoriaeth ar St. Pedr. Yn hon y coronir y Pabau, a chymeryd meddiant o hon yw y gorchwyl cyntaf a wna Pab ar ol ei ddewis: ystyrir ef yn fwy fel brenin gwladol yn St. Pedr, ond yma y mae yn Esgob Rhufain, a Phatrïarch holl eglwysi y Gorllewin. Y mae argraff ar y fynedfa iddi yn hysbysu mai hi yw mam a meistres holl eglwysi crêd. O dan yr allor yn yr eglwys hon y

dywedir fod penau St. Paul a St. Pedr. Dangosir hwy ar Sul y Pasc. Mae un ystafell yn yr eglwys hon a elwir *Corsini Chapel*, mor lawn o addurniadau, meini gwerthfawr, a pherlau, fel y dywedir ei bod yn werth dros 400,000p.

Mewn ystafell arall yn yr eglwys hon dangosir y bwrdd ar yr hwn y bwytäodd Crist a'i ddysgyblion y swper diweddaf yn Jerusalem. Mae yn edrych yn hen iawn, a lliaws mawr o dyllau fel tyllau hoelion dros ei holl wyneb. Yr eglurhâd ar y tyllau yw hyn; ystyrid y bwrdd er ys canrifoedd mor dra chysegredig, fel y byddai ymerawdwyr, brenhinoedd, a boneddigion, o wahanol wledydd y byd, yn d'od i'w weled a'i anrhegu â rhoddion o aur, gèmau, a pherlau gwerthfawr, pa rai, er diogelwch, a sicrhëid â hoelion ar ei wyneb; ac yr oedd yntau yn ad-dalu iddynt trwy gyflawni llawer o wyrthiau pwysig. Ond pan y daeth milwyr Ffrainc yno ryw bymtheg mlynedd yn ol, a chanfod y fath drysorau gwerthfawr yn hoeliedig dros wyneb y bwrdd, barnasant y gallesid gwneyd llawer gwell defnydd o honynt na'u gadael yno, ac yspeiliasant y bwrdd o honynt oll. Dywedir nad yw y Pabyddion byth ar ol hyny, yn talu agos gymaint o barch iddo a chynt, a'u bod wedi rhyw hanner digio wrtho, am na buasai ef, yr hwn a wnaethai gynifer o wyrthiau i bobl eraill, yn gwneyd rhyw wyrth fechan i amddiffyn ei hun rhag y lladron Ffrengig.

Mewn adeilad cysylltiedig â'r eglwys hon y mae *Scala Santa*, neu y Grisiau Sanctaidd, sef y grisiau, meddir, oedd yn arwain i lŷs barn Pilat yn Jerusalem, ar hyd pa rai y cerddodd yr Arglwydd Iesu, ar ol cael ei gondemnio a'i fflangellu, ac ar y rhai y disgynodd dafnau o'i waed. Symudwyd hwy oddiyno gan yr ymerodres Helena yn y flwyddyn O.C. 326. Dywed haneswyr fod mwy o sail i dybied fod y rhai hyn yn gyfryw ag y dywedir eu bod na llawer o bethau a ddangosir ganddynt, o herwydd nid oes ammheuaeth na ddaeth Helena â grisiau cèryg o Jerusalem, ac mai y rhai hyn ydynt; yr unig gwestiwn yw, a lwyddodd hi yn Jerusalem i gael y rhai iawn, o herwydd fod erbyn hyny agos i dri chan' mlynedd wedi myned heibio er adeg y condemniad, &c. Mae wyth ar hugain o'r grisiau cèryg hyn, pob un yn rhyw lathen a hanner o hŷd, a rhyw droedfedd o lêd. Darfu i'r Pab Leo X. ordeinio naw mlynedd o faddeuant *(indulgence)* am bob grîs a ddringid ar ben liniau, mewn agwedd meddwl prïodol. Ystyrid hwy er ys canrifoedd mor sanctaidd, a chredid fod y fath fendithion gwerthfawr i'w hennill trwy eu dringo, fel y byddai miloedd lawer o bererinion o wahanol wledydd y ddaear yn d'od yno i'w dringo ar eu gliniau, nes o'r diwedd y dechreuodd y cèryg wisgo a theneuo; ac er attal hyny bu gorfod gosod byrddau o goed drostynt, ac yr oedd pryder mawr wrth wneyd hyny rhag ofn na redai y bendithion trwy y coed o'r cèryg i'r pererinion; ond y mae yn ymddangos y caed allan yn fuan, nad oedd y coed yn un attalfa i'w rhediad, a pharhâu i'w dringo a wneir yn barhäus, fel y mae y trydydd adnewyddiad o goed arnynt yn awr. Yr oedd amryw yn eu dringo yr adeg yr oeddym ni yno. Cyn cychwyn, taenellant eu hunain â dwfr sanctaidd, a gwnant arwydd y groes; yna ânt ar eu gliniau ar y grîs isaf, ac arosant felly gan weddïo, a'u dwylaw ymhleth, am oddeutu mynyd; yna symudant ar y grîs arall, a gweddïant yr un modd; ac ânt felly ymlaen nes cyraedd yr uchaf, yr hyn a gymer oddeutu hanner

awr o amser. Disgynant ar eu traed ar hyd grisiau eraill sydd o bob ochr iddynt. Mewn ystafell dra chysegredig, ar ben y grisiau hyn, y mae darlun o Grist pan oedd yn ddeuddeg mlwydd oed, wedi ei dynu, meddir, gan St. Luc.

Er dangos gwerth y bendithion a ennillir trwy ddringo y grisiau sanctaidd hyn, dylid rhoi gair o eglurhâd ar yr *indulgences*, yn ol tystiolaeth y Pabyddion mwyaf goleuedig am danynt y dyddiau hyn. Ystyrir hwy yn awr yn dra gwahanol i'r hyn a wneid yn amser Luther, pryd yr hònid eu bod yn faddeuant pechod mewn gwirionedd; ond y syniad priodol sydd fel y canlyn:—Creda y Pabyddion fod dau fath o bechod, sef pechod marwol (*mortal*), a phechod maddeuol (*venial*). Mae y gosb am y cyntaf yn dragywyddol, yn uffern, a'r gosb am y llall yn dymmorol, yn y byd hwn aç yn y purdan, megys ympryd, poen, penyd, &c. Nid yw yr *indulgences* yn cyffwrdd dim â'r math cyntaf yna o bechod, na'i gosb,—nid ydynt yn un dïogelwch rhag uffern. Symudir ymaith haeddiant y pechod marwol ar gyfrif haeddiant Crist yn sacrament penyd; ond nid yw hyny yn dïogelu dim ar y dyn rhag yr ail math o bechod a'i gosb; rhaid i'r dyn ei hunan wneyd iawn, neu foddloni cyfiawnder yn achos y pechodau yna, a'r ffordd i wneyd hyny ydyw trwy ddyoddefiadau a phenydiau. Credir mai ychydig iawn o Babyddion, os neb, heblaw merthyron, sydd yn cael myned i'r nefoedd ar eu hunion ar ol marw; neu mewn geiriau eraill, ychydig iawn sydd wedi dyoddef yn y byd hwn yr holl gosb ddyledus am yr ail ddosbarth yna o bechodau, fel ag i foddloni cyfiawnder Dwyfol, ac o herwydd hyny rhaid iddynt fyned am dymmor i ddyoddef y gweddill i'r purdan. Yn awr, sylwer, mai ar y gosb hon y mae yr *indulgences* yn effeithio, naill ai i'w symud ymaith yn hollol, neu i'w byrhâu, a hyny yn y modd canlynol: dywedir fod yn rhywle gronfa anfeidrol o haeddiant, sef gor-haeddiant Crist, a'r Forwyn Fair, y seintiau, y merthyron, &c., sef yr haeddiant oedd ganddynt dros ben yr hyn oedd yn angenrheidiol yn eu hachos eu hunain; ac fe roed agoriad y trysor gwerthfawr hwn i'w gadw i'r Apostol Pedr, er iddo gyfranu o hóno at wasanaeth y ffyddloniaid; a chyflwynodd Pedr yr agoriad i'w olynwyr y Pabau; a chan y Pab presennol yn unig y mae yr awdurdod yn awr i gyfranu o hóno. Y mae yntau o'i garedigrwydd yn gwneyd hyny ar wahanol ammodau, ac un o honynt yw, dringo y grisiau a nodwyd. Gan fod naw mlynedd o faddeuant i'w gael am bob un, a chan fod wyth ar hugain o honynt oll, y mae dyn erbyn y cyrhaedda y pen uchaf, wedi sicrhâu iddo ei hunan 252 mlynedd o faddeuant, neu *indulgence;* neu mewn geiriau eraill, y mae wedi ennill iddo ei hunan mewn hanner awr, sicrwydd y caiff waredigaeth allan o boenau y purdan i'r nefoedd yn y byd a ddaw 252 o flynyddoedd yn gynt nag y cawsai fyned oddiyno oni bae hyny. Dyna un o'r bendithion sydd i'w cael yn hen ddinas Rhufain.

Nodwn air am eglwys arall, sef *Santa Croce de Gerusalemme*, sef Eglwys y Groes Sanctaidd o Jerusalem. Mae llawr hon wedi ei wneyd o bridd a ddygwyd yma o Jerusalem. Mae ynddi lïaws mawr o greiriau, ac y mae taflen yn cynnwys eu henwau mewn lle amlwg yn yr eglwys. A ganlyn yw rhai o honynt:—

Tri darn o'r wir groes.
Y teitl oedd uwch ben y groes, yn Hebraëg, Groeg, a Lladin.

Un o'r sancteiddiaf hoelion, â pha rai y croeshoeliwyd ein Harglwydd Iesu Grist.
Dau ddraen o'r goron ddrain.
Bŷs St. Thomas yr Apostol, yr hwn a gyffyrddodd âg ystlys sanctaidd yr Arglwydd ar ol ei adgyfodiad.
Y darn traws o groes y lleidr edifeiriol.
Un o'r darnau arian a dalwyd am fradychu yr Arglwydd Iesu Grist.
Y rhâff â pha un y rhwymwyd Crist wrth y groes.
Yr yspwng a estynwyd i'r Arglwydd gyda'r finegr.
Darn mawr o *goat* yr Arglwydd Iesu Grist.
Darn mawr o orchudd *(veil)*, a chydyn o wallt y sancteiddiaf Forwyn Fair.
Rhai o ddillad Ioan Fedyddiwr.
Darnau o freichiau St. Paul a St. Pedr.
Peth o ludw St. Lawrence y merthyr.
Pridd o fynydd Calfaria wedi ei wlychu â gwerthfawr waed ein Harglwydd Iesu Grist.
Phîol yn llawn o werthfawr waed ein Harglwydd Iesu Grist.
Phîol yn llawn o laeth y fendigedicaf Forwyn Fair.
Câreg o'r ystabl y cafodd Crist ei eni ynddi.
Darn o fynydd Calfaria.
Câreg o fedd Lazarus.
Peth o'r manna a fwytäodd yr Israeliaid yn yr anialwch.
Peth o groen a gwallt St. Catherine.
Dant St. Pedr.
Rhai o esgyrn Mair Magdalen.

A ganlyn sydd ychydig o'r creiriau a gedwir, ac a ddangosir mewn eglwys arall a elwir St. Praxede :—

Dant St. Paul.
Crŷs y fendigedig Forwyn Fair.
Gwîalen Moses.
Braich St. Barnabas.
Y towel â'r hwn y sychodd Crist draed ei ddysgyblion.
Dillad bâch yr Arglwydd Iesu Grist.
Y Bais ddiwnîad.
Y gâreg â pha un y lladdwyd Stephan, &c.

Eglwys arall tra phwysig yw St. Paul. Y mae hon y tu allan i furiau y ddinas, wedi ei hadeiladu uwch ben bedd St. Paul, ac yn agos i'r man y merthyrwyd ef. Llosgwyd yr hen eglwys â thân, ac ailadeiladwyd yr un bresennol oddeutu ugain mlynedd yn ôl. Y mae yn hardd annesgrifiadwy; y mae darlun mewn *mosaic* o bob un o'r Pabau er y dechreuad, gan ddechreu o Pedr hyd y Pab presennol, ar ei muriau o'i hamgylch.

Nid oes y fath beth ag addoldŷ Protestanaidd yn Rhufain oll, ac ni oddefir yr un. Bu y *consuls* Prydeinig ac Americanaidd yn cynnal addoliad ar y Sabbothau mewn ystafelloedd yn eu tai; ond ni chaniatëir hyny yn awr er ys blynyddau; ond y mae yn bresennol ddau le bychan tu allan i'r muriau, un gan Eglwys Loegr, a'r llall gan y Presbyteriaid, lle y cynnelir addoliad Protestanaidd am ran o'r flwyddyn.

Dylid crybwyll gair am y Vatican. Dyma balas y Pab, ac y mae yn cyffwrdd âg eglwys St. Pedr. Hwn yw y palas mwyaf yn y byd. Fe'i hadeiladwyd y naill ran ar ol y llall, ar hyd y pedwar can' mlynedd diweddaf. Prin y gellir dyweyd ei fod yn hardd, gan nad ydyw yn ol un cynllun neillduol, ac yn ymddangos fel amryw balasau wedi eu huno â'u gilydd. Mae yn 1,151 troedfedd o hŷd, ac yn 767 troedfedd o lêd; a chynnwysa 4,422 o ystafelloedd. Gan mai hen lanc yw y Pab, heb wraig

na phlant, mae yn amlwg nas gall lenwi yr holl balas anferth hwn ei hunan; ac o ganlyniad y mae rhanau helaeth o hóno yn cael eu defnyddio fel amgueddfa *(museum)*; yn wir, mae yn debyg mai y Vatican, ar amryw ystyriaethau, yw yr amgueddfa flaenaf yn y byd. Mae ynddi lyfrgell helaeth, a thra gwerthfawr, ac amryw ystafelloedd mawrion yn llawn o gerfddelwau, darluniau, &c. Nodwn ychydig o honynt. Un yw y *Pinacotheca.* Tri darlun yn unig sydd yn hwn, a'r rhai hyn, meddir, yw gèmau y gelfyddyd o arlunio; dyma orchestion penaf y ddaear. Y penaf yw "y Gweddnewidiad," gan Raphael, sef darlun o'r Arglwydd Iesu, a Moses, ac Elias, a'r dysgyblion ar ben mynydd Tabor; yn y rhan isaf o hóno darlunir yr hyn oedd yn cymeryd lle wrth droed y mynydd ar y pryd, sef y dysgyblion yn ceisio bwrw allan y cythraul mud a byddar o un a feddiennid ganddo. Dyma waith diweddaf Raphael, yn wir yr oedd heb ei lwyr orphen pan y bu farw, a dygid ef o flaen ei arch yn yr orymdaith ddiwrnod ei angladd. Dyma yr *oil painting* gwerthfawrocaf yn y byd. Mae un o'r darluniau eraill yn desgrifio cymun diweddaf St. Jerome. Ystafell arall tra phwysig, a elwir *Sixtine Chapel.* Bydd y Pab a'r cardinaliaid yn cyflawni llawer o ddefodau crefyddol yn hon ar y gŵyliau. Ond yr hyn sydd yn ei hynodi fwyaf yw y darluniau ardderchog sydd ar ei pharwydydd, ac yn neillduol y "Farn ddiweddaf," gan Michael Angelo. Mae hwn wedi ei baentio ar y pared, ac yn gorchuddio un ochr i'r ystafell. Bu Michael Angelo wyth mlynedd yn ei wneyd, a hwn yw ei gamp-waith. Ar ol iddo orphen, aeth un gŵr mawr o'r enw Biagio, i achwyn wrth y Pab fod amryw o'r lluniau oedd yn y darlun yn noethion, ac felly yn anweddaidd i fod mewn lle mor gysegredig. Gorchymynodd y Pab i'r awdwr symud ymaith y gŵyn hon trwy baentio drostynt; ac o ufudd-dod iddo, er yn dra anewyllysgar, fe wnaeth; ac i ddïal ar yr achwynydd, fe dỳnodd ei lun yn nghongl y darlun, ynghanol uffern, a chlustiau asyn iddo, a sarph fawr yn ymglymu am dano, ac ar frathu ei galon. Mor fuan ag y deallodd Biagio hyn, aeth at y Pab drachefn i achwyn, gan geisio ganddo orchymyn i Michael Angelo ei dỳnu oddiyno; ond atebiad y Pab oedd, fod yn bur ddrwg ganddo drosto,—ei fod wedi cael ei osod yn y fath le; ond nad allai wneyd dim er ei waredu, er fod ganddo awdurdod i dỳnu rhai o'r purdan, nad oedd ganddo awdurdod i dỳnu neb o uffern; a chan mai yno yr oedd Michael Angelo wedi gweled yn dda ei roi, mai yno y byddai raid iddo aros, o ran dim a allai ef wneyd i'w waredu; ac yno yr oedd y diwrnod yr oeddym ni yno, a diammheu mai yno y mae eto.

Un diwrnod, aethom i weled y Quirinal, palas arall y Pab yn Rhufain: yn hwn y bydd yn treulio yr hâf yn gyffredin. Aethom trwyddo yn dra manwl: gwelsom yr ystafell yn yr hon y ceuir i fyny y cardinaliaid pan yn dewis Pab newydd. Buom hefyd yn y ffenestr ac ar y *balcony* o'i blaen, o'r lle y cyhoeddir enw y Pab newydd i'r dyrfa fydd islaw. Gwelsom hefyd ystafell yr orsedd, a'r *audience room*; gwelsom y gwely y bu y Pab diweddaf farw ynddo, a'r un y bydd y Pab presennol yn cysgu, &c. Dangoswyd i ni hefyd y bwrdd ar yr hwn y bu yr hen Napoleon Bonaparte yn ysgrifenu rhyw gytundeb â'r Pab gynt. Cawsom ganiatâd i fyned trwy ardd y palas, a gwelsom y y llwybr a'r drws bychan trwy ba un y dïangodd y Pab yn ddirgel ychydig flynyddoedd yn ol am Gaeta.

Un o brif ryfeddodau Rhufain yw y *Coliseum*. Ystyrir hwn, ar rai ystyriaethau, yn fwy rhyfeddod na Phyramidiau yr Aipht. Tra y mae y rhai hyny yn dangos mwy o allu anianyddol, y mae hwn yn dangos mwy o feddwl, celfyddyd, ac athrylith. Math o *circus* yw, yn hir-grwn *(oval)* o ran ffurf, a meinciau cèryg o'i amgylch oll, y naill uwch y llall, ac mor fawr fel y gallai can' mil o bobl eistedd ynddo ar unwaith, a phob un o honynt weled yr hyn fyddai yn myned ymlaen ar ei lawr. Mae i gryn raddau yn adfeiliedig yn awr; mae un ochr iddo yn ei huchder cyntefig, ond y mae y rhan uchaf o'r ochr arall wedi syrthio, a'r meini wedi eu defnyddio at adeiladu palasdai y ddinas. Adeiladwyd ef yn y flwyddyn O.C. 72, gan yr ymerawdwr Vespasian. Dywedir mai yr Iuddewon a gaethgludwyd o Palestina oedd y rhan fwyaf o'i adeiladwyr. Pan yn cael ei agor yn nheyrnasiad Titus, lladdwyd 5,000 o anifeiliaid gwylltion ynddo, a pharhäodd y *games* am gan' niwrnod. Ei ddyben oedd cynnal ymladdfëydd rhwng dynion a elwid yn *gladiators* â'u gilydd, a rhwng dynion ac anifeiliaid gwylltion. Mae ystafelloedd ëang fel selerydd o dano, yn y rhai y cedwid llewod, teigrod, eirth, &c., am ddyddiau heb ymborth, cyn eu gollwng i fyny i'r ymladdfa. Yn y dull hwn y lladdwyd llawer o'r cristionogion yn y canrifoedd cyntaf. Dygwyd St. Ignatius yma yn nheyrnasiad Trajan, o Antiochia, i'w fwyta yn fyw gan anifeiliaid gwylltion yn ngolwg can' mil o edrychwyr. Cysegrwyd yr adeilad yn y flwyddyn 1750 i Gristionogaeth, a chynnelir gwasanaeth crefyddol ynddo yn achlysurol. Uchder y muriau allanol yw 157 troedfedd, ei hŷd yw 584 troedfedd, a'i lêd yw 468 troedfedd: gorwedda ar chwe' acr o dir.

Adeilad bwysig arall yw y *Pantheon*. Dyma un o demlau y duwiau paganaidd gynt. Ystyrid hon ddeunaw can' mlynedd yn ol, o ran cynllun ei hadeiladaeth yn dra pherffaith, ac fe barhëir i'w hystyried felly hyd heddyw. *Dome* hon oedd y cynllun oddiwrth ba un y gwnaeth Michael Angelo *dome* eglwys St. Pedr. Ystyrir y *portico* y perffeithiaf a wnaeth dyn erioed, ac y mae y dorau mawrion sydd arno yn awr, yno er y dechre, ac felly yn agos i ddwy fil o flynyddoedd o oed. Yn y Pantheon y mae corff Raphael yn gorwedd; yr oedd *Academy* St. Luc, er ys hir amser, yn hòni eu bod hwy mewn meddiant o'i ben, a byddai y *phrenologists* o bob man yn myned yno i'w fesur a'i bwyso; ond rhyw ddeng mlynedd ar hugain yn ol agorwyd y bedd, a dattodwyd yr arch er penderfynu y pwnc pwysig hwn, a chaed fod ei gorff a'i ben hefyd yno yn gyfan.

Mae yn y dref amryw o *arches* neu fwäau mawrion wedi eu hadeiladu ar wahanol amserau er coffadwriaeth am frwydrau pwysig a ennillwyd. Y fwyaf pwysig a'r harddaf hefyd yn ddïau yw y *Titus Arch*. Adeiladwyd hi er côf am gymeriad a dinystr Jerusalem gynt gan Titus. Y mae wedi ei hadeiladu dros y ffordd bwysig hono a elwir Via Sacra, ar le amlwg yn ngolwg y Coliseum, ac oll o farmor gwŷn. Ond y peth mwyaf dyddorol yw y cerfiadau *(bas-relief)* sydd ar ei meini, o fewn yr *arch*, sef arddangosiad o'r orymdaith yn dyfod adref o Jerusalem, ac yn cludo ar eu hysgwyddau yr ysbail a gymerwyd o deml Solomon. Yn eu mysg gwelir yn amlwg y canwyllbren aur, bwrdd y bara gosod, a'r udgyrn. Mae y canwyllbren o ran ei ffurf a'i faint yn ateb yn hollol i'r desgrifiad a a roddir o hóno yn y Bibl, a chan Josephus. Ystyrir hyn yn brawf amlwg

a chadarn, i'w ganfod y dydd heddyw o wirionedd y Bibl. Yr ydym yn cofio yn dda fod rhai o'n cyd-deithwyr, wrth edrych ar y cerfiadau hyn, yn myned dipyn yn hyawdl wrth wneyd rhyw sylwadau arnynt, ac yn dyweyd fod rhyw hanner ffyliaid yn Lloegr yn dyweyd nad yw y Bibl yn wir, ac nad yw ysgrifeniadau Moses i ddibynu arnynt: Beth, tybed, meddent, a ddywedent wrth y rhai hyn? Dyma y gàreg o'r mur yn tystio i gywirdeb y Bibl. Dywedir i'r canwyllbren ei hun, wedi bod yn hir yn nghadw yn Rhufain, gael ei daflu i'r afon Tiber pan oedd un o'r ymerawdwyr yn dïanc o'r dref.

Y llanerch bwysicaf yn yr hen Rufain oedd y *Forum;* dyma ganolbwynt ei bywyd a'i masnach; saif ychydig allan o'r dref bresennol; o amgylch hon yr oedd temlau, palasau, colofnau, cerfddelwau, *arches*, llysoedd barn, &c., &c. Yma yr oedd y *Temple of Concord*, lle yr ymgyfarfyddai y senedd, teml Vespasian, teml Sadwrn, a'r *rostrum* hefyd, oddiar yr hwn y byddai yr enwog Cicero ac eraill yn areithio, ac ar ben colofn yn y *Forum* y rhoed ei ben mewn gwawd ar ol ei dòri oddiar ei gorff.

Yr ydym yn awr wrth droed y *Capitoline Hill*, sef un o'r saith bryn yr oedd yr hen ddinas wedi ei hadeiladu arnynt. Yma yr oedd y Capitol, lle y byddai ynadon y dref yn cyfarfod. Mae yma amgueddfa dra gwerthfawr yn bresennol, ac mewn un o'i hystafelloedd y mae y *Dying Gladiator*, ag y mae ei glod fel campwaith celfyddyd yn hysbys dros y byd. Cerfddelw mewn mynor gwŷn ydyw o ddyn—ymladdwr—wedi cael ei glwyfo yn farwol yn yr ymdrechfa, nes y mae yn gorwedd, ac âg un fraich yn dàl y rhan uchaf o'i gorff, ac yn yr ystum hwnw y mae yn myned i farw. Heblaw fod y fath berffeithiad yn y cerfiad er dangos y corff dynol, pob aelod yn ei ffurf a'i faint prïodol, yr hyn sydd yn rhoddi hynodrwydd arbenigol arno yw y teimlad a ddangosir yn y wyneb. Mae yr *expression* sydd ar wyneb y mynor rywfodd yn arddangos y teimlad a allesid ddysgwyl fod mewn dyn fel efe yn y cyfryw amgylchiad mor dda, fel y gellir syllu ar ei wynebpryd am hir amser heb deimlo un awydd i symud y llygaid i edrych ar ddim arall.

Yn y gymydogaeth hon y mae y *Mamartine Prisons*, un o'r adeiladau hynaf yn Rhufain, a hynod hefyd am y dywedir mai yn hwn y carcharwyd St. Pedr a St. Paul. Dangosir yn awr yr allor, ar yr hon y byddai Pedr yn cyflawni gwasanaeth yr offeren pan oedd yno. Wrth fyned i lawr i'r celloedd odditano, dangosir càreg fawr yn y mûr â phant ar ei hwyneb. Dywedir i geidwad y carchar daraw Pedr mor drwm yn ei ben, nes i'w ben daro y gàreg hon, a gadael yr ôl hwn arni hyd heddyw. Yn y llawr y mae twll fel ffynnon, o'r hwn y rhedodd dwfr yn wyrthiol, er i Pedr ei gael i fedyddio ceidwad y carchar. Dangosir hefyd y gadwen oedd yn rhwymo Pedr, ac a ddrylliodd yr angel; mae yn edrych yn bur hen a rhydlyd.

Yn agos i'r carchar y mae y *Tarpeian Rock*, sef craig serth, ryw ddeg troedfedd a thriugain o uchder, hynod yn hanes Rhufain gynt, o herwydd mai oddiar ben hon y teflid drwg weithredwyr i lawr er eu lladd.

Hynodrwydd arall perthynol i Rufain yw y *Catacombs*, sef y beddgelloedd tanddaearol. Mynedfeydd hollol dywyll ydynt, ryw wyth troedfedd o uchder, tair i bedair troedfedd o lêd, ac yn rhedeg groes ymgroes yn ol a blaen trwy y ddaear o amgylch y dref, a chyrff wedi eu claddu ar

eu gilydd ar bob ochr iddynt, ac yma a thraw ceir lle lled fawr fel ystafell. Gwnaed hwy gan y cristionogion yn y canrifoedd cyntaf, adeg yr erlidigaethau, er iddynt gael lle i ymguddio i addoli, ac i gladdu eu meirw, gan na chaniatëid iddynt ar y pryd eu claddu ar y wyneb. Bernir fod cynifer a thriugain o'r claddfëydd hyn o amgylch y ddinas, a bod at eu gilydd 100,000 wedi eu claddu ymhob un o honynt, yr hyn a wnai chwe' miliwn yn yr oll; a'u bod hefyd o bump i chwe' chan' milldir o hŷd. Aethom trwy un o honynt a elwir *St. Sebastian's Catacombs*, bob un â chanwyll yn ei law, yn ol a blaen am faith ffordd, a chyrff yn furiau ar bob llaw. Yr oedd gyda ni amryw arweinyddion, ac yr oedd yn dda eu bod, o herwydd trwy fod y mynedfëydd yn hollol dywyll, ac mor feithion, ac yn rhedeg ar draws eu gilydd, oni bae hwy dïau mai yno y buasem eto.

Buom yn gweled amryw o'r adeiladau a elwir *Columbaria.* Bu yn arferiad am ganrifoedd i losgi cyrff y meirw, a chadw eu llwch mewn llestri bychain, ac yn yr adeiladau hyn y cedwid hwy. Adeilad ysgwâr yw, yn myned yn isel i'r ddaear, a'r muriau oll o fewn yn llawn o dyllau bychain, tra thebyg i'r tyllau a wneir i golomenod yn ein gwlad ni, ac yn y tyllau hyn y cedwir yr *urn* a'r llwch; mae enw y person wedi ei gerfio yn y gàreg uwch ben; y mae weithiau lestr bychan arall yn y lle yn cynnwys dagrau y perthynasau, pa rai fyddent yn dyfod yma yn achlysurol i wylo. Mae yn debyg mai at arferiad gyffelyb i hon y cyfeiriai y Salmydd pan y dywedai, "Dôd fy nagrau yn dy gostrel."

Aeth nifer o honom un diwrnod amryw filldiroedd o'r dref ar hyd y *Via Appia*, un o'r ffyrdd pwysicaf oedd yn arwain i'r hen ddinas gynt. Y mae adfeilion beddrodau hen enwogion y ddinas ar bob ochr i'r ffordd am filldiroedd. Ar hyd y ffordd hon y daeth yr Apostol Paul a'i gyfeillion gynt i'r ddinas, a phe buasem yn myned ymlaen dipyn pellach ar hyd-ddi, daethem i Appi-fforum a'r Tair tafarn. Math o bentref bychan ydyw ar ochr y ffordd, lle y maent yn awr yn arfer newid ceffylau y cerbydau a deithiant ar hyd-ddi.

Barnem mai y ddau fôd sydd yn cael mwyaf o barch yn Rhufain yw y Pab a Mair. Telir parch mawr, ymddangosiadol o leiaf, i'r Pab; ond gan gofio, clywsom un neu ddau o'r trigolion yn ei regi ef a'i offeiriaid yn ofnadwy, ac yn mawr obeithio y deuai Garibaldi yno rai o'r dyddiau nesaf; ond ni roddwn yr awgrymiad lleiaf pwy oeddynt, rhag ofn i'w Sancteiddrwydd neu rai o'i swyddogion glywed. Pan y bydd y Pab yn rhodiana allan yn ei gerbyd, syrthia pawb a'i cyferfydd ar eu gliniau ar yr heol, a phawb fo mewn cerbydau, pan welont gerbyd y Pab, disgynant o honynt, ac ânt ar eu gliniau yr un modd. Nid ydyw yn anhawdd cael myned i'w bresennoldeb gyda llythyr o gyflwyniad oddiwrth rai o awdurdodau yr Eglwys Babaidd yn y wlad hon. Yr oedd gan y *Professor* un y tro hwn, a phe arosasem yn y ddinas ychydig yn hŵy, hyd yr adeg apwyntiedig i hyny, cawsai nifer o honom fyned gyda'r gŵr hwn i'w bresennoldeb. Oddeutu hanner dydd ar y diwrnod penodedig, cyflwynir y dyeithriaid o un i un wrth eu henwau i'w Sancteiddrwydd. Y mae pob Pabydd ar y pryd yn ymostwng i gusanu ei droed, ond ni ddysgwylir i Brotestaniaid ond cusanu ei law; yna safant oll yn hanner cylch o'i flaen tra y bydd yn eu bendithio. Gwelsom adeilad bychan yn ngardd y *Quirinal*, yn yr hwn yr arferir cyflwyno boneddigesau iddo. Gellir

crybwyll fod ganddo fynedfa danddaearol o balas y Vatican i gastell St. Angelo, sef y *fort* lle y mae y milwyr a'r arfau, &c., fel y gallo ddïanc yno er dïogelwch, os bydd rhyw berygl.

Mae gan y Pabyddion, fel y crybwyllwyd, barch mawr iawn i Mair. Gelwir hi, a gwelir hyny yn argraffedig mewn llythyrenau breision ar ddegau o'r eglwysi, "Mair mam Duw." Dïau eu bod wedi cael colled fawr am ei hesgyrn, o herwydd dywedant ei bod wedi adgyfodi o'r bedd ac esgyn i'r nefoedd, a'i bod yn eistedd yn y lle uchaf yno, wedi ei choroni gan y Tad a'r Mab. Mae yn eglwysi y wlad filoedd o ddarluniau o hóni yn esgyn ac yn cael ei choroni, &c. Mae prif arlunwyr y byd wedi rhoddi eu holl alluoedd ar waith i dŷnu ei darlun yn brydferth; ond yr oeddent oll yn teimlo anhawsder i'w dŷnu yn y fath fodd fel yr adnabyddid hi, gan fod yn y nefoedd gynifer o santesau heirdd eraill. Ond y cynllun a fabwysiadwyd er ei gwahaniaethu oedd, tŷnu ei llun â baban noeth tua hanner blwydd oed yn ei breichiau, ac felly y mae ei darlun i'w adnabod. Mae amryw ddarluniau o hóni yn Italy wedi eu tŷnu, meddir, gan Luc yr efengylwr. Sicrhëir i ni mai *portrait painter* oedd St. Luc; ond hyn sydd dra rhyfedd, mae y darluniau hyn oll yn dduon, yn ei gosod allan fel Negröes. Telir parch mawr iddynt, nid yn unig ar gyfrif eu hynafiaeth, ond hefyd am eu bod yn gwneyd gwyrthiau. Dywedir i un o honynt dywallt dagrau ychydig flynyddau yn ol, ar yr adeg y daeth y Ffrancod i'r wlad. Rhedodd gwaed o un arall sydd yn Eglwys St. Pedr pan gyffyrddodd rhyw law halogedig âg ef. Gweddïwyd o flaen un arall, ac attaliwyd daeargryn yn y man. Ychydig flynyddoedd yn ol, cludwyd un arall o flaen gorymdaith fawr o gardinaliaid, &c., yn Rhufain, adeg y *cholera*, ac yn y fan y plâ a attaliwyd. Dyna rai o'r gwyrthiau y dywedir eu bod wedi eu cyflawni.

Ar lethr brydferth yn nghŵr y dref y mae y Gladdfa Brotestanaidd; Saeson ac Americaniaid yw yr oll braidd sydd wedi eu claddu ynddi. Gwelsom feddau Shelley a Keats, y beirdd Seisonig. Wrth grwydro ymysg y beddau, dygwyddodd i ni yn hollol ddamweiniol—heb feddwl dim am dano ar y pryd—daro wrth fedd Cymro, a Chymro tra enwog hefyd, sef John Gibson, y *sculptor*. Ei feddargraff sydd fel hyn:—

JOHN GIBSON, Esq.,
SCULPTOR,
BORN AT CONWAY, 19TH JUNE, 1790;
DIED AT ROME, 27TH JANUARY, 1866;
RESIDED IN ROME 48 YEARS.

Wedi treulio rhyw wythnos neu fwy yn y ddinas dragywyddol, troisom ein wynebau tuag adref. Ni ddygwyddodd i un o honom gael ein cymeryd i garchar y Chwilŷs, er fod amryw o honom heb fod yn iach yn y ffydd; nac ychwaith ein lladrata gan y *brigands*. Dywedid fod amryw o honynt ar y pryd yn nghymydogaethau Rhufain a Naples. Ryw bythefnos ar ol i ni adael Rhufain, lladratäwyd *Scotchman* o'i wely yn y nos o ymyl muriau y ddinas, ac ymaith yr aethant âg ef i'w llochesau yn y mynyddoedd. Eu dull cyffredin o weithredu ydyw cynllwyn hyd nes y gallant ddal rhyw ŵr mawr; yna cludant ef i'r coedwigoedd yn y mynyddoedd; yna anfonant genadwri at ei deulu i'w hysbysu ei fod i'w gael yn y fan a'r fan, ond talu swm penodol o iawn

—1000p., dyweder, ar adeg benodol; os na ddaw yr arian mewn pryd, tòrant un glust iddo, ac anfonant hi i'w deulu, gan eu hysbysu y cânt ei drwyn yr amser a'r amser, os na ddaw yr arian i law cyn hyny; a phan ddaw yr adeg hono i ben, cyflawnant eu gair, gan hysbysu i'w deulu wrth gyflwyno ei drwyn y caiff ei fywyd fyned ymhen ychydig ddyddiau, os na chânt yr arian; ac y maent yn llawer rhy fynych wedi cyflawni eu bygythiadau.

Gadawsom Rufain gyda'r rheilffordd am Florence, ac oddiyno trwy Bologna am Milan. Yr oedd hon yn croesi mynyddoedd yr Appenines; a thrwy fod y rheilffordd, fel y crybwyllasom, wedi tòri ar y mynyddoedd hyn, yr oeddym, pan yn dra uchel arnynt, yn gorfod disgyn o'r gerbydres, ac yn myned i *diligences* am amryw filldiroedd dros eu penau; ond yr oedd yr awyr iach a'r golygfëydd ardderchog a gaem oddiarnynt yn dâl digonol am yr ychydig oriau ychwanegol a gymerwyd i'w croesi. Yr oeddym yn llettŷa y noswaith hono yn Turin, yr hon oedd brif dref Italy hyd yn ddiweddar, pryd y symudwyd y llŷs i Florence.

Gadawsom Turin un bore gyda y rheilffordd am Susa, yr hon sydd wrth droed yr Alps; ac yma y mae y rheilffordd yn croesi drostynt, dros Mont Cenis, uchder yr hwn sydd 7,000 o droedfeddi, sef uchder yr Wyddfa ddwywaith. Buom bum' awr yn myned drostynt; ond yr oedd y dyddordeb a deimlem, a'r golygfëydd amrywiol, cyfnewidiol, a welem, yn peri i'r amser ymddangos yn hynod fŷr. Enw yr orsaf yr ochr hon yw St. Michel; oddiyno yr oeddym yn dyfod trwy ddyffrynoedd, a heibio i lŷnau tra phrydferth, nes, erbyn yr hwyr, y cyrhaeddasom Culoz, lle yr ymwahanasom: aeth rhai ar eu hunion ar hyd y nos tua Paris; darfu i eraill, a'r ysgrifenydd gyda hwynt, droi eu hwynebau tua Geneva, a chyrhaeddasom yno yn hwyr y noswaith hono, nos Sadwrn, ac yma y treuliasom y Sabbath. Tref ddymunol iawn i aros ychydig amser ynddi yw Geneva; saif ar gŵr llŷn mawr, a rhyw hanner milldir islaw iddi y mae dwy afon fawr yn ymuno â'u gilydd, sef y Rhone, sydd yn rhedeg o'r llŷn, a'r Aar, sydd yn rhedeg o gymydogaeth Mont Blanc. Mae dwfr y Rhone yn ddysglaer iawn, a dwfr yr Aar yn hynod fudr a llwydaidd. Ar ol iddynt ddyfod i gyfarfyddiad â'u gilydd, y maent yn cadw ar wahân heb ymgymysgu am bell ffordd, pob un yn cadw ei ochr ei hun. Dyma hen gartrefle John Calvin; gwelsom y tŷ y bu yn byw ynddo, a'r eglwys y bu yn pregethu ynddi; buom hefyd yn y gladdfa sydd yn nghŵr y dref yn gweled ei fedd diaddurn. Yr unig arwydd o fedd yw càreg neu *billar* bychan ar ei ben, a'r ddwy lythyren, J. C. wedi eu tòri arni. Daeth i'n côf, tra uwch ei ben, y llinellau canlynol,—y rhai y dygwyddodd i ni fod wedi eu dysgu pan yn ieuanc, o Ferthyrdraith Mr. Jones, Dinbych—sef cyfieithiad o feddargraff a gyfansoddwyd iddo gan ei gyfaill Beza:—

Yma gorwedd Calvin enwog,
Dychryn Rhufain aflan, euog;
Fe fu 'n elyn i'w hanwiredd,
Fyth mae arni ofn ei rinwedd;
Gan y da bydd mawr-barch iddo,
Tra fo 'r drwg yn ddigllawn wrtho.

Daethom o Geneva i Paris mewn ugain awr; ac wedi gorphwys diwrnod yno, daethom trwy Calais a Dover i Lundain, ac oddiyno adref. Ac felly y terfynodd taith o bum' wythnos ar y Cyfandir.

# YMHLITH Y CLERIGWYR.

*A Charge delivered to the Clergy of the Diocese of Bangor, August*, 1869, *by* J. C. CAMPBELL, D.D., *Bishop of Bangor.*

*A History of the Early Church. A Manual. By the Rev.* JOHN PRYCE, M.A., *Vicar of Bangor.*

*The Church in the Diocese of Bangor: a Paper read on Thursday, the 5th day of August*, 1869, *by the late Rev.* JAMES CRAWLEY VINCENT, M.A., *Vicar of Carnarvon and Llanbeblig, at a Church Congress of the Clergy and Laity, in the National School-room at Bangor.*

*The Church of the Cymry. A Letter to the Right Hon.* W. E. GLADSTONE, M.P., *from the Rev.* HENRY T. EDWARDS, B.A., *Oxon, Vicar of Carnarvon.*

*The Church in Wales, Past and Present: Facts and Suggestions. By the Rev Rev.* DAVID WALTER THOMAS, M.A. R.D., *Incumbent of St. Ann's, Llandegai, Bangor.*

*Pregeth a draddodwyd gan y Parch.* P. C. ELLIS, *i'r dyben o rybuddio aelodau yr Eglwys rhag cymeryd eu camarwain i ranu corff Crist, ac i ymgyfenwi ar enwau marwolion ffaeledig.*

*Eglwys Crist: neu Resymau dros ymadael âg Ymneillduaeth, ac ymuno â'r Eglwys Apostolig. Gan* DANIEL JONES, *Periglor Trawsfynydd.*

*Meddiannau yr Eglwys; sylwedd Darlithiau a draddodwyd yn yr Ysgoldŷ Cenedlaethol, gan y Parch.* DANIEL EVANS, *Ficer Corris, a Chaplan y Gwir Anrhydeddus Iarll Vane.*

*Vade Mecum. Yr Eglwys a'n Gwlad, neu o* 62 *O.C. i* 1862 *O.C. Llawlyfr i Weithwyr Cymru. Gan* T. C. PRYSOR, *Moel y Wuen.*

*Tair Pregeth ar Adenedigaeth: gan y Parch.* HENRY OWEN, A.B., *Curad Llanllechid.*

*Adenedigaeth yn Medydd.*

*Yr Olyniad Apostolaidd; sef Hanesyn byr yn dangos fod pawb, mewn gweithred, yn dal athrawiaeth yr Olyniad Apostolaidd.*

*Llyfr Gweddi i Dŷ Gweddi.*

*Anerchiad Gweinidog i'w Blwyfolion ar y ddyledswydd o Gymuno.*

*Ffurf derbyniad Darllenwyr Llëygol i'w swydd yn Esgobaeth Bangor.*

*Arweinydd i'r Anllythyrenog i ddysgu darllain Cymraeg. Gan* ROBERT DAVIES, *o Nantglŷn. Gyda Chwanegiadau.*

*Audi alteram partem.* Gwrandewch yr ochr arall. Nid ydym yn proffesu bod yn Eglwyswyr, ac er ys llawer o genedlaethau nid oedd ein tadau felly ychwaith. Gallem ddywedyd fel y dywedodd y Parch. Robert Thomas yn ddiweddar yn Mangor, na buom ni erioed yn yr

Eglwys, na'n tad, na'n taid, nac, am a wyddom, ein hen daid; er na fyddai yn anhawdd i ni ychwanegu, er mwyn dealltwriaethau eiddil o'r fath ag oedd yn ymddyrysu cymaint yn wyneb y ffaith eu bod wedi gweled Mr. Thomas yn Eglwys Llangadwaladr, ddarfod i ninnau lawer gwaith fod yn bresennol yn yr adeiladau a elwir felly. Fel lliaws eraill o'n cydwladwyr, fe fu *raid* i ni am ryw ysbaid yn more ein hoes fyned i'r Eglwys bob Sabbath, onidê fe'n troisid ni allan o'r ysgol ddyddiol; ond fel y mae yn dygwydd yn gyffredin mewn amgylchiadau o'r fath, yr oedd y culni dallbleidiol hwnw ag oedd yn ein llusgo i'r Eglwys, mor bell o ateb ei ddyben mewn gwneyd Eglwyswyr o honom, fel y parai i ni ddyheu yn barhäus am adeg ein gwaredigaeth, fel y gallem ymuno â'r gweddill o'r teulu i fwynhâu moddion crefyddol ag oedd gymaint yn fwy cydnaws, a chymaint yn fwy adeiladol. Fe'n gwelwyd, o bosibl, rai gweithiau wedi hyny mewn Eglwysi pan yn dilyn gweddillion cyfeillion i'w gorphwysfa olaf yn y mynwentydd plwyfol, y rhai, hyd yma, er eu darpar ar gyfer y boblogaeth, sydd yn cael eu dal yn gwbl yn llaw offeiriaid yr Eglwys. Ond dyna y cwbl. Ac felly faint bynag ydyw melldith y "sism" o Ymneillduaeth, yr ydym ni o'r dechreuad yn ei chanol. Prin, fe allai, yr ydym ni ein hunain yn gyfrifol am dani; ond ynddi yr ydym wedi ein cael ein hunain, ac y mae yn dra thebyg mai ynddi y bydd i ni dreulio gweddill ein dyddiau. Ond o herwydd rhesymau na fyddai yn werth i ni drafferthu y darllenydd i'w crybwyll, fe ddarfu i ni yn ddiweddar deimlo awydd gweled beth sydd gan yr Eglwyswyr i'w ddyweyd am danynt eu hunain y dyddiau hyn. Aethom i fasnachdŷ llyfrwerthydd Eglwysig, edrychasom beth oedd ganddo a fuasai yn debyg o ateb ein dyben, a gwnaethom geseilwrn o'r cyhoeddiadau sydd â'u henwau uwch ben yr ysgrif hon i'w cymeryd gyda ni adref. Yr ydym hefyd wedi eu darllen oll, a hyny yn lled fanwl. Ond wedi y cwbl yr ydym yn ofni ein bod mor bell ag erioed o feddwl am "ddychwelyd i fynwes ein hen fam;" a mwy na hyny, y mae darllen y llyfrau uchod wedi ein dwyn i ymdeimlo yn fwy byw nag erioed â'r peryglon y mae ein cenedl yn agored iddynt oddiwrth Eglwys Loegr, ac i ddyfnhâu yn fwy nag un amser ein hargyhoeddiad mai goreu po gyntaf, er mwyn teyrnas yr Arglwydd Iesu, i'r Eglwys hono gael ei hysgaru oddiwrth y Wladwriaeth, a'i gosod i ymladd y frwydr yr ymddengys ei bod *hi* wedi gosod ei bryd ar ei hymladd, o leiaf ar ei hadnoddau ei hun.

Mae yn amlwg fod llawer mwy o ryw fath o fywyd ymhlith ei chlerigwyr yn awr nag a welwyd er ys llawer dydd. Fe ddywedir yn un o'r llyfrau uchod, yr *Arweinydd i'r Anllythyrenog*, yn un o'r "Chwanegiadau,"—

Na, na, nid marw, frodyr, yw
  Glân Eglwys Dduw yn Nghymru;
Ond mae, a rhaid cyfadde' 'r gwir,
  Er 's amser hir yn cysgu.

Fel Samson, cysgu 'n hir a wnaeth
  Ar liniau gwaeth dïogi;
Fel arno yntau, fe ddaeth plaid
  A llaw 'r Philistiaid arni.

Ac yn ei chwsg ei thegwch ffôdd,
  Fe oerodd ei gweddïau;
Ei haddysg aeth yn sych ddi nôdd,
  A phylodd ei phregethau.

Ei lamp yn nghanol tywyll nos
Fu agos a diffoddi;
A'r tân ar alch ei hallor, do,
Bu bron a pheidio llosgi.

Ac yn lle ceisio ei deffroi,
Mae 'i phlant yn troi 'n anffyddlon,
I gynneu swrn o alloran mân
A dyeithr dân dych'mygion.

Fel Israel gynt o deml eu Tad
Mewn estron wlad bellenig,
Mae iau caethiwed ar ei gwàr,
A'i thelyn ar yr helyg.

Ond heddyw gwell arwyddion sydd
Fod teeach dydd yn gwawrio;
Mae Duw 'n adfywio 'r nefol dân,
Mae 'r Eglwys Lân yn deffro.

Bydd eto 'n Heglwys cyn bo hir
Yn degwch tir ein tadau;
Yn chware 'i thelyn gyda 'i phlant
Heb arni dant yn eisiau.

Yr anmhlantadwy fydd yn fil,
Yn fam i hil ehelaeth,
A'i phlant o galon oll yn byw
Yn ufudd i'w rheolaeth.

Mae grâdd o synwyr mewn cânu fel yna hefyd, oblegid y mae tuedd ynddo i feithrin y syniad yn meddwl *"yr anllythyrenog"* fod y deffröad y llawenychir cymaint o'i blegid yn beth mawr a gwirioneddol. Yr ydym yn bur sicr hefyd y buasem ninnau yn llawenychu yn ddidwyll ynddo pe buasai genym le i gredu ei fod yn rhywbeth o'r iawn ryw. Ac i'r graddau yr ydym yn ei weled felly, y mae yn dra hapus genym feddwl am dano. Ond wedi y cwbl yr ydym yn ofni nad oes rhyw lawer o le i ni fod yn falch o hóno yn yr ystyr hwnw. Mae y diwygiadau y mae y Gair Sanctaidd yn eu mawrhâu, a'r diwygiadau yn Hanes yr Eglwys ag y mae yr oesoedd wedi derbyn bendith oddiwrthynt, bob amser wedi bod yn wywdra i annuwioldeb, yn fywhâd i grefydd ysbrydol, ac felly yn ogoniant i Dduw. Ac yn y diwygiadau hyny oll mae yn amlwg nad oedd dim yn cael ei osod yn y canolbwynt ond y gwirionedd am iachawdwriaeth. Ond beth ydyw cryfder y deffröad sydd yn awr yn Eglwys Loegr yn Nghymru? Ai zêl angerddol yn erbyn llygredigaethau yr oes? Ai tosturi dwfn at y trueiniaid yn ein plith "a ddyfethir o eisieu gwybodaeth?" Ai cariad anorchfygol at Geidwad pechadur, yn peri fod y clerigwyr, fel cynifer o apostolion, yn treulio ac yn ymdreulio dros eneidiau eu cydwladwyr, ac heb allu bod yn esmwyth nes eu cael o afael y digofaint sydd ar ddyfod, a pheri iddynt orphwys yn Nghrist? Yr ydym yn rhwym o ddyweyd nad ydym ni yn gweled ond ychydig iawn o'r pethau hyn yn yr holl helynt. Nid Crist a'i groes sydd yn llanw y lle mawr, ond yr Eglwys, hyny yw, Eglwys Loegr. Mae Eglwys Loegr wedi colli y Cymry, ac y mae eisieu eu cael yn ol i'r Eglwys hono; nid eu hiachawdwriaeth ydyw y pwnc, ond eu cael i'r Eglwys; mae yr iawn, a'r eiriolaeth, a gwaith yr Ysbryd Glân yn adfer pechadur i ddelw Duw, ynghyda'r gwynfyd didranc sydd yn aros y cyfiawn yn v fuchedd dragywyddol, ol yn

bethau ailraddol yn y deffröad hwn mewn cymhariaeth i gael y Cymry yn ôl i fynwes yr Eglwys. O'r alpha i'r omega, yr Eglwys sydd yn cael ei mawrhâu. Gwelsom, nid rhyw lawer o amser yn ol, hysbyslèni mawrion wedi eu gosod ymron ar holl barwydydd Caernarfon yn galw sylw at wythnos o foddion neillduol yn Eglwys y plwyf er adeiladaeth y trigolion; hysbysid ar y papyrau beth fyddai pwnc y bregeth bob nos, a phob nos yr ydoedd yn rhywbeth am yr Eglwys. Nid oedd yn werth sôn am ddim arall. Fe ellid meddwl wrth y zêl danbaid yr ymdrechir ei gynneu y dyddiau hyn yn mhlaid Eglwys Loegr yn ein gwlad, mai ei henw hi—ac nid yr UN ENW BENDIGEDIG—sydd, bellach, wedi ei "roddi ymhlith dynion trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig." O leiaf, ymddengys fod iachawdwriaeth y tu allan i'w therfynau hi, a dyweyd yr eithaf, yn beth rhyfeddol o ammheus, fel y mae, o fewn ei therfynau, yn sicr i bawb. (Gall hi roddi ei *holl* aelodau—beth bynag am eu buchedd—yn y bedd, "mewn gwir ddïogel obaith o adgyfodiad i fuchedd dragywyddol trwy Iesu Grist ein Harglwydd.") Yn awr, nid ydyw yn bosibl i ni osgoi yr argyhoeddiad nad all fod deffröad, nad oes ganddo ychwaneg na hyn ar ei faner, yn ddim ond ffûg. Fe wyddys yn dda mai dyma ydyw cuddiad cryfder Eglwys Rhufain, yr ymlyniad wrth y gyfundrefn, y brwdfrydedd sydd yn gwneuthur pobpeth yn ddim os nad yn îs-wasanaethgar i'r Eglwys, ac o'r ochr arall yn gwneuthur yn ysgafn o bob anhawsderau, ac yn barod hyd yn nôd i aberthu pobpeth, er mwyn bod o ryw wasanaeth iddi hi. Ac ni raid i ni ddyweyd wrth ein darllenwyr pa drychineb a fu hyny i'r byd. Y mae y llyfrau hyn yn dra pharod i gyhuddo yr Ymneillduwyr o zêl sectol. Yr ydym ni yn proffesu gwybod rhywbeth am Ymneillduwyr Cymru, beth bynag arall yr ydym yn anwybodus yn ei gylch; ac yr ydym, heb betruso, yn dyweyd fod pob un o'r enwadau yn dra pharod i gydnabod fod y pethau ymha rai y maent oll yn cyttuno, yn annhraethol bwysicach na'r pethau y maent yn annghyttuno yn eu cylch; fod llawer iawn mwy o wir frawdgarwch yn ffynu rhyngddynt nag sydd rhwng y gwahanol sectau yn Eglwys y Llywodraeth; a pha mor zelog bynag y gallant deimlo o blaid eu pynciau gwahaniaethol, nad oes yr un o honynt byth yn cael eu mellditHio â'r culni sydd yn meddiannu y clerigwyr, y rhai na lysant gyhoeddi fod pawb nad ydynt yn dilyn gyda hwynt y tu allan i ras yr Efengyl. Nid oes yr un o enwadau Ymneillduol Cymru ychwaith nad ydyw peiriannwaith yr enwad yn ei olwg yn anfeidrol lai na gwirionedd Crist, ac na fyddai yn anmhosibl i'w gyfeillion dreulio y fath amser a nerth i'w fawrhâu ag a wna clerigwyr y y Sefydliad gyda eu henwad hwy. Mae yn ddiammheu fod yn bosibl i benboethni o'r fath yma wneyd llawer o rywbeth. Yn wir y mae, yn Eglwys Rhufain, yn gweithio yn rhyfeddol yn barhäus. Mae ei nerth yn yr Eglwys hono ymron fel nerth yr elfenau; mae dysgyblaeth berffaith ei hoffeiriaid, a'r llwyrder gyda pha un y mae pob teimladau personol yn cael eu haberthu i wasanaeth y gyfundrefn, yn peri fod amcanion y gyfundrefn hono yn cael eu gweithio allan gyda chysondeb ymron fel yr eiddo deddfau natur. Ond faint o fendith sydd yn hyny i'r byd? Mae yr Eglwys yn cael ei chryfhâu fel cymdeithas ddaearol; ond a ydyw eneidiau yn cael eu hachub? A ydyw dynion trwy y cwbl yn cael eu codi uwchlaw eu llygredigaethau,

a'u cymhwyso i wlad y purdeb tragywyddol? Yr ydym yn ofni nad ydyw pethau o'r fath yma yn cael cymaint â meddwl am danynt ond yn dra anfynych, a hyny i raddau hynod o anmherffaith. Yr un modd, pe byddai i'n cyfeillion yn yr Eglwys Sefydledig gyraedd yr oll ag yr ymddengys fod eu bryd wedi ei osod arno y dyddiau hyn, nid ydyw yn debyg y byddai y caffaeliad yn fawr wedi y cyfan; fe fyddai Ymneillduaeth wedi diflanu, fe fyddai yr Eglwys wedi llyncu yr holl enwadau iddi ei hun, ac yn meddiannu y wlad,

A'i phlant o galon oll yn byw
Yn ufudd i'w rheolau,—

ond beth yn ychwaneg a fyddid wedi ei ennill, nid ydyw yn hawdd gwybod, os byddid yn wir wedi ennill dim. Mae yn lled amlwg, dybygem, fod peth fel yma yn nôd sydd yn llawer rhy isel i weinidogion Crist gyrchu ato, ac nad ydyw galw y zêl a ddangosir wrth geisio ei gyrhaeddyd, yn ddiwygiad crefyddol, yn ddim ond cellwair. Mae ei gyrhaeddyd yn y wêdd ag y maent hwy yn meddwl ei gyrhaeddyd yn anobeithiol; a phe gellid ei gyrhaeddyd, ni fyddai wedi y cwbl yn werth y drafferth. Ond dyma, hyd y gallwn ni weled, ydyw yr amcan sydd yn awr yn llanw eu bryd; ac er nad ydyw yr elfen grefyddol sydd ynddo ond peth mor ddyddim ag i fod ymron yn anghanfyddadwy, eto fe roir ar ddeall i ni fod y cwbl yn ddiwygiad crefyddol pwysig, a dywedir

Fod Duw'n adfywio'r nefol dân
A'r Eglwys Lân yn deffro.

O holl ysgrifenwyr y gweithiau hyn, nid oes ond dau yn arddangos dim o'r difrifwch ag a ellid ddysgwyl mewn dynion yn ymdeimlo yn ddyladwy â'r cyfrifoldeb o fod yn weinidogion i Grist, a'r ddau hyny ydynt yr Esgob, a'r diweddar Mr. Vincent o Gaernarfon. Gwasga yr Esgob at feddyliau ei glerigwyr yr ystyriaeth y dylai aflwyddiant, er y gellid rhoddi cyfrif am dano heb ei brïodoli i ddiofalwch neu aneffeithiolrwydd y gweinidog, ei gyffroi ymhob amgylchiad i fwy o ddiwydrwydd, yn y fyfyrgell ac yn y plwyf, ac i weddïo yn wresog a pharhäus am i Dduw fendithio ei lafur gyda'r achos mawr.* Drachefn, "Rhaid i ni," meddai, "mewn gweddi ddirgel erfyn ar i'n Tad nefol dywallt i'n calonau Ysbryd ei Fab, fel, wrth i ni arwain defosiwn y gynnulleidfa, yr ymddangoso yn amlwg mai o'u llawnder hwy yr ydym yn llefaru."† Gesyd efe bwys mawr ar bregethu hefyd. "Tra yr ymdrechwn ddyrchafu tôn ein gwasanaeth, rhaid i ni beidio anghofio pregethu fel moddion gras. Nid peth bychan ydyw traddodi o'r pulpud genadwri oddiwrth Dduw at ddyn; nid ydyw i ymgymeryd âg ef yn ysgafn, nac i'w gyflawni yn esgeulus. Rhaid i'r pregethwr ofalu yn gyntaf fod yr hyn a draetha yn genadwri Duw; yn ail, mai ei genadwri Ef ydyw at y personau hyny y mae efe yn gyfarch."‡ "Bydd i'n gobeithion ddiflanu dan eiddigedd hunan-geisiol. Ni ddeuant byth i addfedrwydd dan gyfundrefn o esgeulusdra dïofal. Ond os bydd pawb, gan edrych at Grist am ei amddiffyn a'i nodded, âg un galon ac un meddwl yn cydymdrech o blaid llwyddiant y gwaith, yna gallwn yn wir gael llawer o anhawsderau i'w gorchfygu, gallwn gael ein harwain gan brofiad, fe allai gan attalfëydd fydd yn ein darostwng, i newid ein cynlluniau, ond

* *Charge*, p. 10. † *Ib.*, p. 11. ‡ *Ib.*, p. 12.

rhaid i ni lwyddo yn y diwedd. Rhynged bodd i Dduw arddel a llwyddo ei waith bendigaid ei hun yn ein dwylaw!"* Mae geiriau o'r fath yma yn rhyfeddol o adfywiol, yn enwedig o gyfarfod â hwy yn y fath anialdir o ddarllen ag a brofasom yn y gweithiau hyn. Y mae yn hyfryd genym gydnabod fod Mr. Vincent hefyd—yr hwn a gymerwyd o'r byd yma lawer yn rhy fuan—yn y Papyr a ddarllenodd o flaen y Gynhadledd Eglwysig yn Mangor, yn arddangos ysbryd oedd yn gallu cydymdeimlo âg amcanion dyfnion teyrnas y Ceidwad. Yr oedd yn caru ei Eglwys yn gymaint a neb o'i frodyr; yr oedd ei olygiadau ar rai pethau hefyd yn eithafol, ac yn wir yn ein barn ni yn gyfeiliornus a pheryglus iawn; ond ar yr un pryd, fel yr ydoedd trwy ei dymher serchog, ei ysbryd cristionogol, a'i lafur diflino yn ngwasanaeth ei Arglwydd, yn dysgu holl bobl Caernarfon, yn Ymneillduwyr ac Eglwyswyr, i'w barchu a'i garu, felly hefyd mae yr un cynneddfau fel y maent yn dyfod i'r golwg yn y Papyr hwn, yn peri i ninnau, tra yn hollol anghymeradwyo ei syniadau uchel-eglwysig, deimlo yn dra charedig tuag ato, a mawrhâu ei goffadwriaeth fel cristion tirion a gweinidog ffyddlawn. Mae ei Bapyr trwyddo yn arddangos meddwl clir a diragfarn, barn addfed, ac ysbryd carüaidd, gonest, a difrifol. Y mae yn cydnabod bodolaeth yr Ymneillduwyr, ac nid ydyw yn ymddangos ei fod yn teimlo ar ei galon eu diystyru na'u melldithio. "Rhyfedd yn wir," meddai, "yw y cyfnewidiad sydd wedi cymeryd lle yn y Dywysogaeth er pan yrwyd o'r Eglwys y gwŷr da hyny a geisiasant ei diwygio, eto rhyfeddach fyth ddïofalwch a chamreolaeth ei llywodraethwyr yn goddef, heb braidd ymdrech i'w attal, ymddyeithriad graddol, ond sicr, a than yr amgylchiadau, nid annaturiol, y bobl oddiwrth Eglwys eu tadau."† Teimla fod yn bwysig fod y clerigwyr yn ddynion effeithiol, ac ar yr un pryd dengys gyda symledd calonagored fod eu sefyllfa mewn gwlad fel Cymru yn hynod o ddigalon. "Mi a hyderwn eu bod yn gyffredin yn gwneyd y gwaith yn ol y gallu a roddes Duw iddynt; er ar yr un pryd y gallai fod rhai yn ein plith wedi digaloni yn gymaint fel y mae eu talent yn llythyrenol wedi ei chuddio dan bwys amgylchiadau nad oeddent hwy yn abl i'w gorchfygu. Nid wyf yn meddwl dyweyd fod y fath ddigalondid dan *unrhyw* amgylchiadau, yn *esgusodol*, ac nid ymollyngir iddo gan yr hwn a grêd yn ei *galon* fod gras Duw yn ddigon iddo. Er hyny mae y brofedigaeth yma wrth bwyso yn barhäus, weithiau, yn wir yn fynych, yn cael y goreu ar ddyn; ac yr wyf fi yn credu fod llawer dyn, yr hwn, pe byddai raid, a ddyoddefai yr ystanc yn ewyllysgar, wedi bod yn analluog i ddal peidio cydnabod yr Eglwys, yr hyn sydd yn rhy fynych yn cymeryd lle mewn llawer rhan o'r wlad hon o herwydd achosion tra gwahanol, cwbl annibynol ar unrhyw esgeulusdra o'i du ef. Yn gymdeithasol fe berchir y clerigwr yn gyffredin, edrychir i fyny ato fel cyfaill a boneddwr, y mae yn gyfleus fel cyfranwr elusen, ond yn rhy fynych, ysywaeth! dyma ymron y cwbl. Gall fedyddio, fe allai—prïodi, fe allai—claddu, ei bobl fe allai; ond y mae y cariad at yr Eglwys mewn gormod o fanau wedi cilio, wedi oeri, ac i'r Capel yr ânt am faeth i'w henaid; ac fel *Capel-wyr* a *Chapel-wragedd* y byddant farw."‡ Ac am yr holl awgrymiadau a ddyry gyda golwg ar y ffordd i wellhâu pethau yn yr Eglwys, y maent oll o duedd i ddwyn ysbryd yr Eglwys i gydymdeimlad

* *Charge*, p. 21. † *The Church in the Diocese of Bangor*, p. 4. ‡ *Ib.*, p. 7.

dyfnach âg ysbryd y genedl, ac i wneyd ei llafur, fel y cydnabydda fod llafur yr Ymneillduwyr i raddau helaeth, yn rhywbeth yn llawer mwy gwresog, calonog, ac ysbrydol. Y mae yn iachus gweled y dirmyg a fwriai y gŵr da hwn, ydoedd ei hunan yn un o blant yr Eglwys, ar yr eilunod yn y Sefydliad ag y mae yr encilwyr oddiwrth Ymneillduaeth yn addoli mor ddefosiynol, ac fel yr oedd ei galon onest yn mawrhâu ac yn edmygu y dulliau ymha rai y gwelai fod y bobl, y mae yr encilwyr yn ymhyfrydu mewn sarhâu, yn llwyddo i wneuthur gwaith mawr dros Dduw yn y wlad. Yn wir y mae yn rhyfedd hefyd y "cyfnewidiad" sydd wedi cymeryd lle lawer yn ddiweddarach nag "er pan yrwyd o'r Eglwys y gwŷr da hyny a geisiasant ei diwygio," sef yn ngwaith yr Eglwyswyr yn benthyca dalenau o lyfr yr Ymneillduwyr yn Nghymru, ac yn enwedig o lyfr y Methodistiaid Calfinaidd. Mae y pethau y buont yn bwrw dirmyg ar ein tadau o'u plegid erbyn hyn wedi dyfod i gael eu hystyried yn anhebgorol ganddynt hwy eu hunain. Gynifer o ymadroddion celyd a ddefnyddiwyd am y cyfarfodydd nos; erbyn hyn mae y cyfarfodydd nos ganddynt hwythau, ac Arglwydd Penrhyn yn dannod na fyddai ganddynt ychwaneg. Fe fu yr Ysgol Sul yn hir yn beth i'w ddiystyru a'i ddarostwng; erbyn hyn y mae yn un o sefydliadau yr Eglwys. Yr oedd y cyfarfod eglwysig yn gyffesgell, a'r cyfarfod gweddi yn faldordd cableddus; ond yn awr mae gan yr Eglwys hefyd ei seiat a'i chyfarfod gweddi. Gwatworid y drychfeddwl o bregethu cymaint ymhlith yr Ymneillduwyr; y mae yr Eglwys erbyn hyn yn cadw ei chyfarfodydd pregethu fel ninnau, ac y mae Mr. Thomas, St. Ann's, yn un o'r gweithiau hyn, *The Church in Wales*, yn dadleu yn gryf am gael ychwaneg o lawer o bregethu i'r Eglwys, fel moddion sydd, yn ei fryd ef, yn anhebgorol i'w llwyddiant. Dadleua Mr. Vincent a Mr. Thomas hefyd am gael pregethu teithiol i'r Eglwys! Ac nid y Methodistiaid yn unig, dybygid, sydd i fwynhâu eu Cymdeithasfa, canys y mae yr Eglwys wedi cymeryd i fyny y drychfeddwl yma hefyd, a thrwy ei chyfarfodydd clerigol, ei chynnadleddau, &c., yn ei weithio allan mor effeithiol ag y gall. Ac nid ydym yn cwyno oblegid y pethau hyn, ond yn hytrach yn llawenhâu ynddynt; yn unig fod yn ddyddorol sylwi fod y gwŷr urddasol hyn, pan yn deffro i feddwl fod ganddynt ryw waith i'w wneyd, yn gweled nad allant fyned yn ei gylch yn well na thrwy fabwysiadu cynlluniau y bobl y maent bellach wedi pentyru arnynt oesoedd o ddiystyrwch; nad all pobl y diwylliad uchel, yr awdurdod apostolaidd, a'r doniau diammheuol,—pobl, pa mor annhebyg bynag y gallont fod mewn ystyriaethau eraill i'r "aelod bychan," ydynt yn sicr yn gwbl yr un fath mewn "*ymffrostio pethau mawrion*,"—nad allant hwy, wedi y cwbl, feddwl am well ffordd i adennill eu gallu ar y wlad na thrwy geisio dynwared y dulliau a ddefnyddiodd yr Ymneillduwyr i'w dychwelyd i'r iawn, ac i weinyddu iddi ymgeledd ysbrydol. Ymddengys y buasai Mr. Vincent yn foddlawn i fyned gryn lawer ymhellach yn y cyfeiriad yma yn hytrach na gadael Eglwys ei dadau mewn sefyllfa na fynai y bobl ei "chydnabod," ac nad allai beri ei theimlo fel bendith i'r genedl. Ac i'r graddau y mae yr holl gyhoeddiadau hyn yn wynebu yn ymarferol ar y gwaith sydd gan yr Eglwys o'i blaen, y maent i gryn fesur yn anadlu o'r un ysbryd. Y mae hyn yn wers i Ymneillduwyr Cymru eu hunain. Nid ydynt i edrych yn ysgafn ar y sefydliadau a ddyfeisiwyd

gan ddoethineb a duwioldeb eu tadau fel moddion i ddychwelyd y genedl at Dduw, ac i'w phorthi â gwybodaeth a deall ysbrydol. Ac yn sicr mae yma hefyd wers ddyfnach, ac o annhraethol fwy pwysigrwydd i bawb, yn Ymneillduwyr ac Eglwyswyr, a fyno wneuthur daioni,—Yr oedd cuddiad y cryfder a fendithiodd Duw mor helaeth i'n hanwyl wlad trwy lafur yr Ymneillduwyr, yn gorwedd lawer iawn yn îs na'r *cynlluniau* a ddyfeisiwyd ganddynt, sef yn nyfnder eu hargyhoeddiadau personol hwy eu hunain, yn angerddoldeb eu cariad at Grist, ac yn eu hymgysegriad llwyr i'w wasanaeth a'i ogoniant Ef. Heb y pethau hyn, ni fydd y cynlluniau goreu dan haul, er eu gweithio gyda zêl merthyron, ond "efydd yn seinio, neu symbal yn tincian."

Mae yn ddiammheu genym fod llawer o'n darllenwyr, er mewn ystyriaethau eraill yn ddynion deallus a doeth, yn dra anwybodus yn hanes y meddwl clerigol. A chan ein bod ninnau yn ddiweddar wedi bod am beth amser ymhlith y clerigwyr, o leiaf càn belled a chymdeithasu ychydig â'r meddyliau a roddasant fôd i'r llyfrau uchod, fe allai nad annyddorol i'n cyfeillion, "llai eu breintiau," fyddai clywed beth sydd genym i'w ddyweyd yn eu cylch.

Ymddengys i ni fod pryder mawr y meddwl clerigol yn Nghymru y dyddiau hyn, yn troi o amgylch rhyw dri o gwestiynau,—Pa fodd yr aeth yr Ymneillduwyr allan o'r Eglwys? Beth sydd i'w feddwl o'u gwaith yn encilio? A pha fodd y gellir eu cael yn ol?

Ac mae yn debyg nad ydyw yn annaturiol eu bod yn trafferthu cryn lawer gyda y pethau hyn. Y mae anwiredd y tadau yn awr yn cael ei ymweled ar y plant, ac y mae yn eithaf naturiol iddynt hwythau wingo dan y fflangell. Ond nid ydynt mewn un modd yn foddlawn i gydnabod fod yr enciliad yn anadferadwy. Y maent yn "gobeithio yn erbyn gobaith," ac yn parhâu, weithiau gyda sarugrwydd trahäus, weithiau gyda bygythion brawychus, ac weithiau gyda hynawsedd tyner-galon, i alw arnom i ddyfod yn ol. Yn lle ymostwng i'r anochel-adwy, ac ystyried nad oes dim i'w wneyd ond gadael i'r Ymneillduwyr, sydd bellach wedi ymsefydlu yn y wlad er ys rhyw ddau gant o flynydd-oedd, yn meddu hanes y byddant byth yn falch o hóni, ac wedi darpar eu sefydliadau fel pethau parhäus,—fel rhai yn wir sydd wedi llosgi y bont hyd yr hon y daethant dros yr afon, wedi gwneyd i ffwrdd â'u pebyll, ac wedi adeiladu iddynt ddinasoedd i gyfanneddu ynddynt,—yn lle gadael iddynt fyned ymlaen yn y ffordd a ddewisont i wasanaethu Brenin eu cydwybod, a thòri allan i'r anialwch eu hunain i ymofyn ychwanegiad nerth o gryfder y gelyn, y maent yn barhäus yn gwastraffu eu hadnoddau i ofidio o herwydd yr enciliad, ac i astudio pa gynllun a ellid ddyfeisio i gyfanu y rhwyg. Y mae pethau mawrion ganddynt,—y cyfoeth, yr urddas, yr uchafiaeth, yr awdurdod, yr olyniaeth Apostolaidd, a'r oll sydd yn eu gwneyd, heblaw yn offeiriaid Llywodraeth y Frenhines, yn oruchwylwyr, a hwy yn unig, os gwira ddywedant, ar ddirgeledigaethau Duw; ond nid ydyw hyn oll yn tycio dim tra byddo Ymneillduaeth y wlad yn parhâu. Fe fawrhäodd y brenin Ahasferus Haman mab Hammedatha yr Agagiad ac a'i dyrchafodd ef; gosododd hefyd ei orseddfainc ef goruwch yr holl dywysogion · oedd gydag ef. A holl weision y brenin, y rhai oedd yn mhorth y brenin, oedd yn ymgrymu ac yn ymostwng i Haman; canys felly y gorchymynasai y brenin am

dano ef; ond nid ymgrymodd Mordecai, ac nid ymostyngodd. Ac yr oedd hyny yn ddigon i bylu pob gogoniant arall, ac i chwerwi ei holl gwpan.

Gyda golwg ar ein henciliad o'r Eglwys, nid oes neb o'r ysgrifenwyr hyn, oddieithr y rhai hyny o honynt ag sydd wedi bod yn Ymneillduwyr, ac ydynt yn awr gyda gwaseidd-dra dirmygedig, yn awyddus i brofi gwirionedd eu dychweliad trwy fawrhâu yr Eglwys yn ei diffygion yn gystal ag yn ei rhagoriaethau, nad ydynt yn barod i gydnabod fod yr Eglwys yn yr amgylchiadau hyny wedi camgymeryd yn fawr, ac wedi tŷnu y drwg hwn arni ei hun. Fel hyn y dywed Esgob Bangor:—

"Beth bynag gynt allai fod beïau a diffygion y clerigwyr, nid oeddent, hyd amser sydd mewn cymhariaeth yn ddiweddar, wedi cael yr effaith o ddyeithrio calonau y bobl i'r fath raddau fel ag i'w gŷru ymaith o'i Chymundeb. Pa wybodaeth ysbrydol bynag oedd ganddynt ydoedd trwy ei haddysg hi; pan ymgynnullent ynghyd yn ei chynteddau hi yr ymunent mewn gweddi gyffredin; ac eto y mae yn fwy na thebyg fod yn yr holl lwyddiant ymddangosiadol hwn lawer ag oedd yn ffugiol a thwyllodrus. Nid oedd addysg y ddarllenfa a'r pulpud yn cael ei egluro, fel y dylasai, gan fywyd y dysgawdwyr awdurdodedig. Mewn canlyniad yr oedd y nwy yn dystaw ymgasglu yn y mwnglawdd, yn barod i ffrwydro ar gyffyrddiad cyntaf y fflam. Ac felly pan ddarfu i ddynion difrifol a selog, wedi ymgythruddo ac ymwingo dros ysbaid yn nghanol digalondid a gwrthwynebiad ar ran corff mawr eu brodyr, derfynu trwy dôri allan o'r gorlan, yr oeddynt yn cael eu cefnogi gan gydymdeimlad lliaws ag yr oedd eu hargyhoeddiadau wedi eu deffro trwy eu hofferynoliaeth, ac a fethent gael, yn Eglwys eu plwyf eu hun, yr ymborth am ba un yr oeddynt wedi dysgu newynu. Nid i mi y perthyn barnu y dynion hyny am eu henciliad. Y maent wedi ymadael o faes eu hymdrechfa. Eu Harglwydd eu hun a ŵyr, fel nad allwn ni wybod, ffynnonau cuddiedig meddwl a gweithred; ac iddo ef y rhaid iddynt sefyll neu syrthio. Ac er fy mod yn teimlo y buasent yn llanw sefyllfa fwy gwirioneddol ac ardderchog, pe buasent, heb ymwrthod âg Eglwys eu bedydd, wedi galw yn ol, trwy fywyd ac athrawiaeth, galonau eu pobl i deimlo gallu y gwirioneddau hyny, i ba rai, er anffyddlondeb bugeiliaid unigol—*fe allai* y rhaid i ni ddyweyd y bugeiliaid yn gyffredinol—y mae yr Eglwys hono yn dwyn ei thystiolaeth barhäus; rhaid i ni addef fod y demtasiwn i wneyd fel y gwnaethant o nerth anghyffredin; eto ar y llaw arall, y fath esiampl ddysglaer o ffydd anfarwol,—deilwng o'i chofrestru gydag eiddo gwroniaid yr Hen Destament a gofnodir yn yr unfed bennod ar ddeg o'r Epistol at yr Hebrëaid,—a fuasent yn arddangos, pe buasent wedi gorchfygu y demtasiwn hon yn nerth ein Pen Dwyfol, a llwyddo i ddyrchafu tôn meddwl a theimlad o fewn yr Eglwys at safon ei ffurfiaduron pur ac ysgrythyrol! Pe buasent wedi amcanu at hyn, gallasai eu bywyd yn wir fod yn un merthyrdod parhäus—yn un ymdrech ddiorphwys—heb ei galonogi gan gymeradwyaeth miloedd o ganlynwyr brwdfrydig. Gallasai pangfëydd blinion gobaith a oeder fod yn eiddo iddynt, a llafur cariad heb fod yn cael ei werthfawrogi gan ddyn, ac yn wybyddus yn unig i Dduw. Ond buasent yn gadael ar eu hôl etifeddiaeth lawer gwerthfawrocach i'w holynwyr. Buasent yn gosod i lawr yn nyfnder calon eu gwlad sylfeini adeilad barhäus. Buasai eu coffadwriaeth yn gysegredig yn nghofion serchog eu cydwladwyr, nid yn unig fel rhai wedi ail-gynneu—os felly yr ydoedd—farwor diffoddedig tân crefyddol, ond fel adferwyr doeth dinas mewn undeb ynddi ei hun, heb ddim gwahaniaethau allanol i rwystro dadblygiad cariad cristionogol, ac i guddio oddiwrth y byd, hyd yn nôd os ydyw yn bodoli o fewn, wirionedd yr undod hwnw yn Nghrist trwy yr hwn yr oedd i wybod fod y Mab wedi ei ddanfon gan y Tad."

Mae Mr. Vincent hefyd, fel y gwelsom, yn cyfeirio at hyn fel "gyriad allan o'r Eglwys y gwŷr da hyny a geisiasant ei diwygio." Mewn man arall sonia am gymundeb yr Eglwys fel y cymundeb a garai ein tadau, "ond allan o ba un y cawsant yn y rhan fwyaf o amgylchiadau eu *gyru* ymaith. Caniatëir eu bod yn y dyddiau hyny yn cael eu temtio yn fawr; yr oedd eu ffydd yn cael ei phrofi yn boenus, ond nid ellir

*cyfiawnhâu* ymwahaniad yn Eglwys Crist trwy *demtasiwn*."* Y mae ei olynydd yn ficeriaeth Caernarfon, Mr. Edwards, yn y modd mwyaf difloesgni yn priodoli ymadawiad ein tadau o'r Eglwys i anallu y dynion oedd mewn awdurdod ynddi, o ran cenedl ac iaith, i ddirnad y teimlad Cymreig, ac yn enwedig o ran oerder ysbryd a diffyg crefydd, i amgyffred y cynhyrfiad sanctaidd oedd yn meddiannu gwŷr ag yr oedd Ysbryd yr Arglwydd wedi cyffwrdd â'u calonau. Y mae efe, yn gystal a rhai o'r ysgrifenwyr eraill, yn dal llawer ar y ffaith nad oedd gan y dynion hyny ddim gwrthwynebiad i athrawiaeth a defodau yr Eglwys, na'i chysylltiad â'r Wladwriaeth. Y mae hyn oll yn berffaith wir, ac y mae i Ficer Caernarfon roesaw o'r ystyriaeth, os ydyw yn debyg o weinyddu iddo rywfaint o ddyddanwch. Ond y mae mor wir a hyny fod y gagendor o'r pryd hwnw hyd yn awr wedi parhâu i ymledu, ac fod y rhyddid a ennillwyd yn yr enciliad,—neu y gyriad allan, fel y geilw Mr. Vincent y peth—erbyn hyn, wedi gwneyd ffurfiau iddo ei hun yn ein plith sydd mor hollol anghydnaws âg ysbryd Eglwys Loegr fel na waeth meddwl am adferiad yr *Heptarchy* na meddwl am i'r Cymry ddyfod yn ol i'w chymundeb hi. Am y pwnc o gysylltiad yr Eglwys â'r Wladwriaeth, er fod ein tadau, fel y tadau Puritanaidd yn gyffredin, yn ei gredu, eto y mae "rhesymeg amgylchiadau" erbyn hyn wedi dysgu eu plant i ystyried ei fod yn beth tra anachaidd, ac mai goreu po gyntaf iddo gael ei ddilëu. Nid yw Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd wedi gwneuthur ond ychydig iawn erioed yn Nghymru; ac nid ydyw y dadgysylltiad wedi cael ond ychydig iawn o le o gwbl yn addysgiaeth dynion cyhoeddus Cymru mewn unrhyw ffordd; ac eto nid oes un ran o deyrnas ei Mawrhydi ag sydd heddyw mor addfed i hyny. Mae amryw o'r ysgrifenwyr hyn yn dyweyd nad yw y gwahanol enwadau yn gallu cyttuno i ddim ond i geisio tynu yr Eglwys i lawr. Mae y dywediad hwn yn cynnwys dau anwiredd mawr. Y *mae* y gwahanol enwadau yn gallu cyttuno i lawer o bethau eraill; ac yn amcan cyffredinol eu cenadaeth y maent yn gwbl gyttûn â'u gilydd; ond *nid* ydynt eto wedi ymuno i ddadgan un teimlad o barth i gwestiwn y dadgysylltiad. Yr ydym yn credu fod trahâ yr Eglwyswyr y dyddiau hyn ar fin eu gorfodi i hyny. Ond y fath ydyw gwrthuni gorthrymus y sefyllfa, fel y mae holl Ymneillduwyr Cymru wedi eu harwain, megys gan reddf, i benderfynu y dylai y peth gael ei wneyd; ac nid oes eisieu ond rhoddi cyfle iddynt i ddangos eu teimlad, na fyddai iddynt godi fel un gŵr i waeddi am i orthrwm y Sefydliad gael ei fwrw ymaith. Yr ydym yn ysgrifenu y pethau hyn i ddangos nad oes nemawr o ddefnydd cysur wedi y cwbl yn yr ystyriaeth y mae Mr. Edwards yn fawrhâu yn gymaint, sef nad oedd y tadau Methodistaidd yn teimlo unrhyw wrthwynebiad i athrawiaeth na defodau yr Eglwys, nac i'w sefyllfa fel Eglwys y Wladwriaeth. Am y gweddill mae yn ddiammheu ei fod yn hollol gywir yn yr hyn a ddywed am achosion yr enciliad. Wrth sôn am lafur Harris, Rowlands, a'r rhai oedd yn eu cynnorthwyo, dywed,—" Yr oedd effaith y symudiad prophwydol hwn yn fawr, yn gyflym, ac ëang. Beth oedd agwedd yr Esgobion estronol? Yn gwbl analluog i gydymdeimlo â gwresogrwydd Celtaidd *an-Seisonig* pobl Cymru, yn analluog i ddirnad yr angenrheidrwydd o ddiwallu newyn ysbrydol eu henaid trwy bregethu mwy mynych

* *The Church in the Diocese of Bangor*, p.

o'r gwir a'r bywiol Air, a gweinyddiad mwy ffyddlawn o Fara y Bywyd; fe ddarfu i'r esgobion a'u gwahanol osgorddion o glerigwyr estronol ŵgu ar yr ysgogiad, ac o'r diwedd yru Rowlands a chlerigwyr eraill oedd wedi ymuno âg ef, allan o'r Eglwys."* Y mae Mr. Thomas, St. Ann's, fel Mr. Edwards,—ac yn hollol naturiol felly,—yn teimlo digofaint dwfn at wladlywiaeth y Saeson gyda golwg ar yr eglwys Gymreig, ac yn prïodoli i hyny lawer iawn o'r trueni. Ymddengys nad ydyw mor ffôl a phrïodoli i hyny, yn gwbl, gyfodiad Ymneillduaeth yn y wlad, ac eto mae yn rhesymol iddo gasglu y buasai hyny lawer tebycach o fod wedi ei ochelyd pe buasai y dynion oedd mewn awdurdod yn yr Eglwys yn abl i gydymdeimlo yn fwy â phobl eu gofal. "Mewn tymmor bŷr," meddai, "yr ydym yn gweled rhan fawr o boblogaeth gwlad yr oedd iddi Eglwys Sefydledig, cyflenwad têg o esgobion, clerigwyr, ac eglwysydd, yn llithro ymaith yn ddiattalfa, heb un ymdrech, i wahanol ffurfiau o ymneillduaeth heb arian, addysg, na gallu politicaidd. Yn gydfynedol â hyn yr ydym yn gweled gwladlywiaeth ar ran Lloegr tuag at yr Eglwys Gymreig, o ba un y mae cauad allan di-dòr, neu o leiaf absennoldeb Cymro brodorol o Esgobaeth Gymreig am ganrif a hanner, yn nodwedd arbenig; ac nid allwn lai na chasglu y rhaid fod i ymddyeithriad pobl Cymru oddiwrth yr Eglwys *ryw* agoriad at ei eglurhâd yn y ffaith hon, er nad yn y ffaith hon yn unig."† Ac yr ydym ni yn cydymdeimlo yn galonog â'r eiddigedd sydd yn meddiannu y gwŷr hyn, a llïaws o'u brodyr yn yr Eglwys Gymreig, wrth feddwl am y camdrinïaeth a'r sarhâd y mae er ys cant a hanner o flynyddoedd wedi ei dderbyn oddiar law llywodraeth y deyrnas. Y mae yn brawf o waseidd-dra dirfawr fod ei phlant wedi gallu dygymmod mor ddiddig, ac am y fath dymmor maith, â chamwri mor fawr, a hyny heb anturio cymaint a gwrthdystio yn ei erbyn. Yr ydym yn ystyried fod y rhesymau a gynnygid i gyfiawnhâu y fath ymddygiad gormesol ar ran y llywodraeth yn gwbl annheilwng o ystyriaeth, ac yn ffurfio corff tra grymus o brawf o hollol anghymhwysder llywodraethau gwladol i arglwyddiaethu ar etifeddiaeth Duw. Beth bynag am anghymhwysder yr offeiriaid Cymreig i lanw y cadeiriau esgobol, mae yn amlwg y buasai yn rhyfeddol o anhawdd i'r salaf o honynt fod mor ddi-wasanaeth i'r Eglwys, neu yn wir fod yn gymaint attalfa ar ffordd ei llwyddiant, ag a fu yr estroniaid y mae y llywodraeth o oes i oes wedi anfon i fwyta ei bara ac i fwynhâu ei hurddas. Nid allwn ni fel Ymneillduwyr achwyn rhyw lawer o herwydd y trais hwn, oblegid i ni ac i'n tadau er ys llawer o amser nid ydyw yr Eglwys wedi bod yn ddim; yrhinwedd mwyaf sydd wedi ei gydnabod genym bellach er ys llawer oes yn ei chlerigwyr ydyw eu bod yn peidio gwneyd rhyw lawer o ddrwg, ac yn enwedig yn peidio peri llawer o rwystr yn ffordd dynion tra gwahanol ag oedd yn ymgysegru i'r amcan goruchel o wasanaethu eu cenedl yn yr Efengyl; ond yr ydym yn Gymry, er nad ydym yn Eglwyswyr, ac fel Cymry y mae yn chwerw genym feddwl fod y llywodraeth Seisonig yn y peth yma wedi ymddwyn tuag atom mewn dull mor anghyfiawn. Fe allai mai y rheswm mawr am hyn,—yn ychwanegol at y ffaith fod ymron yn anocheladwy i weinidogion y Goron beidio ystyried buddion eu plaid boliticaidd, &c., mewn apwyntiadau o'r fath, a rhoddi

* *The Church of the Cymry*, p. 93. † *The Church in Wales*, p. 17.

meitrau, fel pethau eraill, i'r rhai sydd yn debyg o beri iddynt leiaf o drafferth, neu y mae yn fwyaf pwysig iddynt eu tawelu,—ydyw yr anallu y mae y Saeson wedi ei arddangos hyd yma i ddirnad ein cenedlaetholdeb. Diammheu eu bod yn dysgwyl y buasai yr hen Gymraeg, sydd trwy yr oesoedd mor agos at ein calon, cyn hyn wedi ei hanghofio er ys llawer dydd, ac y buasai y Cymry, er ys oesoedd bellach, wedi llwyr golli yr ymwybyddiaeth o fod yn genedl ar wahân. Ond mae yn hapus meddwl fod y Cymry bellach wedi blino ar fod yn "gymynwyr coed ac yn wehynwyr dwfr" i'r gorchfygwyr, ac fel y gallesid dysgwyl, y mae y Saeson, tra yn dangos parodrwydd canmoladwy i estyn iddynt eu hawliau cyfiawn, yn cael eu dysgu i deimlo llawer mwy o barch tuag atynt wrth weled fod yn rhaid iddynt eu cael. Y mae clerigwyr Cymru wedi dangos zêl a difrifwch neillduol y misoedd diweddaf yma mewn sarhâu a mell-dithio Mr. Gladstone, a Mr. Gladstone ydyw y Prif-weinidog cyntaf mewn cant a hanner o flynyddoedd sydd wedi bod mor dirion a chofio fod y fath fodau ar y ddaear pan y disgynodd i'w ran i lanw esgobaeth Gymreig. Tra y pery yr Eglwys yn Nghymru mewn cysylltiad â'r llywodraeth, yr hyn nid ydyw yn debyg o fod yn hir, ni a obeithiwn y bydd i was Caesar, yr hwn sydd i'w llywodraethu, beidio bwrw arni eto y sarhâd o anfon estroniaid i fod yn esgobion arni. Clywsom rai yn ymffrostio yn Nghymraeg yr esgobion sydd yn ein plith yn awr, er nad ydynt yn Gymry o genedl. Druan o'u Cymraeg! Mae yn rhyfedd meddwl, tra nad ydyw yn beth dyeithr oll gweled y Cymry yn dysgu Saesoneg, ac yn ei siarad gyda chywirdeb, rhwyddineb, a nerth, mor ryfeddol o anfynych y mae y Saeson a'r Ysgotiaid yn dysgu un math o Gymraeg, a hyny hyd yn nôd pan y mae eu hamgylchiadau yn gwneyd Cymraeg—a chyda yr esgobion, Gymraeg dâ—yn anhebgorol iddynt. Fe allai fod yr esgobion Seisonig presennol sydd yn Nghymru yn deall Cymraeg yn weddol, ond camgymeriad dybryd ydyw dyweyd eu bod yn gallu ei siarad fel y buasai gan y Cymry hawl i ddysgwyl clywed ei siarad gan eu hesgobion, pe buasent yn gofalu rhywbeth am esgobion. Ond pe byddai eu tafod yn cael ei wneyd yn berffaith Gymreig, ni fyddai hyny mewn un modd yn ddigon i osod calon Cymry yn eu mynwes. A phe byddai y ddau beth yna yn bosibl, fe fyddai y teimlad o'r sarhâd cenedlaethol a fyddai mewn apwyntiad estron yn aros wedi hyny, ac yn attalfa bwysig ar ffordd ei ddefnyddioldeb. Y mae yn amlwg fod sylwi ar yr amryfuseddau dybryd y bu esgobion Seisonig yn euog o honynt wrth geisio llywodraethu yr Eglwys Gymreig, erbyn hyn wedi codi teimlad mor gryf yn erbyn y peth fel mai tra annhebyg ydyw y bydd i'r cyfryw gamgymeriad ddygwydd eto. Hyderwn hefyd y bydd y Cymry a gyfodir i'r urddas hwn yn meddu y cynneddfau eraill, annhraethol bwysicach, ag sydd, yn ol Gair yr Arglwydd, yn anhebgorol i esgobion. Wedi y cwbl, yr oedd diffygion y dynion a fu yn foddion i ddyeithrio y Cymry oddiwrth yr Eglwys o natur gwbl wahanol i'r pethau hyn, ac yn profi eu bod, o ran doethineb a gras, yn hollol anghymwys i'r lle pwysig ag yr oeddynt wedi eu gosod ynddo. Mae yn dda genym weled fod ein cyfeillion yn y Sefydliad wedi gweled yn bur amlwg rai o'r camgymeriadau a brofasant yn gymaint trychineb iddynt yn yr amser a fu; yr ydym hefyd yn hyderu y bydd iddynt fynu gweled y gweddill, a phenderfynu eu hosgoi. Hyd yma yr ydym yn meddwl nad ydynt wedi

cyraedd ymhellach na chynteddau allanol y dirgelwch. O sydynt i gyraedd byth yr uchafiaeth y mae eu hysbryd yn dyheu cymaint am ei fwynhâu, y mae yn rhaid iddynt yn gyntaf ddysgu anghofio hyny, ac ymestyn at beth sydd yn anfeidrol fwy.

Ond tra y mae amryw o'r ysgrifenwyr hyn yn cydnabod yn rhwydd y camgymeriadau fu yn foddion i yru yr Ymneillduwyr allan o'r Eglwys yn Nghymru, ac yn condemnio yn ddifloesgni y dynion fu yn euog o honynt, y maent, o'r ochr arall, yn fwy ddifloesgni fyth, yn condemnio yr Ymneillduwyr am gymeryd eu gyru allan. Mewn amser, ac allan o amser, y maent yn ein condemnio fel rhai sydd yn euog o rwygo corff Crist, fel rhai sydd yn byw mewn sism. Dyma faich eu cenadwri tuag atom, ac fe ellid meddwl mai nid arnynt hwy y bydd y bai os na fydd i ni ei derbyn. Pa mor gref bynag oedd y brofedigaeth a osodwyd yn ein ffordd gan yr Eglwys, a pha mor ddwfn bynag oedd euogrwydd y dynio âg oedd trwy eu tywyllwch a'u hannuwioldeb yn gosod y fath brofedigaeth o'u blaen, y mae yn ymddangos ein bod ni, trwy ymostwng iddi, wedi y cwbl, yn fwy ein pechod. Mae y llyfrau hyn yn trîn y mater yma gyda blâs neillduol. Yr ydym eisoes wedi dyfynu geiriau yr Esgob ar y pwnc. Y mae efe yn ysgrifenu yn fwy cymedrol na neb o'i frodyr. Ymddengys fel pe byddai yn gallu cymeryd golwg mwy ëang ar yr helynt, yn ymdeimlo yn fwy dwys â mawredd profedigaeth ein tadau, ac fel pe byddai ei feddwl clir a'i galon sanctaidd yn gallu amgyffred, i raddau na ŵyr ei frodyr fawr am dano, y posiblrwydd eu bod, wedi y cyfan, yn ddynion cydwybodol; a sut bynag, y mae efe yn teimlo mai nid ei swyddogaeth ef ydyw eu barnu, gan mai "i'w Harglwydd ei hun y maent yn sefyll neu yn syrthio." Ymddengys fod daioni go fawr yn perthyn iddynt, a *phe buasent wedi aros yn y Sefydliad*, fe fuasai eu henwau yn deilwng o'u cofrestru ymhlith gwroniaid yr Hen Destament y sonir am danynt yn yr unfed ar ddeg o'r Epistol at yr Hebrëaid! Mae yn rhaid fod rhyw ddrwg aruthrol yn eu hymneillduaeth hefyd, hyd yn nôd yn marn gŵr mor hynaws a Dr. Campbell, pan y mae yn gwneuthur ymron yn annheilwng o sylw lafur ag a fuasai heb hyny yn deilwng o'i gymharu â'r gorchestion mwyaf a gyflawnwyd yn holl hanes eglwys Dduw. Yr ydym hefyd wedi gweled fod Mr. Vincent yn ymdeimlo yn ddwfn â gwerth y diwygwyr, ac yn cydnabod fod y rhwystrau a fwrid yn eu ffordd yn dra gwahanol anhawdd drostynt.

Ond os ydyw yr Esgob a Mr. Vincent fel yn teimlo y dylent bwyso eu hymadroddion wrth gyffwrdd â'r mater yma, y mae yn ymddangos fod eu brodyr lêd y pegynau oddiwrth feddwl fod un angen iddynt betruso am fynyd yn ei gylch. Mae dadleuaeth amryw o honynt, fel Janus, yn meddu dau wyneb, y naill yn edrych yn gondemniol ar y llywodraethiad hwnw yn yr Eglwys a barodd yr ymneillduad, a'r llall yn edrych yr un mor gondemniol, ac yn wir yn llawer mwy felly, ar yr ymneillduad ei hunan. Am y lleill mae eu cariad annherfynol at yr Eglwys yn eu rhwystro i weled dim ond yr olaf. Fel yr awgrymasom o'r blaen, mae hyn yn arbenig nodweddiadol o'r encilwyr oddiwrth Ymneillduaeth. Ymddengys fod eneidiau y brodyr hyn yn ymogoneddu cymaint yn eu breintiau newyddion fel y maent yn dygymmod yn hyfryd iawn â'r llwch, ac yn alluog i fwyta baw yn annherfynol. Y mae, dybygem, yn bobpeth ond yn arwydd dda fod yr Eglwys yn dangos

cymaint awydd am groesawu dynion felly, ac yn gosod cymaint o bris ar unrhyw wasanaeth a allo y fath wehilion wneyd mewn ffordd o ddynoethi gwendidau Ymneillduaeth, a cheisio darbwyllo eu hen gyfeillion i gredu eu bod yn byw mewn sism.* Pa fodd bynag, y mae yn ymddangos nad oes un math o betrusdod yn meddwl y gwŷr hyn oll am ddrygioni anfad ein gweithredoedd yn yn yr ystyr yma. "Un o bechodau mwyaf cyffredin yr oes hon," medd Mr. P. C. Ellis, Llanfairfechan, "ydyw y pechod o sism, neu o ranu corff gweledig Crist, sef ei Eglwys yn y byd; ond er hyn i gyd, y mae y lliaws mor hoff o 'bentyru iddynt eu hunain athrawon, a'u clustiau yn merwino,' nes y tramgwyddant wrth bwy bynag a feiddia hyd yn nôd *ddyfynu* y rhanau hyny o'r Ysgrythyr Lân a grybwyllant am y pechod hwn, a'u cymhwyso at ymbleidwyr y dyddiau hyn."† Eto, "Os dywed neb nad ydynt yn rhanu Crist trwy hyn, os nad ydyw eu hymddygiad ddim yn cael ei gondemnio yn y testun, maent yn cau eu llygaid rhag gweled, a'u clustiau rhag clywed. Onid oes yr un sail i ofyn i ymbleidwyr yn awr, ai Calvin, ai Wesley a groeshoeliwyd drosoch chwi? ai yn eu henwau hwy y'ch bedyddiwyd chwi? ag oedd i Sant Paul ofyn i'r Corinthiaid, 'Ai Paul a groeshoeliwyd drosoch chwi? neu ai yn enw Paul y'ch bedyddiwyd chwi?' Y mae mor eglur â'r goleuni, fod pleidiau yn ein plith, ac y mae mor eglur a hyny, eu bod i'w hadnabod wrth wahanol enwau a theitlau, ac am hyny rhanant gorff Crist yn awr. Canys pe un corff fuasent, byddai y gair Eglwys yn ddigon i'w dynodi oll. Ond nid un ydynt, ac am hyny y mae yn arferiad cyffredinol gofyn i'r naill a'r llall, 'I ba sect yr wyt ti yn perthyn? &c.'"‡ Mae un o'r llyfrau hyn yn gosod y mater yn y goleu cryf a ganlyn:—"Yn amser y Diwygiad ni wnaeth yr Eglwys ond carthu allan yr hyn a orwasgwyd arni mewn athrawiaeth a buchedd yn yr oesoedd tywyll. Ni allai y Pabyddion oddef athrawiaeth efengylaidd yr Eglwys, am hyny hwy

* Dywedai Mr. Spurgeon yn ddiweddar yn *Synod* y Presbyteriaid Unedig yn Edinburgh —"Nid wyf fi yn gwybod sut y dysgasoch chwi yr athrawiaeth yma am Eglwysiaeth wrth-Wladol cystal. Nid wyf yn meddwl eich bod wedi cael cystal athrawon â ni yn Lloegr, canys mae yr iau yn drom iawn arnom ni yn Lloegr. Mae y clerigwyr sydd yn yr uchafiaeth yno yn credu mai ni yw y llwch sydd dan eu traed. Y maent yn cynnyg ffurfio cymdeithas i sefydlu cartrefi i'r dynion hyny sydd yn weinidogion Ymneillduol, ac yn dechreu edifarhâu a dyfod atynt eu hunain; ac fel y gallont, er yn gyffredin yn ddynion heb ddim addysg, ac o'r dosbarth isaf mewn cymdeithas, fyned dan ddwy neu dair blynedd o bureiddiad, fel y cymhwyser hwynt, nid i gymeryd lleoedd pwysig neu amlwg yn Eglwys y llywodraeth, ond i wneyd rhyw ychydig o fân ysgarmesau yn erbyn brodyr Ymneillduol, gan y tybir eu bod hwy yn gwybod mwy am fyddiniaeth y gelyn, ac yn y ffordd yma i fod o wasanaeth,—fe gynnygir adeiladu cartref iddynt; ac fel na fyddo iddynt fyned allan o'u sefyllfa, nid ydyw côst flynyddol pob efrydydd i ddyfod i fwy na 60p. y flwyddyn i'w gadw ef, a'i wraig, a'i deulu. Wedi myned trwy ddwy neu dair blynedd o addysg—ac ar y dechre ni chymerir mwy na chwech ar hugain i fewn fel math o brawf—gallant gael caniatâd, fe allai, i fwyta y briwsion dan fwrdd y gŵr goludog, a dyfod yn guradiaid yr Eglwys. Nid oes un Eglwys Brostestanaidd a feiddiodd erioed sarhâu ei chwaer Eglwysi yn y fath fodd. (Cymeradwyaeth.) Ni chynnygiai un Eglwys o fewn Crêd gymaint a ffyrling o wobrwy tuag at ddenu gweinidogion Eglwysi eraill ati ei hun. (Mawr gymeradwyaeth.) Mi garwn weled y chwe' dyn ar hugain a gyflawnant y weithred hon. Ni fyddai dim a roddai i mi fwy o foddhâd na'u gweled yn myned i'r lle, canys yr wyf yn credu y gwnaent fwy tuag at niweidio yr Eglwys Sefydledig nag a fyddai yn bosibl iddynt wneyd, o aros y tu allan iddi. Nid oes un drwg a allwn ddymuno i'm gelynion a wasanaethai yn fwy trwyadl fy amcan fy hun nag iddynt gael ffyliaid i ddyfod i gyngrair â hwynt."

† Pregeth a draddodwyd gan y Parch P. C. Ellis i'r dyben o rybuddio, &c., td. 1.

‡ Ib. td. 4.

a'i gadawsant hi. Yr un modd y mae Ymneillduwyr y dyddiau hyn, ni oddef eu mympwy iddynt fod yn ddarostyngedig i awdurdodau yr Eglwys; gan hyny, fel eu brodyr y Pabyddion, hwy a'i gadawsant, ac unent gyda hwynt a'r digredinwyr *(infidels)* i rwystro a diddymu awdurdod a gafael yr Eglwys ar y bobl, gan ddywedyd, 'Teml yr Arglwydd, teml yr Arglwydd ydym ni.' "* Drachefn, "Anwyl ddarllenydd, edrych am ddeng mynyd ar yr holl rwygo, yr ymryson, y dadleu, y croes-gredu, a'r holl gyfeiliorni ynfyd a niweidiol a welir ymhlith yr 'enwadau,' ac edrych ar iachusrwydd ac undeb ffydd, heddwch, a chydweithrediad yn yr Eglwys; a dal hwynt yn dêg yn ngwyneb Gair Duw, i weled pa un ai yr 'enwadau' ai yr Eglwys sydd yn ateb oreu i'r Eglwys a ddarlunir yn hwnw. Mae yn wir fod yr Eglwys yn cael peth gofid yn awr ac eilwaith gan ddynion yn cymeryd eu cylcharwain gyda phob awel dysgeidiaeth; ond y mae mor berffaith, fe allai, ag a allir ddysgwyl iddi fod mewn gwlad lle mae cymaint o feddyliau gwahanol, o ysgrifenu a dadleu, ac ymosod yn ei herbyn."† Mae ficer presennol Caernarfon fel pe byddai yn teimlo ei bod yn rhan arbenig o'i neges yn y byd i'n hargyhoeddi o'n sism, ac i'n taranu i'r Eglwys Sefydledig yn ol. "Yn ystod y deng mlynedd cyntaf," meddai, "o'r ganrif bresennol, pan oedd Harris a Rowlands, a'r clerigwyr oedd wedi arwain yr ysgogiad gyntaf, wedi marw, fe ddechreuodd y pregethwyr llëyg neu 'Gynghorwyr' arddangos ysbryd mwy amlwg sismaticaidd, i waeddi am enciliad ffurfiol oddiwrth yr Eglwys, ac i gymeryd arnynt awdurdod i gysegru y Sacrament. Y cynnygiad pan wnaed ef yn gyhoeddus gyntaf yn un o'r Cymdeithasfäoedd neu Gymanfäoedd Chwarterol y cynnulleidfäoedd Methodistaidd, a dderbyniwyd gyda theimlad o ddychryn, a disgynydd uchelgeisiol Corah a orchymynwyd gan y cadeirydd i fyned allan o'r cyfarfod. Ond wedi hir gynhyrfu, fe lwyddodd y 'Cynghorwyr,' yn A.D. 1811, i gario y Gymdeithas Fethodistaidd i sefyllfa sismaticaidd trwy bleidlais yn gorchymyn ar i bregethwyr llëyg gael caniatâd i gysegru y Sacrament. Er y dydd hwnw mae y rhan fwyaf o'r Methodistiaid Cymreig wedi parhâu i'w hamddifadu eu hunain o urdd Sacramentaidd, ac i borthi eu henaid ar ddefod grefyddol, yr hon, gan dystiolaethu yn anymwybodol i'r gwirionedd, a ddesgrifiant fel yn amddifad o unrhyw wiredd oddieithr fel seremoni goffadwriaethol ac arwyddlun aelodaeth."‡ Ac yn debyg mewn lliaws o ymadroddion eraill yn ei lythyr at Mr. Gladstone, ac yn ei lythyrau yn y *Goleuad*.

Mae ymadroddion o'r fath yma yn swnio yn gryfion iawn, ac os ydynt yn wir, fe ddylent ein dychrynu, canys y mae yn ymddangos ein bod yn byw mewn pechod ysgeler, ac wrth wneyd hyny nid ydyw ond ofer i ni ddysgwyl bendith arnom. Ond wedi y cwbl, yr ydym rywffordd ymhell o deimlo unrhyw ddychryn yn ein meddiannu wrth glywed y fath ymadroddion cryfion yn cael eu rhaiadru arnom. Fel y bargyfreithiwr a ddywedai wrth weled y barnwr yn ysgwyd ei ben yn y llŷs, "Gellwch chwi ysgwyd eich pen, fy arglwydd, ond yr wyf fi yn eich sicrhâu nad oes dim byd ynddo," yr un modd yr ydym ninnau yn teimlo gyda golwg ar y cyhuddiadau trymion hyn a ddygir yn ein herbyn gan yr Eglwyswyr,—nid oes dim byd ynddynt. Pe amgen, mae yn ddiammheu y buasem yn dychrynu yn fawr.

* Eglwys Crist, td. 12. † td. 45. ‡ *The Church of the Cymry*, p. 37.

Y mae diffyg undeb a chydweithrediad yn enwedig ymhlith dysgyblion yr addfwyn Oen, yn beth rhyfeddol o anghysurus, ac yn ddiammheu yn beth sydd i'w brïodoli i'w hanmherffeithrwydd. Mae pechod yn ysgaru; gwna bob un yn ganolbwynt iddo ef ei hunan, a pha gydweithrediad bynag a all fod rhwng dynion yn ngwasanaeth pechod, rhaid iddo orphwys ar y dealltwriaeth fod pob un i gael ei ffordd ei hun. Rhwymyn eu hundeb yw eu hundeb mewn llygredigaeth. O'r ochr arall, y mae gras yn uno. Gweithreda mewn difodi o'r fynwes y gallu ysgarol, ac adferu y dyn unigol, ynghyda'r gymdeithas ddynol, i "undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd." Nid gras Cristionogion, yn sicr, sydd yn gyfrifol am y gwahaniaethau sydd yn codi yn eu plith. Ac eto nid ydym yn gallu gweled fod gwahaniaeth felly yn sism. Yr oedd Paul a Barnabas yn ol yr hanes a gawn yn y bymthegfed bennod o lyfr yr Actau yn ddiammheu yn un mewn tymher garuaidd at eu gilydd, yn gystal ag mewn ymgysegriad dwfn i Grist a'i deyrnas, pan ddywedasant, "Dychwelwn ac ymwelwn â'n brodyr ymhob dinas y pregethasom air yr Arglwydd ynddynt, i weled pa fodd y maent hwy." Ond fe gynghorai Barnabas gymeryd gyda hwynt Ioan, yr hwn a gyfenwid Marc. Ond yr oedd hwnw wedi tynu oddiwrthynt o Pamphylia, ac nid aethai gyda hwynt i'r gwaith, ac am hyny ni welai Paul yn addas gymeryd hwnw gyda hwynt. "A bu gymaint cynhwrf rhyngddynt, fel yr ymadawsant oddiwrth eu gilydd; ac y cymerth Barnabas Marc gydag ef, ac y mordwyodd i Cyprus; eithr Paul a ddewisodd Silas, ac a aeth ymaith, wedi ei orchymyn i ras Duw gan y brodyr." Mae yn ymddangos mai nid rhyw anghydwelediad yn unig oedd rhyngddynt, ond iddi fyned yn "gynhwrf"—παροξυσμὸς, y gair o ba un y tardd y gair Saesoneg *paroxysm* —yn ddadl wyllt, danbaid, yn ffrae. Ac eto nid oedd y pwnc ond dibwys. Os oedd Marc wedi bod yn llwfr yn Pamphylia, yr oedd yn dra naturiol i Barnabas, yn enwedig gan ei fod yn ewythr iddo, obeithio na fyddai felly drachefn, yn gymaint a'i fod ef ei hun, dybygid, yn gofidio am y tro hwnw, ac yn awyddus eilwaith am ymroddi "i'r gwaith." Nid oedd yn annaturiol o'r ochr arall i Paul, gyda'r dewrder llewaidd a feithrinai yn ei ysbryd i wynebu ar y rhwystrau a allent fod yn eu ffordd, feddwl mai anghymhwys oedd cymeryd gŵr ieuanc mor laith gyda hwynt i'r fath siwrnai. Ac nid ydyw yn hawdd gweled pa un o'r ddau ŵr da oedd y ffolaf, pan yn dal mor ryfeddol o gyndyn am gael ei ffordd. Dylasai Barnabas adael i'w deimlad perthynasol suddo, cyn myned i ymrafaelio ar y fath gwestiwn dibwys; a dylasai Paul fod yn barod i roddi ail gynnyg i frawd ieuanc mor anwyl, yn enwedig gan nad oedd dim yn ei erbyn ond ei fod wedi llwfrhâu yn Pamphylia. Yn lle hyny aeth y ddau ŵr sanctaidd i ffraeo. Ac mae yn dra thebyg fod y brodyr yn Antiochia yn gwahaniaethu fel hwythau; fod rhai yn ochri gyda Barnabas, ac yn dyweyd fod yn rhy ddrwg i Paul fod mor lŷm yn erbyn Marc; ac mae yn amlwg fod eraill, yr ysbrydoedd cryfaf, o bosibl, yn y gymdeithas, yn cydymdeimlo â Paul, canys fe aeth efe ymaith gyda Silas, "wedi ei orchymyn i ras Duw gan y brodyr." Yr oedd hyn oll yn rhyfeddol o debyg i'r natur ddynol; ond nid ydym yn gweled fod y naill yn esgymuno y llall, nac fod yr anghydwelediad rhyngddynt yn cael ei ystyried yn sism. Yr oedd eu hundeb wedi y cwbl yn annhraethol ehangach na'u hanghydwelediad. Mae yn amlwg fod

cymdeithas ddynol, hyd yn nôd yn ei ffurf uchaf, sef fel Eglwys i Grist, yn anmhosibl, heb ganiatâu o fewn rhwymyn ei hundeb gryn lawer o le i amrywiaeth barn a theimlad personol. Mae byd gwirionedd mor fawr, mae cylch ein golwg ninnau mor gyfyng, ac mae natur ein gweledigaeth, hyd yn nôd o fewn y cylch cyfyng hwnw, yn cael effeithio cymaint arno gan wendid ac anmhuredd, fel nad oes gan yr Apostol Paul ei hun ddim cynghor gwell i'w roddi i ni gyda golwg ar lawer o bethau na gofalu am gydwybodolrwydd i'r gwirionedd, beth bynag fyddo cylch ac ansawdd yr olwg allwn gymeryd arno: "Bydded pob un yn sicr yn ei feddwl ei hun." Mae yn amlwg nad yw yn bosibl cael holl gorff Cristionogion i fod yn berffaith yr un fath â'u gilydd, ac y mae mor amlwg a hyny nad ydyw eu diffyg mewn unffurfiaeth i'w ddwyn yn eu herbyn fel cyhuddiad o sism.

Ond y mae yn dra ammheus genym ni a ydyw y parodrwydd y mae dynion wedi ddangos i luchio at eu gilydd y cyhuddiad o sism yn dangos fod ganddynt ddirnadaeth o'r hyn sydd i'w ddeall wrth y pechod hwn fel y sonir am dano yn y Bibl. Mae Eglwys Loegr yn cael ei chyhuddo o sism gan Eglwys Rufain hyd y dydd hwn, a hyny mor benderfynol fel na fŷn y gorfforiaeth ffroenuchel hono gymaint a chydnabod y Sefydliad Seisonig yn Eglwys oll, er maint y warogaeth y mae hono yn feunyddiol yn dalu iddi, ac er maint yr awyddfryd sydd yn meddiannu lliaws mawr o'i phlant am undeb â Rhufain. Mae yn wir, chwedl Dean Howson, fod eu gwaith yn dyheu cymaint am undeb â Rhufain a Groeg er mwyn dwyn oddiamgylch Undeb Crêd—*the Unity of Christendom*—tra yn gommedd cydnabod eu brodyr yr Ymneillduwyr sydd yn byw yn eu canol ac yn credu yr un gwirioneddau, yn ymddangos yn rhyfeddol o *un-real;* ond er y cwbl, ni fŷn Rhufain, yn enwedig, eu harddel hwy, mwy nag y mŷnant hwy arddel yr Ymneillduwyr. Mae amryw weithiau dysgedig a galluog wedi eu hysgrifenu gan glerigwyr Eglwys Loegr i wrthbrofi cyhuddiad Rhufain yn eu herbyn o fod yn sismaticiaid. Fe ddechreuodd Eglwys Loegr yn foreu fwrw yr un cyhuddiad yn erbyn y Presbyteriaid a'r Annibynwyr; tra yr oeddent hwythau yn gallu eu hateb gyda'r un rhesymau ag a ddefnyddiai clerigwyr y Sefydliad wrth ymddiheuro yn ngwyneb cyhuddiadau Rhufain. Mae yn ddrwg genym feddwl hefyd fod y Presbyteriaid, pan newydd wrthbrofi cyhuddiad Eglwys Loegr eu bod hwy yn sismaticiaid, wedi ymollwng i'r gwendid o geisio gwarthnodi â'r un cyhuddiad yr eglwysi Cynnulleidfäol, pan ddechreuasant ymffurfio yn y deyrnas. Nid ydyw cydnabod peth felly yn un anrhydedd i'n Cristionogaeth, ond y mae dynion trwy yr oesoedd wedi bod yn lled debyg i'r gwylltiaid yn ffair Donnybrook, yn cystwyo eu gilydd yn ddidrugaredd â sismaticiaeth; ac yr ydym yn cael mai y rhai sydd fwyaf parod i wneyd hyny, sydd eu hunain, fynychaf, dan lywodraeth yr ysbryd mwyaf sismaticaidd.

Ac nid ydym ni yn gwybod am neb sydd wedi gwneyd hyn gyda mwy o anwybodaeth, a chyda mwy o gulni, a chwerwder, a gwir sismaticiaeth ysbryd, na Mr. P. C. Ellis yn ei bregeth. Gwna sism, neu ranu corff Crist, yn un o bechodau mwyaf cyffredin yr oes hon. Ymddengys i ni ei fod dan ei ddwylaw yn fawr pan yn siarad fel yma. Os yw y peth y mŷnai gyfeirio ato yn ffaith o gwbl, nid yr oes hon sydd yn gyfrifol am dano. Fe fyddai ein gwaith ni yn bresennol yn ymadael â'r eglwysi yr

ydym wedi ein geni a'n magu ynddynt, a'n tadau wedi eu geni a'u magu ynddynt o'n blaen, a hyny heb un rheswm amgen nag a wêl Mr. Ellis yn dda daflu tuag atom, yn sism yn wir. Ac y mae yn amlwg fod ei feddwl lawer yn ddyfnach yn y fagddu pan yn ceisio sefydlu y cyferbyniad rhwng Ymneillduaeth y Cymry a sism y Corinthiaid. Mae y defnydd a wneir o'r gair hwn yn y Bibl ymhob man yn dangos rhywbeth tra gwahanol i Ymneillduaeth. Arwydda nid enciliad oddiwrth unrhyw gymdeithas, ond ymraniad o'i mewn. Mae yn wir fod y gair yn ei ystyr gyntefig yn arwyddo rhwygo. Felly yn Mat. ix. 6: "A'r *rhwyg*, σχίσμα, a wneir yn waeth." Felly hefyd Mat. xxvii. 51: "A llèn y deml a *rwygwyd*, ἐσχίσθη,—a'r meini a holltwyd,"—ἐσχίσθησαν. Pan ddefnyddir y gair am ddynion, arwydda eu gwaith yn anghyttuno ac yn ymgynhenu ymhlith eu gilydd. Yn Ioan vii. 40—43, yr oedd gwahanol olygiadau gan wrandäwyr Crist am dano, llawer yn dywedyd, "Yn wir, hwn yw y prophwyd. Eraill a ddywedasant, Hwn yw Crist. Eraill a ddywedasant, Ai o Galilea y daw Crist? Oni ddywedodd yr ysgrythyr, Mai o hâd Dafydd, ac o Bethlehem, y dref lle bu Dafydd, y mae Crist yn dyfod? Felly," meddai yr Efengylwr, "yr aeth *ymrafael*, σχίσμα, ymysg y bobl o'i blegid ef." Yr un modd yn Ioan ix. 16, yr oedd rhai o'r Phariseaid yn dywedyd nad oedd Crist o Dduw, gan nad oedd yn cadw y Sabbath; ac eraill yn gofyn, "Pa fodd y gall dyn pechadurus wneuthur y cyfryw arwyddion? Ac yr oedd *ymrafael*, σχίσμα, yn eu plith." Crybwyllir am σχίσμα, sism, neu ymrafael cyffelyb yn Ioan x. 19: "Yna y bu drachefn *ymrafael* ymysg yr Iuddewon am yr ymadroddion hyn." Yn Actau xiv. 4, sonir am sism yn Iconium: "Eithr llïaws y ddinas a ranwyd, ἐσχίσθη, a rhai oedd gyda'r Iuddewon, a rhai gyda'r apostolion." Pan lefodd Paul yn y cynghor yn Jerusalem (Act. xxiii. 6), "Ha wŷr frodyr, Pharisëad wyf fi, mab i Pharisëad; am obaith adgyfodiad y meirw yr ydys yn fy marnu i," fe gododd sism yn y lle yn y fan: "Ac wedi iddo ddywedyd hyn, bu ymryson rhwng y Pharisëaid a'r Saducëaid, a *rhanwyd*, ἐσχίσθη, y llïaws." A chan mai oddiwrth y defnydd yma a wneid o'r gair mewn arferiad cyffredin y cododd ei ystyr eglwysig, mae yn dra naturiol i ni ddysgwyl ei gael yn y cysylltiad hwnw yn arwyddo anghydwelediad ac ymrafael o fewn y gymdeithas eglwysig, ac nid ymraniad oddiwrthi. Ac felly yn ddiammheu y defnyddir ef. "Ac yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr," meddai yr Apostol Paul, 1 Cor. i. 10, "trwy enw ein Harglwydd Iesu Grist, ddywedyd o bawb o honoch chwi yr un peth, ac na byddo *ymbleidio*,—σχίσματα,—sismau, yn eich plith." Pen. xi. 18 dywed, "Canys yn gyntaf, pan ddeloch ynghyd yn yr eglwys, yr ydwyf yn clywed fod *ymrafaelion*," σχίσματα, yr un gair, "yn eich plith." Cyfieithir y gair yn pen. xii. 25, yn *anghydfod*: "Fel na byddai anghydfod yn y corff." Ni sonir yn benodol yn y Testament Newydd am un eglwys lle yr oedd y pechod o sism yn ffynu oddieithr eglwys Corinth; ac mewn trefn i ddeall natur y drwg, nid allwn wneyd yn well nag astudio ei hanes yn y fan lle yr ydoedd yn amlwg yn bodoli ac yn peri blinder. Dyma yr hyn a ddywed yr apostol, wedi cyfeirio at y *cynhenau*, y sismau, y clywsai eu bod yn eu plith: "A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, fod pob un o honoch yn dywedyd, Yr ydwyf fi yn eiddo Paul; minnau yn eiddo Apolos; minnau yn eiddo Cephas;

minnau yn eiddo Crist." Nid yw yn hawdd i ni benderfynu yn fanwl natur yr ymrafaelion hyn; ond mae yn amlwg fod yr eglwys hono, er yn wir eglwys i Grist, eto mewn ystâd fabanaidd, ac felly yn hawdd ei chynhyrfu a'i chamarwain oddiwrth y gwirionedd. Yr oedd ei hamgylchiadau hefyd y fath ag oedd yn ei gosod yn dra agored i brofedigaethau felly. Fe sefydlwyd yr eglwys, fel yr ydym yn darllen yn Actau xviii. 8—11, gan Paul. Wedi ei ymadawiad daeth Apolos yno, Actau xix. 1, a "dyfrhäodd" yn dra dymunol lafur y plànydd. 1 Cor. iii. 6. Nid yw yn ymddangos i Pedr fod yn Corinth, cyn hyn o leiaf; canys yr oedd yr ymweliad y sonia Eusebius am dano lawer yn ddiweddarach. Ond mae yn debyg fod yno rywrai—fe allai wedi eu dychwelyd trwy ei weinidogaeth—wedi bod yn gwneyd defnydd o'i enw, ac yn rhoddi y fath arbenigrwydd ar ryw bethau ag y tybid fod Pedr yn awdurdod drostynt, nes bod yn foddion i beri anghydwelediad yn yr eglwys. Ac yn ychwanegol at hyn oll, yr oedd yno rai yn cymeryd sefyllfa wahanol fyth, ac yn ymgyfenwi ar enw Crist. Mae llawer o ddyfalu cywrain wedi bod gyda golwg ar y gwahaniaeth oedd rhwng y pleidiau hyn â'u gilydd. Mae yn ddiammheu fod Paul wedi bod yn ofalus i arwain y Corinthiaid yn syml at y Gwaredwr, ac na fynai wybod dim yn eu plith ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio, pa gamgymeriadau bynag y gallai bod rhai o'r brodyr wedi syrthio iddynt wedi hyny pan yn ymffurfio yn blaid ar ei enw, er mwyn gochel yr hyn a olygent yn gyfeiliornadau. Rhaid i ni feddwl fod Apolos hefyd yr un mor gydwybodol yn ei lafur, a'r un mor syml yn ei amcan. Ond yr oedd efe yn Iuddew o Alexandria, ac felly mae yn debyg yn dra chydnabyddus â llênyddiaeth y Groegiaid, ac wedi ei drwytho yn eu hathroniaeth. Fel y cyfryw, ac heb eto gyraedd y symledd mwy arddunol ag oedd yn nodweddu Paul fel un ag oedd yn diystyru pobpeth arall, ac wedi ymgolli yn Nghrist, yr oedd yn demtasiwn iddo ef gyfeirio at y meddyliau mwyaf ysgolheigaidd ymhlith ei wrandäwyr, a phrofi fod Cristionogaeth, fel crefydd o Ddwyfol ddadguddiad, yn berffaith gyson â'r golygiadau uchaf am wirionedd a gyrhaeddasid gan y meddylwyr enwocaf ag yr oeddent hwy eu hunain yn ymffrostio ynddynt. Heblaw hyny, fe allai nad oedd yn hawdd iddo ef fel areithydd, "gŵr ymadroddus," fel y gelwir ef, Actau xviii. 24, ochel y brofedigaeth o wisgo ei syniadau yn yr arddull y gwyddai ei bod yn fwyaf tebyg o ennill clust a chaethiwo sylw pobl ag oeddent, yn anad pobpeth, yn hoff o hyawdledd. Yr oedd y dysgyblion cenhedlig eisoes mewn sefyllfa ag oedd yn demtasiwn iddynt edrych gyda grâdd o gilwg ar yr Iuddewon dychweledig, yn gymaint ag fod yr olaf yn teimlo anhawsder i ganiatâu y fath ryddid oddiwrth sefydliadau yr hen oruchwyliaeth ag oedd y cyntaf yn hawlio, ac y credent hefyd, fod Crist yn ei ganiatâu. Gesyd yr apostol hwynt ar eu gwyliadwriaeth rhag y perygl hwn yn Rhuf. xi. 17—22. Ond os oeddynt yn cael yn ychwanegol fod Cristionogaeth yn cydfyned i raddau mawr â chaffaeliadau eu hathroniaeth hwy eu hunain, nid oedd yn annaturiol iddynt feddwl yn fwy caredig am dani, ac ymffrostio ynddi fel cadarnhâd i'w golygiadau. Ond yr oedd hyn oll yn tueddu yn gryf at beri iddynt gamgymeryd crefydd yr Efengyl, ac edrych arni, yn lle fel trefn iachawdwriaeth i fyd colledig, fel cyfundrefn awdurdodedig o athroniaeth, a chyfundrefn ag oedd yn fath o ogoneddiad ar y syniadau ag yr oeddynt hwy eisoes

yn dra ymlyngar wrthynt. Pa mor ddiniwed bynag oedd Apolos yn ei lafur ymhlith y Corinthiaid oddiwrth fwriadu y fath beth, nid yw yn anhawdd i ni feddwl ddarfod iddo, er hyny, fod yn achlysur i beri i rai gymeryd safle neillduol fel aelodau yn yr eglwys, a safle ag oedd yn eu dysgu, gan ymgyfenwi ar enw Apolos, i edrych i lawr ar eu brodyr fel rhai llai goleuedig a thlotach eu diwylliad. Nid yw yn anhawdd gweled ymhlith y rhai hyn ddechreuad y drwg a ymddadblygodd wedi hyny i holl oferedd Gnosticiaeth, sef y gyfundrefn ag oedd yn edrych ar Gristionogaeth yn unig fel corff o wirionedd i'w wybod, ac heb fod a fŷnai â chalon ac â bywyd y rhai a'i proffesent. Yr oedd gwahaniaeth amlwg rhwng y blaid yma â'r Apostol Paul. Yr ydoedd efe wedi dyfod heb dalu dim gwarogaeth i'w hathroniaeth nac i'w chwaeth. "A myfi, pan ddaethum atoch, frodyr, a ddaethum, nid yn ol godidogrwydd ymadrodd, gan fynegi i chwi dystiolaeth Duw. Canys ni fernais i mi wybod dim yn eich plith, ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio. A mi a fûm yn eich mysg mewn gwendid, ac ofn, a dychryn mawr. A'm hymadrodd a'm pregeth i, ni bu mewn geiriau denu o ddoethineb ddynol, ond yn eglurhâd yr Ysbryd a nerth; fel na byddai eich ffydd mewn doethineb dynion, ond mewn nerth Duw," 1 Cor. ii. 1—5. Mewn cymhariaeth i Apolos, yr oedd presennoldeb ei gorff yn wan, a'i ymadrodd yn ddirmygus, 2 Cor. x. 10; yr ydoedd yn anghyfarwydd ar ymadrodd, 2 Cor. xi. 6. Nid oedd ganddo ef ddim i'w gynnyg i neb ond y gwirionedd syml am Grist yn unig Iachawdwr, i bawb fel eu gilydd; ac yr ydoedd, fel pob gwir bregethwr, yn astudio pa fodd i'w osod Ef ger bron ei wrandäwyr yn y ffordd a barai fod leiaf o'u sylw yn cael ei dŷnu at ddim arall. Ac fel yr oedd Apolos, yr ysgolhaig Groegaidd a'r gŵr ymadroddus, yn gwneyd argraff fwy ffafriol ar y Groegiaid oedd yn "ceisio doethineb" ac yn ymlawenychu mewn "godidogrwydd ymadrodd," felly hefyd mae yn bosibl fod ei ddull penodol, fel un "cadarn yn yr ysgrythyrau," o esbonio y cysylltiad rhwng crefydd Crist a goruchwyliaeth Moses, yn peri fod rhai o'r Iuddewon yn teimlo yn fwy ffafriol at ei ddull ef o osod y gwirionedd ger eu bron nag y teimlent at yr eiddo Paul. Ac mae yn ymddangos fod y rhai a ymgyfenwent ar enw Cephas yn wahaniaethol oddiwrth eiddo Paul ac eiddo Apolos. Dyma y blaid Iuddewig yn yr eglwys. Defnyddient enw Pedr fel Iuddew, a defnyddient ef yn ei ffurf Iuddewig, Cephas. Ymddengys fod athrawon Iuddewig wedi dyfod i blith y dysgyblion a ymffrostient eu bod yn Hebrëaid, yn Israeliaid, ac yn hâd Abraham, 2 Cor. xi. 22; eu bod yn dwyn gyda hwynt lythyrau canmoliaeth oddiwrth ryw bersonau neu eglwysi, 2 Cor. iii. 1; a'u bod yn adeiladu ar y sylfaen a osodasid i lawr gan Paul, adeiladaeth nad oedd ganddynt wedi y cwbl ond ychydig o reswm dros ymffrostio ynddi. "Canys nid ŷm ni," meddai yr apostol, 2 Cor. x., "yn beiddio ein cystadlu, neu ein cyffelybu ein hunain i rai sydd yn eu canmol eu hunain; eithr hwynt-hwy, gan eu mesur eu hunain wrthynt eu hunain, a'u cyffelybu eu hunain iddynt eu hunain, nid ydynt yn deall. Canys nid ydym, megys rhai heb gyrhaeddyd hyd atoch chwi, yn ymestyn allan tu hwnt i'n mesur; canys hyd atoch chwi hefyd y daethom âg efengyl Crist; nid gan fostio hyd at bethau allan o'n mesur, yn llafur rhai eraill; eithr gan obeithio, pan gynnyddo eich ffydd chwi, gael ynoch chwi ein

mawrygu yn ol ein rheol yn ehelaeth, i bregethu yr efengyl tu hwnt i chwi; ac nid i fostio yn rheol un arall am bethau parod eisoes." Proffesent eu hunain yn apostolion. Mae yn debyg mai atynt hwy y cyfeirir, 2 Cor. xi. 5, pan ddywed yr apostol, "Canys yr ydwyf yn meddwl na bûm i ddim yn ol i'r apostolion penaf." Prin y buasai yn defnyddio y fath ddull o ymadroddi—τῶν ὑπερλαν ἀποστολων, i'r apostolion sydd felly yn yr ystyr uchaf!—pe buasai yn cyfeirio at Pedr, ac Iago, ac Ioan. Mae yn anhawdd, fel y sylwa De Wette, peidio teimlo gradd o chwerwder yn ei dôn. Heblaw hyny, am y terfysgwyr y mae yn siarad yn y cyd-destun, a geilw hwynt yn eglur yn adnod 13, yn gau-apostolion: "Canys y cyfryw gau-apostolion sydd weithwyr twyllodrus, wedi ymrithio yn apostolion i Grist." Gwadent apostoliaeth Paul, a gwnaent lawer o'r ffaith nad ydoedd efe, fel Cephas, wedi gweled yr Arglwydd. "Onid ydwyf fi yn apostol?" meddai, 1 Cor. ix. 1, 2; "onid wyf fi yn rhydd? oni welais i Iesu Grist ein Harglwydd? onid fy ngwaith i ydych chwi yn yr Arglwydd? onid wyf fi yn apostol i eraill, eto yr wyf i chwi; canys sêl fy apostoliaeth i ydych chwi yn yr Arglwydd." Dadleuent nad oedd efe ei hun yn dal ei fod yn apostol, onidê y buasai yn derbyn ei gynnaliaeth fel y cyfryw, a darostyngent ef yr un modd oblegid ei weddwdod. "Onid oes awdurdod i ni i fwyta ac i yfed? Onid oes i ni awdurdod i arwain o amgylch wraig a fyddai chwaer, megys ag y mae i'r apostolion eraill, ac i frodyr yr Arglwydd, ac i Cephas?" 2 Cor. ix. 4, 5. Safent hwy dros Cephas, bid sicr; a diammheu yr edrychent gyda llawer o ddirmyg ar waith y fath "un annhymmig" yn gwrthwynebu yn ei wyneb y prif apostol. Nid ydym i feddwl fod Pedr ei hunan wedi rhoddi unrhyw achlysur i'r bobl hyn edrych yn isel ar ei "anwyl frawd Paul," i'r hwn y rhoisai y fath dderbyniad croesawus pan aeth i Jerusalem y waith gyntaf ar ol ei droëdigaeth i ymweled âg ef, ac yr arosodd gydag ef bymtheng niwrnod (Gal. i. 18), ac i'r hwn ynghyda Barnabas y rhoesai efe ac Iago ac Ioan, wedi hyny, "ddeheu-ddwylaw cymdeithas, fel yr elent at y cenhedloedd, a hwythau at yr enwaediad" (Gal. ii. 9); ond yr oedd y blaid Iuddewig yn eglwys Corinth, fe allai o herwydd y gwendid a ddangosasai yn Antiochia, pan, "cyn dyfod rhai oddiwrth Iago, y bwytäodd gyda'r cenhedloedd, ond wedi iddynt ddyfod, efe a giliodd ac a neillduodd ei hun oddiwrthynt, gan ofni y rhai o'r enwaediad," am yr hyn y gwrthwynebwyd ef gan Paul yn ei wyneb, "am ei fod i'w feïo," yn cymeryd mantais i lechu dan gysgod ei enw er mwyn lledaenu eu syniadau ymhlith y brodyr. Am y blaid arall, "eiddo Crist," nid ydyw mor hawdd penderfynu beth ydoedd ei phroffes neillduol. Yr ydym wedi gweled eisoes fod rhai yn darostwng Paul am nad ydoedd wedi gweled Crist, nac wedi bod yn ddysgybl proffesedig iddo pan ydoedd ar y ddaear. Gellid meddwl fod rhywbeth a fynai peth felly â gwaith y blaid yma yn ei ddarostwng ef, ac yn ymffrostio eu bod hwy, naill ai fel rhai ag oeddynt wedi ei weled eu hunain, neu yn proffesu eu hunain yn ddilynwyr i rai oedd wedi ei weled, yn "eiddo Crist." "Ai edrych yr ydych chwi," meddai, 2 Cor. x. 7, "ar bethau yn ol y golwg? os ymddiried neb ynddo ei hun, ei fod ef yn eiddo Crist, meddylied hyn drachefn o hóno ei hun, megys ag y mae efe yn eiddo Crist, felly ein bod ninnau hefyd yn eiddo Crist." Os oeddynt yn ymffrostio yn eu cysylltiad â "brodyr yr Arglwydd," neu â Iago, neu â Phedr, fel rhai ag oeddynt wedi gweled

Crist, a derbyn eu haddysg a'u hawdurdod yn uniongyrchol o'i law, ac felly yn ddysgawdwyr anffaeledig yn yr efengyl, y mae efe am iddynt ddeall fod ei hawliau ef yn yr holl ystyriaethau hyn mor uchel ag eiddo neb o'r apostolion. Y mae wedi ei weled ei hunan, ac wedi derbyn ei genadwri a'i anfoniad yn uniongyrchol o'i law Ef ei hun. Mae yn bosibl fod y rhai hyn yn hòni iddynt eu hunain berffeithrwydd uwch na'r un o'r pleidiau eraill, y mynent gael eu hystyried fel y gwir rai ysbrydol, πνευματικοι, ac felly yn meddu cymundeb agosach â Christ na neb o'u brodyr. Mae rhai, fel Neander, Olshausen, ac eraill, yn meddwl nad oedd y gwahaniaeth rhwng canlynwyr Paul ac eiddo Apolos ond bychan, ac na olygai fwy na'r teimlad a goleddid at berson a gweinidogaeth y naill a'r llall; ond fod "eiddo Crist" yn golygu y blaid genhedlig, y bobl ag oeddent yn gwrthod unrhyw ymlyniad penodol wrth yr un o'r gweinidogion, ond yn derbyn Crist, ac yn cyfuno â'i grefydd Ef holl neillduolion eu hathroniaeth Roegaidd; ac mai oddiwrth y blaid yma, yr hon mewn dringraddiad a enwir olaf yn 1 Cor. i. 12, y tarddai y drygau mawrion y mae yr apostol yn ei lythyrau yn wrthwynebu mor ddifrifol,—megys godineb, meddwdod, afreoleidd-dra gyda Swper yr Arglwydd, gwadu yr adgyfodiad, &c. Pa fodd bynag, mae yn debyg mai yr "eiddo Paul" oedd y credinwyr cryfion, cyson, egwyddorol, ac mai eu temtasiwn neillduol hwy oedd methu cydoddef â'u brodyr mwy anwadal, a mwy agored i gael eu cylcharwain gyda phob awel dysgeidiaeth. Ond mae yr apostol yn gwasgu at feddyliau yr oll wrthuni dirfawr eu sefyllfa, ac yn eu hannog, mewn cydymfawrogiad o Grist, yn yr hwn y mae Paul, ac Apolos, a Cephas, a phawb a phobpeth sydd yn werthfawr, ac, yn wir, Duw ei hunan, yn dyfod yn eiddo iddynt, i ymwasgu i fynwesau eu gilydd, ac felly ddywedyd o bawb o honynt yr un peth, ac na byddai ymbleidio yn eu plith, ond bod o honynt wedi eu cyfan-gysylltu yn yr un meddwl, ac yn yr un farn.

Ond er yr holl siam yma, nid oedd yno ymraniad o gwbl. Yr oeddynt yn arfer "dyfod ynghyd, ἐπὶ τὸ αὐτὸ, i'r un lle," 1 Cor. xi. 20. Yn pen. v. 4, cyfarwyddir hwy i weinyddu dysgyblaeth ar yr aelod godinebus, "pan ymgynnulloch ynghyd." Yr oedd yr apostol yn clywed fod amrafaelion, sismau, yn eu plith, ond yr oedd hyny yn cymeryd lle "pan ddelent ynghyd yn yr eglwys," pen. xi. 18. Yr oedd yr holl siamau i gyd yn bodoli mewn un eglwys; yr oedd yr eglwys hono er hyny yn arfer cydgyfarfod a chydgyfranogi o freintiau yr efengyl; ac nid oes air o sôn fod un person nac un nifer o bersonau yn ymneillduo o'i chymundeb, a llawer llai un math o gwyn fod yr eglwys hon, er ei holl siam, yn gwrthod ufudd dod i swyddog neu swyddogion oedd wedi eu gosod yn awdurdodedig i'w llywodraethu, neu yn ei rhwygo ei hun oddiwrth eglwys genedlaethol Achaia. Mae yr holl siam yn eu plith hwy eu hunain.

Ac eto mae Mr. P. O. Ellis yn gweled yn yr helynt yma yn Corinth, beth sydd yn gwbl yr un fath ag Ymneillduaeth Cymru! Yr ydym yn dra phell oddiwrth feddwl y bydd i ŵr sydd yn "gosod ei feddwl" yn gymaint "ar uchel-bethau" fod am fynyd mor "gyd-ostyngedig â'r rhai isel-radd" fel ag i gymeryd o fewn cylch ei ymwybyddiaeth y ffaith o fodolaeth y fath gyhoeddiad â'r TRAETHODYDD, llawer llai ei ddarllen;

onidê buasai yn dda genym ofyn iddo pa fodd y gall enciliad oddiwrth eglwys fod yr un peth ag ymbleidiaeth o'i mewn? Mae yr olaf, yn sicr, yn sism, a dyma yr unig beth y sonia y Bibl am dano fel sism; ond am y cyntaf, beth bynag ydyw, nid sism ydyw. Mae y fath beth yn bosibl ag i ddyn "fethu gweled y coed gan brenau." Onidê gallasem gyfeirio y gŵr hwn at ei eglwys ef ei hun am yr engreifftiau perffeithiaf o sism y gŵyr y bedwaredd ganrif ar bymtheg am danynt. "Gellid yn wir," ebe clerigwr o'r Eglwys Sefydledig yn ddiweddar mewn erthygl a gyhoeddodd yn y *British and Foreign Evangelical Review* ar Bresennol a Dyfodol Eglwys Loegr, "ofyn yn ddifrifol, Ymha ystyr y gellir cymhwyso yr enw Eglwys at gorff sydd yn cynnwys o'i fewn y fath elfenau amrywiol ag a geir yn Eglwys Loegr? Yn ol Erthygl xix. fe ddiffinir Eglwys fel cynnulleidfa y ffyddloniaid, yn yr hon y pregethir pur Air Duw, ac y gweinyddir y Sacramentau yn ddyladwy yn ol ordinhâd Crist, &c. A ellir ystyried Esgobion Salisbury a Carlisle, Esgobion Natal a Rhydychen, Dr. Rowland Williams ac Archddïacon Denison, Dr. Pusey a Mr. Ryle, Mr. Orby Shipley ac Arglwydd S. G. Osborne, mewn unrhyw ystyr dealladwy fel yr un modd yn bregethwyr 'pur Air Duw,' ac yn weinyddwyr ffyddlawn ar y Sacramentau? Mae yn wybyddus i bawb fod y dynion hyn yn condemnio y naill y llall mor gryf ag y condemniant aelodau eglwysi gwrthwynebol." "Yn yr Eglwys Seisonig," ebe Newman, pan yn cysegru ei nerth i'w hamddiffyn, "prin y cawn ddeg neu ugain o gymydogion clerigol yn cydolygu â'u gilydd; a hyny, nid yn mhethau anhanfodol crefydd, ond gyda golwg ar beth ydynt ei hathrawiaethau elfenol ac angenrheidiol; neu gyda golwg ar y ffaith, pa un a oes unrhyw athrawiaethau angenrheidiol o gwbl—unrhyw ffydd neillduol a phenodol yn angenrheidiol er iachawdwriaeth." I'r fath ystâd y mae pethau wedi myned yn yr Eglwys yma y mynir ein perswadio nad oes eisieu i ni, Ymneillduwyr Cymru, ond camu dros ei throthwy, na fyddai gweddi yr Eiriolwr mawr yn Ioan xvii. ar unwaith wedi ei hateb, fel y mae un o'i hoffeiriaid, Mr. Mackonochie, ar ol dirfawr ymgynhenu, a hyd yn nôd ymgyfreithio, a hyny "ger bron y rhai digred," rhyngddo ef a'i uchafiaid eglwysig ar y cwestiwn pa un ai nid ydoedd Eglwys Loegr yn gwbl yr un peth âg Eglwys Rhufain, yn gorfod dyfod i'r penderfyniad gwallgof fod "undeb Eglwys â Gwladwriaeth yn beth cwbl allan o amser, *anachronism,—ac y dylid ei ysgubo ymaith.*" Yr oedd apwyntiad un o'i anwyl gariadus frodyr i swydd esgob yn ddiweddar o fewn yr Eglwys heddychol ac unol hon, yn gymaint "*scandal,*" ac "*outrage,*" yn marn Dr. Pusey, fel y golygai "ei bod yn llawn bryd i bawb sydd yn caru y ffydd fel y mae yn yr Iesu feddwl ai nid gwell fyddai iddynt roddi i fyny y meddiannau, neu unrhyw fanteision ysbrydol sydd ynglŷn â hwy, yn hytrach na bod o dan y perygl o ddyoddef y fath beth drachefn." Fe'n gwahoddir i ddychwelyd i'r palas gogoneddus sydd yn agor ei ddorau i'n derbyn, ac i wneyd ein cartref ynddo byth; ac eto y mae Mr. Ryle yn ofni am ei fywyd ynddo, ac yn golygu nad oes neb ŵyr pa amrantiad y gall gael ei gladdu dan ei falurion. Golyga "fod yn anmhosibl gorddesgrifio peryglon yr eglwys," "*impossible to exaggerate the perils of the Church's position.*" Y mae Eglwys Loegr yn un, bid siŵr; hi sydd "fel dinas wedi ei chyd-gysylltu ynddi ei hun;" ac eto y mae o fewn

yr undeb yna bob math o sismau ag y gall calon dyn feddwl am danynt, ac y mae y sismau hyny yn peri fod cariadus frodyr yn ddirif, a hyny gyda dirfawr ddyhewyd, yn melldithio ac yn esgymuno eu gilydd â'u holl galon. Iawn y dywedodd Mr. Henry Rogers, "Y mae undeb bostiedig yr Eglwys rywbeth yn debyg i undeb tryblith. Nid oedd ond *un* tryblith, mae yn wir, ond yn hwnw yr oedd cymysgfa ddiddiwedd."

Ond tra yn cyfeirio offeiriad Llanfairfechan at ei Eglwys ef ei hun fel corff sydd yn awr yn y sefyllfa anhapus o gael ei ddirdynu gan aneirif sismau, yr ydym hefyd yn cymeryd ein cenad i'w hysbysu *nad* sism ydoedd ein hymneillduad ni o'r Eglwys Wladol.

Y mae y Bibl yn sôn am ddau fath o enciliad oddiwrth eglwys, ac nid yw yr un o honynt yn cael ei alw yn sism. Mae y math cyntaf yn feïus, ac yn codi yn ddieithriad oddiar anghrefyddolder ysbryd. Weithiau a mae yn wrthgiliad llwyr. Fe allai nad ydyw y gair "esgeuluso" yn ddigon cryf yn Heb. x. 25: "Heb esgeuluso ein cydgynnulliad ein hunain." Ar ymyl y ddalen darllenir, "Heb wrthod." Arwydda *μὴ ἐγκαταλείποντες* llwyr-esgeuluso. Ac ymddengys ymhellach oddiwrth yr adnod ganlynol mai gwrthgiliad a olygir: "Canys os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach." Gelwir yr un drwg yn yr adnod olaf o'r un bennod, yn "dŷnu yn ol i golledigaeth." Cyfeirir hefyd at rywrai yn cilio o'r neilldu mewn math o afreolaeth: "Rhybuddiwch y rhai afreolus," 1 Thes. v. 14. Ἀτάκτους; "allan o drefn," ym. ddal. Nid ydynt yn ymdaith yn rheolaidd gyda'r fyddin; mae eisieu eu rhybuddio. Yn 2 Thes. iii. 6, gorchymynir i'r brodyr dŷnu ymaith oddiwrth bob brawd a fyddo felly yn rhodio, *ἀτάκτως*, yn afreolus, allan o drefn. Rhai tebyg, fe ellid meddwl, oedd y dynion anhywaith, *ἀτόπους*, "allan o'u lle," ym. ddal., y sonir am danynt yn yr ail adnod o'r un bennod. Ac heblaw enciliadau gwrthgiliad ac afreolaeth, sonia yr Apostol Judas am fath arall o enciliad yn codi oddiar lygredigaeth: "Y rhai hyn yw y rhai sydd yn didoli eu hunain, yn anianol, heb yr Ysbryd ganddynt." Nid yw y gair *sensual* sydd gan ein cymydogion am *ψυχικοί*, yn gyfieithiad da, ond nid oes ganddynt hwy air yn cyfateb i *anianol* y Gymraeg, a *ψυχικὸς* y Groeg. Ond os nad yw yn llythyrenol fel cyfieithiad, y mae yn ffyddlawn i rediad y testun. Os nad ydyw y dynion hyn wedi suddo i'r *cnawd*, yr elfen isaf, nid ydynt dan lywodraeth yr *ysbryd*, yr elfen uchaf; ac am hyny y maent yn aros yn nhir *anian*, ac felly at alwad hunanoldeb i ymdaflu i unrhyw rysedd a ymgynnygio iddynt. A chan eu bod yn amddifad o'r ysbryd mewn crefydd—eu hysbryd hwy heb fod dan ddylanwad Ysbryd yr Arglwydd, ac felly yr holl ddyn yn ngafael anian lygredig—nid ydyw yn rhyfedd eu bod yn eu didoli eu hunain oddiwrth yr eglwys er mwyn myned at bleserau y cnawd, pethau annhraethol fwy cydnaws â'u natur. Dyma y "rhyw ddynion" y sonir am danynt yn y bedwaredd adnod, oeddynt "wedi ymlusgo i mewn" i'r eglwys, "y rhai a ragordeiniwyd er ys talm i'r farnedigaeth hon; annuwiolion, yn troi gras ein Duw ni i drythyllwch, ac yn gwadu yr unig Arglwydd Dduw, a'n Harglwydd Iesu Grist." Dyma y "breuddwydwyr" hefyd y sonir am danynt yn yr wythfed adnod, oedd "yn halogi y cnawd, ac yn diystyru llywodraeth, ac yn cablu y rhai sydd mewn awdurdod." Goreu po gyntaf yn sicr i rai felly ymddidoli o gymundeb y saint, a pheidio a

cheisio cuddio â chochl o broffes grefyddol lygredigaeth anaele eu bywyd.

Nid ydym ni yn gwybod fod y Bibl yn sôn am un enciliad arall oddiwrth eglwys ag y mae bai yn gysylltiedig âg ef. Fe wêl pawb nad oes yr un o'r tri enciliad uchod yn sism. Ac nid ydym ni yn sicr fod hyd yn nôd yr un Eglwyswr yn Nghymru yn ddigon anwybodus i alw Ymneillduaeth ei wlad wrth yr un o'r enwau a roddir ar yr enciliadau yna. Nid gwrthgiliad ydyw; tŷnu yn ol i golledigaeth ydyw hwnw; ond fe fu Ymneillduaeth Cymru, uwchlaw pobpeth, fel yr addefa yr Eglwyswyr eu hunain, yn foddion i sicrhâu ei hiachawdwriaeth. Nid rhodio yn afreolaidd ydyw; yr oedd y diwygwyr Cymreig yn cerdded yn berffaith reolaidd yn myddin Brenin Sïon, ond yr oeddynt yn cael eu tarfu a'u blino gan y gweision cyflog, y *mercenaries* yn y catrodau, am na buasent trwy syrthni, a diofalwch, a bradwriaeth, yn cyttuno â hwynt i fod yn anffyddlawn i Grist. Y mae genym frith gôf fod crybwylliad yn cael ei wneyd yn un o'r llyfrau sydd uwchben yr erthygl hon am "ddidoli eu hunain, yn anianol, heb yr Ysbryd ganddynt," fel desgrifiad o waith Ymneillduwyr Cymru yn gadael yr Eglwys.

The force of dullness could no further go.

Os felly, paham y cwynir am fynyd ar ein hôl? Ac os felly, pa fodd y mae esbonio yr ymadroddion cryfion a ddyfynasom, y rhai sydd ar y naill law yn siarad mor uchel am sancteiddrwydd a zêl y diwygwyr, ac ar y llaw arall yn condemnio mor ddifloesgni fydolrwydd ac esgeulusdra y rhai oedd ar y pryd yn llywodraethu yn yr Eglwys?

A oes rhyw enciliad o gymundeb yn cael ei grybwyll yn y Bibl ynte, ag sydd yn ganmoladwy? Yr ydym yn credu fod, ac fe allai y byddai yn werth ein trafferth i ystyried a oes rhyw oleuni yn y cyfeiriad yna i'w gael ar Ymneillduaeth ein gwlad.

Mae yn bur amlwg nad yw y Bibl yn cydnabod hawl neb i aelodaeth eglwysig ond a fyddo yn credu yn Nghrist, ac yn arddangos didwylledd ei ffydd trwy ymlyniad syml wrth wirionedd yr efengyl, a thrwy fywyd o gydymffurfiad cydwybodol â rheol y Gair. Pan y mae dynion, pa un bynag ai mewn barn ai buchedd, yn troi yn anffyddlawn i Grist, y maent i gael eu diarddel o gymundeb y saint. Dengys yr apostol yn ei ail lythyr at Timothëus (iii. 2—5), fod "amseroedd enbyd" i ddyfod ar yr eglwysi, pan fydd dynion, tra yn cymeryd arnynt fod yn grefyddol, yn ymroddi i bob annuwioldeb. Byddant "â'u serch arnynt eu hunain, yn ariangar, yn ymffrostwyr, yn feilchion, yn gablwyr, yn anufuddion i rïeni, yn anniolchgar, yn annuwiol, yn angharedig, yn tòri cyfammod, yn enllibaidd, yn anghymesur, yn anfwyn, yn ddiserch i'r rhai da, yn fradwyr, yn waedwyllt, yn chwyddedig, yn caru melus-chwant yn fwy nag yn caru Duw, a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi." Pa beth ydoedd Timothëus, fel gweinidog, i wneyd gyda golwg ar y fath gymeriadau? Dyna y gorchymyn, "A'r rhai hyn gochel di." Yr un modd yn yr epistol cyntaf (vi. 3—5), fe ddywedir, "Od oes neb yn dysgu yn amgenach, ac heb gyttuno âg iachus eiriau ein Harglwydd Iesu Grist, ac â'r athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb, chwyddo y mae, heb wybod dim, eithr anmhwyllo ynghylch cwestiynau,

ac ymryson ynghylch geiriau, o'r rhai y mae cenfigen, ymryson, cableddau, drwg-dybiau, yn dyfod. Cyndyn ddadleu dynion llygredig eu meddwl, heb fod y gwirionedd ganddynt, yn tybied mai elw yw duwioldeb." Ond dyma a orchymynir i Timothëus gyda golwg arnynt, "Cilia oddiwrth y cyfryw." Mae yr un apostol yn ei lythyr at y Rhufeiniaid (xvi. 17), yn attolwg ar ei frodyr "graffu ar y rhai sydd yn peri anghydfod a rhwystrau yn erbyn yr athrawiaeth a ddysgasoch chwi, a chiliwch oddiwrthynt." Yn ei lythyr cyntaf at y Corinthiaid (v. 9, 11, 12), dywed: "Mi a ysgrifenais atoch mewn llythyr na chydymgymysgech â godinebwyr. * * * Os bydd neb a enwir yn frawd yn odinebwr, neu yn gybydd, neu yn eilunaddolwr, neu yn ddifenwr, neu yn feddw, neu yn gribddeiliwr; gyda'r cyfryw ddyn na chyd-fwyta chwaith. Bwriwch chwithau ymaith y dyn drygionus hwnw o'ch plith chwi." Yn yr un bennod gorchymynir hwynt yn ddifrifol i "draddodi y cyfryw un i Satan, i ddinystr y cnawd." Yn 2 Thes. iii. dywed, "Ac yr ydym yn gorchymyn i chwi, frodyr, yn enw ein Harglwydd Iesu Grist, dynu o honoch ymaith oddiwrth bob brawd a'r sydd yn rhodio yn afreolus, ac nid yn ol y traddodiad a dderbyniodd genym ni." Drachefn, "Ond od oes neb heb ufuddhâu i'n gair trwy y llythyr yma, hysbyswch hwnw; ac na fydded i chwi gymdeithas âg ef, megys y cywilyddio efe." Y mae yr Apostol Ioan yn gwahardd cymundeb â chyfeiliornwyr. "Od oes neb yn dyfod atoch, ac heb ddwyn y ddysgeidiaeth hon, na dderbyniwch ef i dŷ, ac na ddywedwch, Duw yn rhwydd, wrtho; canys yr hwn sydd yn dywedyd wrtho, Duw yn rhwydd, sydd gyfranog o'i weithredoedd drwg ef," 2 Ioan 10, 11. Y mae Crist ei hun yn dysgu fod aelod a barhäo i fyw mewn pechod, wedi gwneyd ymdrechion dyladwy i geisio ei adferu, i gael ei ystyried o'r diwedd gan yr eglwys "fel yr ethnig a'r publican," Mat. xviii. 15—17. Ac yn ei lythyr at eglwys Pergamus (Dad. ii. 14, 15), y mae yn dal yr holl eglwys yn gyfrifol am heresi cyfeiliornwyr oedd ynddi: "Eithr y mae genyf ychydig bethau yn dy erbyn di, oblegid bod genyt rai yno yn dal athrawiaeth Balaam, yr hwn a ddysgodd i Balac fwrw rhwystr ger bron meibion Israel, i fwyta pethau wedi eu haberthu i eilunod, ac i odinebu. Felly y mae genyt tithau hefyd rai yn dal athrawiaeth y Nicolaiaid, yr hyn beth yr wyf fi yn ei gasâu." Gelwir ar yr holl eglwys i edifarhâu am hyny. "Edifarhâ; ac os amgen, yr wyf fi yn dyfod atat ar frys ac a ryfelaf yn eu herbyn hwynt â chleddyf fy ngenau." Yr un modd y mae eglwys Thyatira yn cael ei chyhuddo am oddef llygredigaeth (ad. 20); tra y mae eglwys Ephesus (ad. 2) dan ganmoliaeth neillduol, "am na allai oddef y rhai drwg, a phrofi o honi y rhai oedd yn dywedyd eu bod yn apostolion, ac nid oeddynt, a chael o honi hwynt yn gelwyddog." Ac fel nad ydym i gynnal cymundeb â phersonau a fyddo yn cilio oddiwrth "iachus eiriau ein Harglwydd Iesu Grist a'r athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb," neu yn ymroddi i lygredigaeth mewn buchedd, mae yn amlwg fod yr un rhesymau yn galw arnom i gilio oddiwrth gymdeithas o ddynion, neu eglwys, a fyddo wedi syrthio i'r un trueni. Mae yn rhyfedd genym weled meddyliwr mor graff âg Augustin, yn ei lyfr yn erbyn y Donatiaid, yn dyweyd fod Elias ac Eliseus yn cynnal cymundeb â'r Israeliaid yn eu gwasanaeth, pan oeddynt mor lygredig, ac heb ymneillduo oddiwrth eu sacramentau,

fel y geilw efe hwynt, ond yn unig cilio weithiau rhag ofn erlidigaeth; yr oedd gwasanaeth cyhoeddus y genedl ar y pryd yn gwbl eilunaddolgar, ac nid ydym i feddwl am fynyd fod y dynion sanctaidd hyny yn cyfranogi ynddo. Yn Hos. iv. 15, gwaherddir yn bendant gymundeb âg eglwys lygredig: "Er i ti, Israel, buteinio, eto na phechodd Judah; nac ewch i Gilgal, nac ewch i fyny i Bethafen, ac na thyngwch, Byw yw yr Arglwydd." Ac os eglwys lygredig, fel y credir yn gyffredin, ydyw Babylon llyfr y Dadguddiad, fe waherddir cymundeb â hi (xviii. 4), dan boen bod gydgyfranog o'i phechodau, a derbyn o'i phlaäu. "Ac mi a glywais lef arall o'r nef yn dywedyd, Deuwch allan o honi hi, fy mhobl i, fel na byddoch gydgyfranogion o'i phechodau hi, ac na dderbynioch o'i phlaäu hi."

Yn awr y mae yn ymddangos yn ddigon amlwg i ni y gallasai y tadau Methodistaidd, oddiar y tir cadarn a osodid o dan eu traed yn y fath adnodau â'r rhai uchod, gilio, a hyny heb ddim petruster, o gymundeb Eglwys Loegr; ac wrth wneyd hyny, y buasent mor bell o fod yn euog o sism, neu unrhyw bechod, fel na fuasent ond yn cyflawni eu dyledswydd yn syml; yn wir y mae yn ammheus ai nid ydoedd yn bechadurus ynddynt, wedi derbyn y goleuni oeddynt yn fwynhâu, beidio gwneyd felly ar unwaith. Pe buasent yn gwneyd hyny oddiar yr un tir a'r Anghydffurfwyr Puritanaidd,—sef am fod yr Eglwys Wladol yn gosod ar eu cydwybod gynifer o feichiau nad oedd Crist yn eu gorchymyn, yn dirwasgu ei gosodiadau trwy awdurdod nad oedd Crist yn ei gydnabod, yn gwneyd pobl yr Arglwydd yn ddim er mwyn ymostwng i arglwyddiaeth Cæsar, a mawrhâu ei swyddogaethau ei hunan,—fe fuasai hyny yn llawn ddigon o reswm dros encilio o'i chymundeb. Y mae y pethau yna, ynghyda lliaws o ystyriaethau trymion eraill, wedi cael eu lle yn meddyliâu eu plant, a *sicrhâu* yn anadferadwy y gagendor sydd rhyngom â'r Sefydliad. Ond nid oedd y pethau yna yn blino cymaint ar ein tadau. Y peth oedd yn eu blino hwy yn fawr, pan gawsant eu deffro gan Ddwyfol ras, oedd di-dduwiaeth a llygredigaeth arswydus yr Eglwys; ac yr oedd hwnw mor ddwfn a chryf fel na allai hyd yn nôd oddef ynddynt hwy unrhyw arwyddion deffröad. Mae rhai o ysgrifenwyr y cyhoeddiadau sydd uwch ben yr erthygl hon yn proffesu parch mawr i Rowlands, Llangeitho, gan gredu ei fod hyd y diwedd yn ffafriol i'r Eglwys. Os felly, mae yn ddiau ei fod ef yn dyst têg; a dyma a ddywed yn un o'i bregethau argraffedig:—"Gan bwyll, Gymry glân. Mewn barn y rhoddwyd i chwi offeiriaid i gyd-gwympo, ac i gyd-orwedd, i gyd-yfed, ac i gyd-chwareu. Pan elont hwy i'r nefoedd, chwithau ewch. Och! mae arnaf ofn mai nid yleni y bydd hyny; canys os cynnygiant tua'r nefoedd, hwy gollant eu bara ar y ddaear, a hwythau drueiniaid yn anfedrus iawn o archwaethu bara'r nef." Mae y tystiolaethau o gyffelyb natur mor lïosog fel mai yr anhawsder yw eu dethol. Dywedai Dr. Myrick, yr hwn oedd esgob Bangor, nad oedd ganddo ond *dau* bregethwr yn ei holl esgobaeth. Yr oedd Mr. Wroth o Lanfaches yn rhy gydwybodol i ufuddhâu i orchymyn melldigedig Charles I. a'r archesgob Laud, a darllen y "Llyfr Chwareuon" yn y llàn ar y Sabbath. Fe'i gwysiwyd am hyny i ymddangos ger bron llŷs yr *High Commission*. Dywedir fod esgob Llandâf hefyd wedi bod yn ymhwedd âg ef am anufuddâu i'r awdurdodau, ac am ei ddull rhyfedd o bregethu; ebe yntau, gan wylo, "Y mae eneidiau anfarwol yn myned i golledigaeth yn eu pechodau; ac oni ddylwn, trwy bob

moddion mwyaf tebygol o lwyddo, ymdrechu i'w hachub?" Dywedir i'r esgob hefyd wylo; ond cyn 1639, fe'i tröwyd ef allan o'i ficeriaeth, a'r flwyddyn hono yr ydym yn cael y gŵr da yn dechreu gweinidogaethu i'r eglwys ymneillduol gyntaf a ffurfiwyd yn Nghymru. Fe feiddiodd Mr. Esbury o Gaerdydd hefyd anufuddhâu i'r un gorchymynion annuwiol, ac fe'i tröwyd yntau allan yr un modd. Cyfarfu ei gurad duwiol, yr anfarwol Walter Caradoc, â'r un dynged. Nid ydyw yn rhyfedd fod yr Eglwys y pryd hyny yn diarddel gwŷr o fath y rhai hyn; ond mae yn dra alaethus nad oedd ond mor ychydig o weinidogion yn anturio gwneyd eu dyledswydd i Dduw, "heb ofni llîd y brenin." Tröwyd chwech ugain o offeiriaid allan o'r Eglwys yn Nghymru yn amser Cromwell am anwybodaeth, segurdod, ac anfoes. Yr oedd yr Eglwys trwy y deyrnas mewn ystâd mor ryfeddol o isel wedi hyny, fel y parodd gwaith chwech o wŷr ieuainc yn cyfarfod eu gilydd i weddïo ac ymddyddan am bethau ysbrydol, yn Mhrifysgol Rhydychain, y cyffro mwyaf yn yr athrofa, ac wedi hyny y cyffro mwyaf yn y deyrnas. Pan deimlodd y diwygwyr Methodistaidd dân Duw yn enyn o fewn eu hysbryd, ac y rhybuddient eu cydwladwyr i ffôi rhag y llîd a fydd, er eu bod yn coledd y teimladau goreu at yr Eglwys, eto yr Eglwys ei hun, a'r Eglwys yn ei gweinidogion, oedd yn dangos atynt yr elyniaeth fwyaf creulawn. Mae rhai o'r ysgrifenwyr y cyfeiriwn atynt yn edrych ar y sarhâd a ddyoddefodd y diwygwyr fel prawf o ffyddlondeb y Cymry i'r Eglwys; ond ymddengys i ni mai prawf ydyw o lîd y personiaid, canys hwynt-hwy oedd yn dyfod allan i gynhyrfu y werin anwybodus yn erbyn y pregethwyr, ac i roddi iddynt gyflawnder o gwrw mewn trefn i'w cymhwyso i amddiffyn yr Eglwys yn erbyn y bobl ag oedd yn eu rhybuddio i ymadael â'u pechodau.

Mae yn berffaith amlwg i ni y buasai yr hen Fethodistiaid mor bell o fod yn euog o sism, nac yn wir o unrhyw enciliad pechadurus, pe buasent yn penderfynu ar unwaith troi eu cefnau ar gymundeb Eglwys ag oedd wedi myned mor ryfeddol o lygredig, ac Eglwys ag oedd yn gwneyd ei goreu i'w blino, a'u tarfu, a'u herlid hwythau tra yn ceisio gyda phob purdeb a symledd ddeffro eu cydwladwyr o'u marwol gwsg. Yn wir y mae yn ymddangos fod yr holl resymau a ddygir ymlaen yn yr adnodau a ddyfynasom ag sydd yn galw am encilio oddiwrth bersonau ac eglwysi llygredig, mewn cyflawn rym y pryd hyny yn galw ar ein Tadau i droi eu cefnau ar Eglwys Loegr. Ond er hyny, mor llawn oedd eu mynwes o ymlyniad caredig wrthi fel y penderfynasant beidio cilio os na fyddai *raid* iddynt. Fe fu yn rhaid iddynt. Aeth eu zêl dros Grist a'i deyrnas, a'u hawydd angerddol am achub eneidiau yn annyoddefol i'r Esgobion, a gorchymynwyd iddynt fyned allan. Aethant allan, gan adael eu heglwysi, fel y dywedai Rowlands, Llangeitho, "i'r dyllhuanod." Yr oedd ffyddlondeb i Grist yn eu gorfodi hwy a'u plant i gymeryd pob cam a gymerwyd o hyny hyd yn awr, yn eu gwladlywiaeth eglwysig; ac mor bell ydyw yr eglwyswyr o allu dangos un rheswm dros i ni ddychwelyd yn ol i'r Eglwys, fel pe na buasai ein tadau wedi eu troi allan o hóni, y buasem ni ein hunain yn bresennol dan rwymau cydwybod i ymneillduo. Fe allai y cawn gyfle yn ein Rhifyn nesaf i ystyried y rhesymau sydd ganddynt i'w cynnyg pan yn ymgais at gorlanu y defaid disperod.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

---

## EMYNYDDIAETH.

### VIII.

### Y PARCHEDIG WILLIAM WILLIAMS, PANTYCELYN, A'I HYMNAU.

#### RHAN II.

O HOLL gynnyrch yr awen, barddoniaeth grefyddol yw yr hyfrytaf a'r fuddiolaf, ac yn ddiammheu y mwyaf ëang ei dylanwad. Ei phrif amcan yw dwyn ymlaen achos crefydd a duwioldeb; ac wrth ddifyru, y mae, ar yr un pryd, yn gwellâu ac yn ehangu meddwl y sawl a ymgynnefino â hi. Yr Emyn yw y rhywogaeth fwyaf cyffredin o farddoniaeth grefyddol. Mae hon, trwy ei bywiogrwydd, ei gwresogrwydd, a'i nefoleiddrwydd, yn denu serch a hoffder dynion o'r galluoedd cryfaf, a'r meddyliau mwyaf coeth a diwylliedig, ac yn gweinyddu mwynhâd, cysur, tangnefedd, a chynnaliaeth, dan bob math o amgylchiadau pwysig bywyd, ac yn oriau cyfyng marwolaeth, i bob graddau a chyflyrau o ddynion,—ymherawdwyr, brenhinoedd, tywysogion, gwleidyddion, cyfreithwyr, athronwyr, dysgedigion, diwygwyr, cyffeswyr, merthyron, bonedd, a chyffredin; ïe, y dosbarth mwyaf gwerinaidd hefyd, y rhai ni chyfrifent gerdd orchestol, arwrawl, ond megys ffiloreg ddiles. Nid yw yr emyn yn blino y meddwl âg olrheiniadau dyrys, rhesymau dyfnion, a thraethiad manylaidd ar byncian tywyll; ond, yn hytrach, mae yn gwisgo y gwirioneddau symlaf a phwysfawrocaf yn y dull mwyaf deniadol, gan eu gosod allan drwy ffugyrau bywiog, mewn ymadroddion cryno, eglur, ystwyth, a pherseiniol, nes y mae yn deffro holl alluoedd yr enaid, ac yn gosod y serchiadau a'r nwydau megys ar dân. Mae yr emyn, fel offeryn defnyddiol, yn peri i sylweddau pwysfawr crefydd gael argraff ddwys ar y galon; mae yn ennyn crefyddgarwch duwiolion, yn gosod edmygedd gogoneddus ar gynnulliadau crefyddol, ac yn parotôi y saint i'r llawenydd annhraethadwy, y gorfoledd diderfyn, a fwynhânt yn nghymdeithas nefolion yn ngwlad y purdeb. Cafodd miloedd ar filoedd o anwylion y nef y fraint o groesi drosodd i dir bywyd yn orfoleddus iawn, a hymnau duwiol, blith draphlith âg addewidion cysurlawn y Bibl, ar eu gwefusau hyd eu hanadliadau diweddaf, nes eu myned yn rhy bell i glywed eu hadsain mwy yr ochr yma i'r llîf a'r tònau. Mawr yw anrhydedd y rhai a gawsant eu tueddu i gyflwyno eu hathrylith a'u doniau i adeiladaeth a chysur duwiolion yn y modd hwn yn arbenig, yn gystal ag mewn pethau eraill.

Ond nid yw cyfansoddi hymnau yn waith mor hawdd, ysgatfydd, ag y tybia rhai; ac nid pob un, dybygem, ag sydd yn medru rhigymu ychydig, a ddylai anturio cymeryd y gorchwyl mewn llaw. Mae yn ddïau yn gofyn grâdd o athrylith naturiol, ac eto nid yw hyny, ar ryw olwg, ond un o'r cymhwysderau lleiaf i'r gwaith, gan y dichon dyn fod yn fardd galluog, a thra awenyddol, mewn barddoniaeth gyffredin, ond ar yr un pryd yn amddifad o ysbryd crefydd a'r duwiolfrydedd sydd yn hanfodol tuag at gynnyrchu prydyddiaeth ddefosiynol dda. Ar y llaw arall, y mae llawer o hymnau rhagorol wedi eu cyfansoddi gan rai pobl grefyddol, y rhai nis gallesid dysgwyl iddynt ragori braidd mewn dim arall. Gan nad oes ond ychydig wedi ei ysgrifenu yn Gymraeg ar gyfansoddiad emynau, goddefer i ni ychwanegu yr ychydig sylwadau canlynol at yr amrywiol nodiadau a ddygwyd ger bron genym o bryd i bryd yn flaenorol.

1. Pan fyddo prydydd yn cael tueddu ei feddwl i gyfansoddi Emyn, y mae ganddo ryw destun crefyddol i gânu arno, un y mae ei fyfyrdod arno wedi gwresogi ei galon o'i fewn; ac y mae ganddo wrthddrych neu ddyben wrth gyfansoddi, ar yr hyn ni ddylai golli ei olwg o'r dechre i'r diwedd, ond dilyn ei destun i'r graddau o fanylrwydd a fyddo yn rheidiol er cyrhaeddyd ei ddyben, ac nid bwrw ynghyd yn annhrefnus bentwr o bethau diberthynas â'u gilydd, i wneyd y gân yn ddiflas a dieffaith. Dylai fod cymaint a hyny o drefn, beth bynag yn ychwaneg, sef bod i'r gân *ddechre, canol,* a *diwedd;* y meddyliau ynddi yn dilyn eu gilydd yn naturiol, a chymaint o gysylltiad rhwng ei gwahanol ranau ag y byddont ynghyd yn gwneyd i fyny *un* gân, a dibyniad y naill ran ar y llall y fath fel nas gellir eu trawsosod heb niweidio undeb y cyfan.

2. Mae prydyddiaeth i ragori ar ryddiaeth mewn bywiogrwydd a gwresogrwydd teimlad; ac oni bydd felly, ni bydd yn ateb i'r enw. Mae rhywbeth yn hyn mwy na'i bod wedi ei threfnu yn bennillion a bànau, yn cynnwys nifer penodol o sillau, yn acenu yn rheolaidd, ac yn cynghaneddu ac yn odli yn dda, pethau nas dylid eu hesgeuluso, ond y mae yn ofynol bod y syniadau yn ddyrchafedig, y meddyliau a'r cyffelybiaethau yn farddonol, cyson, a naturiol, a'r teimlad yn syml, llednais, a sylweddol. Y mae gormodiaeth afresymol, cymhendod rhodresgar, a chwyddiaith wyntog, sŵn heb sylwedd, yn bethau i'w gochelyd, yn gymaint a rhigymau diansawdd a difywyd. Nid yw pwynt neu golyn yr *englyn* chwaith yn gweddu i ddifrifolder crefyddus, ac arucheledd testynau yr emyn. Nid yw hyd yn nôd iachusrwydd athrawiaeth, yr hyn sydd bwynt hanfodol mewn emyn dda, yn ddigon i wneyd iawn am y diffygion a nodwyd.

3. Tuag at fod yn fuddiol er adeiladaeth, dylai yr iaith, mewn hymnau, fod yn eglur, ystwyth, a sathredig, eto nid yn werinaidd neu ry isel. Gellir ysgrifenu yn ddealladwy yn hawdd heb arferyd geiriau a dywediadau gorwael a dirmygus, a chadw at iaith bur, heb ddefnyddio hen eiriau a brawddegau sydd wedi myned ar lwyr anarfer yn y wlad. Er hyny, gresyn a beïus yw gadael i eiriau da golli o ddiffyg cadw golwg arnynt, a'u harfer yn eu prïodol ystyr. Mae hyn yn tlodi yr iaith, ac yn gosod ysgrifenwyr yn aml dan anfantais o herwydd prinder geiriau.

4. Pan fwriader emyn at wasanaeth yr addoliad cyhoedd, nid buddiol

ei bod yn faith. Os bydd dros bump neu chwech o bennillion pedwarban, gwell fyddai ei rhanu i ddwy, neu dair, neu ychwaneg, o ranau, fel y gellid cânu rhyw un o honynt ar unwaith, heb niweidio y synwyr. Gyda gofal dyladwy, gellid trefnu y cyfryw ranau o emyn faith, fel ag i fod yn gynifer a hyny o hymnau, pob un yn cynnwys mater cryno, a gwasanaethai hyn er cyfarwyddyd i ddefnyddio y gyfran a fyddo yn fwyaf cyfaddas i'r amgylchiad ar y pryd. Mewn emynau at wasanaeth ac ymarfer neillduedig, gall y prydydd ymollwng yn rhydd i'r meithder a fyno.

5. Emynau ydynt ddyrïau i'w cânu ar dônau priodol i'r gwahanol fesurau y byddont wedi eu cyfansoddi arnynt; am hyny, angenrhaid yw fod y gân (sef yr emyn), a'r beroriaeth (neu y dôn), yn cywir gyfateb i'w gilydd, o ran hŷd ac aceniad, ŏnidê bydd y dadganiad yn anghelfydd ac anghyson. Efelly mae y bai o *dòr-mesur*, rhy hir neu rhy fŷr, yn peri chwanegu at neu gwttogi y beroriaeth, a'r bai o *gam-acen* yn y pennill yn peri yr un peth yn y dôn ar ba un y cenir. Fe allai mai eithriad i'r rheol hon yw, pan fyddo llafariaid gwahanol silliau yn rhedeg ynghyd, ac o ddau sill yn ffurfio un, yr hyn sydd yn oddefol, ac weithiau yn fanteisiol er grymuso yr ymadroddiad. Mae weithiau yn oddefol hefyd i ddwyn i mewn wahanol aceniad yn nechre llinell, er mwyn amrywiaeth, fel y dangoswyd genym yn ein sylwadau ar Salmau Edm. Prys. Yr oedd yn syniad pur gyffredin ymhlith prydyddion gynt "nad oedd achos iddynt gyfyngu eu hunain wrth gyfansoddi ar fesurau dyri, ond y gallent yn fynych roddi mwy neu lai o sillafau yn y llinellau nag y byddai manyldra mesur yn ei ofyn, os caent gan esmwythder yr iaith oddef hyny, ac nad oedd tòr-mesur yn perthyn dim (mewn ystyr fanwl) ond yn unig i'r pedwar mesur ar hugain." Nid yw hyn amgen na cheisio gochelyd y gwall o *gam-aceniad* ar draul *tòr-mesur*, ac megys o ddau beth beïus yn dewis y lleiaf. Gwell yn ddïau fyddai ymwrthod â'r naill fel y llall, gan fod hyny yn ddigon hawdd, hyd yn nôd heb arferyd "y gwrthuni o sillgoll." Ond os yw tòr-mesur i'w esgusodi mewn rhyw fath o farddoniaeth, yr ydym yn tybied y byddai yn fwy goddefol mewn "englyn, cywydd, neu awdl," y rhai ydynt i'w darllen yn unig, yn hytrach nag mewn dyrïau, y rhai sydd i'w dadganu ar dônau priodol. Ar y cyfan, er hyny, a defnyddio geiriau un beirniad* dysgedig, "nid ŷm, ar un cyfrif, yn sefyll i fyny dros rygaethder a gorfanylrwydd mewn cyfansoddiadau o'r natur dan sylw. Y prif ragoriaethau y dylid ymgais am danynt yn y cyfryw, yn y golygiad hwn, yw eglurder iaith, ystwythder ymadrodd, a rhwyddineb mydriad. Dylai y teithi hyn ymddangos ymhob pennill a gyfansodder gyda golwg ar iddo gael ei gânu, ac yn enwedig mewn hymnau, y rhai a ddefnyddir

***Ieuan Glàn Geirionydd*, allan o feirniadaeth o'i eiddo ar gyfansoddiad Emynau, yn y "Gwladgarwr" am 1838, t. 365. Cynnwysir y rhan fwyaf o'r gweddill o'r nodiadau uchod ar y pwnc mewn dwy ysgrif fèr a ysgrifenwyd genym lawer o flynyddoedd yn ol; y gyntaf yn "Y Drysorfa" am 1832, t. 136; a'r llall yn "Y Gwladgarwr" am 1838; t. 334. Yn y "Geirionydd," sef Cofiant a Gwaith y diweddar Barchedig Evan Evans (*Ieuan Glàn Geirionydd*), t. 392, cyfrifwyd yr olaf, yn amryfus, iddo ef, ac yn t. 227 o'r un llyfr, rhoddir iddo ein cyfieithiad o Emyn Genadol Heber, wedi newid gair neu ddau ynddo.—Cyfunasom ein dwy ysgrif yma, wedi cyweirio a helaethu ychydig arnynt, gan obeithio y gallent fod o fudd i ddosbarth o ddarllenwyr nad ydynt yn meddu ar foddion amgenach.

mewn addoliad cyhoeddus. Eto, er nad ydym yn pleidio gormod o ymlyniad wrth y gynghanedd, y mae rhai pethau mor hynod a hanfodol nas gellir eu hebgor; a rhai troseddiadau yn erbyn cyfreithiau cerdd dafod nas gellir eu goddef." Fe allai fod rhywun yn barod i wrthddadleu, a haeru ei fod yn arwydd o segurdod meddwl ar fardd i ymostwng i gyfrif sillau, ac i fesur ei linellau megys wrth y droedfedd, pryd y dylai ei sylw fod wedi ei lyncu i fyny gan bwys ac arbenigrwydd ei destun. Yr ydym yn ystyried y rhaid fod gwrthddadl o'r fath yn tarddu oddiar ddychymyg gau am natur mydryddiaeth. Os bydd y prydydd yn deall o ba rywogaeth o gorfanau yr adeiledir y pennill, ni raid iddo mo'r trafferthu i gyfrif y sillau ar ei fysedd i wybod a fydd yn cadw ei fesur, ond gwna nifer y corfanau, a phrïodol aceniad y mesur, ddangos hyny iddo yn llawer cynt, ïe, ar ol ychydig o ymarfer gofalus, mor gyflym ag ar darawiad amrant. Er nad y mesur, yr odliad, a'r gynghanedd, yw y prif bethau mewn barddoniaeth, o'r fath hyn yn enwedig, eto y mae modd i ddefnyddio addurniadau o'r fath yn gelfydd a chydag effaith dda, ac ar yr un pryd guddio y gelfyddyd, yn ol yr hen air, "Celfydd, celed ei arfaeth." Y mae hyn yn hollol groes i *rodres*, yr hon mal hoeden ffôl, sydd yn wastad am ddangos ei hun, fel y gwelo pawb goeged ac ynfyted ydyw.

6. Mae rhai prydyddion hefyd yn cymeryd arnynt fath o esgeulusdra wrth gyfansoddi emynau, megys pe na byddai achos trafferthu nemawr yn eu cylch, ac na waeth mor llawer pa sut a fyddo arnynt; ond wrth ystyried eu dyben goruchel, yr ydym yn barnu yr emyn, o bob barddoniaeth, y fwyaf teilwng o bob gofal a dichlynedd. Mae yn ofynol bod holl enaid y prydydd gyda'i fater; ei holl gynneddfau a'i nwydau dan ddylanwadau grasol y Nefoedd; ei egwyddorion a'i brofiad crefyddol, ei wybodaeth gyffredinol, ei athrylith a'i chwaeth lênyddol, oll, yn ol y graddau y byddont ganddo, yn cael eu troi yn fanteisiol, a'u cysegru i'r dyben goreu; a phan fyddo y meddwl wedi ei lenwi gan fawredd ac ysbrydolrwydd y testun, ymdrecha yn naturiol i'w osod allan gydag eglurder ac ystwythder iaith, ffugyrau prïodol a phrydferth, lledneisrwydd geirweddiad, a melusdra mydryddiaeth. Y mae parotôi ffurfiau o fawl i'r addoliad Dwyfol yn ddïau yn orchwyl o'r pwys mwyaf, fel y mae diofalwch ynddo yn ymddangos yn dra phechadurus. Pa beth! ai y dall a'r cloff a offrymir i Dduw?

Wedi cymaint a hyn o ragymadrodd ar gyfansoddiad hymnau yn gyffredinol, awn rhagom bellach i sylwi ar rai o neillduolion ac arbenigion Hymnau y Parchedig W. Williams. Mae y goreuon o honynt yn dra hysbys ac adnabyddus ar lafar gwlad, neu yn hytrach bigion o bennillion prydferth a tharawiadol allan o honynt, gan nad oes llawer, hyd yn nôd o'i rai mwyaf rhagorol, yn adnabyddus yn eu cyfanrwydd, ac y mae hyny yn peri cryn anfantais, gan fod llawer o'u prydferthwch yn cael ei guddio a'i golli wrth gymeryd dim ond dernyn bychan, allan o'i gysylltiad prïodol, yn lle y cyfan. Fel rheol gyffredinol, gwell yw eu harfer yn gyfain, neu mor agos felly ag y gellir; ac yr ydym yn credu y teimlir eu grymusder yn fwy, ac y canfyddir eu prydferthwch yn eglurach, yn enwedig os cenir hwynt yn fywiog a chwaethus.

Dichon y byddai dosbarthiad byr o'r fath a ganlyn o wasanaeth i ddangos ansawdd amrywiaethol y câniadau ysbrydol hyn, ac yn beth

cynnorthwy yn yr arferiad o honynt, yn neillduol ac yn gyhoeddus, er adeiladaeth, ac er meithriniad ysbryd crefyddus ac addolgar. Cymerwn sylw

1. O'r hymnau athrawiaethol, addysgiadol, neu rai yn egluro ac yn cymhell athrawiaethau a dyledswyddau gwir grefydd. Er bod gwirioneddau yr efengyl yn cael eu dal allan yn oleu eglur yn hymnau yr awdwr yn gyffredinol, ac ysbryd cristionogol a duwiolfrydig yn treiddio trwyddynt, a blâs nefol arnynt, eto, anfynych y mae efe yn cyfyngu ei hun i ryw un pwnc o athrawiaeth, fel ag i draethu yn fanwl a rheolaidd arno; ond fel arall, er nad yn esgeuluso y deall, mae efe yn amcanu yn fwy at wresogi y galon, cyffroi y serchiadau, a bywiogi y teimladau a'r nwydau yn enaid y credadyn. Er hyny gallwn nodi y rhai canlynol, o blith eraill, fel yn perthyn i'r dosbarth athrawiaethol; megys rhif 129, ar Brïodoliaethau Duw:—"Clodforwch Frenin nefoedd fry," &c. Rhif 370, yn felus iawn ar "Gariad Duw:"—"Tydi, fy Arglwydd, yw fy rhan," &c. Rhif 226, ar athrawiaeth "Y Drindod:"—"Un wyt, fy Nuw, ac eto Tri," &c. Rhif 72, ar Gwymp Eden:—"Un ynfyd wyf," &c. Rhif 845, ar y Cyfammod tragywyddol o ras:—"Gwnaed cyfammod gwerthfawr, rhad, i fy ngwared," &c.

2. Myfyrdodau duwiol a phrofiadol ar amryw ystyriaethau a thestynau ysgrythyrol. Mae yr hymnau o'r natur yma yn ei waith yn dra llïosog, fel ffrwyth meddwl yn cartrefu gyda sylweddau ysbrydol a dyrchafedig. Cyfeiriwn y darllenydd at y rhai canlynol:—Rhif 266, "Crist, Rhosyn y grëadigaeth." Rhif. 170—174, ar "Ogoniant yr Arglwydd Iesu yn y nefoedd." Rhif 130—132, ar "Ddedwyddwch y gwaredigion mewn gogoniant," ac a gyfansoddwyd o goffadwriaeth* am farwolaeth amryw o rai duwiol oddi amgylch Llansawel." Rhif 43— 47, myfyrdod ar "Ogoniant y nefoedd," seiliedig ar Dad. xxi. 11, &c. Rhif 295, 296, "Ymestyn at y nôd;" un o'r hymnau rhagorol a genid gynt ar "*Lovely Peggy*, moraliz'd," ond yn awr yn well ar un o dônau yr hen bobl, sef *Beulah*. Er mwyn lliniaru peth ar ddiflasdod math o fynegai, cyflwynwn yma ddwy emyn fèr o nodwedd y dosbarth hwn; ac y mae pob un o honynt yn èm wirioneddol, er na roddwyd lle iddynt yn yr un o'r Casgliadau Hymnau diweddar.

263. IESU EI HUNAN.

1 Fy Nuw, fy Rhan, fy nhrysor drud,
A'm hunig gysur yn y byd,
O d'wêd pa le a'r modd y mae
Im' wêdd dy wyneb gael mwynhâu.

2 Mae 'm dymuniadau yma yn un,
Ti yw fy mhleser mawr dy hun;
Os cuddi d' wyneb, O fy Nuw,
Darfu 'm hyfrydwch o bob rhyw.

3 A phe dïangai sêr y ne',
Pe 'hedai 'r ddaear fawr o'i lle,
Fy holl hapusrwydd, Iesu cu,
Fyddai 'n terfynu ynot ti.

4 Nid dynion a phleserau 'r byd
Sy 'n hanner abl i lanw 'mryd;
Mae 'r cyfan ynot ti 'n ddidrai
Sydd arnaf eisieu ei fwynhâu.

5 Dysgwyliaf dy leferydd glân,
I roi fy nghalon lêsg ar dân;
Un ran o'th enw pur, pe cawn,
A'm dodai oll yn llawen iawn.

* *Aleluia:* "y drydedd argraffiad." 1758.

158. GOLWG FFYDD.

1 Trwy ffydd mi wela' 'n entrych nèn,
Fan hyfryd, ben fy siwrnai;
Y delyn aur a'r goron fry,
Trwy dywyll ddu gymylau.

2 Mi welaf draw, dros fryniau pell,
Dragwyddol babell Iesu;
A'r hyfryd wlad, yr hon gâf fi
Ar fyrder, ei meddiannu.

3 Ei bryniau, fel paradwys ardd,
Yn flodau hardd a hyfryd;
Afonydd tawel, têg, di 'stŵr,
Yn llifo o ddŵr y bywyd.

4 Pob rhan o hóni, bryn a bro,
Sy gyflawn o ddyddanwch;
Dim sôn am ryfel, plâ, na bai,
Ond byth ddi drai dawelwch.

5 Ei dinas hardd o risial sy,
Neu wydr difrycheulyd;
Pob twr a mûr o berlau drud;
Mae oll i gyd yn hyfryd.

3. Hymnau addoliad. Mae y dosbarth ëang hwn yn cynnwys cyffesion gostyngedig o bechodau o wall ac o wŷd, gydag ymostyngiad edifeiriol o'u herwydd; tristwch a gorchwyledd duwiol dan deimlad o lwgr natur, anghrediniaeth a chaledwch calon; oerfelgarwch a gwrthgiliad ysbryd; a chŵyno rhag annuwioldeb a thrueni y byd; gweddïau taerion am faddeuant pechodau, a derbyniad i gymmod a ffafr Duw; ymbiliau gostyngedig am drugaredd, deisyfiadau ac erfyniau am ras, cynnaliaeth, arweiniad yr Ysbryd, a holl fendithion y prynedigaeth, a dymuniadau hiraethlawn am lwyr waredigaeth oddiwrth bechod, a chael mynediad helaeth i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist. Mae llïaws o'r rhai hyn yn alarus a chwynfanus; tyner, dwys, a thoddedig; ond yn fynych yn ymddyrchafu mewn diolchgarwch a mawl am waredigaethau o beryglon ysbrydol a phrofedigaethau; trallodau, a chystuddiau amrywiol; ac am y dadguddiad o olud golud gras yn nhrefn yr efengyl, ar gyfer colledigaeth a thrueni dyn. Darllener yr hymnau a ganlyn, a gwelir eu bod oll, i raddau mwy neu lai, yn cyfranogi o'r ansoddau hyn. Rhif 106, 99, 35, 36, 642, 645, 607, 203, 204, 153, 290, 326, 328, 723, 729, 731, 283, 244, 249, 514, 669, 538, 573, 782, 564, 165, 257, 138, 119, 817—819, 843, 251, 684, 116.

4. Hymnau dadganiadol o fawl a chlodforedd. Mae y rhai hyn yn gosod allan ffydd, gobaith, cariad; penderfyniad, ymroddiad, hyder, a sicrwydd; yn amlygu teimladau hyfryd a mwynhäol o gysuron yr efengyl, dyddanwch yr Ysgrythyrau, a'r llawenydd sydd trwy gredu; ac y mae eu tôn yn fynych yn orfoleddus a buddugol, a'r syniadau yn fawreddog ac arddunol, yn enwedig wrth fyfyrio ar fawredd a gogoniant Person y Gwaredwr, haeddiant ei aberth, a dybenion goruchel gwaith y prynedigaeth. Cymered yr efrydydd yr hymnau canlynol dan ei ystyriaeth:—Rhif 331, 332, 340—342, 343, 344, 346, 366, 369, 511, 720, 762, 775, 381, 517, 134, 349, 359, 604, 705, 339, 550, 551, 590, 824, 136, 297, 228, 233, 234, 393, 731, 747, 384, 8, 54, a llïaws o rai cyffelyb.

5. Hymnau yn desgrifio y fuchedd gristionogol fel gyrfa'r saint, pererindod, a thaith yr anialwch (18, 116, 234, 328, 649, 492, 521, 760, 8, 61). Y fordaith ysbrydol (54, 173, 70, 261, 330, 806, 96, 779). Y filwriaeth a'r oruchafiaeth (136, 469, 400, 768, 321, 425, 348, 791, 467, 786).

6. Gwahoddiadau ac annogaethau (766, 838, 325, 110, 82, 88, 67). Mae y rhai hyn yn fywiog, taer, a serchiadol.

7. Ystyriaethau pwysig a chysurlawn ar fywyd, angeu, adgyfodiad, barn, a thragywyddol ddedwyddwch yn y mwynhâd o Dduw yn y nefoedd (141, 155, 165, 210, 249, 270, 520, 585, 506, 633, 647, 8, 252, 261, 250, 82, 576, 636, 859).

Mae yr hymnau a nodwyd, dybygem, yn cynnwys ceinion awenyddiaeth Pantycelyn, ac oll, hyd y gallwn ganfod, yn gyfansoddiadau gwreiddiol. Gallesid yn hawdd chwanegu at eu nifer, ond gall yr efrydydd wneyd hyny ei hunan, os dewisa wneyd ymchwiliad manwl a beirniadol i waith yr awdwr. Gallai gael llawer o lês a hyfrydwch meddwl drwy hyny.

Yr ydym yn cyfarfod â rhai cyfieithiadau ac efelychiadau ymhlith Hymnau Williams; y mae hyny yn cael ei gydnabod weithiau, ond nid ymhob amgylchiad. Gwneid felly yn fwy manwl yn hen argraffiadau yr awdwr, ond esgeuluswyd rhai o'r nodiadau hyny yn yr argraffiadau diweddar. Nid yw y cyfieithiadau yn lliosog, ac y maent yn dygwydd yn ei lyfrau cyntaf, yr "Aleluia," a'r "Môr o Wydr," pan oedd yr awdwr, mae yn debyg, yn darllen llawer ar brydyddiaeth Seisoneg, er mwyn ymgydnabyddu â gwaith y prydyddion a'r emynwyr goreu yn yr iaith hono, ac wrth hyny ei fod yn cael ei dueddu i gyfieithu neu arall-eirio ambell adran neu emyn a fyddai yn cael cryn argraff ar ei feddwl. Os bydd emyn yn dda a blasus, nid yw o ddim gwahaniaeth ei bod yn gyfieithiad neu efelychiad o iaith arall. Os llwyddodd y cyfieithydd i drosglwyddo y syniadau yn ysbryd, symledd, ystwythder, a phrydferthwch y gwreiddiol, fel ag i wneyd emyn Gymraeg dda, teilynga ei waith gymeradwyaeth; ac os ystyriwn anhawsderau anocheladwy cyfieithiad, rhaid addef ddarfod iddo gyflawni gorchest ganmoladwy. Er nad yw cydnabyddiaeth o'r gwreiddiol yn fater o bwys mawr, eto y mae gwybod o ba le y tarddodd y cyfansoddiad weithiau yn foddhäol i'r darllenydd, heb fod yn un dianrhydedd i'r cyfieithydd. Mae y rhai canlynol allan o waith y Dr. Watts yn cael eu cydnabod yn yr argraffiadau goreu o holl waith prydyddol Williams:—

Rhif 55, "O pwy yw hon sy'n llesg a gwan," &c. Book i. 78, Watts.
58, "O 'Mugail gwych," &c. "O'r Dr. Watts;" efelychiad o amryw ranau o'r hymnau ar Gan. Sol. B. i. 66—77.
281, "Mor wâg, ac mor dwyllodrus yw," &c. B. ii. 48.

Y canlynolion ydynt o ran eu sylwedd wedi eu cymeryd o waith Watts, ond heb eu cydnabod, o leiaf yn yr argraffiadau diweddaraf.

239, "Troseddodd Adda, pen pob dyn," &c. O *Watts's Lyrics:* "Adam, our father and our head," &c.
240, "Llawn yw, O Dad, y nefoedd wèn," &c. O'r un: "Father, how wide thy glories shine," &c.
241, "Ond ofer ceisio gwŷnfyd llawn," &c. O'r un: "No, 'tis in vain to seek for bliss," &c. Cyfieithiad rhagorol, heb fod yn rhy lythyrenol neu gaeth. Mae yr awdwr cysefin yn tòri allan yn swta, megys ar ganol ei fyfyrdod, i lefain, "No, 'tis vain," uwch ben pob peth daearol, ac yn edrych fry am ddedwyddwch; a gesyd y cyfieithydd yr arbenigrwydd hwn allan yn dra effeithiol, drwy ddefnyddio y geiryn "Ond," yn nechre y linell gyntaf. Yn lle "Uriel," yn y pennill olaf, rhoddir "Rhyw angel cryf," yn brïodol iawn, dybygem; ond nid yw y linell olaf yn llawn mor hapus, o herwydd y sillgoll dechreuol, yn y gair, "'mestyned." Buasai "Gan hedeg," neu

"Gan esgyn," fe allai yn gystal cyfieithiad, ac yn rhyw gymaint yn ystwythach. Cydnabyddir yma weinidogaeth angylion i etifeddion iachawdwriaeth. Heb. i. 14.

310, "O tyred y gogleddwynt olir," &c. B. i. 74.

311, "Os gofyn neb sydd ar y llawr," &c. B. i. 75.

359, "Wrth edrych, Iesu, ar dy groes," &c. B. iii. 7.

364, "Duw, er mor ëang yw dy waith," &c. B. iii. 10.

253, "Duw yw fy nerth a'm noddfa lawn," &c., sy gyfieithiad o Salm 46, yn ol "New Version" Tate a Brady, yn Saesoneg.

268, "Fy phiol yma sydd yn llawn," &c., sydd o "Gospel Sonnets" y Parch. Ralph Erskine, 1734. Gwel *Sir Roundell Palmer's Book of Praise, No.* ccclxx.

514, "Llawn o ofid, llawn o wae," &c., sydd efelychiad o emyn i Charles Wesley. "*The Good Samaritan, Luke* x. 30." *Methodists' Hymn Book*, No. 112. Fe allai fod rh. 336, "Iesu, y dirmygedig un," &c., yn fath o efelychiad o "Hail, thou once despised Jesus," gan John Bakewell, a rh. 7, o ranau o hen emyn gan Samuel Crossman, o ddyddiant 1664; (*Book of Praise*, lxxii.;) ond y mae'r tebygrwydd rhwng y rhai hyn, rhaid addef, yn fychan iawn, oddieithr yr adgyrch yn yr olaf, o ba un y mae eiddo Williams yn gyfieithiad pur agos:—

O happy place!
When shall I be,
My God, with Thee,
To see Thy face?

O ddedwydd le!
Bryd dô'f i fyw,
Byth at fy Nuw,
O fewn i'r ne'!

41. Mae y pennillion canlynol hefyd wedi eu cymeryd allan o waith Charles Wesley (1740). Gwel rhif 346 a 347 o Gasgliad John Wesley. Mae y cyfieithiad ar y cyfan yn dda a grymus iawn.

*Hymn* 346.

1 For ever here my rest shall be,
Close to thy bleeding side;
This all my hope, and all my plea,
For me the Saviour died!

2 My dying Saviour, and my God,
Fountain for guilt and sin,
Sprinkle me ever with thy blood,
And cleanse, and keep me clean.

3 Wash me, and make me thus thine own;
Wash me, and mine thou art;
Wash me, but not my feet alone,
My hands, my head, my heart.

*Hymn* 347.

4 Reign in me, Lord, thy foes control,
Who would not own thy sway;
Diffuse thine image through my soul,
Shine to the perfect day.

5 Scatter the last remains of sin,
And seal me thine abode;
O make me glorious all within,
A temple built by God!

*Hymn* 41.

14 Mi wna 'm gorphwysfa dawel byth,
Iesu, 'n dy ddilyth glwyfau;
Bellach fy ngobaith fydd a'm ple
It' yn fy lle ddyoddeu.

15 Ti 'r Meddyg mawr, a'r Ffynnon fraf
I bechod ac aflendid,
Golch fi o'm beiau fawr a mân,
Fel byddwyf lân a hyfryd.

16 O golch fi beunydd, golch fi 'n lân,
Golch fi yn gyfan, Arglwydd;
Fy nwylaw, calon, pen, a'm traed,
Golch fi â'th waed yn ebrwydd.

*Yr un.*

22 Teyrnasa, Dduw, a bwrw i ma's
D' elynion câs gwrthwyneb;
Ar f' enaid llêsg rho 'th ddelw 'n llawn,
Nes d'od i gyflawn burdeb.

23 Gwasgara weddill pechod câs,
Sêl fi â'th ras yn drigfan,
Yn berffaith hardd, yn deml wiw,
Adeilad Duw ei hunan.

250, "Wele 'n dyfod ar y cwmwl," &c. Hymn ar "Ddydd y Farn," fe allai, mewn rhan yn efelychiad o hymnau Charles Wesley (Methodists' Hymn Book, 66), Thomas Olivers, a John Cennick, ar yr un testun, ac oddeutu yr un amser. (Book of Praise, xc., xci.) Cenid yr hymnau hyn ar y dôn *Helmsley*, o gyfaddasiad Olivers, oddiwrth ryw hen dôn, anhysbys, ond odid, yn awr. Nis gwyddom paham nas cenid y dôn hon eto; cânwyd llawer arni gynt; a diammheu genym mai arni hi y cânodd

Williams yr hymn dan sylw, ac mai hon yw y gyntaf a gyfansoddodd ar y mesur 8, 7, 4. Mae efe yn dal yn benaf ar ogoniant y Barnwr, a gorfoledd y saint, yn ei ail-ddyfodiad. Ai yn amryfus yr ysgrifenodd y bardd, "Ar ei *fraich* ac ar ei forddwyd," yn y drydedd linell o'r pennill cyntaf? Os cyfeirio yr oedd at Dad. xix. 14, ac nis gwyddom pa air arall a allasai fod o flaen ei feddwl, "ar ei *wisg*, ac ar ei forddwyd," a ddywedir yno. Pa fodd hefyd y *newidiwyd* "ar ei *fraich*" i "ar ei *glun* ac ar ei forddwyd," yn "Llyfr Hymnau y Methodistiaid Calfinaidd," rh. 863? Teilwng i wroldeb Samson yn taraw y Philistiaid "glun a morddwyd â lladdfa fawr." Barn. xv. 8, ymadrodd, medd esbonwyr, anhawdd ei ddeall. Mae y geiriau Cymraeg, *clun* a *morddwyd*, fel y geiriau Saesoneg *hip and thigh*, ymron yn gyfystyr, oddieithr bod y glun yn sefyll am y rhan uchaf o'r forddwyd. Yr ydym yn tybied y byddai yn well adferu y gair i gydffurfiad â'r ymadrodd ysgrythyrol, a darllen, "Ar ei *wisg*, ac ar ei forddwyd," yn hytrach na dilyn ein llyfrau hymnau, hen na newydd. Amcanai y bardd ddesgrifio "Brenin brenhinoedd ac Arglwydd arglwyddi," yn ei wisg filwraidd, wedi gorchfygu ei holl elynion, yn dyfod yn fuddugoliaethus i farnu'r byd, ac i'w ogoneddu yn ei saint.

229, a gymerwyd ganddo "o Mr. Harfe ar y Grëadigaeth," (sef *Harvey's "Descant upon Creation."*) Felly y dywedir yn yr hen argraffiadau o'r "Aleluia," ond gadäwyd yr hysbysiad allan yn yr argraffiadau o'i holl waith. Nid yw yr hymn yn darllen yn ystwyth, o herwydd tòr-mesur a cham-aceniad mynych yn y llinellau. Gwelsom gyfieithiad pur rymus o hóni yn y *"Favourite Welsh Hymns translated into English, by Joseph Morris, Narberth, Pembrokeshire. Carmarthen: Spurrell,* 1854.

520, a 521, "Claf wyf a llesg, bron llwfrhâu," &c. "Os oedi'r wyt, beth wnaf â'r byd," &c. Y ddwy hyn ydynt efelychiad o gân o eiddo George Herbert a elwir *Home;* p. 190, *S. P. C. K. ed.* Llwyddodd Williams i dŷnu dwy emyn dda o waith yr hen awdwr crefyddol hwn, heb ddim o'i gymhendod, neu yr hyn a eilw y Saeson *quaintness*. Gellir eu cânu ar y dôn Leipsic, rh. 31 o'r "Tônau Cynnulleidfäol," ond cânu y pen cyntaf ddwywaith, a'r adgyrch ar y pen diweddaf. Gwel hefyd rh. 190, Bremen, a'r hymnau 515, a 516 yn "Llyfr Tônau ac Emynau" Stephen a Jones.

71, "Ai Iesu mawr, ffrynd dynol ryw," &c., sy gyfieithiad o emyn Saesoneg o waith Mr. Edward Godwin, un o'r cynghorwyr boreuol, a phregethwr poblogaidd, ymhlith y Methodistiaid Calfinaidd Seisonig. Mab hynaf ydoedd i'r Parchedig Edward Godwin, yr hwn a fu uwchlaw 40 mlynedd yn weinidog yr eglwys Henaduriaethol yn Little St. Helen, Llundain. Ei fam ydoedd ferch i weinidog teilwng a ddidŷwyd yn 1662, ac a fu yn gryn golledwr o herwydd ei anghydffurfiaeth, ac yr oedd hi yn weddw i'r Parchedig Samuel Jones, o Tewkesbury, athraw yr enwogion Secker, Esgob Butler, Dr. Chandler, Dr. Gifford, a'r Parchedig R. Pearsall, o Taunton. Er nad oedd wedi ei ddwyn i fyny i'r weinidogaeth, dechreuodd Mr. Edward Godwin bregethu yn nghyfundeb Mr. Whitfield, ond bu farw yn ddyn lled ieuanc. Bu yn ddefnyddiol iawn yn Llundain, a manau eraill, lle y llafuriodd yn dra diwyd, a chyfrifid ef yn llefarwr pur boblogaidd. Tra yn trigianu yn Bristol, cyhoeddodd amryw bregethau, y rhai a draddodasid ganddo ger bron cymdeithas y Tabernacl; ynghyda chyfrol fechan o Hymnau, yn gyflwynedig i Marmaduke Gwyn, Yswain, o'r Garth, tad Mrs. Charles Wesley, Hanes bŷr am waith Duw yn y fyddin Brydeinig yn yr Isel-diroedd, Hanesion Cristionogol, ac Adroddiad o driniaethau Duw tuag ato ef ei hun; a rhai pethau eraill. Yr oedd brawd iddo yn weinidog ymneillduol yn Guestwick, yn Norfolk, lle y bu farw yn 1772, yn 50 ml. oed. Cawn enw Edward Godwin mewn cysylltiad â'r Cymanfäoedd a gynnelid yn Lloegr yn y blynyddoedd 1744 hyd 1747; ond pa bryd y bu efe farw, nid oes genym hysbysiad. Nis buom chwaith mor ffodus â chyfarfod â'r gyfrol fechan a grybwyllwyd o'i Hymnau, ond y mae ger ein bron dair o ranau bychain o 24 tu dalen bob un o'i Hymnau, ynghyda Hanes ei Brofiad o driniaethau Duw tuag

**ato, a enwyd o'r blaen, wedi eu hargraffu yn Bristol, gan Felix Farley, yn 1744. Tebygol yw mai yn rhanau bychain felly eu cyhoeddwyd ganddo gyntaf, a'u cyhoeddi wedi hyny yn un llyfr, fel y gwnai eraill yn fynych yn y dyddiau hyny Yr Hymn gyntaf yn y Rhan I. yw yr un a nodwyd, a dodwn hi yma yn llawn, gyda chyfieithiad Williams, wedi diwygio ychydig arno, o'r tri phennill cyntaf, ac anturiwn ychwanegu cyfieithiad rhydd o'r ddau bennill diweddaf ynddi, a adäwyd allan gan Williams.**

A REFLECTION ON THE CRUCIFIXION.

**1 Is this my Jesu, this my God,
Whose body, all o'er-stain'd with blood,
Hangs on the cursed tree;
Whose temples, pierc'd with thorns, besmear,
And clot with precious blood his hair?
Yes, yes, my soul, 'tis He!**

**2 What, this my Saviour, this my Lord,
Whose dearest hands with nails are bor'd,
And fasten'd to the tree;
Whose loving feet are nail'd there too,
Dyed with so deep a bloody hue?
Yes, yes, my soul, 'tis He!**

**3 Is this my dear forgiving Friend,
Whose sacred blood as rains descend,
Runs trickling down the tree;
Who bows his head, opprest with pain,
But 'midst it all will not complain?
Yes, yes, my soul, 'tis He!**

**4 Is this, is this my Sacrifice,
Who bows his head and calmly dies,
High lifted on the tree;
Unknown to Gentiles, scoff'd by Jews,
Who almost all mankind refuse?
Yes, yes, my soul, 'tis He!**

**5 And shall my soul again forget,
His love so free, his love so great?
No, never let it be;
But let me always see the Lamb,
And truly praise his precious name,
A long eternity.**

Y CROESHOELIAD.

**1 Ai Iesu, Cyfaill dynol ryw,
A welaf fry a'i gnawd yn friw,
A'i waed yn lliwio 'r lle;
Fel gŵr di bris, yn rhwym ar bren,
A'r gwaed yn dolchau ar ei ben?
Ië, f' enaid, dyma 'fe!**

**2 Ai 'm hanwyl Briod welaf draw,
A hoelion llymion trwy bob llaw,
A'u pwyo 'n drwm i dre';
A bar o ddur trwy 'i dirion draed,
Ac yntau 'n marw yn ei waed?
Ië, f' enaid, dyma 'fe!**

**3 Ai Ef fu 'n maddeu idd ei gâs,
A'i waed fel llif o'i glwyfau 'maes,
Nes agor drŵs y ne';
Rhoi ben tua'r llawr gan boenau llym,
Yn wirion, dêg, heb yngan dim?
Ië, f' enaid, dyma 'fe!**

**4 Efe, Efe, fy Aberth llawn,
Ogwyddai 'i ben yn dawel iawn,
Wrth farw yn fy lle;
Yn dyoddef gwawd a dirmyg du,
Yn wrthodedig felly y bu;
Ië, 'f enaid, dyma 'fe!**

**5 O nac anghofia, f' enaid prudd,
Ei gariad mawr, mor rhad a rhydd,
O cofia 'i ryfedd waith;
A gwelwyf byth yr addfwyn Oen,
A'i foli yn wir mewn nefol hoen,
I dragwyddoldeb maith.**

Arferodd Williams un gair yn y chweched linell o'r pennill cyntaf, yn amryfus, fe allai, trwy ddilyn llefariad bloesg y werin yn ei gymydogaeth ei hun; ond mae yr ymadrodd, "A'r gwaed yn *dorthau* ar ei ben," fel y mae ganddo ef, wedi peri cryn benbleth i ddetholwyr hymnau, o herwydd anmhrïodoldeb amlwg y gair *torthau* yn y fath gysylltiad. Gwelsom mewn dau gasgliad diweddar tra adnabyddus, nid amgen, "Hymnau a Thônau, gan y Parchedig Daniel Evans, Corris (rhif 80), ac yn y "Tônau ac Emynau," gan y cerddorion enwog Stephen a Jones, (rh. 407), y gair *torchau* (tyrch) y llïosog o'r gair *torch*, wedi ei osod yn ei le, fel pe buasai y gair gwreiddiol yn *torques* neu *wreaths*, yr hyn sydd yn llwyr mor anmhrïodol; ac nis gall y naill na'r llall fod yn gyfieithiad o fath yn byd o'r gair Saesoneg *clot*, a ddefnyddiodd Godwin, (fel cyfranai, dybygem, o'r prifair *to clod* neu *to clot)* o ba un y mae y gair Cymraeg *tolchau* yn gyfieithiad agos, ac yn cyflwyno yr ystyr yr oedd yr ysgrifenydd cysefin yn ei amcanu. Ond os yw yr hen air Cymraeg

grymus hwn, sydd eto ar lafar gwlad mewn rhai ardaloedd, yn rhy galed i rywrai yn yr oes fingrych bresennol, byddai yn fwy dewisol genym ni ddilyn geiriad y Llyfr Hymnau Wesleyaidd (rh. 106) fel hyn:—"A'r goron bigog ar ei ben," er nad yw yn gyfieithiad o'r linell gysefin, ond yn fwy agos i'r un o'i blaen, gan nad yw yn cynnwys dim sydd afresymol, fel y geiriau gwrthodedig uchod. Am y linell olaf yn y pennillion, "Ië, f' enaid, dyma 'fe!" fel y mae gan Williams, yr ydym yn ei hystyried yn well na'r cyfnewidiad diweddar, "Ië, f'enaid, dacw 'fe." Mae y cyntaf fel yn dwyn yr olygfa ddifrifol i'n hymyl, a'r llall fel yn ei phellhâu.

Ymddengys nad oedd Godwin ond prydydd bychan, ac nas gofalai nemawr am gywirdeb iaith. Nis gwyddom fod cymaint ag un o'i hymnau wedi dyfod yn boblogaidd, er eu bod o ran eu hysbryd yn syml a difrifol. Ni fuasid yn dwyn yr emyn hon o'i eiddo i sylw, oni buasai ei bod yn sail i'r emyn Gymreig ar y Croeshoeliad, yr hon, mewn cysylltiad â thôn leddf a gyfansoddwyd iddi, sydd wedi dyfod i ryw gymaint o gymeradwyaeth ymhlith cantorion a detholwyr hymnau. Fe allai mai ei diffyg mwyaf yw ei bod yn dal braidd yn gwbl ar boenau corfforol angeu y Gwaredwr, heb gadw mewn golwg "ddyoddefiadau ei enaid, yr hyn," fel y clywsom y Parchedig John Elias gynt yn dywedyd yn dra effeithiol, "ydoedd enaid ei ddyoddefiadau." Mae rhai hymnau o'r fath mewn casgliadau Seisonig y cwynir yn fawr rhagddynt, yn enwedig yn y detholiad dichwaeth a elwir "Hymns Ancient and Modern." Ni ddylid iselu dim yn ddïau ar y dyoddefiadau corfforol, trwy ddywedyd ddarfod i lawer merthyr ddyoddef arteithiau anianyddol mwy a llymach, yr hyn sydd beth nas gall neb ei wybod; ond dylid cofio yn wastadol gyfyngder enaid yr hwn a ddywedodd, "Trist iawn yw fy enaid hyd angeu," ac a lefodd yn nyfnder ei ing, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist!" Gyda hyn o sylw yr ydym yn gadael emyn Edward Godwin, a'r cyfieithiad o hóni, i drugaredd y beirniaid, a hynawsedd y darllenydd diragfarn.

**Rhif 340, 341, a 342**, ydynt un emyn, yn dair rhan. Mae yn hysbys i ddarllenwyr fod y prif-feddyliau ynddi wedi eu cymeryd o *Young's Night Thoughts; Night the Fourth.* Dyma rai o honynt:—

Still frowns grim death; guilt points the tyrant's spear;
What healing hand can pour the balm of peace,
And turn my sight undaunted on the tomb?

Pwy ddyry im' falm o Gilëad, maddeuant pur a hedd,
Nes gwneyd i'm hysbryd edrych yn ëon ar y bedd? &c.

A thousand worlds, *so* bought, were bought too dear, &c.

Pe buasai mil o fydoedd yn cael eu prynu ynghyd,
A'r cyfryw bris, buasent yn llawer iawn rhy ddrud, &c.

Thou, rather than thy *justice* should be stain'd,
Didst stain the cross, &c.

Stern *justice*, and soft-smiling *love*, embrace, &c.

A God *all* mercy, is a God unjust.

Gwell ganddo na halogi cyfiawnder pur y Tad,
Oedd lliwio 'r croes-bren garw fel scarlet yn ei wâ'd, &c.

Such contemplations mount us; and should mount
The mind still higher. * * *
Where roll my thoughts
To rest from wonders? other wonders rise;
And strike where-e'er they roll; my soul is caught;
Heav'ns sov'reign blessings, clust'ring from the cross,
Rush on her, in a throng, and close her round,
The pris'ner of amaze!

'Nol edrych ar ol edrych, o gwmpas imi mae
Rhyw fyrdd o ryfeddodau newyddion yn parhâu, &c.

Bendithion ar fendithion, trysorau angeu loes,
Grawn-sypiau mawrion addfed, yn hongian ar y groes,
Sydd yn cwmpasu 'm henaid, rhinweddau mawr eu grym,
A minnau yn eu canol, heb allael d'wedyd dim.

In his blest *life*
I see the *path*, and in his *death*, the *price;*
And in his great *ascent*, the *proof* supreme
Of immortality.

Mae genym ddau aralleiriad o'r llinellau hyn, sef y pennill olaf yn hymn Williams, ac un arall gan D. Thomas (*Dafydd Ddu Eryri*); dodwn hwy ger bron yn gyfochrog:—

Mi welaf yn ei fywyd
Y ffordd i'r nefoedd fry;
Ac yn ei angeu 'r taliad
A roddwyd trosof fi;
Yn ei esgyniad gwelaf
Drigfannau pur y nef,
A'r wledd dragwyddol, berffaith,
Gaf yno gydag Ef.
W. W.

Gwêl yn ei fywyd sanctaidd Ef
Y ffordd i'r nef yn barod;
Ac yn ei hynod farwol loes,
Y tâl a roes tros bechod;
Yn ei dderchafiad at y Tad,
Gwel brofiad diammheuol
O anfarwoldeb, hyfryd wêdd,
Tu draw i'r bedd dinystriol.
D. T.

Mae pennill D. T. beth yn agosach cyfieithiad o'r llinellau cysefin, ond hyn yw'r cwbl sy ganddo ef. Na fydded i neb feddwl yn îs o'r emyn ardderchog hon, am ei bod wedi ei hadeiladu ar sail llinellau diodl y Dr. Young. Nis gallasai neb ond gwir fardd gynnyrchu emyn ganadwy o'r fath ddefnyddiau, er mor odidog ydynt. Y mae gan y beirdd hefyd drwydded yn ol "braint a defod" at orchwyl o'r fath yma, fel y gŵyr y sawl sydd wedi bod yn ymwrandaw ychydig ar eu "cyfrinach." Mae yr engreifftiau uchod yn brawf fod Williams yn meddu cryn fedrusrwydd i ddefnyddio ac addurno meddyliau ysgrifenwyr eraill, ac i ymhelaethu arnynt. Yn y modd hwn y defnyddia efe amryw wersi allan o'r Salm lxxxiv. gan Edm. Prys, yn rh, 87, 88, a 89 o'i hymnau. Cawn fod Charles Wesley yn hynod fedrus a llwyddiannus yn ei barodrwydd i ganfod gèmau gwerthfawr weithiau mewn lleoedd na fuasid prin yn dysgwyl eu cael, "gan lewyrchu arnynt oleuni ei athrylith farddonol, a'u gosod yn ei beithynen chwaethus ei hun, i ddysgleirio megys afalau aur mewn gwaith arian cerfiedig." Yr oedd yn hoff o Milton, Pope, a Young, ac eraill o'r prydyddion Seisonig goreu, ac felly yr oedd Williams; elent i wared weithiau i'r gerddi blodeuog hyny i gasglu rhos, lili, a blodau prydferth, peraroglaidd. Detholent o blith eu llinellau syniadau tlysion a barddonol, gan eu cyfaddasu i ddybenion uwch a mwy cysegredig, trwy eu hadblanu yn eu gerddi achlesol a ffrwythlawn eu hunain. Dyma lygad Charles Wesley (a phwy fuasai yn meddwl?) ymhlith pethau prydferth eraill, yn disgyn ar

sylw yr hen esboniwr dewisol Matthew Henry, ar y geiriau yn Ex. xxxiv. 6, "Abundant in goodness," lle y dywed efe,—"The springs of mercy are always full, the streams of mercy are always flowing; there is merey enough in God—enough for all, enough for each, enough for ever." (Y mae ffynnonau trugaredd yn llawn yn wastadol, y mae ffrydiau trugaredd yn rhedeg yn barhäus; y mae yn Nuw ddigon o drugaredd—digon i bawb, digon i bob un, digon am byth.) Gyda rhwyddineb nodedig trôdd y prydydd y dyfyniad hwn yn bennill mewn hymn, gan gadw y syniad arweiniol ynddo; ac heblaw hyny, trwy chwanegu un gair bychan unsill, ei wisgo â chryn nerth a phrydferthwch.

| | |
|---|---|
| Its streams the whole creation reach,<br>So plenteous is the store;<br>Enough for all, enough for each,<br>Enough for evermore. | Ei ffrydiau lifant tros y byd,<br>Yn llawn bob pryd, dihysbydd;<br>Digon i bawb, ac i bob un,<br>A digon yn dragywydd.—*Cyf.* |

Nid dygwyddiad anfwriadol ydoedd hyn, mae y tebygrwydd yn rhy agos i ganiatâu hyny; ond y mae C. Wesley, yn ei ragymadrodd i'w "Hymnau Ysgrythyrol" yn cydnabod yn onest fod "llawer o'r meddyliau wedi eu benthycio o Esboniad Mr. Henry, Dr. Gill ar y Pum' llyfr, a Bengel ar y Testament Newydd." Na thybied neb chwaith fod Williams na Wesley yn hyn yn euog o lên-ladrad, ac yn ddiffygiol mewn gwreiddiolder, oblegid, ar yr un sail, gellid dwyn yr un cyhuddiad yn erbyn Milton, Pope, ac eraill, o'r prydyddion goreu a mwyaf cymeradwy. Mae cyfansoddiadau cysefin y naill a'r llall yn ddigon helaeth a lliosog i ddangos eu bod yn alluog i ehedeg yn uchel, ac i ymddyrchafu yn uwch fyth, yn ngrym eu hathrylith gynnwynol eu hunain,* fel ag i'w rhyddhâu oddiwrth bob cyhuddiad o'r fath, beth bynag allai fod eu diffygion ar ystyriaethau eraill.

Aralleiriad o Hymnau y Parchedig Daniel Rowlands, rhif 13 a 14, yw rhif 1 a 3 yn yr "Aleluia," gan W. W. Gwel Hymnau Rowlands yn niwedd ei Bregethau, argraffiad 1864, gan D Thomas, Dowlais, t. 165. Yr unig gyfansoddiad Cymreig o waith arall, a gydnabyddir gan Williams, yw rhif 522, "Ar fesur Gwel yr Adeilad," yr hon sy gân neu gerdd grefyddol, "o waith Evan Powel o Lanfyrnach," (Llanfrynach?) am yr hwn ni allasom gael dim hysbysrwydd. Nid yw y gân na'r dôn yn meddu nemawr gymhwysder i'r addoliad cyhoeddus.

"Hymnau Sacramentaidd" yw rhif 354 hyd 365, deuddeg o nifer. Yr oeddent ar y cyntaf yn gwneyd "ail ran" o'r "Hymnau Duwiol ar amryw Ystyriaethau," a alwyd wedi hyny "Caniadau y rhai sydd ar y Môr o Wydr," &c. Mae rhai o'r hymnau hyn yn gyfaddas iawn i'r amcan teilwng y bwriadwyd hwynt gan yr awdwr, ond dywed ef y "gellid eu cânu yn gymhwys ar adegau eraill." Gresyn na bae eglwysi Cymru yn gwneyd mwy o ddefnydd o'r hymnau hyn a'u cyffelyb ar adegau cymundeb, nag a wneir yn gyffredin yn awr. "Ai ni fyddai yn fanteisiol caniatâu mwy o hamdden i ganiadaeth yr eglwys, *o flaen* ac *ar ôl*, (nid *ar ganol*) cyfraniad yr elfenau? Oni ddylai yr holl eglwys fod yn *cyd-gyfranogi* ac yn *cydfoliannu*, ac nid rhai yn cânu, a'r lleill yn derbyn yr

* Yr ydym yn ddyledus am rai o'r dyfyniadau a'r sylwadau uchod i Ddarlith y Parch. John Kirk, ar "The Poet of Methodism," pp. 58—61.

arwyddion, ac eraill yn aros mewn dysgwyliad, ar yr un pryd? Onid ellid dwyn i mewn fwy o amrywiaeth i'r rhan hon o'r gwasanaeth? O'r holl lïaws hymnau da a phrïodol i'r achlysur, ychydig o bennillion yn unig a arferir, y rhai a genir yn aml yn afreolaidd a diadeiladaeth."* Yr ydym yn cyflwyno yr awgrymiadau hyn, fel y gwnaethom o'r blaen flynyddoedd yn ol, i ystyriaeth bwyllog a difrifol gweinidogion, dïaconiaid, ac aelodau yr eglwysi, gan ein bod yn tybied fod arnom eto angen diwygiad. "Awn rhagom at berffeithrwydd."

Cyfansoddwyd yr hymnau 462, 463, a 464 "ar ddymuniad H——. H——. Esq.," h. y., Howel Harris, Ysw. Felly y cofnodir yn yr argraffiad cyntaf, t. 74, a'r hymn 840, "Y cysur i gyd," &c., a gyfansoddwyd ar ddeisyfiad y Parchedig Mr. D. Jones, o Langanna, ar fesur newydd.

Yr ŷm yn awr wedi cael ein harwain at ragoriaeth arall yn hymnau Williams, sef nifer ac amrywiaeth mawr y mesurau a ddygodd efe i arferiad. Cyn ei amser ef nid oedd gan y Cymry ond ychydig iawn o amrywiaeth mesurau, ac yr oedd prydyddiaeth emynau yn cael ei hesgeuluso yn fawr. Er amser Edmund Prys, ni chwanegasid oddiar dri neu bedwar o fesurau at y rhai a arferasai efe. Nid oedd gan Dr. Watts ond rhyw saith neu wyth o fesurau i gyfansoddi arnynt yn y Saesoneg; y mwyafrif o'i Salmau a'i Hymnau ydynt ar y Mesur Cyffredin, y Mesur Bŷr, a'r Mesur Hîr. Nid yw y mesurau eraill ond eithriadau yn dygwydd yn lled anfynych. Llafuriodd y Methodistiaid yn Lloegr, yn enwedig John a Charles Wesley, i wneyd y diffyg i fyny, a thrwy hyny chwanegwyd nifer mawr o fesurau newyddion at y rhai oedd mewn arferiad o'r blaen, a llawer o honynt yn wir dda, er bod rhai yn eu mysg nas gellir eu hystyried y rhai cymhwysaf i wasanaeth y cysegr. Yr oedd Williams yntau, heblaw cyfansoddi ar y mesurau oedd adnabyddus yn y wlad o'r blaen, yn ychwanegu at eu nifer, trwy gyfaddasu rhai hen dônau Cymreig i wasanaeth crefydd, a dwyn i mewn y rhai mwyaf dewisol a arferid gan y Saeson. Dengys y dyfyniadau canlynol y modd yr oedd efe yn myned ymlaen gyda hyn. Yn ei ragymadrodd i hen argraffiad o'r "Môr o Wydr," dywed,—"Mae yma amryw fesurau nad oedd yn y rhai o'r blaen, ond gobeithio yr wyf nad esgeuluswch eu cael hwynt allan." Mewn hysbysiad ar ddiwedd yr argraffiad cyntaf o'r "Ffarwel Weledig," &c. (1763), sef y rhan gyntaf, dywed fel hyn:—"Yr wyf yn eich cynghori i beidio a rhwymo y llyfr hwn ynghydag un arall, am fy mod yn meddwl, os caf ond rhai misoedd yn rhagor o fyw, cyfansoddi un arall o'r un faint i'w gydrwymo âg ef; ond aros yr wyf i gael amryw fesurau newyddion oddiwrth y Saeson, fel na bo'r Cymry yn fŷr o'u braint hwy mewn dim i foli Duw, ag a wnaeth cymaint trosom ni a hwythau." Yn ei ragymadrodd i'r ail ran o'r un llyfr (yn 1766) ysgrifena fel hyn:—"Mae yma ychydig fesurau newyddion, a mi a fynaf, ar ol fy addewid, roddi y mesurau [tônau] i ryw ychydig a fedr eu tŷnu hwynt allan. Mae deg neu ddeuddeg [o gopïau] yn ddigon o honynt tros Ddeheudir Cymru, os bydd ewyllys i'w taenu hwynt ar lêd." Yn yr argraffiad cyntaf o'r "Ffarwel Weledig," &c., ceir y cyfarwyddyd canlynol o flaen rhif 67 (Hymn 451, M. C. arg.

* Gwel Dr. King ar "Swper yr Arglwydd," t. 221 o'r cyfieithiad Cymraeg.

1811)—"Fe ellir cânu yr hymnau canlynol trwy ddyblu'r linau olaf ddwy waith, neu ar y mesur [y dôn] oedd yn y llyfr cyn hwn [sef 'Y Môr o Wydr'] oedd yn eu dyblu dair gwaith." Yn y dull syml yma y cafwyd llawer o'r tônau hynaf yn ein mysg perthynol i'r cyfnod Methodistaidd. Mae enwau tônau wrth yr hymnau yn argraffiad 1811, a'r rhai dilynol, ond nid oedd enwau tônau yn argraffiadau yr awdwr, oddieithr rhyw chwech o nifer, sef "Gwel yr Adeilad," "Ymadawiad y Brenin," neu "King's Farewell," "Galarwyr," "St. Luke," "Love Feast," a "Calvary." Tebygol fod y ddwy gyntaf yn hen dônau Cymreig o'r 17 canrif. Dichon ddarfod cyfansoddi y dôn farwnadol, "Ymadawiad y Brenin" ar yr achlysur o ddïenydd Charles I.; ond am hyn nid oes genym sicrwydd. Nid yw yn meddu nemawr gyfaddasrwydd i'r addoliad cyhoedd, ac fe allai na fwriadwyd yr hymnau ar y mesur ond i ymarfer neillduedig yn unig; y mae ansawdd amryw o'r pennillion yn ein tueddu i dybied felly. Gwel rhif 555, 556, 701, a 702. Y ddwy olaf, medd yr awdwr, "a gyfansoddwyd mewn oriau cystudd;" ac y mae rhai o'r syniadau ynddynt yn llwyr anmhrïodol i wasanaeth cyhoeddus. Y pedair eraill a gafwyd oddiwrth y Saeson, ac y maent idd eu gweled yn y "Sacred Harmony," gan John Wesley. Gwel rhif 512, 513, 514, 520, 521, 529—533. Fe allai i'r awdwr gyfansoddi rhif 620 ar yr hen dôn filwraidd Gymreig a elwir "Dewch i'r Frwydr," yr hon a dröwyd i'r cywair lleddf yn raddol trwy arferiad, yn y ffurf y mae dan yr enw "Iorddonen" yn ein llyfrau tônau. Modd bynag, mesur Cymreig yw 8. 7. 3., ac nid yw arferedig ymhlith y Saeson. Mesurau Cymreig yw Mesur Salm, a'r 2. 8., (rhif 52), 8au, (rhif 401 a 402), 7. 8., (rhif 826 ac 827), ond pa dônau a arferid arnynt yn amser Williams, nid ydym yn gwybod. Fe allai mae "Dorcas" a genid ar y mesur 2. 8. Ymddengys ei bod yn hen dôn, er nad yw yr enw ond diweddar. M. 8. 8. 8. 6. D., (rhif 295—297) dybygem, sydd o ddechreuad Cymreig; ac fe allai, 6. 4. 6. (rhif 166). Am yr hymnau (rhif 403, 404, 441—445) ar y mesur 10 sill, ymddengys, oddiwrth ryw gloffni yn y drydedd linell o'r nifer fwyaf o'r pennillion, ddarfod eu cyfansoddi ar ryw dôn heb ei dysgu yn gywir. Ymha le yr oedd Mrs. Williams, tybed, ar y pryd, gan y dywedir mai hi fyddai yn profi yr hymnau, a fyddent yn llithrig i'w cânu ai ni byddent, trwy eu cânu ar y tônau dewisedig iddynt? Gallai ei bod yn rhy brysur yn yr ystafell fagu, neu gyda materion teuluaidd eraill, i dalu y sylw priodol i farddoniaeth ei phriod ar yr adeg hono. Mae yn ddigon hawdd symud y diffyg o'r llinellau gwallus, ac ni ddylai neb rwgnach yn erbyn hyny, ond ei gyflawni yn brïodol. Hymn 843 a gyfansoddwyd yn 1776, a chyhoeddwyd hi yn gydiol â marwnad Mr. Evan Williams, Maes y Gefnffordd, gyda'r mynegiad yma ar y rhagddalen, "Hymn ar dôn newydd a gymerwyd o synagog yr Iuddewon: yr "hymn a genir arni yn Saesoneg sydd yn dechreu fel hyn, "The God of Abr'am praise," &c. Cyfansoddasid yr emyn Saesoneg gan Thomas Olivers, yn 1772, ac yr oedd wedi derbyn cymeradwyaeth mawr ymysg y Saeson. Y dôn yw *Leoni*, neu *Palestina*. Hoffodd Williams hi, a chyfansoddodd yr hymn, —"O tyred, addfwyn Oen," &c., arni yn gyntaf, ac wrth weled yr hymn a'r dôn yn cymeryd, ychwanegodd hymnau eraill ar yr hyd, sef rhif 817, 818, 819, a dwy eraill, y rhai a gyhoeddwyd ganddo yn gyntaf yn niwedd Hanes Bywyd y Dr. Goodwin, yn 1779. Er bod rhif 843 yn sefyll yn

olaf yn y llyfr cyflawn, hi a gyfansoddwyd yn gyntaf ar yr hŷd hwn. Mae yr hymnau hyn yn rhai tra melusion, ac hyd y gallwn farnu y maent yn gyfansoddiadau gwreiddiol. Er hyny, goddefant eu talfyru, gyda rhyw ychydig o ddiwygiadau. Y tônau y mae eu henwau yn argraffiad 1811, a osodwyd wrth yr hymnau (allan o hen gasgliad Dr. Rippon yn benaf), gan Mr. William Roberts, gynt o Gaerfyrddin, yr hwn oedd yn gantor da yn ei ddydd, ac a fu yn arweinydd y cânu yn Nghapel Heol y Dŵr, am yspaid hirfaith, gan iddo fyw i oedran mawr. Cyfansoddodd hefyd rai tônau. Nid yw y geiriau *Galarus* a *Gorfoleddus* yn rhagflaenu yr hymnau yn yr argraffiadau cysefin, ac nid ydynt, mwy na'r detholiad o'r tônau o nemawr fûdd erbyn hyn. Sonir yn fynych am gânu yr hen bobl, ac yr ydym yn coelio y byddent yn mwynhâu llawer ar amserau, gyda theimladau gwresog, ac ysbryd tyner, ond yr oeddent yn ddiffygiol mewn trefn a gweddeidd-dra yn aml, a phan gollid y teimladau hyfryd, byddai eu caniadaeth yn dirywio i farweidddra sych a chraslyd. Cwyna yr awdwr, yn ei ragymadrodd i'r "drydedd argraffiad" o'r "Aleluia," ar y dull anmhrïodol y rhoddid yr hymnau allan i'w cânu weithiau,—bod rhai yn "rhoddi saith neu wyth o wersi allan i gynnulleidfa y byddo tair gwers yn ddigon; a rhai a rônt wersi uchel o sicrwydd a mwynhâd i dyrfa fo'n gwadu'r cyntaf, heb brofi mo'r ail; neu wersi o ddiolch am ras a maddeuant i rai nad yw [ŷnt] yn ceisio, nac wedi cael y fath beth. Rhai eilwaith a rônt wersi o achwynion ac ammheuaeth i bobl a fo wedi eu dyrchafu i'r nef, ac yn teimlo bywyd yn y ffydd, a'r cythraul tan eu draed; megys pe bae un yn cymhell cânu am oerfel y gauaf, pan y bo'r haul yn twymo boethaf yr hâf. Am hyny fe ddylai y cyfryw a fo yn eu rhoi hwynt, os posibl yw, fod yn gydnabyddus, yn gyffredin, pa fath yw y bobl sydd yn eu cânu, pa un ai bod lle i obeithio bod llawer o honynt yn dduwiol ai peidio; neu os ydynt yn dduwiol, pa un ai rhai ammhëus, llêsg, neu rai cryfion ffyddiog ydynt hwy; ac hefyd pa un ai mewn hwyl o ddiolch neu mewn hwyl o weddi y maent; ac yn olaf, pa un ai yn fwy marw o ran eu teimlad yn bresennol, neu yn fwy byw y maent, ac yn ganlynol, rhoi hymn i maes ag a fo yn perthyn fwyaf addas i'w cyflyrau. I ba ddyben y rhoddais ystyr pob un o'i blaen mor nesed ag oedd bosibl, wrth feddwl gynifer o faterion, profiadau, ac athrawiaethau, y mae amryw o honynt yn ei gynnwys." Byddai yn dda iawn sylwi ar y cyfarwyddiadau hyn eto yn ein dyddiau ni, gan fod llawer o ddiffyg ystyriaeth yn newisiad hymnau, er iddynt fod yn gyfaddas i'r amgylchiadau, a'u cânu ar dônau addas i'w hansawdd, ac mewn amser a chywair prïodol, y fath ag y gallo y gynnulleidfa ymuno ynddynt i gydgânu. Rhyfedd mor araf yw ein cynnydd, fel cenedl, yn y peth hyn. Rhoddwyd hyfforddiadau da yn niwedd rhai o'r argraffiadau cyntaf o Salmau Edmund Prys i'r perwyl, a chan ei fod yn werth ei goffâu, ni a ddodwn y wahanran i mewn yma, gan obeithio y caiff sylw dyladwy. "Fel y galler gwybod ar ba dôn y mae cânu pob un o'r Salmau yn y gynnulleidfa, y mae nodau cânu wedi eu gosod wrth rai o honynt; ac wrth y rhai hyny gellir cânu cynifer o'r lleill ag a fo o'r un mesur a hwythau; ond o herwydd bod rhai o'r Salmau o gwynfan a galar, ac eraill o ddyddanwch a llawenydd; rhai yn gweddïo Duw am ymwared o gystudd, neu ryw ddaioni arall, ac eraill yn moliannu Duw ac yn diolch iddo am ei ddaioni a'i ymwared; rhai yn dadgan ac yn

mynegi mawrion weithredoedd Duw yn yr oesoedd o'r blaen, ac eraill yn prophwydo am bethau a ddeuai ar ol, &c. ; o herwydd hyn, meddaf, iawn yw dewis i bob salm y dôn a fo cymhwysaf a chymmesuraf i'r defnydd a fyddo ynddi." (Bibl bychan, 1630.) Gwelwn wrth hyn yr angenrheidrwydd am ddewis Salm neu hymn gyfaddas i'r achlysur, a dewis y dôn a fyddo yn gweddu i ansawdd y cyfryw, ai llòn ai lleddf, cwynfan a gweddi, ynte llawenydd, diolch, a mawl.

Daeth arferiad arall i'n mysg, mwy anfuddiol a niweidiol na rhoddi gormod nifer o wersi allan ar y pryd mewn cynnulleidfa anfedrus, sef rhoddi dim ond un pennill bŷr, a chânu hwnw bob yn ddwy linell, a'u dyblu a'u hail-adrodd eilwaith ac eilwaith, nes terfynu yn fynych mewn diflasdod. Dechreuodd hyn, ond odid, o herwydd anwybodaeth y bobl, mewn awydd canmoladwy i geisio argraffu ychydig o bennillion a thônau crefyddol ar eu côf a'u hystyriaeth ; ond pan ymsefydlodd hyn yn ddefod, ac yr ystyrid amrywio dim oddiwrthi braidd yn drosedd, aeth yn ddull o gânu aneffeithiol a diadeiladaeth, ac yn gochl i ddiogi meddwl a difaterwch. Dull arall, anhwylus a phoenus iawn, a fyddai gan rai pregethwyr, o roddi dim ond dwy linell o bennill ar fawr frys i'w cânu, a dysgwyl i'r arweinydd fedru rhoi tôn brïodol ar ryw eiliad o rybudd, yr hyn yn aml a barai ddyryswch a chywilydd. Diweddid weithiau lle y byddai yr ystyr yn anghyflawn, a chyfran o'r dôn yn aml yn terfynu ar yr eilfed nôd o'r cywair, lle mae y glust yn naturiol yn dysgwyl am ychwaneg ; ond yn y cyflwr siomedig hwn byddai raid i'r dyrfa barotôi eu clustiau i wrandaw darlleniad y testun. Rhyw arweinydd craff, er mwyn rhoi attalfa ar yr annhrefn, a osododd bennill ysgrifenedig ar astell o fewn pulpud rhyw gapel yn Sîr Gaernarfon, fel hyn :—

Os rhoddi bennill allan, o fewn y pulpud hwn,
Dos tros yr odl gyntaf, a thros yr ail yn grwn ;
Fel y galler codi 'r mesur, yn gywir yn ei le ;—
Ac oni wnei di hyny, bid rhyngot ti âg ê.

O herwydd y dull oeraidd ac aflafar y cenid yr hen dônau mwynber gynt, y syrthiwyd iddo trwy esgeulusdra ac annhrefn, dodwyd y tônau hyny heibio yn lled gyffredinol, a dygwyd llïaws o dônau ysgeifn, trystfawr, a dyrys, yn eu lle, er iselhâd dirfawr ar ganiadaeth gynnulleidfäol, a pheri i lawer o bobl ei llwyr esgeuluso. Da genym sylwi fod y cyfryw arferion ffolion a musgrell, yn awr yn graddol ddiflanu, dan ddylanwad addysg well, yr hon, gobeithiwn, a gerir allan yn effeithiol, heb redeg i eithafoedd arall o ymgais am ormod o gywreinrwydd cerddorol, a thrwy hyny golli ysbryd gwir ganiadaeth.

Mae amryfusedd arall y dylid ei ochelyd, sef cânu yr un pennillion yn rhy fynych, ac esgeuluso eraill cystal a hwythau, os nad gwell, a thrwy hyny eu gwneyd mor gyffredin trwy eu hailadrodd fyth a hefyd, nes y mae'r teimlad o'u hystyr a'u heffaith yn diflanu fel tarth. Y mae arferiad arall gwaeth eto yn ffŷnu mewn manau, sef rhoddi rhigymau dienaid a disynwyr i'w cânu, nes taflu llawer i ysgafnder, a blino ysbryd eraill, pryd y dylent fod yn ddifrifol a chrefyddus yn addoli Duw. Gallem roddi casgliad helaeth o bethau gweigion o'r fath, ond ofnwn y parai hyny ofid i'r darllenydd. Bydd yr ychydig engreifftiau canlynol yn ddigon er rhybudd i ymwrthod â rhigymau gwaelion a gorwag

cyffelyb. Dywedir fod traddodiad mewn rhai manau yn y Deheubarth, i Williams, Pantycelyn, gael ei gynhyrfu yn fawr mewn awydd i ddwyn allan bethau gwell, ac i gyflwyno ei dalent brydyddol i grefydd a duwiolder, wrth glywed cânu mewn cynnulliad crefyddol y pennill ffôl hwn:—

Fe ddaeth anghrediniaeth â'i bastwn fel cawr,
Yr oeddwn i'n sefyll, fe'm tarawodd i lawr;
Rhad ras ga's y trecha, trwy rinwedd y gwaed,
Fe'm codws i fyny i sefyll ar y 'nhraed.

Y mae dull arall iddo gan bobl y Gogledd, nid amgen:—

Pan ddaeth anghrediniaeth i'm herbyn fel cawr,
A phastwn o lygredd fe'm tarawodd i lawr;
Cês arfau da reiol, a chleddau dan gamp,
Er ised y syrthiais, mi godais yn glamp.

Y mae rhai beirniaid ucheldysg yn tybied eu bod yn canfod nodau diamwys o wreiddiolder yn y llinellau hyn, ac yn tybied nad yw y ffurf gyntaf uchod ond aralliad diweddarach. Yr ydym ninnau yn meddwl i ni weled pennill yn cyfateb iddo yn ngwaith ryw "brydyddwr" bychan a roes ffrwyth ei awen i'r byd, ryw flwyddyn neu ddwy, dybygem, wedi marw Williams; ond nid yw ei lyfryn genym wrth law i'w cymharu yn fanwl, ond y mae hyn yn ddigon i ddangos nad oes nemawr sail i'r chwedl. Y mae traddodiad arall, ar well sail, wedi ei goffâu genym o'r blaen, am ddechreuad awenyddiaeth Pantycelyn.

Clywsom ein hunain, yn nyddiau ein mebyd, ddynes ieuanc ar ei ffordd adref o gyfarfod crefyddol, dan "orfoleddu," fel y dywedir, yn bloeddio (nid *yn cânu*) nes oedd y bryniau a'r cymoedd yn dyspedain, y pennill rhyfedd hwn:—

Y mae nhw 'n doydyd hyd y fro,
Y mod i 'n feddw iawn o 'ngho';
'Dwy 'n amme' dim nad medd'dod yw
O wîn a *sac* Caersalem wiw.

Hysbysir ni mai o'r Ffrancäeg y deillia'r gair *sac*, ac mai "gwîn sêg" yw ei ystyr; ond beth bynag am hyn, fe anturiodd rhyw walch gyfnewid y linell olaf, yn fwy barddonol, yn ddiammheu, yn ei dyb ef, fel hyn:—

Ar felus wîn o seler Duw;

a phrin y mae rhai beirniaid yn ystyried hyn yn welliant, a bod y gair *seler*, meddant hwy, yn swnio braidd yn isel. Y fath yw cyfnewidwyr hymnau! a doethed yw rhai beirniaid!

Ond i adael y digrifolion hyn, nodwn rai pennillion y teimlwn gryn wrthwynebiad iddynt, er eu bod, mewn rhan, yn seiliedig ar Ysgrythyr. Beth am y pennill hwn? A ydyw yn addas neu weddus i'w gânu?

Mae llu ar feirch yn teithio, fry, tua Sïon fryn;
Ac eraill ar gerbydau, yn harddach na'r rhai hyn;
Mae 'n dda i rai fod mulod, ac elor-feirch yn bod,
I gario 'r claf a'r clwyfus;—i'w enw byddo 'r clod.

Beth hefyd am y pennill canlynol, er ei fod, wedi newid peth arno, wedi eu dderbyn i "Lyfr Hymnau y Methodistiaid Calfinaidd?"—

Beth yw 'r cynhwrf garw iawn sy 'n y goedwig?
Ydyw 'r arfaeth fawr ei dawn ddim yn ddiddyg?
Nis boddlonir mòni 'n llawn, nes cael gweled
Oll a brynwyd un prydnawn, o'u caethiwed.

Ymddengys i ni fod yr arfaeth (*ofnadwy*, ys dywedai rhai, gynt) yn cael ei desgrifio yma fel hen bendefiges anynad, yn peri cynhwrf garw neu "nerthol" yn nghoedwig dynoliaeth (ynte, beth a feddylir?) ac nad oes boddloni arni heb gael yr hyn y mae yn ei chwennych ac a fŷn. Mae y syniad yn ymddangos i ni yn wrthun ac anysgrythyrol. Credwn y cyflawnir bwriadau'r Nef ar ran y prynedigion, mewn modd annhraethadwy mwy goruchel a gogoneddus, nag a osodir allan yn y desgrifiad dychymygol hwn, ac na dim erioed a ddaeth i feddwl dyn.

Dyma bennill rhyfedd arall y clywsom ei gânu unwaith, neu yn hytrach *ei lefain* yn y dull mwyaf aflafar:—

Cadwyd Moses yn y cawell, ar yr afon, yn y llif';
Yn y ffwrn bu plant y gaethglud, daeth Un rhagorach at y tri;
Ac fe gauwyd safnau 'r llewod, cyn i Daniel fyn'd i lawr;
I eigion môr pan fwriwyd Jonah, fe barotöw'd pysgodyn mawr.

Mae cânu pennillion yn lle hymnau yr un mor feïus: gosodwn yma dri neu bedwar o honynt y clywsom eu cânu, y rhai, er eu bod yn bennillion gweddol, nid ydynt yn deilwng o'u galw yn hymnau.

1

Pan hoeliwyd Iesu ar y groes,
Aeth hanner dydd yn hanner nos;
Pan aeth pechadur caeth yn rhydd,
Aeth hanner nos fel hanner dydd.

2

Trwm yw cysgu ar y tywod,
Lle mae'r môr yn arfer dyfod;
Trymach cysgu mewn anhwyldeb,
Ar fin ceulan tragwyddoldeb.

3

Fe welwyd Craig mewn dalfa, gan dyrfa'r gwaew ffyn;
Fe welwyd Craig yn hongian, ar ben Calfaria fryn!
Rhoed Craig mewn craig i orwedd, hyd fore'r trydydd dydd,
Er gwaetha'r maen a'r milwyr, daeth Craig o'r graig yn rhydd.

4

Yngŵydd yr haul yr hoeliwyd yr Haul ar ben y bryn;
A Haul wnai i haul dywyllu! bydd côf o hyd am hyn:
Rhoed Haul heb haul i orwedd, ar waelod bedd ynghûdd!
Dau haul wnai gyd-gyfodi, ar fore 'r trydydd dydd!

Ymaith! ymaith â'r fath ofersain! Cadwed ein cynnulleidfäoedd at Salmau a Hymnau cyfaddas i'r gwasanaeth Dwyfol, gan ymgydnabyddu â hwynt, a myfyrio arnynt, heb ymfoddloni ar bennillion traddodiadol, disail a disylwedd, a ddysgir o ben i ben. Megys nad ëos yw pob aderyn dyeithr a wna sŵn hynod, felly nid yw pob peth sydd yn odli yn farddoniaeth, na phob rhimpyn crefyddol yn gymhwys i'w gânu mewn addoliad. Rhaid addef na adawodd Williams ei hymnau mewn trefn fanteisiol i'w harfer yn gyhoeddus trwy ddefnyddio llyfrau, mwy nag y gwnaeth eraill, yr hyn sydd yn peri fod detholiad yn angenrheidiol i'r amcan hwnw. Y mae, gan hyny, o ddirfawr bwys i'n cyfundebau crefyddol pa fath hymnau a barotöir i'r cynnulleidfäoedd, gan eu harweinwyr, at y gwasanaeth cyhoedd. Hyd yma (yr ydym yn dywedyd

ynfhŷf!) y mae ein llyfrau hymnau enwadol yn dra diffygiol, ac yn ddianrhydedd i ni fel cenedl. Gydag ychydig eithriadau, mae y defnyddiau ynddynt wedi eu dethol ar egwyddor gyfeiliornus, fel y maent, gan mwyaf, yn Gasgliadau o Bennillion, ac nid Hymnau. Nid yw y nifer helaethaf o lawer o'r pethau a elwir yn hymnau yn ddim ond clytwaith, neu bigion cynnulledig, o ddarnau cymysg o wahanol hymnau diberthynas. Yn bendifaddeu, ni ddylid darnio hymnau da, o gyfansoddiad rheolaidd, i wneyd clytwaith o honynt; ond y rhai hyny sydd wedi cael y cam mwyaf yn y ffordd hon. Mae yn wir y goddef rhai hymnau meithion eu talfyru, neu wneyd dyfyniadau o honynt, heb eu niweidio. Eithriad i'r rheol yw gwneyd emyn o bennillion gwasgaredig, nad oedd dim arall i'w gael o nemawr fûdd yn eu cysylltiadau cysefin, a'u gosod ynghyd i ddarllen mor gyson ag y bydd modd. Gwnaeth yr hybarch Robert Jones, Rhoslan, yn y "Grawnsypiau Canaan," fwy o niwed i farddoniaeth yr hymnau trwy eu dryllio a'u cymysgu, y modd soniwyd, na thrwy newid ambell air i Gymraeg well neu fwy cynefin, ac ystwytho ambell linell, er nas gellir dywedyd iddo wneyd hyny bob amser yn y modd goreu, ac weithiau mae y newidiadau yn ddichwaeth a diachos am danynt. Nid oes ganddo ond nifer bychan o hymnau prïodol, na chymaint ag un yn ei chyfanrwydd o hymnau Williams. Un o'r cynnullgânau hynotaf a ddygwyddodd ddyfod dan ein sylw yw Hymn 46 yn y "Grawnsypiau," yr ail argraffiad, yr hon a wnaed i fyny o dameidiau o rhif 295, 296, a 297, W. W., a Hymn 32 yn llyfr Morgan Rhys, bob yn ail bennill; ond pa amcan oedd mewn golwg wrth wneyd hyny nis gallwn ddyfalu, os nad er dangos tipyn o gamp mewn cymysgu gwaith gwahanol awdwyr. Er hyny, yn ein tŷb ni, buasai gwaith y naill a'r llall yn well arno ei hun; ond yn gyffredinol, mae y cynnullgânau yn yr holl lyfrau y cawsom gyfleusdra i'w chwilio yn fwy afreolaidd na hon.

Llawer sydd wedi ei ysgrifenu ynghylch cyfnewid Hymnau, ac nid heb achos, yr ydym yn addef yn rhwydd; ond yr hyn y cŵynwn o'i herwydd yw, bod hyny yn cael ei wneyd yn fynych gan rai nad ydynt, fel y mae yn hawdd canfod wrth eu hamryfuseddau, yn gwybod braidd ddim am y pwnc. Collfarnant weithiau yr hyn sydd yn adferiad o'r gwreiddiol fel cyfnewidiad, a chanmolant newidiadau fel pe byddent ffurf wreiddiol y llinellau, yr hyn a brawf eu bod heb erioed ddarllen yr hymnau yn eu cyflwr cysefin. Hyd y gwelsom, nid oes genym gymaint ag un Casgliad Hymnau heb gyfnewidiadau, rhai o honynt, yn ddïau, yn afreidiol, os nad yn waethygiad. Weithiau dilynir newidiadau R. Jones yn y "Grawnsypiau," ac eraill, lle y mae leiaf o'u heisieu, a gwrthodir hwynt yn benderfynol lle y mae gwir achos am danynt, a lle y maent yn ddiwygiadau gwirioneddol, megys yn yr engraffau hyn:—

| | |
|---|---|
| Y clod, y nerth, y gallu, a'r bri,<br>Fo fyth i enw 'n Harglwydd ni.<br>W. (rhif 705). | Y clod, y mawl, y parch, a'r bri,<br>Fo byth i enw 'n Harglwydd ni.<br>R. J. |

Mae y linell flaenaf yn ei ffurf gyntefig yn fwy grymus, ac yn fwy ysgrythyrol, ond y cyfnewidiad, er yn wanach, beth yn ystwythach; a hwn a ddilynir yn ein Llyfrau Hymnau yn ddiwahaniaeth. Mae newidiad un lythyren yn y linell olaf *(byth* yn lle *fyth)*, yn ei chryfhâu, heb newid dim ar yr ystyr.

Er ini golli 'r hêdd, yn mharadwysaidd wiw; (arg. 1811.)
Er ini golli 'r hêdd, gynt yn mharadwys wiw; (arg. 1824.)
Er ini golli 'r hêdd, yn mharadwysedd wiw. (*Hosanna.*)

Nid ŷm yn sicr o ffurf wreiddiol y linell hon, gan nad yw yr hen argraffiad genym yn awr wrth law. Mae yn amlwg fod gwall ieithyddol bychan ynddi fel y mae yn argraffiad 1811, a bod argraffiad 1824 yn ramadegol gywir, ac yn rhoddi yr ystyr yn dda. Drwy ddefnyddio y terfyniad *edd* yn lle *aidd*, dygwyd y gair i ffurf enw cadarn, er mwyn osgoi y gwall ieithyddol. Mae y terfyniad *edd* i'w ganfod mewn geiriau fel gwastadedd, gwirionedd, taweledd, &c.; ac os yw yn arwyddo cyflwr o dawelwch neu dangnefedd, fel y dywed y Dr. Puw, cymer ei le yn dra phrïodol yn y gair *paradwysedd*, yn arwyddo sefyllfa o ddedwyddwch. Dilynwyd y diwygiad bychan hwn yn ein Casgliadau Hymnau diweddaraf.

Dewch, gafodd galon newydd, dewch chwithau na chas un,
I olchi *pob budreddi* yn haeddiant Mab y dyn.

Mae y cyfnewidiad a wnaed gan R. Jones, "I olchi 'ch ffiaidd feïau," neu, yn ol eraill, "aflan feïau," yn wir welliant, ac yn rhoddi meddwl yr awdwr yn fwy cywir na'r geiriau a ddefnyddiodd efe.. Aflendid ysbrydol, moesol, yn ddïau, a feddylir, ac nid dim budreddi defodol ac anianyddol; er hyny yr ymadrodd anghyson a thramgwyddus uchod a ddilynir mewn mwy nag un o'n llyfrau diweddar.

Ac er golchi, Nant heb lwydo, nant heb drai.

Go lwydaidd yw y linell hon, oblegid amwysedd y gair nant. Mewn parthau o'r Gogledd, ei ystyr yw cwm, glŷn, neu bantle rhwng bryniau; ond yn y parthau deheuol, arwydda ffrŵd neu afonig yn rhedeg trwy gwm neu bant. Yn yr ystyr hwn yr arferir y gair gan fab Sirach, Eccles. xxiv. 31: "Dywedais, Dyfrhâf fy ngardd oreu, a mwydaf fy ngardd-wely yn dda: ac wele, aeth fy nant yn afon, a'm hafon yn fôr." Mae y gair *afon* yn fwy addas i osod allan gyflawnder yr iachawdwriaeth yn ei rhinweddau iachäol a sancteiddiol, na'r gair *nant*, ac yn rhoddi gwêdd fwy ysgrythyrol i'r syniad, ac yn well na—"Dwfr heb lwydo, dwfr heb drai." Mae y diwygiad yn y "Grawnsypiau" yn ymddangos yn löewach llinell, yn cynnwys y cwbl o sylwedd y linell gysefin, ond yn llawer eglurach a grymusach: gresyn, yn wir, ddodi heibio y linell odidog hon:—

Dysglaer fydd yr afon byth!

Gofynwyd i un yn ddiweddar, pwy a newidiodd y linell,—

Boed dyoddefiadau pur y groes i laesu 'm cur a'm gwae;

yr ateb oedd mai aralleiriad o hóni gan R. Jones yn y "Grawnsypiau" yw "fel olew i'm hiachâu," a bod y frawddeg olewaidd, ystwyth hon, yn rhoddi ystyr y wreiddiol, ond yn rymusach, o gymaint ag y mae *iachâu*, yn hytrach na *llesâu*, yn dangos effeithiolrwydd dyoddefaint yr Hwn "sy gadarn i iachâu," ac a "ddichon yn gwbl iachâu y rhai trwyddo Ef sydd yn dyfod at Dduw," ond y gall fod ynddi chwanegiad bychan mewn ffordd o gyfeiriad at y defnydd a wneid gynt o olew mewn meddyginiaeth, fel yn Iago v. 14, a Luc x. 34.

Mae geiriad eithafol y pennill a ganlyn yn ymddangos i ni yn ddigon i gyfiawnhâu yr aralliad o hóno gan R. Jones. Gosodwn y ddau yn gyfochrog er mantais i'r darllenydd farnu:—

| | |
|---|---|
| Mi dafla 'maich oddiar *fy ngwar,*<br>*Wrth deimlo* Dwyfol loes;<br>Euogrwydd fel mynyddau 'r byd<br>Dry 'n gânu wrth dy groes.<br>W. W. | Mi dafla 'maich i lawr *i gyd,*<br>*Trwy rinwedd* Dwyfol loes;<br>Euogrwydd fel mynyddau 'r byd<br>Dry 'n gânu wrth dy groes.<br>G. |

Nis gwyddom ymha ystyr y gall pechadur euog "*deimlo* Dwyfol loes," ond y mae pawb a gedwir yn cael teimlo ei *rhinwedd* grasol ac achubol, er eu llawenydd a'u dedwyddwch annhraethadwy a thragywyddol. Mae pennill eithafol cyffelyb gan Charles Wesley, fel hyn:—

Give me to feel thy agonies;
One drop of thy sad cup afford:
I fain with thee would sympathize,
And share the sufferings of my Lord.

Dywed Stevenson,—"Objection has been taken to verse 2 of the second part, [Hymn 24 & 25] commencing, 'Give me to feel thy agonies,' &c. In the great work of atoning for sin, Jesus Christ stood alone; none to help, none to bear any part of His burden, nor to drink one drop of His sad cup. The work of atonement was performed solely and exclusively by the Lord Jesus.' Some Christians may be said to suffer with Christ, but He had to tread the wine-press alone, and with Him there was none to help." Ymhellach ymlaen, mewn sylw ar emyn arall i C. Wesley, dywed yr un awdwr:—"Some have taken objection to the closing couplet of the hymn [No. 529]:—

Till we, on the sacred tree,
Bow the head, and die like Thee.

It is manifest that the poet did not mean in any way to countenance Romish practices."* Ond da fyddai, hyd yn nôd i feirdd, fod yn wyliadwrus ar eu geiriau.

Mae ymadroddion eithafol yn dygwydd yn fynych trwy ddirdynu trofegau, megys yn y llinellau canlynol:—

Calfaria rows haeddiant, Calfaria rows hêdd,
Calfaria sy 'n cadw agoriad y bedd.

Gellir ystyried yr alleiriad yn y "Grawnsypiau" fel cyfieithiad rhydd, yn rhoddi y gwir feddwl, heb gadw at y ffûg o ffugyr; ac os yw yn amrywio ychydig, nid yw yn cynnwys dim ag sydd yn anghyson âg amcan y llinellau gwreiddiol. Ni raid i neb betruso cânu—

Ar fynydd Calfaria y tarddodd yr hêdd,
A 'Mhriod sy 'n cadw agoriad y bedd.

Mae y bai o ddirdynu a chymysgu y trofegau yn dygwydd yn fynych yn hymnau yr awdwr; megys,

Agor y Graig, doed allan ddŵr,
Gloew, di stŵr, o Hâd y Wraig.—221. p. 1.
Ti, Iesu mawr, y Meddyg pur, sy 'n tòri 'r dur caleta.—272. p. 4.

* Gwel *The Methodist Hymn Book and its Associations, by George J. Stevenson,* pp. 21, 266.

Mae ei groes e 'n well na 'r gwîn, mae 'r hoelion fel y mêl,
Mi ymbortha' ar y rhai 'n, a doed hi fel y dêl.—474. p. 4.

.... bwyta rhyfeddodau ..... ymborthi ar ddysgleirdeb.—423. p. 5.

Cysgodau 'r hwyr yn t'wynu sy.—268. p. 6.

Yn ei ganghenau cewch wneyd nŷth, 'sychedwch fyth drachefn.—242 p. 2.

Mae agoriad nef ac uffern yna i'w teimlo ar dy wêdd.—426. p. 1.

Ti, Ffynnon bywyd, beraidd, ddwys,
Arnat dy hun 'rwi 'n rhoddi 'mhwys.

Mae y fath droellymadroddion yn anghyson amlwg, ac yr ydym yn eu dyfynu yn unig er dangos fod yr awydd a deimlir i geisio osgoi rhai o honynt, trwy newid ychydig eiriau neu sillau, yn cyfodi yn bur naturiol oddiar ddymuniad i wneyd yr hymnau yn fwy adeiladol a hyfryd i'w cânu. Ac er i'r amcan da hwn gael ei gario yn ddïau yn rhy bell, nid yw hyny yn ddigon o reswm dros wrthod diwygiadau lle yr oedd gwir achos am danynt, ac a gadarnhäwyd trwy gymeradwyaeth gyffredinol. Rhoddwn yma engraff neu ddwy i ddangos mor hawdd y gellid symud yr amryfuseddau hyn heb drais, gyda gofal prïodol:—

| | |
|---|---|
| Mi wn mai'r taliad hyn | Mi wn mai'r dyfroedd hyn, |
| Wnawd ar Galfaria fryn | Dardd o Galfaria fryn, |
| A'm cânu oll yn wyn | A'm câna oll yn wŷn |
| Oddiwrth fy mai. | Oddiwrth fy mai. |

Does ond yr aberth hwnw wnawd ar Gaersalem fryn,
A'm crëa oll o newydd, a'm golch i oll yn wŷn.

Nid oes ond rhîn yr aberth, wnaed ar Galfaria fryn,
A'm crëa oll o newydd, a'm câna oll yn wŷn.

Lle mae y prydydd yn annog ei enaid—"Chwilia f'enaid, gŷrau'th galon," y mae yn ddigon goddefol i Gristion, dybygem, droi y gair yn weddi, yn ol cynllun y salmydd, yn Salm cxxxix. 23, 24, a'r awdwr ei hun yn rh. 415, p. 6:—

Chwilia, Arglwydd, gŷrau 'nghalon,
Chwilia 'm llwybrau maith o'u bron, &c.—500. 3.

Goddefol hefyd, yn ddïau, fyddai troi ambell ddadganiad neu hòniad yn ddymuniad, fel yr ydys, heb betruso dim, yn arfer troi gorchymynion ac addewidion y Bibl yn weddïau: er engraff,—

| | |
|---|---|
| Perch 'nogodd Ef a'i ddwyfol ras | Meddianned Ef, â'i ddwyfol ras, |
| Fy holl serchiadau 'n un; | Fy holl serchiadau 'n un; |
| Na chaed o fewn i'm hysbryd fod | Na chaed o fewn fy ysbryd fod |
| Neb ond fy Iesu ei Hun. | Neb ond fy Iesu ei Hun. |

Gallwn sylwi yma fod rhai gwallau wedi dygwydd yn argraffiad 1811 o hymnau yr awdwr, ac yn cael eu gadael yn yr argraffiadau dilynol heb eu diwygio, a'r un modd yn ein gwahanol gasgliadau diweddar. Nodwn yma ddau neu dri o honynt:—

Dysg fi, *fy Nuw*, dysg fi pa fodd
I ddweyd a gwneuthur wrth dy fodd,—arg. 1811, (rh. 108. 5).

Dysg fi *'mhob man*, dysg fi pa fodd, &c.—arg. 1758.

A'i ganu 'n awr yn *gynoedd*.—arg. 1811, (rh. 240. 7).

A'i ganu yn awr yn *gyhoedd*.—arg. 1758.

Nes gado 'n dêg yr anial dir,
A landio o fewn i Salem *bur*.—arg. 1811 (rh. 33. 2).

A landio o fewn [i] Salem *fur*.—1758.
Fy haeddiant *gwaeth ei* gyd, *yn lle gwnaeth i* gyd.

Mae yn amlwg mai yr hen argraffiad sydd yn gywir yn y manau uchod. Nid oes y fath air a "gynoedd" yn yr iaith, a pha fodd y diangodd dan ddwylaw "diwygwyr y wasg" mewn tri argraffiad olynol, 1811, 1824, ac argraffiad Mackenzie, mae yn anhawdd dywedyd. Gresyn na fuasid yn cymharu yr hymnau âg argraffiadau goreu yr awdwr ei hun, cyn eu dodi yn llaw y cysodydd, pan yn eu dwyn allan yn argraffiad ysplenydd Mackenzie o'i holl waith, a'u trefnu mor agos ag y gellid yn orgraff y Bibl Cymraeg, yn hytrach nag yn yr orgraff afreolaidd ddiweddar. Pan yn *proffesu* dwyn allan "argraffiad unffurf, prydferth, o holl weithiau y pêr-ganiedydd Pantycelyn, heb *gyfnewidiad, anffurfiad*, a *thalfyriad*," dylesid yn ddïau gymeryd mwy o ofal er dïogelu eu cywirdeb, ac nid dilyn yn hygoelus argraffiadau diweddar, gan fod rhai o honynt yn cynnwys gwallau dybryd. Os dygir allan argraffiad eto, yr ydym yn gobeitho y gofelir am hyn yn benodol. Mae yn wir fod yr orgraff yn hynod o wallus yn argraffiadau Williams ei hun, yn enwedig yr "Aleluia" a'r "Môr o Wydr." Gwelsom gopïau anmherffaith o ddau neu dri o hen argraffiadau o'r "Môr o Wydr," yn dra gwallus, ond yr oedd y diweddaraf o honynt cryn lawer yn well na'r lleill, ac yn cynnwys amryw ddiwygiadau yn y brydyddiaeth, yn gystal ag yn yr orgraff; megys y rhai hyn, allan a lawer:—

Rh. 299. 3. Pan *elwi* 'nabod iaith y wlad.
Pan *ddysgwyf* 'nabod, &c.

Rh. 270. 1. Byddai 'r *ochor* draw i'r bedd.
Fyddaf *y tu* draw i'r bedd.

Rh. 283. 4. Na *che's mo'th* effeithiol ras.
Na *che's erioed* &c.
*Che's erioed*, &c.

Rh. 289. 5. Os *traid* dwyn, &c. Os *rhaid*, &c.
Yna yn gynnwys yn dy gôl.
Yna yn dy gynhes gôl.

Rh. 295. 8. Wrth dy glin,—arg. 1811.
Wrth dy glun,—arg. 1762.

Rh. 310. 2. .....dehau-wynt *drŷd*, arg. 1762; ......
"clud,"—arg. 1811; .... "clyd," mewn
hen argraffiad arall, fel y mae yn gywir.

Ymhlith beïau ac ammheusion Williams, gallwn nodi ymhellach y rhai canlynol, er rhybudd i feirdd ieuainc eu gochelyd.

1. Tòr-mesur, gwall-aceniad, ac odlau anmherffaith:—

Pe goreu man dan gwmpas haul.—rh. 233. 1.
Fy nef yw tawel bresennoldeb.—*ib.*

Fy meïau oedd y waywffon
Drywanodd ei ystlys bur,*
Fel rhedodd ffrwd o dan ei fron,
O waed a dyfroedd clir.

* 7 sill yn lle 6, rhy hir ac anystwyth; ac odliad anmherffaith rhwng yr ail linell a'r olaf.

O gwel fi, Arglwydd, dan fy *mhwn*
Sef pechod câs, mae 'n pwyso 'n *drwm*.—rh. 207.

Yn rh. 32. a 34., y mae *cael* a *hael*, yn odli â *Saul;* yn 135, *ffoi* yn odli â *dau* trwy ddilyn cynaniad anghywir y werin mewn parthau o'r wlad.

2. *Toli ac estyn geiriau yn afreolaidd.* Yr oedd yr ysgrifenydd neu ei argraffwyr mor hoff o ddefnyddio y tolnôd neu y sillgoll, fel y mae yn cael ei arfer yn fynych lle nad oes un rhith o achos am dano, ac y buasai yn llawer iawn gwell hebddo, fel y gwelir wrth rai o'r engraffau dilynol:—

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| c'fammod, | yn lle | cyfammod. | | | |
| c'nifer | .... | cynnifer. | araf | yn lle | arf. |
| c'nygid | ..... | cynnygid. | cyrwydro | .... | crwydro. |
| 'mddigryfu | .... | ymddigrifo. | ffoesydd | .... | ffosydd. |
| cwyro | ...... | cyweirio. | saela' | ..... | salaf, salwaf. |
| han | .... | haen. | eirad | ...... | irad. |

"Tr'wi ar y dda'r,—tra byddwyf ar y ddaear. "'Rwi'n," yn lle yr wyf yn; *cro's lo's, gwa'd, ha'l, o'n, po'n, o'wn,* yn lle croes, loes, gwaed, hael, oen, poen, oeddwn, i odli â nos, rhad, gwael, sôn, a geiriau cyffelyb, yr hyn nid yw ddim amgen nag aberthu *cywirdeb* er mwyn *odliad.* Prydyddion y Deheubarth sy fwyaf tueddol i'r bai hwn; difyrach gan "wŷr y Gogledd" oddef peth gwendid yn yr odliad, a chadw cywir sain ac orgraff y geiriau, ac felly, o ddau wall, dewis y lleiaf.

Gwel'd gras y nef yn afon wa'd ... ... *waed.*
Yn golchi'r aflan brwnta gâd.—704. *bryntaf gaed.*

A phan y tyno fi i'r ne', .. *nef.*
O, cofiaf byth ei gariad e'.—123 *Ef.*

3. *Arfer geiriau gwerinaidd a llygredig, a geiriau a brawddegau mewn ystyr anmhriodol:* megys, *aiff* yn lle ä; *brefu*, yn lle llefain; (anifail sydd yn brefu, llefain a wna dyn;) *damsiad*, yn lle damsang neu fathru; *didra*, yn lle didrai; *dringad*, yn lle dringo; *diffod*, am diffodd; *dewa*, yn lle daw; *dwad*, yn lle dyfod; *ymgrinad*, yn lle ymgreinio neu ymdreiglo; *daliff*, yn lle deil, dalia; *dygiff*, yn lle dwg neu dyga; *perffeiddio*, perffeithio; awyr *gou* am awyr gau; *sillaf, sillefftyn*, am sill, gair, neu ran o air; *esgyn* i lawr, yn lle disgyn; *afrifed*, yn lle yn barod; *o war*, neu oddiar; *i fi*, yn lle i mi (fel *i ti*.)

A'm *lwlan** yn mreichiau fy mrawd.—136. 6. * Süo, *to lull.*
Oni buasai ei Ysbryd *o*,—431. 3. Arferir y rhagenw *o, fo*, ac *efo*, gan bobl y Gogledd, am y canolryw a'r gwrywaidd, mewn siarad cyffredin; ond mewn iaith ysgrifenedig y mae *efe, ef*, neu *e*, yn tra rhagori, yn enwedig wrth drin materion pwysig a difrifol.

.....dail y *pren* sydd uwch y nen *yn eiriol.*—201. 2.
....*iachâu* wrth bechaduriaid.—104. 2. Buasai *trugarhâu*, dybygem, yn well.

Mae fy mhechod yn fy *mhwnian.*—628. 1. Gwell fuasai "yn fy nghuro."
Yn *siglo llaw* ag angau glâs.—63. 3. Pa ystyr sydd i hyn?
*Tyred* yr awelon hyfryd.—326. 5. *Deuwch*, &c.
O amseroedd, *tyred* bellach.—487. 2. *Deuwch, &c.*
Nas gall satan...eu *diddyfnu.*—845. 1. *diddymu.*

4. *Defnyddio geiriau Saesoneg pryd y gellid yn hawdd gael eu gwell yn Gymraeg:* megys, altro, beger, blotto, brâf, bra', clips, concwest, concro, concwerio, criw, cwmpeini, cwrs, cwnsel, delio, ffâr, ffeindio, ffri, ffrynd, ffryns, gang, hafan, landio, ledo, lefel, lwlan, medswn, mentro, mwrddro, nôt, ple, pwer, pwerus, safio, seil, sialens, siwr, sound, stoppo, trysto, treio, twrnai, teid, a lliaws o rai cyffelyb. Maent yn anurddo'r iaith yn enbyd, ac y mae *Italigo* y fath eiriau yn ychwanegu at yr anhardd-wch; ond y mae rhai geiriau estronol yn fwy goddefol, os ymddengys fod rhywfaint o angen am danynt: megys, apelio, apwyntio, cwmni, ffarwel, ffarwelio, pardwn, pleser, pwrpas, sicr, temtasiwn, zêl, a rhai eraill. Yr ydym yn addef ei bod yn anhawdd nodi y llinell derfyn yn yr arferiad o eiriau fel hyn; a bod nifer go fawr o eiriau cyffredin i'r ddwy iaith, y rhai y mae gan y Gymraeg hawl gyfreithlawn iddynt, o herwydd eu tadogaeth, neu ynte oddiar awdurdod hynafiaeth, ac na ddylid eu llysu o herwydd eu tebygrwydd mewn sain ac ystyr i eiriau mewn ieithoedd eraill; megys, abl, balm, bwcled, côst, dawns, dwl, ernes, ffaelu, ffafor neu ffafr, gras, hapus, hapusrwydd, help, helpio, helpu, lladmerydd, marmor, moment, natur, organ, pasio, plâs, palas, person, serio, sobr, swper, talent, wermod, ysgeler, ystaen, a bagad o'r cyffelyb. Tuedd Williams, a rhai o'r un ysgol âg ef, yw arfer llygr-iaith isel a rhy gyffredin; ond

perygl plaid o ysgrifenwyr yr oes hon yw gorlwytho eu cynnyrchion â geiriau mawrion, dysgedig, athronyddol, a chelfyddydol, a brawddegau Saesoneg, hollol annealladwy i ddarllenwyr Cymreig uniaith; ac o'r ddau, hwn yw y dosbarth mwyaf dirmygus, ac nid yw y fath rodres yn un prawf o ddysgeidiaeth, ond yn hytrach i'r gwrthwyneb.

5. *Dilyn ieithwedd Seisonig, a llediaith,* megys yn y brawddegau canlynol:—

Duw yw efe: os ef a bair,
Cwymp nef ac uffern *at* ei air.—472. 3.

*Wrth* ei air, mae yn debyg, a feddylir.

Yr holl gre'digaeth faith ynghyd,
*Neu* yn y môr, neu yn y byd.—644. 1.

*Neu* gyfeillion, neu drysorau,
Nid ŷnt bleser im' eu bod.—291. 5.

*Neu* yn guddiedig, neu yn gyhoedd,
Mae rhyw bechod yn parhâu.—500. 1.

*Neu* fry o war, neu is y rhôd.—501. 3.

*Neu* ar y llawr, neu ar y làn,
Os byddaf ddydd na nos,
Gâd imi orphwys yna tan
Ddiferion gwaed y gro's.
763. 5.

Or down below, or high above,
I should be night or day,
Beneath the sprinkling of thy blood,
Give me to rest alway.
*Cyf.*

Hawdd symud yr anaf hwn, trwy roddi y cysylltiad *ai* neu *os* yn lle y *neu* blaenaf, neu ynte ei ddilëu pan y galler hyny a bydd yr ystyr yn llawer eglurach a mwy grymus. Llithrodd yr awdwr i'r ffurf wallus yma, fe allai, trwy ei fod yn darllen mwy o brydyddiaeth Saesoneg na Chymraeg, ac heb sylwi yn ddigon manwl ar anianawd gwahaniaethol y ddwy iaith. Gwelir ei gynllun yn y fath linellau a'r rhai hyn:—

Supporting, in full majesty, thy throne,
When seem'd its majesty to need support,
Or *that*, or *man*, inevitably lost.—*Young.*

Whate'er obstructs thy pardoning love,—
Or sin, or righteousness,—remove.—*C. Wesley.*

Yr ŷm yn barod i dybied, wrth ddarllen ei waith, fod Williams, fel llawer eraill, yn ysgrifenu gormod, ac yn cyfansoddi yn esgeulus, ac yn dra chyflym; buasai yn well iddo ysgrifenu llai, a chymeryd mwy o boen a gofal i ddiwygio ei gyfansoddiadau. Gallem feddwl mai ychydig o flâs oedd ganddo ar orchwyl felly. Ond i wrthbwyso a gwneyd rhywfaint o iawn am ei amryfuseddau, yr ydym yn cael yn ei hymnau yn aml y syniadau prydferthaf a mwyaf godidog wedi eu gwisgo mewn iaith ac arddull goeth a da. Cawn ganddo lïaws o eiriau a brawddegau o Gymraeg bur, ond yn gwahaniaethu weithiau oddiwrth dafodiaith y Gogledd, ac i raddau mwy neu lai yn annealladwy yn y parth hwn o'r Dywysogaeth. Hyn a barodd ryw gynifer o'r cyfnewidiadau a wnaed yn ei hymnau gan y Gogleddwyr; ond buasai eglurhâd ar odre'r dail yn well, pe buasid yn meddwl mewn pryd am hyny. Anturiwn yma i nodi y rhai penaf o'r cyfryw eiriau a broddegau, gyda'u hystyr.

allwedd, agoriad.
brau, bregus; rhwydd, parod.
bron, braidd, agos, yn mron.
*o'r bron,* yn gwbl, o'i gŵr.
*o'i fron, u. o'u bron ll.*
clau, cyson, diwyd, dyfal, gofalus.
clir, claer, eglur.
clos, dwys, tŷn; gwresog.
côl, cofl, mynwes.
cwyn, cŵna, cwyd, cyfyd; o'r prifair *cwnu,* codi.
dadrys, *(dad-rhys)* diddyrysu.
dere, dyred, tyred, tyr'd.
dere'n glau, tyred yn fuan.
drachtio, traflyncu, yfed yn awchus, yfed yn helaeth. *Dracht,* cyfystyr a *draught.* S yn cadw ei sain gysefin, yr hyn y mae y Saeson wedi ei golli.

crwys, croesau: *u.* croes.
cwrdd, cyfwrdd, cyfarfod; *tŷ cwrdd*, tŷ cyfarfod.
fry (bry) uchod, i fyny ar y lân: *obry*, i lawr, isod, yn y pant.
gildio, rhoi i fyny.
gwirion, diniwed.
heddy, heddyw.
hongian, crogi, dibynu.
huriwr, cyflogddyn.
i bant, ymaith, i ffordd, i ffwrdd.
i maes, i faes, allan.
*o fewn ac o faes*, oddimewn ac oddiallan.
maes, ma's, allan.
maeddu, curo; trechu, darostwng. Gwel 2 Sam. viii. 10.
nen, nef, *ll.* y nefoedd; uchelder, goruchafion.
pyngo, pyngu, ffrwytho yn sypiau.
rhod, cylch, amgylchedd; cyfnod; rhodres.
safwyr, sawr, sawyr, arogl, rhoglau.
siol, coryn, iâd, pen.
sir, cysur; llonder; byd da.
tifeddiaeth, etifeddiaeth, *fy nhifeddiaeth*, fy etifeddiaeth, fy nhreftadaeth.
tyle, gallt, rhiw, gorifyny; *ll.* tylau.
yn llyn, fel hyn.
ystaen, amliw, llychwinad, anurddiant.

*Cynwydd.* "Gwneyd priddfeini heb ddim cynwydd." Nis gwyddom pa ystyr sydd i'r gair hwn yma. Eglurhâd y Dr. Davies yw "Tir gŵydd pan ardder gyntaf." Dichon fod cyfeiriad yn y linell at yr Hebrëaid yn yr Aipht, pan na roddid gwellt iddynt i'r gwaith o wneyd priddfeini, y casglent sofl yn lle gwellt; Ex. v. 7. A oes i'r gair arwyddocâd llëol nad yw ein Geiriaduron yn ei roddi, ynte ei fod yn arwyddo cynnud neu danwydd i losgi neu galedu priddfeini, fel y gwneir yn ein gwlad ni, er na wneid felly yn yr Aipht?

Boed fy mryd a'm hyfryd *fwrfais* ....
Ar gymdeithas bur fy Nuw.—745. 3.

Mae dy lais yn rhoi dystawrwydd
Ar holl *fwrfais* wâg y byd.—747. 4.

Mae 'r glas-fachgenyn yntau, â'i *fwrfais*, ac â'i fryd, &c.
*Myf. ar Angeu*, t. 738.

Rhydd y Parch. J. R. Kilsby Jones yr eglurhâd canlynol ar y gair dyeithr "fwrfais:"—"Pan fyddo dyn, dan effeithiau clefyd a ddyrysa ei synwyrau, yn clebran yn ddidrefn, dywedir yn ardal Pantycelyn ei fod yn *bwrfeisio.*" Ni roddir un amcan ynghylch tarddiad y gair, ac nid yw ein Geirlyfrau yn ei gynnwys. Ymddengys mai ei ystyr yw *ymleferydd* un mewn clefyd poeth; neu *ymson*, fel un yn siarad wrtho ei hun. Mewn ystyr dda, fel yn yr engraff gyntaf, gallai *ymson* fod yn gyfieithiad têg o hóno; ac yn ei ystyr ddrwg neu ganolig, fel yn y ddwy engraff arall, gallai *dadwrdd*, *wndwr*, neu *chwaldod*, wneyd y tro yn ei le.

Mae Williams weithiau yn dangos cryn gywreinrwydd a medr yn nghyflëad ei eiriau, a hyny yn esmwyth a didrafferth, megys yn y ban canlynol:—

O, hoelia 'meddwl, ddydd a nos,
Crwydredig, wrth dy nefol groes.

Yma y mae y froddeg oreiriol, "ddydd a nos," yn cyfryngu rhwng yr enw cadarn, "meddwl," a'r ansoddair perthynol iddo, "crwydredig," a hyny heb beri dim amwysedd, gan na chydwedda yr ansoddair ond â'r enw cadarn, *meddwl*, yn unig, ac y mae effaith y ffugyr yn farddonol a grymus. Gellir trefnu y geiriau yn wahanol, ond y mae nerth a phrydferthwch y syniad, trwy hyny, yn cael eu gwanhâu yn fawr.

O, hoelia, wrth dy nefol groes,
Fy meddwl crwydraidd, ddydd a nos.

Terfynwn yn awr gyda rhai o syniadau neillduol y bardd, y cyfarfyddir â hwynt yn ei hymnau a'i ganiadau:—

1. *Engraff o bennill amrydybiol* (paradoxical).

Trwy ffydd 'rwy 'n sefyll pan bwy 'i lawr,
Dan dywyllwch mewn goleuni mawr;
Nis gallaf gredu yr af ar goll,
Pan fo fy ngras o'r golwg oll.—53. 8.

2. Mae yn dal *athrawiaeth y Drindod* yn oleu yn ei hymnau; ond prin y mae y llinellau canlynol yn gyson o ran eu geiriad â'r athrawiaeth bwysig hon, gan mai yr ail Berson, y Mab tragywyddol, a ymgnawdolodd.

Yn Un caf yno weled Tri,
Yn nyndod Crist, fy Mhrïod i.—103. 9.

Y Duwdod yn Drindod, a'r Drindod yn Un,
Uwch cyraedd pob deall, yn mherson y Dyn.—398. 3.

3. Ymddengys ei fod ar ryw olygiad yn dal neillduolrwydd y prynedigaeth, ac effeithiolrwydd achubol yr iawn.

Ti ddeliaist holl euogrwydd byd
*Crediniol*, ar y pren,
Ac yr wyt heddyw yn eiriol dros
Eu beïau uwch y nèn.
—611. 2.

Edrychwch arno, dyma 'r Dyn,
A phwy oedd Ef ond Duw ei Hun?
Pechodau 'r holl *grediniol* fyd
A bwysodd ar ei ysgwyddau 'nghyd.
—274. 5.

4. Mae yn credu *etholedigaeth gras*, a *pharhâd y saint hyd y diwedd.*

Pwy sydd yn awr yn uffern drist,
Gwerth gwaed y Crist anwyla';
Pwy etholedig, dywedwch hyn,
Sy o fewn i lŷn Gehenna.—95. 4.

Ni chollwyd gwaed y groes erioed am ddim i'r llawr;
'Ddioddefwyd angeu loes heb ryw ddybenion mawr;
A dyna oedd ei amcan Ef,
Ein dwyn o'r byd i deyrnas nef.—449. 2.

5. Barn Williams am *gadwedigaeth plant bychain.* Mynych y cyhuddwyd y Calfiniaid am eu bod yn credu yr athrawiaeth o bechod gwreiddiol, eu bod yn dal colledigaeth plant bychain a fyddont farw yn eu mabandod; ond y mae yn dda genym gael y cyfleusdra o ddwyn ger bron dystiolaeth eglur un o dadau Methodistiaeth Cymru, digonol i wrthdaraw y fath gyhuddiad annhêg ac anwireddus. Dygasid yr awdwr i fyny i'r Eglwys Sefydledig, ond y mae yn ddigon amlwg nad oedd yn credu yr athrawiaeth o "adenedigaeth ym medydd," gan fod colledigaeth babanod yn dilyn yr athrawiaeth hono yn naturiol, ac yn anysgaredig oddiwrthi. Dywedir yn Llyfr y Weddi Gyffredin, yn niwedd ffurf Gweinidogaeth Bedydd cyhoedd Plant Bychain, fel hyn:—"Hysbys yw trwy air Duw, am blant a fedyddir, ac a fyddant feirw cyn bod yn euog o bechod gweithredol, eu bod yn ddiammheu yn gadwedig." Purion; ond beth am y rhai bychain a fyddant farw yn ddifedydd? A raid i ni, fel rhywrai, geisio credu yn eu *difodiant*, er mwyn lleddfu ychydig ar echryslondeb yr athrawiaeth? Ofer yn ddïau y gwneid hyny. Byddai yn dda i rai o Ficeriaid parchedig ein gwlad ystyried yn ddifrifol ganlyniadau yr hyn a broffesant. Nid yw penboethni yn anrhydedd i neb, yn enwedig dros fympwy disail, wedi deilliaw o ffynnonell lygredig Rhufain Babaidd. Mae yn hyfryd troi at bennill tyner a melus Williams, yn dangos ei syniad ef, a'i frodyr, a'u dilynwyr hefyd: wrth ddesgrifio gogoniant y dyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo yn ngwynfyd, wedi enwi patriarchiaid, prophwydi, apostolion, merthyron, cyffeswyr, a diwygwyr, ymysg y gwaredigion, dywed fel hyn:—

Babanod bychain yno sy,
Fu feirw yn ddystaw yn y bru;
A rhai ddyfethodd cleddau glas,
Yn newydd dd'od o'r groth i ma's.—46. 5.

Darllened rhïeni serchog, trallodus, a gollasant eu rhai bychain, cyn cael cyfleusdra i'w cyflwyno i Dduw trwy fedydd, y llinellau prydferth canlynol, er eu cysur. Na phetrusent ddim ynghylch etholedigaeth: y mae hono yn ddigon tadol, grasol, ac ëang, i gynnwys yr holl fabanod a fyddant farw cyn cyraedd oedran cyfrifoldeb, yn annibynol ar eu bedydd; ac y mae haeddiant a rhinwedd aberth y groes yn ddigon helaeth, gwerthfawr, ac effeithiol, yn nhrefn Duw, i'w cyflwyno oll yn ddifeius ger bron yr orsedd wèn fawr. Wrth ddarlunio "gras a serchiadau natur," dywed,—

Câf yno wel'd Pedista, aeth i'r bedd,
Cyn gweled haul, ar y gyhydedd fawr,
Un waith yn croesi i wneuthur gaua' a hâf,
Na 'r lloer dair gwaith trwy 'r 12 arwydd fyn'd,...
O gôl ei mam i brofi angeu loes.
Ond daow hi 'n awr o flaen yr orsedd fry,
Ymhlith saith ugain mil o saint, a mwy,
Ddïangodd yno heb gael gwel'd yr haul,
Na derbyn dwfr bedydd yma erioed,
Na chael yr enwau roddir gan y byd:
Ond bedydd oddi mewn a gawsant hwy,
Ac enwau na ddeallir îs y nên.

*Arg. Mackenzie*, *t*. 478.

Bod yn y beddrod yw bod yn y nef,
I bawb o bur gariadau 'r addfwyn Oen.
Mae hi yn un o'r dorf aneirif hyn;
Mae memrwn sanctaidd felly yn cadarnhâu.
O ddedwydd ddydd! os felly ehangodd gras
Ei faith derfynau at y baban gwan,
A myn'd â hon, cyn profi 'r byd a'i wae,
Trwy entrych awyr, rhwng y dysglaer sêr,
'Rwy 'n llawenhâu.
............. Mi wela 'n eglur iawn
I fod Maria 'n awr ymhlith y llu,
Ymhlith torfëydd, torfëydd ar ol torfëydd,
Fry, o fabanod pur, heb frychau 'nawr.
Ac ni feddyliais i fod mwy o'r rhain,
Na neb rhyw eraill, heddyw yn y nef.
Derchafwyd gras fel hyn yn llawer mwy.
Yn seinio maes ganiadau pur y nef,
Yn 'nabod dyfais iachawdwriaeth rad,
.............. yn awr mae 'r baban gwan
Yn awr yn gwel'd mewn myfyr bethau mwy
Nag a feddyliais i erioed o'r blaen.

*Mar. Maria Sophia*, *ib*. *t*. 721.

---

Athrawon...er eu dofnydd, a'u cariad maith, a'u bri,
Rhaid oedd i'r nef eu symud oddiar ein daear ni;...!
A phlant yn mlodau oedran, cyn teimlo 'r pleser sydd,
A rhai ynghroth eu mamau, cyn gweled goleu 'r dydd.

*Myf. ar Angeu*, *ib*. *t*. 737.

# DR. ARTHUR JONES.

ODDIAR glogwyn, yr hwn a saif uwchben un o'r dyffrynoedd prydferthaf yn Nghymru, ni raid i neb fethu rhoddi dyddordeb i'w gwmni o ba dueddfryd bynag y byddo. Ai bydolddyn anturiaethus wedi dyfod allan i ddysgu marchnata â'i dalent ydyw? Yna dangoswch iddo lêch-chwarelau Cwmeigiau, a chyfeiriwch ef at fwngloddiau Nantbwlch-yr-heiyrn, lle y caiff haiarn a phrês dan ei esgid mewn digonedd. Ai un wedi dyfod allan i weled ydyw? Yna, gadewch iddo agor ei lygaid, a rhoddwch ei ddewis iddo: dyma lle daw yr arlunydd bob blwyddyn i ladrata y golygfëydd, i'w cario adref gydag ef, ac er hyny a'u gadawa yn onest ar ei ol, i wledda eich cydymaith a chwithau. Os am y prydferth y mae, dangoswch iddo afon yn ymddolenu ar hyd ddyffryn gwastadlyfn, heibio i berllanau llawnion o goed yn dwyn pob rhyw ffrwyth; neu os y rhamantus a ddewisa, cyfeiriwch ef at Raiadrau y Conwy, a'r Wenol, ac at greigiau ysgythrog Dolyddelen, a'r Foel Siabod; ac os nad ydyw wedi cael ei foddhâu, taerwch yn ei wyneb nad oes ganddo lygad i weled anian. Ai dyfod o'i wlad fel Naaman y Syriad i chwilio am iechyd a wnaeth eich cyfaill? Yna, cyfeiriwch ef at ddyfroedd rhinweddol y Cae Coch, at ba rai y daw cannoedd yn efryddion bob blwyddyn, ond a dröant adref dan rodio a neidio, a chanmol rhinweddau y ffynnon. Ai Bardd ydyw eich cydymaith? Yna, cyfeiriwch ef at Lŷnau Cowlyd, a Geirionydd; a dangoswch iddo fynyddoedd Eryri, a'r Hiraethog, pa rai a roddasant enwau i brif-feirdd eich gwlad, a thania ei awen yn y fan, od ydyw yn un o'i phlant. Ai Henafieithydd sydd wedi dringo gyda chwi? Yna, dangoswch iddo y Bont sydd o danoch, pont a herfeiddiodd 'stormydd dau gant a hanner o auafau; os nad yw hyn yn ddigon, dangoswch iddo hen gapel y Gwydir, sydd wedi cyraedd henaint a phenllwydni; os ydyw am ychwaneg, cyfeiriwch ef at hen Fonachlog Conwy, lle y gorphwys llwch hen Dywysogion eich gwlad; a theimla bellach uwchben ei ddigon. Ai Llenor sydd wrth eich ochr? Yna dangoswch iddo y Plas-isa', hen gartrefle William Salisbury, y gŵr a gyfieithodd y Testament Newydd i'ch iaith, dros dri chan mlynedd yn ol; os na chafodd ei foddloni, cyfeiriwch ef at Ewybrnant, hen breswylfod Dr. William Morgan, cyfieithydd yr holl Ysgrythyr i iaith eich cenedl; os ydyw efe eto yn gwaeddi am ychwaneg, dangoswch iddo Ardda Mynach, hen fagwrfa Dr. Thomas Williams, awdwr Geirlyfr Cymraeg a Lladin, a Lladin a Chymraeg; a theimla yn ddiolchgar i chwi. Ai Duwinydd ydyw eich cyfaill? Yna, cyfeiriwch eich bŷs at Ddolyddelen, lle y ganwyd "pregethwr y bobl," a boddlawn fydd. Os Cerddor ydyw, dangoswch iddo pa le yr oedd tad cerddorion Cymru yn byw, yr hen John Ellis, Llanrwst: dangoswch iddo hen dŷ Owen Davies, y telynor, a phreswylfod y meddyg bydglodus Dr. Roberts, Oakland, a thybiwn fod cywreingarwch y mwyaf o'r holl gywreingarwyr wedi ei ddiwallu.

Oddiar yr un clogwyn gellir cyfeirio at y Felin-isaf, lle genedigaeth

Arthur Jones. Sonir am Israel "pan yn fachgen," a chrybwyllir am "garedigrwydd ei ieuenctyd;" ond ychydig ydym ni yn allu gasglu am dymmor maboed ein harwr, heblaw mai melinydd ydoedd ei dad, yr hwn a gladdwyd pan nad oedd Arthur ond dwyflwydd oed. Ganwyd ef ar y 12 dydd o fis Chwefror, yn y flwyddyn 1776. Enw ei fam ef oedd Ellen, merch i Ellis Morgan, o'r Pentre', yn mhlwyf Dolyddelen, Sir Gaernarfon. Yr oedd efe o ochr ei fam yn hanu o'r un llinach a'r Dr. William Morgan, Esgob Llandaf, ac wedi hyny Llanelwy. Collódd ei fam pan nad oedd ond saith oed; a dygwyd ef i fyny ar ol hyny dan ofal ewythr iddo o'r enw John Ellis Morgan, yr hwn oedd yn Eglwyswr zelog, ac yn edrych ar yr Ymneillduwyr, y rhai a "weddïent heb lyfr," yn bobl beryglus a rhyfygus iawn. Ceisiwyd dwyn Arthur i fyny yn "erlidiwr o'r ffordd hon." Un noswaith aeth yr ewythr â'i nai at dŷ yn ardal Bettwsycoed, lle y cynnelid cyfarfod gweddi; yr oeddynt ill dau yn arfog â phastynau, a mawr fel yr annogai ei ewythr i Arthur fod "yn ddyn," trwy ymosod ar y gweddïwyr ar eu dyfodiad allan; ond gan eu bod wedi myned yn ddigon cynnar i fod yn sicr o fod mewn pryd, cafodd Arthur glywed y gweddïo tra yn gwylio dan y ffenestr, yr hyn a adawodd rhyw effaith ryfedd arno. Ar derfyn y cyfarfod, pan oedd y gynnulleidfa yn gwasgaru, gwaeddai ei ewythr, "Taro, Arthur, taro;" ond na, yr oedd Arthur wedi ei daro ei hun. Os oedd y gelynion yno yn foreu, yr oedd Duw yno "yn foreu iawn;" ac ni allodd Arthur byth godi na phastwn, na llaw, na llais yn erbyn y bobl oeddynt yn "gweddïo heb lyfr." Derbyniodd ei addysg yn yr ysgol oedd dan nawdd yr Eglwys Sefydledig yn Llanrwst; ond byddai yn dra hoff o fyned i wrando pregethwyr y Methodistiaid Calfinaidd a'r Bedyddwyr, bob tro y caffai gyfleusdra, yr hyn pan ddaeth i glustiau y person a'i ffromodd yn erbyn Arthur, a dywedai wrtho un diwrnod, "Arthur y mae dy ben dithau yn dechreu camu, gwell i ti fyned i ganlyn dy ben." Ni wyddai y bachgen pa beth a feddyliai efe wrth hyny, ond pan ddaeth i wybod, barnodd yr un modd a'i barchedigaeth, ac i ganlyn ei ben, a'i galon hefyd, yr aeth, gan fwrw ei goelbren gyda'r Ymneillduwyr.

Arferiad yr Arglwydd erioed oedd galw dynion i'w wasanaeth o blith rhai a ddilynent rhyw alwedigaeth, ac nid o blith segurwyr; yn y cyffredin y diafol sydd yn dethol y rhai hyny i fod yn enwog yn ei wasanaeth ef; ond elai yr Arglwydd i'r llawr dyrnu, at yr aradr, ar ol y defaid cyfebron, at y rhwyd a'r cwch pysgota, neu i weithdŷ y gwneuthurwyr pebyll, i geisio ei weision. Felly eto, nid oes odid yr un alwedigaeth nad aeth yr Arglwydd at rywrai oedd yn ei dilyn i ddyweyd fod yn rhaid iddo ef wrthynt; galwyd un oddiwrth y garfan, y llall oddiwrth y ffyst; hwn oddiwrth y fainc blaenio, hwn acw oddiwrth yr eingion; un oddiwrth y priddfeini, y llall oddiwrth y crochanau; gadäwyd y miniawyd, a'r caib, y nodwydd a'r trosol; rhoed heibio yr hoel, a gollyngwyd morthwyl y gweithiwr; newidiwyd y ffedog groen am yr ephod, a'r cloriannau am y thuser; ac nid oes yr un alwedigaeth na threthwyd hi gan efengyl. Ac o'r felin y galwyd Arthur Jones—yn malu ŷd bara y cafodd yr Arglwydd y "goruchwyliwr ffyddlawn" *yma* i'w "osod ar ei deulu i roddi cyfluniaeth iddynt mewn pryd."

Ymddengys iddo ymuno â chrefydd pan yn ieuanc, gyda'r Methodistiaid Calfinaidd yn Llanrwst. Crybwylla ei hun gyda pharch a serch-

ogrwydd rhyfeddol enwau rhai a fuont yn gynnorthwy iddo yn nechre ei yrfa grefyddol. Sonia am Owen William, y gwehydd, "dŷn tlawd, bŷr ei ddawn, llai felly na'r cyffredin o'i gymydogion, ond yr oedd yn dduwiol, ac yn fwy na fi," meddai; crybwyllai ei enw mor serchog ag y gwnai Paul enwau Priscila ac Acwila. Y mae ganddo ar gadw enwau Owen Gruffydd y Groesffordd, a Richard Roberts o Felinycoed, fel rhyw Andronicus a Junia; y mae ganddo ei Amplias, ei anwylyd, yn Hugh Hughes, Bettwsycoed; a'i anwyl Epenetus, yn Dafydd Pierce, y Fron, "ysgolaig gwych, gŵr hardd ei fuchedd, a seren Llanrwst." Noda, gyda pharch diledryw, rai gweinidogion hefyd, megys Peter Roberts, Llansanan; Robert Roberts, Clynog; Evan Richardson, Caernarfon; a Mr. Charles o'r Bala; fel rhai hynod ymhlith y pregethwyr, ag oeddynt yn Nghrist o'i flaen ef, rhai a gymerasant lawer o boen gydag ef yn yr Arglwydd i'w adeiladu, ac wedi "ateb yn amyneddgar fil o'i gwestiynau gweiniaid."

Teimlai Arthur Jones yn ddwys o herwydd iselder addysg yn ei wlad; casglai blant ato i'r felin i roddi gwers iddynt; ac er mwyn eu cymhell ymlaen, gwnai wahanol ddosbarthiadau, rhoddai y rhai lleiaf a gwanaf ar risiau isaf yr ysgol a ddefnyddiai er cario yr ŷd i'w dywallt i'r hopran; ac fel y cynnyddent, codai yntau hwy ffôn yn uwch; a phrif raddfa yr athrofa hono oedd myned yn ddigon uchel i allu rhoddi eu llaw ar hopran y felin; ystyriai pob efrydydd a gyrhaeddai hyny ei fod wedi *matriculatio*. Bu yn myned bob Sabbath i Rydlydan i gadw ysgol; nis gallai gael derbyniad i dŷ, ond cafodd fenthyg hen hofel tô gwellt, i'r hon y cynnullai ei ddysgyblion; a chan fod y tô mor gandryll, mawr fel y blinid yr athraw a'i ddysgyblion gan "ddefni parhäus, ar ddydd gwlawog;" ond troes efe y defni i ddefnydd, fel y gwnelai â phob peth er ateb rhyw ddyben da. Yr oedd un bachgenyn yn fwy hwyrfrydig na'r cyffredin i dderbyn addysg; ni chawsai yn ei fyw ganddo gofio llythyrenau yr egwyddor, er ceisio bob ffordd alw ei sylw at eu gwahanol ffurfiau,—bod yr C yn myned i syrthio ar ei chefn, yr S yn myned ar ei gliniau, &c.; er hyn oll, yn yr un man y ceid y bachgen ar ddechre a diwedd pob ysgol. Un Sabbath yr oedd y defni wedi llanw pwll o ddwfr yn llawr pridd yr hofel; a phan ddaeth y bachgen ymlaen i dderbyn ei wers, galwodd yr athraw ei sylw at y pwll dwfr: "Y mae yna bwll o ddwfr yn y fan yna, onid oes?" "Oes," atebai y bachgen. "Nid oedd yna ddim pan ddaethom yma, a oedd?" "Nac oedd," ebai yr ysgolor. "O ba le y daeth e?" Edrychai y bachgen gyda syndod at anwybodaeth ei athraw, a chan godi ei ben at y tô, "Ond dropio mae o?" meddai. "A lanwodd y pwll fel hyn bob yn dropyn?" "Do." "Wel, cymer dithau yr egwyddor bob yn ddropyn, a byddi yn llawn yn fuan." Agorodd ddeall y bachgen; a chyn pen y tair wythnos, yr oedd yr holl egwyddor ganddo. Daeth yr ysgoleigion mor lliosog fel yr oedd yn rhaid iddo gyflogi dau athraw i'w gynnorthwyo bob Sabbath; a'r tâl a roddai iddynt oedd peint o gwrw bob un. Pan yn ddirwestwr, dywedai Dr. Jones, wrth gyfeirio at yr amgylchiad, "Yr oedd yn ddigon gwan; ni wnaethai chwart ddim niwed iddynt; ond am beint yr oeddynt wedi cyttuno, a pheint oeddynt yn gael."

Yn fuan wedi sefydlu y Fibl Gymdeithas trwy offerynoliaeth Mr. Charles o'r Bala, amcan cyntaf yr hon Gymdeithas oedd cael ychwaneg

o Fiblau i Gymru, gwelwyd bod angen cael rhyw foddion i addysgu y Cymry i ddarllen y llyfr; sefydlwyd ysgolion dyddiol i'r perwyl hyny, a phenodid dynion ieuainc crefyddol ac ymroddgar yn athrawon, y rhai a arferent gateceisio a chynghori y plant; gwelwyd fod gan rai o honynt gymhwysderau i gynghori dynion hefyd, fel y daeth amryw o'r cyfryw athrawon, ar ol hyny, yn bregethwyr nid anenwog ymhlith y Methodistiaid Calfinaidd. Bu Arthur Jones yn cadw un o'r ysgolion hyn yn ardal Capel Garmon, a thra yno y dechreuodd efe bregethu. "Dydd y pethau bychain" oedd ei ddechreuad fel pregethwr. Gwnaeth rywbeth tebyg i bregethu cyn hyny, os nad cyn iddo gael ei dderbyn yn gyflawn aelod. Gan ei fod y pryd hyny yn well darllenwr na'r cyffredin, efe, fynychaf, a benodid i ddechreu y cyfarfodydd gweddi a gynnelid ar hyd yr ardaloedd; byddai yn rhaid cael Arthur i fyned gyda'r hen frodyr i ddarllen y bennod, neu ddechreu y cyfarfod heb ddarllen; o herwydd yr oedd mwy o grefyddwyr yn medru "gweddïo heb lyfr" nag oedd yn "medru ar lyfr," yn y dyddiau hyny. Cymerai Arthur ei ryddid yn awr ac eilwaith i wneyd rhyw sylwadau ar y rhanau a ddarllenasai; ond edrych arno braidd yn wgus y byddai yr hen frodyr, yn enwedig os byddai y sylwadau yn ymylu gormod ar y ffurf bregethwrol. Ni oddefasid iddo mewn un modd gymeryd *adnod* yn destun, ond ni cheryddid llawer arno am gymeryd *pennod* gyfan, neu ran *helaeth* o hóni. Mewn un o'r cyfryw gyfarfodydd, a gynhelid yn nghymydogaeth Bettwsycoed, tra y gwnelai sylw cynhes ar y gyfran a ddarllenid, aeth calonau y gynnulleidfa i losgi, ac yn fuan tòrodd allan yn orfoledd cyffredinol; ymadawodd y gynnulleidfa i'w cartreflëoedd y noson hono "mewn llawenydd," a theithient eu gwahanol lwybrau "mewn hêdd," gan foliannu ar hyd y ffordd, nes yr oedd y "mynyddoedd a'r bryniau yn bloeddio cânu o'u blaen," os nad oedd "coed y maes yn curo dwylaw;" cymaint oedd y sŵn nes y llanwyd un hen wreigan oedd yn ei gwely â'r fath fraw, fel y cyfaddefodd wrth gymydoges iddi bore drannoeth ei bod wedi codi dair gwaith i ddyweyd ei *phader*, gan ofn. Y cyfarfod hwnw, y noson hono, roes drwydded i Arthur Jones i bregethu; ystyrid bod y Nefoedd wedi rhoddi ei foddlonrwydd iddo, y tro hwnw; ac nid ymddengys i neb ar ol hyny godi i'w wrthwynebu; wedi i'r Nefoedd roddi ei nawddogaeth iddo, ystyrid bod y corn olew wedi ei dòri ar ei ben. Lled anhawdd oedd agor pyrth yr areithfa y pryd hyny, ond wedi i'r "mŷr ddyferu ar hyd hespenau y clo" yn y cyfarfod hwnw, ymagorodd y "porth iddo o'i waith ei hun;" a chafodd yntau, ar ol hyny, "bregethu teyrnas Dduw, ac athrawiaethu y pethau am yr Arglwydd Iesu Grist, gyda phob hyfder, yn ddiwahardd."

O ran ei berson yr oedd Dr. Jones yn un o'r dynion harddaf ellid weled: gwynebpryd llawn, glân, a hynod brydweddol; talcen hytrach uchel; dau lygad siriol, i'r rhai y gallai daflu swm mawr o *waggery;* yr oedd o daldra canolig; o wneuthuriad yn gorffol; a phob peth yn nodedig gydnaws; yr oedd ei symudiad yn hytrach yn chwim, yn enwedig i un o'i ffurf ef. Ymddangosai yn ei wisg drwsiadus lân, yn dra phendefigaidd; gwisgai glôs, yn cael ei gau ar ben y glin â bwclau arian, hosanau sidan duon, ac esgidiau ysgeifn, oddieithr pan yn teithio, pryd y gwisgai *gaiters*, neu fotasau duon, yn cyraedd at ben ei lin, pa rai a weddent yn rhagorol iddo. O ran ei holl ymddygiadau yr oedd yn

debycach i un wedi ei fagu yn y llŷs nag mewn congl (y pryd hyny) anghysbell o Gymru; yn wir ystyrid fod llawer o debygrwydd ynddo i'w ddiweddar fawrhydi Sior y IV. Tra yr ydoedd un tro yn myned drwy y *Park* yn *Greenwich*, tŷnodd un boneddwr ei hèt hyd lawr iddo, gan gwbl gredu ei fod wedi cael yr anrhydedd o gyfarch y Brenin. O ran hyny, yr oedd gwaed brenhinol yn ei wythienau, canys yr oedd yn disgyn o ddau o bymtheg llwyth Gwynedd. Tra yr ydym yn sôn am y llŷs, gallwn grybwyll iddo gael yr anrhydedd o sefyll yn y presennoldeb brenhinol unwaith, fel un o'r dirprwywyr a gynnrychiolent y tri enwad. Wrth gyfeirio at y tro hwnw ymhen blynyddau lawer, dywedai fod yn dygwydd sefyll o'r tu cefn iddo ef, hen elyn i Ymneillduwyr, Iarll Sidmouth, a'i bod yn ddigon i beri iddo deimlo ei wasgod yn tynhâu, wrth fod am yspaid yn sefyll yn nês i'r orsedd na'r cadnaw hwnw.

Bu Dr. Jones yn brïod ddwywaith; y tro cyntaf â merch yr athrylithlawn fardd, Twm o'r Nant. Adroddir am un tro pryd yr oedd Mr. Charles o'r Bala, yn nghwmni ei gyfaill Arthur Jones, yn ciniawa ar fwrdd y bardd; ceisiai Mr. Charles ganddo, yn ei ddull hynaws ei hun, i beidio bod mor chwerw wrth y personiaid. Atebai y bardd yn ei ddull parod yntau, "Yn awr, Mr. Charles, edrychwch chwi ar ol y defaid, a gadewch rhyngwyf finnau a'r geifr." Ymddengys fod amgylchiadau ei wraig ychydig yn ddyryslyd, a thybir mai oerfelgarwch ei hen frodyr ato yn y brofedigaeth hono, fu yn achlysur iddo adael y Corff parchus y buasai cyn hyny yn llafurio mor gymeradwy mewn cysylltiad âg ef. Teflid ato aml sèn o herwydd hyny hefyd. "Wel," meddai un hen gyfaill wrtho, ar yr heol, "yr ydych chwi wedi troi yn *deserter*, onid ydych?" "Nac ydwyf," oedd ei atebiad ffraeth, "ni wnaethum ddim ond gadael y *militia*, a *joinio* y *regulars*."

Yn ei ail brïodas cafodd rodd gan yr Arglwydd; un o'r gwragedd mwyaf crefyddol yn y Dywysogaeth, a'r gymhwysaf o ferched Efa i fod yn wraig gweinidog yr efengyl; bu yn ymgeledd gymhwys iddo ar hyd ei oes faith, a chafodd ei oroesi am ychydig flynyddau; ond y maent erbyn hyn wedi ail gyfarfod yn y wlad well. Bu iddynt bedwar o blant, dau o ba rai sydd eto yn fyw, un, y Parch. Eliezer Jones, yr hwn sydd yn weinidog ar eglwys Gynnulleidfäol barchus a dylanwadol yn Ipswich; a'r llall yn brïod âg E. G. Salisbury, Ysw., diweddar Aelod Seneddol dros ddinas Caerlleon.*

Yn y dyddiau erlidigaethus pan ddechreuodd Arthur Jones bregethu, yr oedd yn angenrheidiol i bob pregethwr fod wedi ei arfogi â'r hyn a elwid *license* er ei ddïogelu rhag ymosodiadau y gelynion; aeth yntau i Gaernarfon i geisio y cyfryw drwydded, a chyrhaeddodd y llysdŷ cyn iddo agor. Pan ganfu amryw segur gyfreithwyr, y rhai a safent oddeutu y lle, y pregethwr yn dyfod, tybiasant y gallent, er eu difyrwch, wneuthur ychydig wawd o hóno. Dygwyddai fod beili o'r enw Robert Roberts, ond yr hwn a adnabyddid yn gyffredin wrth y llysenw *Robyn*

* Y mae yn ffaith led hynod fod y boneddwr uchod, yr hwn sydd yn hànu o linach *William Salisbury*, wedi dyfod i gysylltiad prïodasol âg un sydd yn hànu o linach Dr. *William Morgan*, drwy yr hyn y mae eu plant yn cynnrychioli prif gymwynaswyr eu cenedl, sef cyfieithwyr y Testament Newydd, a'r Hen Destament hefyd, i'w hiaith. Yn ychwanegol at hyny gellir crybwyll eu bod o du eu tad yn ddisgynyddion o'r esboniwr dihafal *Matthew Henry*. Dywedai eu taid wrthynt y dylent hwy fod yn blant da iawn, gan iddynt gael y fraint o fod yn dal perthynas â chynifer o ddynion sanctaidd Duw.

*y Mul,* yn arferol o fyned i'r capel i wrando ar y Sabbothau. Pan gyrhaeddodd y pregethwr atynt, cyfarchodd un o'r cyfreithwyr direidus ef, gan ddyweyd, "Yr ydych wedi dyfod yn rhy foreu o lawer, gellwch fyned i Benybont am oriau" (yn ystabl y tŷ hwnw yr arferid rhoddi ceffylau y pregethwyr); "a phan egyr y llŷs, anfonwn eich cyfaill, *Robyn y Mul,* i alw arnoch. Yr ydych yn ei adnabod ef, onid ydych?" Yna, wedi edrych arnynt bob yn un ac un, derbyniwyd yr atebiad cyrhaeddgar, "Na, nid wyf yn sicr pa un o honoch ydyw *Robyn,* ychwaith." Ni raid dyweyd i ba ochr y syrthiodd y gwawd.

Yn y flwyddyn 1809 gwahoddwyd ef i Fangor i ofalu am yr eglwys Gynnulleidfäol yn y ddinas hono. Pan gyrhaeddodd yno, yr oedd y capel yn anorphenol. Tro hynod fu i gael lle i adeiladu capel yn ninas Bangor; yr oedd yr hen addoldŷ cyntaf gryn dri chwarter milldir o'r ddinas, mewn lle a elwid Tyddyn'rordor; ond nid oedd dim gobaith am le i adeiladu capel yn nês na hyny at y clochdŷ. Tua'r cyfnod yma daeth y Methodistiaid Calfinaidd i ddechreu achos yn Mangor; cynnaliwyd eu *society* am y tro cyntaf mewn un o ystafelloedd tafarndŷ, a elwid y *Virgin.* Buont yn pregethu mewn gwahanol leoedd; cymerasant hen farctŷ yn babell eu cyfarfod am yspaid hir; nid oedd y fath beth a chael tir i adeiladu capel arno y pryd hwnw yn Mangor; ond dygwyddai fod gan feddyg mwy rhyddfrydol na'r cyffredin, ddarn o dir, mewn cŵr o'r dref a elwid Lon y Pobtŷ, yr hwn a werthodd i'r Methodistiaid; ond yr oedd y tir hwnw, pa fodd bynag, yn ymyl tŷ hen eglwyswr rhagfarnllyd; a phan y gwelodd fod y Methodistiaid yn myned i godi capel arno, ffròmodd yn aruthr; yr oedd ganddo yntau ddernyn o dir yn ymyl tŷ y meddyg, ac i ddïal arno am iddo roddi lle i'r "pengryniaid" i adeiladu capel wrth ei dŷ ef, gwerthodd y cyfaill le i'r "Sentars" i godi capel wrth ei dŷ yntau. Fel hyn, nid oedd ganddynt hwy fwy o ddïal i'w wneyd y naill ar y llall, na lluchio capelydd at eu gilydd, a'r Arglwydd yn goruwchlywodraethu cynddaredd dyn i'w foliannu Ef, ac yn attal y gweddill.

Yr oedd y capel newydd yn anorphenol pan aeth Mr. Jones i Fangor; ac ar annogaeth y Parchedigion Benjamin Jones, Pwllheli; John Griffith, Caernarfon; Cadwaladr Jones, Dolgellau (Brithdir y pryd hyny); William Hughes, Dinas; a John Jones, Liverpool; aeth i'r Deheudir a manau eraill i gasglu tuag at orpheniad yr adeilad; a chymaint fu ei lwyddiant, fel yr agorwyd y capel heb un geiniog o ddyled arno yn y flwyddyn hono. Gwnaeth hyn cyn cael ei urddo yn weinidog, canys yn y flwyddyn 1810, ar y trydydd dydd o fis Ionawr, y neillduwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth, pryd y cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan y Parchedigion B. Jones, Pwllheli; J. Griffith, Caernarfon; John Roberts, Llanbrynmair; J. Lewis, Bala; J. Powell, Rhosymeirch; J. Evans, Amlwch; D. Davies, Rhesycae; J. Griffith, Machynlleth; W. Williams, Wern; T. Powell, Dinbych; a R. Roberts, Ceirchiog; y cwbl wedi myned oddiwrth eu gwaith at eu gwobr er ys llawer blwyddyn. Difyr fyddai gwrando ar Mr. Jones yn myned dros hanes y daith gasglyddol hono. Mewn un lle yr oedd wedi myned i'r capel cyn dyfodiad y swyddogion i mewn, a thra yr oeddynt yn cânu ar ol iddo ddarllen a gweddïo, gwelai ddyn bychan, lled uchelfrydig yr olwg arno, yn prysuro i fyny grisiau yr areithfa, ac yn ei rybuddio yn awdurdodol ryfeddol nad oedd yno yr un casgliad i gael ei wneyd. Ni chymerai arno

ei glywed, eithr agorodd y drŵs iddo, a gofynai, "Chwychwi sydd yn dyfod yma i bregethu?" "Na, dyfod i'ch rhybuddio chwi i beidio casglu yr ydwyf fi." "Wel," meddai Mr. Jones, gan gydio yn ngholer ei gôt, "Deuwch chwi yma i bregethu i'r bobl." "Na ddeuaf fi." Ac wedi cael yn rhydd o'i afael, ni raid dyweyd i'r gŵr bach fyned i lawr yn gynt nag yr aethai i fyny. Cymerodd Mr. Jones fantais ar y cyfleusdra hwnw, tra yr oedd pawb yn ddigon siriol, i ddyweyd am y casgliad a wneid ar y diwedd. Pan y gofynid i Mr. Jones pa beth a wnaethai pe buasai y gŵr yn dyfod i'r pulpud i bregethu, "O," meddai, "gwyddwn wrth ei wasgod nad oedd e yn bregethwr; gwasgod goch oedd ganddo, a botwm gwydr gwyrdd arni." Mewn man arall, dywedwyd wrtho yn bendant, nad oedd yr un casgliad i'w wneyd yn y tŷ cwrdd, eu bod wedi sicrhâu y gynnulleidfa, wrth wneyd egni yn ddiweddar, na flinid hwy am yspaid, âg un math o gasgliad. Wedi deall hyn, dywedai Mr. Jones wrth y gynnulleidfa y buasai yn ddrwg iawn ganddo ddyfod yno i dòri eu rheolau; gan fod penderfyniad wedi ei wneyd na byddai un casgliad yn y tŷ cwrdd, mai têg oedd cadw ato; ond gosodai ger eu bron yn y lliw goreu deilyngdod yr achos y daethai efe o'i herwydd, ac ychwanegai, "Gwell peidio casglu yn y tŷ cwrdd, ond y mae ffordd fawr y Brenin o flaen y tŷ cwrdd; y mae yma *hat;* myfi bia hon; âf fi i ffordd fawr y Brenin, a daliaf fy *hat* fy hun yno, a chewch chwithau roddi eich arian chwi yn fy *hat* i yno, heb dòri y gyfraith;" a chafwyd llonaid *hat* o gasgliad hefyd, ac nid *hat* fechan fuasai yn gwneyd i ben Dr. Arthur Jones ychwaith. Têg ydyw dyweyd mai y gweinidog a roddodd y dryll arian cyntaf yn yr *hat*; felly yr oedd efe yn cadw llythyren y gyfraith ac yn tòri ei hysbryd. Tra yr ydoedd ar ganol dyweyd am y casgliad mewn lle arall, daeth rhyw gyfaill i fyny y grisiau er ceisio ei attal; dywedai rywbeth yn ei glust; a chan droi at y gynnulleidfa ychwanegai Mr. Jones, "Ië, ïe, os oes yma ryw rai wedi dyfod heb arian yn eu llogellau, benthycent y naill gan y llall, a chofio talu, onidê?" meddai, gan droi at y gwaharddwr, a chymerodd pawb yn ganiatäol mai hyny oedd ei genadwri; aeth y casglyddion o amgylch yn siriol, a derbyniwyd casgliad da. Yr oedd ganddo ddawn neillduol i fyned i logellau pobl, neu yr hyn sydd well, eu gyru i'w llogellau eu hunain. "A ydych chwi yn meddwl," meddai, ar adeg agoriad capel mewn porthladd, "a ydych chwi yn meddwl y gall llaw fawr, braf, llongwr, gael gafael mewn chwechyn i'w roddi mewn casgliad fel hyn? dim yn debyg; hanner coron neu ddim a ddyry llongwr;" ac anaml y gwelwyd cawod fwy o hanner coronau nag yn y casgliad hwnw. "Deuwch chwi o enwadau eraill, helpiwch ni; hen arfer ydyw i griw y naill gwch helpu criw y cwch arall i godi y rhwyd; ond *fashion* newydd ydyw dwyn pysgod eu gilydd hefyd."

Ymhen ychydig flynyddau ar ol sefydlu yn Mangor, traddododd bregeth ar y geiriau sydd yn llyfr y prophwyd Jeremïah ii. 19: "Dy ddrygioni dy hun a'th gosba di, a'th wrthdro a'th gerydda; gwybydd dithau a gwel, mai drwg a chwerw ydyw gwrthod o honot yr Arglwydd dy Dduw, ac nad ydyw fy ofn i ynot ti, medd Arglwydd Dduw y lluoedd." Yn y bregeth hono llefarai am bechod Adda, a gwnaeth sylwadau ar helaethrwydd yr iawn, nes crëu ammheuaeth yn meddyliau rhai pa un a oedd efe yn iach yn y ffydd ai peidio. Yn fuan ar ol

hyny, tra yn pregethu ar gyfryngdod Crist, dywedodd fod "pob bendith yn dyfod i ni trwy ei gyfryngyddiaeth Ef, hyd yn nôd ein bara beunyddiol, y dwfr ydym yn ei yfed, a'r dillad ydym yn eu gwisgo. Mewn canlyniad i hyn, cyhoeddodd "ceidwaid yr athrawiaeth" ef yn gyfeiliornwr o'r fath waethaf. Adeiladol oedd eu gweled hefyd, rhai nad allent gyraedd fawr uwch na gwadn ei esgid, yn tỳnu eu llinynau allan i'w fesur; a'r rhai y daliasai ddwsin o honynt ar ei fŷs bach, yn myned i'w roddi yn eu clorianau; dïau yr oeddynt yn ei olwg ef fel ceiliogod rhedyn. Ond y gwaethaf oedd, nid oeddynt felly yn eu golwg eu hunain. Y pryd hwnw ymadawodd amryw o aelodau yr eglwys oedd dan ei ofal, y rhan fwyaf i ymuno â'r Bedyddwyr. Tra yn pregethu y Sabbath ar ol hyny, gwnaeth gyfeiriad at y Gadareniaid, a'r moch yn rhuthro dros y dibyn i'r môr. "Rhyfedd iawn," meddai, "pan mae yr ysbryd aflan yn meddiannu rhywbeth, nid oes fodd ei attal heb fyned dros ei ben a'i glustiau i'r dwfr." Adroddir i Christmas Evans ac yntau gyfarfod eu gilydd yn fuan wedi hyn; yr oedd y ddau yn gyfeillion mawr, a pharhäodd eu cyfeillgarwch tra buont ar y ddaear; ni ymwelai y naill byth â chymydogaeth y llall heb fwynhâu oriau o gyfeillach eu gilydd. Y tro y cyfeirir ato, yn ei ddull arabeddus ei hun, sylwai y darfelydd dihafal o Gildwrn, "Y mae y cywion yn dy adael yn rhesi; gwell i ti eu dilyn, frawd, i edrych ar eu holau;" ond yr wrthsèn frawdol a roddai y ffraethlym o Fangor oedd, "Na, yr oeddwn yn meddwl mai ŵyau ieir oedd genyf, ond gwelaf mai cywion hwyaid a ddëorwyd; a chan iddynt gymeryd y dwfr, nid oes genyf ond eu gadael i dy ofal di, frawd; ni allaf fi ddim gwlychu fy nhraed."

Yn y flwyddyn 1815, symudodd Mr. Jones o Fangor i gymydogaeth Llundain, i weinidogaethu i'r Cymry oeddynt yn gweithio yn llongadeiladfa y Llywodraeth yn Deptford a Woolwich, lle y parhäodd yn llafurus a llwyddiannus hyd y flwyddyn 1823, pryd, o herwydd i'r gwaith sefyll, mewn canlyniad i'r heddwch, y gwasgarwyd y Cymry oeddynt yno oddiwrth eu gilydd. Adroddir am dano tra yn pregethu yn Woolwich un boreu Sabbath, iddo weled trwy y ffenestr oedd yn ystlys y capel, yr hon oedd yn agored ar y pryd, Wyddel, wedi myned gyda'i gawell i ladrata pytatws oeddynt yn tyfu yn yr ardd gerllaw; a phan y gwelodd y pregethwr ef yn dechreu ar ei orchwyl pechadurus, safodd ar ei draed ar fainc y pulpud, a gwaeddodd â llais uchel, "*Thou shalt not steal!*" Cynhyrfwyd yr holl gynnulleidfa, ond neb i'r fath raddau â'r euog; canys pan glywodd y llef ddyeithr hono yn dyfod, nas gwyddai o bethau y ddaear o ba le, rhuthrodd ymaith yn gynt na chynted y gallai, gan adael ei raw a'i gawell, yn ei ddychryn, ar ei ol, ac ni ddaeth byth i ymofyn am danynt.

Yr oedd eglwys Bangor wedi myned yn amddifad o weinidog eto, o herwydd symudiad y Parch. David Roberts i Ddinbych; a barnodd y rhan lïosocaf nad allent wneyd dim yn well na rhoddi galwad i'w hen weinidog i ddyfod i'w bugeilio drachefn; â'r hyn y cydsyniodd Mr. Jones.

Ar ol ail sefydlu yn Mangor, dechreuodd bregethu yn Saesoneg ar y Sabbothau, am un ar ddeg o'r gloch y boreu, a phregethai yn Gymraeg am ddau, a chwech, y prydnawn. Yr oedd ei lafur yn fawr yn y blynyddoedd hyn. Pregethai yn rheolaidd yn y wlad o amgylch gynifer a

phedair gwaith bob wythnos. Cyfrifir ei fod wedi pregethu tra y bu yn Bangor dros 10,000 o weithiau, heblaw areithiau a draddododd ar y Gymdeithas Genadol, y Fibl Gymdeithas, y Gymdeithas Ddirwestol, yn gystal ag ar y Gaethfasnach, Cymdeithas Ysgol Sabbothol yr Iwerddon, &c. Cadwai hefyd ysgol ddyddiol am lawer o flynyddoedd, a defnyddiai bob cyfleusdra i wneyd daioni.

Gallasai ambell un llai adnabyddus o Mr. Jones, wrth ei ymddygiad annibynol a boneddigaidd, dybied ei fod yr hyn a elwir yn falch, neu ffroenuchel. Os wrth falchder y meddylir un ymwybodol o urddas ei swydd; os balchder ydyw hunanbarch a geidw un uwchlaw ymostwng at fudrwaith; os balchder ydyw y teimlad o anrhydedd a geidw ei feddiannydd rhag cyflawni gweithred isel, yna yr oedd yntau yn falch. Ond os wrth falchder y meddylir diystyru eraill am eu bod yn is nag ef, cau ei hun allan o gyraedd y tlawd, yr anghenus, a'r truan, na alwer ef yn falch. Gallai fod yn dywysog gyda'r tywysogion, ac yn gyd-ostyngedig â'r rhai iselradd. Gwnaeth lawer o gymwynasau i rai mewn angen; ymhyfrydai mewn cyfleusderau i wneyd daioni. Yr oedd yn ddïarhebol fel noddwr meibion athrylith; bron nad oedd yn addoli talent; gwnai ei oreu i gadw hono rhag cael ei chamddefnyddio. Braidd na feïid ef am fyned yn rhy bell yn y ffordd hon; yr oedd talent, yn ei olwg ef, yn cuddio llïaws o bechodau. Yr oedd nid yn unig yn sicr o'i gweled lle y byddai, ond dychymygai ei bod mewn manau na bu erioed. Gwyddys am un eglwys y bu yn ymweled â hi yn achlysurol, am ychydig amser, ac yr oedd wedi codi braidd bob aelod gwrywaidd yn bregethwr; ond fel y profodd y canlyniad, nid oedd yr un o honynt yn gymhwys i'r gwaith pwysig, canys rhoddasant i fyny y naill ar ol y llall, nes dyfod o honynt oll fel "dynion eraill." Anhawdd cyfarfod â neb a fedrai yn fwy fwynhâu "*the luxury of doing good.*" Er engraifft, gallwn grybwyll sylw o'i eiddo mewn cyfarfod cenadol yn Rhosymeirch, Môn. Pan yn cymhell y gynnulleidfa i gyfranu yn haelionus at yr achos teilwng hwnw, adgofiai iddynt fel yr addunedent roddi i'r Arglwydd os caffent hwy gynhauaf da, neu os gwellhëid y llall o glefyd, neu os arbedai yr Arglwydd y plentyn, neu y brawd, neu y priod: "Wel, dyma chwi, onidê, ïe, dyma chwi wedi eich arbed, pawb yn iach, a'r gwenith ardderchog yn estyn ei ben atoch dros y cloddiau, ac yn nodio arnoch pan oeddych yn dyfod ar hyd y llwybrau i'r cyfarfod, yn gofyn i bob un, 'A welwch chwi nyni? Talwch, talwch eich addunedau i'r Arglwydd.' Ië, talwch. Peidiwch chwi a gwneyd â'r Brenin mawr fel y gwnaeth y wraig o Sir Fôn yma â fi; mi wn i beth ydyw ei henw hi, ond ni ddywedaf fi mohono; mi wn i ymha le y mae hi yn byw, ond ni ddywedaf fi mo hyny ychwaith. Wel, hi a ddaeth ataf fi i Bangor, i ofyn i mi wneyd cymwynas i'w bachgen hi. Gwneyd cymwynas, gwnaf! 'Wel, mi gofiaf fi am danoch chwi pan ddaw y pytatws newydd,' ebai y wraig o Sir Fôn yma wrthyf fi. Daeth y pytatws newydd, i chwi; a rhyw ddiwrnod, daeth y wraig o Sir Fôn yma i Fangor, a hi a ddaeth at fy nrŵs i, a basged ar ei braich, a phytatws newydd yn un pen i'r fasged, ac ŵyau yn y pen arall; ac wedi curo yn nrŵs fy nhŷ i, a chael atebiad, gofynodd, 'A oes eisieu tatws newydd, neu ŵyau?' Aethum i i'r drŵs ati, a gofynais iddi, 'Pa sut yr ydych chwi yn gwerthu y pytatws newydd?' 'Dwy a

dimai y pwys,' ebai hithau. 'Pa sut yr ydych yn gwerthu yr ŵyau?' gofynwn iddi. 'Pump am ddwy,' ebai y wraig o Sir Fôn yma. 'Wel, rhoddwch i mi ddau bwys o'r pytatws newydd, a gwerth dwy geiniog o ŵyau,' meddwn wrthi; ac wedi iddi bwyso a chyfrif, gofynais iddi, 'Gwerth pa faint ydynt?' 'Y mae yr ŵyau yn werth dwy geiniog, a'r pytatws yn werth pum' ceiniog; y mae hyny yn saith.' 'Dyma i chwi chwech gwŷn a cheiniog goch; fel yna, onidê?' 'Ië, *tanci.*' Fel yna y cofiodd y wraig o Sir Fôn yma fi. Gwnawn i gymwynas i'w bachgen hi eto; ond ni choeliwn i byth mohoni hi. Peidiwch chwi ag ymddwyn felly at y Brenin mawr. 'Pan addunedech adduned i Dduw, nac oeda ei thalu; canys nid oes ganddo flâs ar rai ynfyd; y peth a addunedaist, tâl.'"

Yr oedd Dr. Arthur Jones yn feddiannol ar athrylith o râdd arbenig. Ni wnai ddim yr un fath a neb arall. Pa un bynag ai ysgrifenu llythyr, cofnodi hanes rhyw amgylchiad, cyfansoddi traethawd, traddodi pregeth, neu araeth, yr oedd ymhob peth fel efe ei hun, ac nid fel neb arall. Cerddai ar hyd llwybrau na chanfu llygad yr un barcud hwy o'i flaen. Fe allai na chymerai y ffordd unionaf, wastataf, fêraf, esmwythaf, nac, ymhob peth, bob amser, yr oreu; ond yr oedd yn newydd. Gosodai ei ddelw ar bob peth a ddeuai o'i feddwl, ac ofer fuasai i neb geisio tŷnu ei gyfrin-nôd oddiar ei bethau; adwaenid hwy ar unwaith ymhob marchnad fel eiddo Dr. Arthur Jones. Rhaid cael ei lais, ei law, ei wyneb, ei ystum, a'i gwbl, i wneyd cyfiawnder â'i bethau. Mewn gair, ni allai neb gerdded yn ei arfogaeth ond efe ei hun; o ganlyniad, rhaid mai anmherffaith iawn fydd unrhyw ddarnodiad a ellir roddi o hóno ar bapyr.

Yr oedd llawer iawn o ffraethineb ynddo; ond am ei wawdiaith, yr oedd yn un o'r rhai mwyaf miniog. Dygwyddai fod cymydog iddo, crŷdd wrth ei alwedigaeth, wedi cael ei benodi i swydd oedd dipyn yn well o ran elw. Ar hyny troes yr arffedfaen heibio yn ebrwydd, ac ni fynai mwyach hòni perthynas hyd y nawfed âch â neb o deulu *Crispin;* ond poenid ef yn ddirfawr gan y plant oeddynt yn yr ysgol gyda'r Doctor, trwy eu bod yn myned ato megys cynt, i geisio rhyw fân gymwynasau y tybia plant ysgol eu bod yn sefyll mewn angen am danynt. Un diwrnod, pa fodd bynag, aeth yr *ex*-crŷdd i'r ysgol i achwyn ar y plant. "Pa beth y maent yn wneyd, Mr. —— ?" gofynai Dr. Jones. "Pa beth y maent yn wneyd! Y maent yn dyfod ataf fi, yrwan, i chwilio am gŵyr crŷdd." Safai y Doctor bron wedi ei orthrechu gan chwerthin wrth glywed y cŵyn; a chan ymdrechu meddiannu ei hun, ychwanegai, "Y maent hwy, Mr. ——!" "Ydynt, yn dyfod ataf fi yrwan, i ofyn am flaen edau grŷdd, yrwan, Mr. Jones," ebai y cyhuddwr. "Pa rai sydd yn gwneyd hyny, Mr. —— ?" "Y maent i gyd yn dyfod ataf fi, yrwan, i ofyn am flaen edau." "Pe cawn i fenthyg yr hen *stirrup* hwnw genych chwi," ebai y Doctor, "mi a'i rhoddwn ar eu cefnau hwy." Ar hyn troes yr achwynwr ei gefn yn siomedig, gan weled nad oedd yr athraw ddim gwell na'r dysgybl. Gallai ef gymhwyso "dail rhocos" yn dra effeithiol. Yr oedd nifer o ddynion a dybient eu bod yn rhywbeth, a hwythau heb fod yn ddim, yn myned o Liverpool i Eisteddfod, yr hon a gynnelid yn Llanerchymedd, flynyddoedd lawer yn ol. Dylid cofio fod myned i Eisteddfodau yn cael

ei ystyried yn fwy o bechod y pryd hyny nag y gwneir yn y dyddiau hyn. Teiliwr oedd un o honynt, a'r blaenaf yn eu plith; dyn hŷf, hynod siaradus, heb wybod erioed beth oedd gwylder. Cyrhaeddasant i Fangor gyda'r agerfâd; a chan fod ganddynt ychydig amser i aros, cynnygiwyd fod iddynt fyned i ymweled â Mr. Arthur Jones, er cael tipyn o ddigrifwch. Wedi cyraedd at y tŷ, derbyniwyd hwynt i mewn gan Mrs. Jones, a galwyd ar Mr. Jones i lawr o'i astudfa: gwnaeth ei ymddangosiad yn ei wisg gyffredin, yr hon oedd yn dwyn gryn arwyddion traul. Cyfarchwyd ef gan y blaenor, a dywedai fod ganddynt ychydig amser i aros yn y ddinas, ar eu ffordd o Liverpool i'r Eisteddfod, a'u bod wedi galw i gael tipyn o *chat*. "O, felly; eisteddwch i lawr." "Mae'ch *coat* chwi yn o sâl, Mr. Jones; dydi y *goat* yna ddim yn deilwng o esgob Bangor," ebai y blaenor. Edrychai yr esgob arno â dau lygad craff, a gofynai, "Ai teiliwr ydych chwi?" "Ië, siwr," ebai y llall, wedi ei daro gan y cyfeiriad at y nodwydd; teimlai fod ei urddas yn cael ei ddarostwng, oblegid ceisio chwareu y gwr boneddig yr oedd. "O," ychwanegai Mr. Jones, "y mae genyf fi *goat* well na hon i'w gwisgo pan fyddwyf yn myned i'r pulpud i bregethu yr efengyl sanctaidd; *coat* ydyw hon fyddaf yn wisgo yn fy *study*, pan yn darllen, ac yn myfyrio, ac yn gweddïo dros broffeswyr ysgafn sydd yn hel i eisteddfodau." Daeth y *chat* i ben yn lled ebrwydd. Pan y cymerai efe mewn llaw i wneyd unrhyw beth, ei gyflawni yn orphenol a wnai y waith gyntaf, fel na byddai byth eisieu ail gynnyg ar y gorchwyl hwnw. Dygwyddai fod un tro yn pregethu mewn capel yn y wlad, ar noswaith yn y gauaf. Eisteddai un o'r ddau ddïacon yn dra hunanfoddhäol yn nghongl y sêdd fawr, ar ddeheulaw y pregethwr, tra y meddiannai ei frawd swyddogol y gongl gyferbyniol, gan fwynhâu y bregeth yn llawn mor astud âg yntau. Fel yr oedd gwêr y canwyllau yn toddi, wrth gwrs yr oedd eu llosgyr yn tyfu, a chan fod y pregethwr yn ymresymu yn hir, yr oedd y llîn bron wedi gorchfygu y fflam. Taflai y pregethwr olwg awgrymiadol yn awr ac eilwaith; yna edrychai yn fanwl ar hyd ymyl y pulpud, ond nid oedd yno neb yn cymeryd yr awgrym. O'r diwedd, wedi rhoddi blaen ei dafod ar benau ei fŷs a'i fawd, nesäi yn ofalus at un o'r canwyllau, a chan gydio yn lled betrusgar yn ei phen, tòrodd, a thaflodd ef yn brysur—fel y gwnaethai un a fuasai yn teimlo oddiwrth y gwrês—at un o'r ddau swyddóg. Yna wedi myned yn fanwl trwy yr un rhagbarotöad, gwnaeth yr un peth i'r swyddog a eisteddai yr ochr hono â phen y ganwyll arall. Ni raid dyweyd eu bod wedi gofalu am roddi saltring ar y pulpud erbyn y tro nesaf y daeth yno. Yn fuan ar ol agoriad Pont Menai, dygwyddai Mr. Jones fod yn myned drosti yn nghwmni pregethwr, na feddai, ysywaeth, lygad i weled prydferthwch anian, na chywreinrwydd celfyddyd; un ag yr oedd yn anhawdd gwybod pa un ai meddalwch ei ben, ynte caledwch ei wyneb, a'i hynodai fwyaf; tra yr ymdröai Mr. Jones i edrych yn fanwl ar y gorchestwaith, gan ei edmygu yn ddirfawr. O'r diwedd, cyfarchwyd ef gan ei gydymaith mewn tôn Pharisëaidd: "Yr wyf yn rhyfeddu atoch chwi, Mr. Jones, yn gallu mwynhâu gymaint ar beth fel hyn, a'r Bibl yn gorchymyn i ni droi heibio ein llygaid rhag edrych ar wagedd." Ymhen enyd troes Mr. Jones ato gan ofyn, "Pa beth oeddych chwi yn ei ddywedyd?" "Dyweyd fy mod yn rhyfeddu atoch chwi yn sylwi cymaint ar wagedd

fel hyn, a'r Bibl yn dyweyd wrthym am beidio," atebai y cyfaill. "Beth mae y Bibl yn ei ddywedyd?" gofynai Mr Jones, yn bwyllog. "Tro heibio dy lygaid rhag edrych ar wagedd," oedd yr ateb parod. "Pwy sydd yn dywedyd hyny?" gofynai Mr. Jones. "Y Bibl," oedd yr ateb. "Ydyw y Bibl yn dywedyd felly?" ail ofynai Mr. Jones. "Ydyw, ydyw," ebai y llall. "Yn siŵr?" gofynai Mr. Jones, gan arwyddo syndod. "Ydyw, yn siŵr," ebai y doethawr, gan ryfeddu cymaint at anwybodaeth gweinidog Bangor, ag a ryfeddai yntau at fawredd y gwaith oedd ger ei fron. Yna, gan droi ei gefn yn araf arno, "Rhaid ufuddhâu i'r Bibl, beth bynag," meddai, gan adael iddo fyfyrio pa un oedd y peth tebycaf i wagedd. Bu yn Mangor, flynyddau yn ol, weinidog gyda'r Bedyddwyr, yr hwn a soniai fwy o gryn lawer am y dwfr nag am yr Ysbryd. Mawr yr anathema a gyhoeddai uwchben enwadau crefyddol eraill, pan, yn achlysurol, y caffai gyfleusdra i fyned i làn y môr i drochi. Yr oedd wedi bod yn rhyddhâu ei hun o'r cyfryw ebychiadau ychydig cyn cylchwyl flynyddol y Fibl Gymdeithas. Ar esgynlawr y Gymdeithas hono cyfarfyddai gweinidogion y gwahanol enwadau crefyddol, pryd y byddai y Dëon yn wastad yn llywydd. Pan alwyd ar Dr. Arthur Jones ymlaen i anerch y cyfarfod, dechreuodd trwy ddyweyd eu bod yn debyg iawn i'r hyn a elwir *lobscows* yno. Yna aeth ymlaen i ddarlunio yn fanwl i'r cadeirydd pa fodd yr oedd gwneyd *lobscows.* "Dyma ni, gwnawn y *lobscows* goreu ellir gael. Chwi gewch chwi fod yn *gîg* i ni; tua'r Eglwys yna mae y brasder, chwi wyddoch, Syr. Gwna y Methodistiaid *datws* i ni; cymerwn y Wesleyaid yn *bupur a halen;* y mae eich llygaid chwi arnaf fi am *fara,* 'bara, yr hwn a gynnal galon dyn,' yr Annibynwyr yn *fara;*" a chan droi at y gweinidog hwnw, ychwanegai, "A dyma hwn yn *ddwfr,* yn *ddwfr,* yn *ddwfr* i gyd, i wneyd y *lobscows.*" Nid llawer a glywyd o sôn am y dwfr gan y brawd hwnw yn y ddinas hono ar ol hyny.

Yr oedd Dr. Jones yn llwyrymwrthodwr zelog a chydwybodol, ac nid oedd neb o'r areithwyr yn fwy poblogaidd nag ydoedd efe ar Ddirwest. Pan yn traethu ar achos felly, yr oedd yn rhy anhawdd i neb pwy bynag lywodraethu ei beirianau chwerthin wrth wrando. Gwahoddid ef ymhell ac agos i'r cylchwyliau blynyddol. Yn un o'r cyfryw a gynnelid yn Llëyn, ar faes agored, ddiwrnod hyfryd yn yr hâf, llywyddid gan hen long-lywydd o'r ardal, yr hwn a gymerai lawn ddigon o amser, a dyweyd y lleiaf. Ar ol siarad yn faith ei hun, galwodd ar hen long-lywydd arall i areithio, yr hwn hefyd oedd yn dra hirwyntog. O'r diwedd galwyd ar Dr. Arthur Jones. Yr oedd bellach yn tŷnu at bedwar o'r gloch. Daeth ymlaen, ac heb un rhagymadrodd, dywedodd, "Byddent yn arfer gwerthu dynion er ys talm, ac i'r farchnad yr eid i brynu gwas pan fyddai eisieu un, fel y byddwch chwi yn myned i brynu ceffyl. Aeth boneddwr yno un diwrnod, a gofynodd i un caethwas, 'Beth fedri di wneyd, pe prynwn di?' 'Medraf wneyd pob peth,' atebai y dyn du. Aeth at yr ail, a gofynodd iddo yntau, 'Pa beth a fedri di wneyd, pe prynwn di?' 'Pob peth a berwch chwi i mi wneyd,' atebai yn ëofn. Aeth at y trydydd, a rhoes yr un gofyniad iddo yntau: 'Wel,' atebai hwnw, 'onid ydyw hwn am wneyd pob peth, a'r llall am wneyd pob peth a berwch chwi iddo; pa beth fydd i mi i'w wneyd felly?'" Yna, gan droi ei law at y llywydd, dywedai, "Y mae hwn wedi dyweyd pob peth;"

a chan gyfeirio ei fŷs at y siaradwr arall, "a hwn wedi gwneyd pob peth a barodd y llall iddo; nid oes yma ddim i mi i'w wneyd; ewch adref i odro." Dyna yr holl araeth a gawsant ganddo y prydnawn hwnw; ond y mae yn dêg i ni ddweyd ei fod wedi gwneyd i fyny yn iawn yn y cyfarfod hwyrol a gynnaliwyd yno, trwy roddi iddynt fesur da, dwysedig, ac wedi ei ysgwyd ac yn myned trosodd hefyd, mewn araeth o'r fath a allai efe, a neb ond efe, o ran hŷd, a llêd, a dyfnder, ac uchder, ar achlysur o fath hwnw. Llawer a gwympodd yn archolledig gan ei wawdiaeth ef, ïe gwŷr grymus lawer a waedwyd ganddo. Mewn cyfarfod a gynnelid yn achos y Fibl Gymdeithas, mewn ardal wledig, yr oeddynt wedi llwyddo i gael y person yn llywydd; un o hen bersoniaid y dyddiau gynt, cyn dyddiau y Jesuitiaid a ddaethant mor lliosog mewn cyfnod diweddarach; cyn cyfodiad y "genhedlaeth a felldithia ei thad, a'i mam ni fendithia," y rhai wedi eu magu a'u meithrin ar fronau Ymneillduaeth, a aethant i ddynwared cadw *society*, i gynnal cyfarfodydd llëygol, ac i wadu awdurdod y gweinidogion a'u bedyddiasant i wneyd hyny, gan nas gallent eu haileni, am nad oedd llaw esgob taleithiol wedi bod ar eu penau; ond yr oedd hwnw yn un o'r hen bersoniaid a ystyriai gadw y plwyf yn glir o lwynogod yn fwy peth na'i gadw yn glir o gapelydd; yr oedd ymarfogi yn erbyn yr ysgyfarnogod yn taro ei chwaeth yn well nag ymarfogi yn erbyn Ymneillduwyr, a hela petris yn fwy adeiladol iddo na hela crefyddwyr. Temtir ni i ddyweyd, rhwng cromfachau yn y fan yma, fod yr hen glerigwyr hyny wedi gwneyd llawer llai o niwed i grefydd na'r dosbarth rhagrithiol arall. Wel, yn ei anerch agoriadol, ymesgusodai yr hen berson diniwed rhag dyweyd llawer, am nad oedd y Gymdeithas hono yn gwbl *yn ei line ef;* a galwodd ar Mr. Arthur Jones, yr hwn a ddechreuodd, gan ddyweyd nad oedd yn debyg y tòrid y cyfarfod i fyny yn fuan iawn, gan fod ganddo ef gryn lawer i'w ddyweyd; o herwydd, ychwanegai, "Y mae y Gymdeithas hon yn gwbl yn fy *line i.*" Ond prin yr ydym yn meddwl i neb gael ei rostio yn fwy ganddo na myfyriwr a ddaeth trwy y wlad flynyddau yn ôl, ar daith bregethwrol. Myfyriwr oedd wedi treulio blynyddoedd yn yr Athrofa heb fyfyrio, ac o ganlyniad wedi dyfod trwyddi ac o honi yn hynod onest. Fel y gellid tybied, yr oedd yn dra diffygiol mewn talent; ac i'w wneyd yn waeth fyth, yr oedd yn isel ei foesau, ac heb fod mor loew ei fuchedd ag y dylasai. Cariai gydag ef Destament Groeg, yr hwn a ddarllenai yn y tai lle y llettŷai yn yr ardaloedd gwledig, er dirfawr adeiladaeth i'r werinos na fedrent Roeg. Yr oedd hanes ei ddrygfoes, a'i rodres, a i ddysgfrol, wedi cyraedd i Fangor o'i flaen ef; gan hyny nid oedd Dr. Jones wedi ei gyhoeddi i bregethu, ond parotôdd bregeth iawn ar ei gyfer erbyn y deuai. Prydnawn ddydd y cyhoeddiad, gwnaeth y myfyriwr ei ymddangosiad wrth ddrŵs y Dr.; aeth y forwyn i ddyweyd wrth ei meistr fod gŵr dyeithr wrth y drŵs. "Gofynwch iddo pwy ydyw e?" "Myfyriwr o ——," oedd yr ateb, yr hyn a ddygid i'r Dr. "Gofynwch iddo pa beth ydyw ei enw?" Wedi cael gwybod hyny,—"Gofynwch iddo i ba le y mae yn myned?" Wedi ateb mai dyfod yno i bregethu yr oedd. "Perwch iddo ddyfod i'r tŷ." Pan ddaeth i mewn, cymerodd yr ymddyddan canlynol le. "Myfyriwr ydych chwi?" "Ië, Syr." "O, eisteddwch, y mae arnoch chwi eisieu bwyd i'w fwyta." "Nac oes." "Nac oes! a fuoch chwi yn bwyta bwyd yn Mangor?" "Naddo." "A

ydych chwi yn gallu gwneyd heb fwyta bwyd?" "Mi fûm yn bwyta gynau." "Gynau, pa bryd, ymha le, gyda phwy?" Ar ol derbyn atebion i'r holiadau hyn, ychwanegai y Dr., "O, y mae arnoch eisieu bwyd eto; dyna fegin yn y fan yna, chwi gewch fwyd yn gynt os chwythwch chwi y tân; a fedrwch chwi chwythu tân?" Cymerodd y myfyriwr y fegin, a dechreuodd chwythu y tân, pan sylwodd y Dr., "Chwythwr gwael iawn ydych chwi; a fedrwch chwi ddim chwythu yn well na hyn? A ddarfu i chwi ddim dysgu chwythu tân yn yr Athrofa?" "Na," ebai y myfyriwr, gan deimlo ei urddas yn cael ei archolli, "nid myned i'r *Academy* i ddysgu chwythu y tân a wnaethum i." "Nage! pa beth oeddych chwi yn ei ddysgu yn yr *Academy?*" "Groeg a Lladin, a phethau felly." "Groeg a Lladin: pa beth arall oeddych chwi yn ei ddysgu yn yr *Academy?*" "*Geography* ac *Arithmetic*, a phethau felly." "*Geography* ac *Arithmetic*, a phethau felly: pa beth arall?" Saesoneg, a darllen, ac ysgrifenu; dim byd arall am wn i." "Dim byd arall: a ddarfu i chwi ddysgu *Physiology*, a *Botany*, a *Zoology*, ac *Astronomy?*" "Dim llawer." "Dim llawer: pa faint o amser fuoch chwi yn yr *Academy?*" "Chwe' blynedd." "A ddarfu i chwi ddysgu *Virgil's Æneid and Georgics?*" "A oes yma gyhoeddiad i mi heno, Syr?" "Cyhoeddiad heno: a ddarfu i chwi ddysgu *Tacitus* a *Horace* yn *Lladin?*" "Os nad oes yma gyhoeddiad, mi âf fi at Mr. Samuel." "At Mr. Samuel: a ddarfu i chwi ddysgu *Homer's Iliad*, a *Xenophon*, yn *Groeg?*" "Pa le y mae Mr. Samuel yn byw, Syr?" "Mr. Samuel yn byw: a ddarfu i chwi ddim dysgu *Algebra, Euclid, Geometry, Trigonometry*, a *higher branches of Mathematics?*" Tra yr oedd y myfyriwr yn ceisio yfed tê, daliai y Dr. i'w holi. O'r diwedd cododd ar ei draed gan ddyweyd, "Pe gwyddwn ymha le y mae Mr. Samuel yn byw, awn yno." "Wel, mi ddywedaf fi i chwi y ffordd: ewch i lawr yr *entry* yna, a thröwch ar y llaw ddê, ac ewch ymlaen nes y deuwch i olwg llŷn." "Llŷn!" gofynai y myfyriwr. "Ië, ond ni bydd dim eisieu i chwi fyned i'r llŷn, cedwch ar y llaw ddê." "Dyma fi yn myn'd, Syr." "Myn'd: na, gorphenwch fwyta, i mi gael gwybod pa faint ddarfu chwi ddysgu mewn chwe' blynedd yn yr *Academy;* a ddarfu chwi ddysgu *Newton's Principia, Hydraulics, Hydrostatics*, a *Pneumatics?*" "Yn wir, rhaid i mi fyn'd, Syr." "Myn'd, Syr: a ddarfu i chwi ddim dysgu *Chemistry*, a *Moral Philosophy*, a *Political Economy*, a *Butler's Analogy*, a"——"Dyma fi yn myn'd, Syr." "Na, aroswch;" ac wedi ei ddal o flaen y tân nes oedd yn toddi fel cŵyr, rhoes iddo amryw gynghorion; a chan fod yn well ganddo gael ei ollwng i ryw le o'r boenydfa hono, ymaith âg ef; ond y mae lle i ofni na wnaeth cynghorion y Dr., mwy na bywyd athrofaol, ddim llawer o lês i'r gŵr ieuanc disynwyr hwnw.

Er y gwaedai y gwâg ymhònwr yn ddiarbed, nid oedd neb mwy tyner o'r diniwed, pa beth bynag fyddai ei ddiffygion; nac yn fwy parod i gynnorthwyo yr anghenus o bob grâdd; rhedai ei dosturi at y tlawd a'r rheidus; ac os byddai y truan yn agos ato ef, ni fyddai heb gynnorthwywr. Pa le bynag y canfyddai awydd am wneyd daioni, a rhyw arwyddion o alluoedd at fod yn ddefnyddiol, mewn un, yr oedd ar unwaith am wneyd ei oreu er ei gefnogi; byddai yn nodedig addfwyn wrth y gostyngedig, a thyner o'r ofnus; ac ymhyfrydai rwymo doluriau yr ysig o galon. Daeth pregethwr ieuanc, tra gwahanol i'r un a grybwyllwyd

ddiweddaf, ar gyhoeddiad i Fangor; yr oedd yn lled isel ei amgylchiadau, a braidd yn llwm ei wisg. Ar ol iddo bregethu, gorchymynodd y Dr. iddo fyned i'r tŷ, a galwodd ar y cyfeillion i aros yn ol. "Yr ydym wedi gwrando pregeth dda gan y gŵr ieuanc heno—dda iawn. Yr oedd ei bregeth yn well o lawer na'i *goat*. Y mae un a all bregethu fel yna yn haeddu *coat* well; dylai ei chael; rhaid iddo ei chael;" a chan dynu o'i logell hanner sofren, a'i rhoddi ar y bwrdd, dywedodd, "Dyma hon i ddechreu, ac y mae hon yn galw am ei chyffelyb oddiwrth Mrs. —— a Mrs. ——," ac ymlaen, nes gwneyd ar unwaith, yn ddidwrf ddigon i'r gŵr ieuanc gael pâr o ddillad newyddion hardd cyn gadael Bangor. Gwyddys ei fod wedi cyfranu ugeiniau os nad cannoedd o bunnoedd i gynnorthwyo bechgyn ieuainc, tlodion, oeddynt yn ymbarotôi i'r weinidogaeth yn gystal a brodyr oeddynt mewn amgylchiadau mwy cyfyng nag ef; ac arferai wneyd hyny mewn ffordd mor ddirgelaidd ac esmwyth i deimladau y rhai a gyfranogent o'i haelioni fel na buasid yn gwybod dim am danynt oni buasai llythyrau a gafwyd yn mysg ei bapyrau ar ol ei farwolaeth. Talodd gannoedd o bunnoedd at y capel, yn gystal ac at adeiladu yr ysgoldŷ yn Mangor, heb help gan neb, ond a dderbyniodd gan ei berthynasau, ac ychydig gyfeillion personol. Yr ydys yn crybwyll hyn am fod rhai wedi awgrymu ei fod yn drachwantus am arian; ond y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng bod yn ariangar, a bod yn gynnil a darbodus. Bernir ei fod yn rhanu bob blwyddyn wedi iddo roddi y weinidogaeth i fyny, gymaint ag oedd dros ben ei gynnaliaeth ef a'i deulu.

Byddai ei ffraethineb yn brofedigaeth iddo ar brydiau yn yr areithfa, eithr ymgadwai yn rhyfedd rhag myned yn rhy bell. Pan welai ei fod wedi myned ar y pellaf, gwnai ymdrech lwyddiannus i daflu ei hun yn ol, yr hyn a'i cariai mor bell i'r eithafoedd cyferbyniol; fel yn ymwybodol o'i goll, gwnai iawn buan am dano. Y mae hyn yn cyfrif am ei arferiad gwastadol o ddyweyd rhai o'r pethau mwyaf difrifol yn y fan ar ol dyweyd pethau hynod o ysgafn. Ar ol cynhyrfu cyhyrau y wyneb i lacio i wên, cynhyrfid yr amrantau i ysgwyd er ceisio attal y deigryn, yr hyn a fethodd llawer un, yn aml, er pob ymdrech. Ar ol goglais y teimladau, ystyriai yn ddyledswydd arno roddi dyrnod nes y sobrid y mwyaf gwamal: yr oedd ei ddywediadau a'i sylwadau difrifol yn fath o fŵch diangol i ddwyn ymaith bechodau ei ddywediadau digrifol. Yn ei odfäon mwyaf hwyliog, taflai ei wrandäwyr yn fynych o'r pangfëydd mwyaf dirdynol o chwerthin, i hidlo y dagrau yn gawodydd, heb yn wybod iddynt eu hunain; a mynych y gwelid y deigryn yn treiglo cyn i'r wên orphen cilio oddiar y wyneb, nes y byddai yr olwg ar y dyrfa yn debyg i ambell ddiwrnod yn yr hâf—y gawod yn ymgymysgu â phelydrau yr haul. Yr oedd ei ddawn naturiol yn llawnach o'r digrifol na'r pruddaidd, o ganlyniad byddai ei oedfäon mwyaf hapus ef yn debycach i long yn hwylio yn erbyn y gwynt, nag i lestr yn hwylio o flaen yr awel; canys byddai ef ar yr adegau hyny yn newid yr hynt, gan hwyldroi o'r naill gyfeiriad i'r llall. Pan gariai ei arabedd ef i un cyfeiriad, tröai yn ol i'r cyfeiriad cyferbyniol, nes y cedwid pawb rhwng y naill effaith a'r llall, yn y fath gyffro fel na byddai llawer o berygl gweled neb yn cysgu ger ei fron ef; ac os gwnai, gwae iddo ef, rhoddai iddo y fath ergyd nas gallai yn rhwydd ei hanghofio. Ar brydnawn Sabbath poeth yn yr hâf, dygwyddai bod un o'i wrandäwyr wedi ei orchfygu gan gwsg;

gwisgai yr hen gyfaill hwnw ffug-wallt, yr hwn ar yr adeg y cyfeiriwn ati, oedd wedi troi ar ochr ei ben. Pregethai y Dr. y prydnawn hwnw ar ofal yr Arglwydd yn ei ragluniaeth am ei holl grëaduriaid, hyd yn nôd y brain, ac adar y tô; "ni syrth yr un gwerth hatling i'r ddaear heb eich tad chwi," meddai; "gwerth hatling oedd adar y tô; cawsech ddau am ffyrling, wrth eu prynu y ffordd ddrutaf; cawsech bump am ddwy ffyrling; ac y mae, ïe, holl wallt eich pen wedi eu cyfrif; ni syrth yr un blewyn o wallt eich pen chwi heb ei genad." A chan droi at y cysgadur, dywedai mewn tôn ychydig yn ddystawach, "Y mae yn berygl i'ch *peruke* chwi syrthio hefyd, nid oes neb yn gofalu am hono, feddyliwn, tra byddoch chwi yn cysgu." Mewn capel yn y wlad, yr oedd hen ŵr, yr hwn a eisteddai ar fainc gyferbyn a'r pulpud, yn y sêdd fawr, wedi ymollwng i gysgu. Ar ol edrych arno unwaith neu ddwy, tynodd y pregethwr ei het oddiar yr hoel oedd tu cefn iddo, a chan ei dal yn ei law, dywedai, "Yr wyf fi yn methu credu nad allai y dyn yma wrando cystal a'r un o honoch, pe bae yn effro;" a chyda hyny tarawodd ef â'i hèt yn ei ben, nes yr oedd yn neidio. "Oes, y mae gan y dyn ddau lygad bolwyn braf, pe cadwai hwy yn agored." Ac yn agored y buont hyd ddiwedd yr oedfa hono.

Meddiannai Dr. Jones gymhwysder neillduol i wneyd i'w wrandäwyr ddeall yr hyn fyddai ganddo dan sylw; mynai efe iddynt ddeall; er gwneyd yn sicr o hyny, ymostyngai i ddefnyddio cymhariaethau oeddynt, ar brydiau, yn ymddangos i rai o chwaeth goethedig, yn rhy isel; ond yn hyn, gellir dyweyd am dano ei fod yn ymostwng i orchfygu. Nid mynych y clywsom ef yn arddangos diffyg chwaeth, er y cerddai weithiau gyda'r ymylon; os byddai yn chwerthinus, ni fyddai yn amddifad o'r arddunol. Wrth sôn am burdeb y Cyfryngwr, dywedai na buasai waeth i'r temtiwr fyned gyda'i gàreg dân a'i fferis uwchben y môr; nid oedd yn y Gwaredwr glân ddim *tinder* i dderbyn ei wreichion. "Tywysog y byd hwn sydd yn dyfod, ac nid oes iddo ddim ynof fi." Pan yn sôn am ymosodiadau y diafol ar y saint, dywedai, "Peth i'w ddysgwyl ydyw hyny, na fydded dyeithr genych. Nid yw y môr-ladron byth yn myned i ddyfetha eu pylor ar *gwch cèrig calch.* Caiff hwnw lonydd i fyned i'w hynt. Ond pan welant y llong odidog yn dyfod adref o'r India, yn llwythog o nwyddau gwerthfawr, gwnant eu goreu er cael hono i'w meddiant. Y mae llawer yn y byd hwn nad ydyw yn werth gan y diafol ddyfetha ei *bowdr* arnynt." Yr ydoedd yn dra hyddysg yn nghynnwysiad yr Ysgrythyrau, a gwnai y defnydd goreu o'r rhanau hanesyddol o honynt, er egluro y mater fyddai ganddo dan sylw. Wrth sylwi ar ofal yr Arglwydd am lestri trugaredd, darluniai lestri tŷ yr Arglwydd y rhai a ddygasai Nebuchodonosor allan o Jerusalem, ac a roddasai efe yn nhŷ ei dduwiau ei hun, yn cael eu hanfon yn ol. "Dacw y dydd wedi dyfod, a Zorobabel yn dal y rhestr yn ei law, lle yr oedd enw a nifer yr holl lestri wedi eu hysgrifenu yn fanwl; a dyma Mithredath y trysorydd yn eu dychwelyd yn ol yn ofalus, gan eu rhifo i Zorobabel. Deg ar hugain o gawgiau aur sydd yma, medd Mithredath. Deg ar hugain; ïe, dyna hwy yn iawn, medd Zorobabel. Mil o gawgiau arian, yn y fan yma, medd Mithredath. Ië, felly y maent i fod, medd Zorobabel. Naw ar hugain o gyllill, ebai Mithredath. *Right,* medd Zorobabel. Deg ar hugain o orflychau aur, medd Mithredath. Deg

ar hugain; ïe, dyna hwy yn eu cyfrif, medd Zorobabel. Pedwar cant o ail fath o orflychau arian, medd Mithredath. Y mae yma rhy ychydig; mae deg ar ol felly, medd Zorobabel; rhaid iddynt fod yn bedwar cant a deg, yn ol fy *list* i. O, dyma hwy, ddeg eraill; pedwar cant a deg. Ië, dyna hwy yn iawn, medd Zorobabel. Mil o lestri eraill, medd Mithredath. Mil; ïe, yn gywir, mil oedd i fod, medd Zorobabel; y mae y canwyllbren, a'r thuserau, a'r llwyau, a'r gefeiliau, a'r saltringau, yn y cyfrif yna. Ië, dyma i ti *receipt* am danynt, Mithredath, ebai Zorobabel. Pob peth yn iawn. Daw llestri y deml adref i gyd, dônt adref o Babylon y bedd, derbynia ein Zorobabel ni hwy o law y bedd, fel na chaiff gadw gymaint a gefail, na llwy; ni chollir un!" Darluniai Siméon, pan dan gynhyrfiad yr Ysbryd Glân, yn mynu myned i'r deml er gwaethaf pawb yn y tŷ. Yr oeddynt wedi rhyfeddu at yr hen ŵr, yr hwn oedd yn arfer bod mor hynaws a hawdd ei drin, yn penderfynu myned er pob ymresymiad, ei fod yn hen, a musgrell, nad allai ddal y daith, ac nad oedd yr Arglwydd yn dysgwyl i'w fath ef fyned i dŷ gweddi, y deuai yr Arglwydd â'r fendith iddo i'w dŷ ei hun, gan ei fod yn gwybod nad allai efe fyned, yn yr oed, ac yn y llesgedd, yr oedd dano. Na; estyn fy esgidiau i mi, Mair. Ioan, pa le y mae fy ffon i? Estyn fy het i mi. Mair, cau gareiau fy esgidiau. Pwy ddaw i afael yn fy llaw i'm tywys i'r tŷ sanctaidd? Mynai fyned, a'r bobl wrth ei weled yn ymlwybro o heol i heol, yn edrych arno gyda syndod; ond bychan wyddai y bobl ddifeddwl fod y Messïah addawedig wedi dyfod. Pan gyrhaeddodd y gŵr cyfiawn a duwiol i'r deml, gwelai ei bod yn llawn, ond gwnai pawb ffordd glir iddo ef fyned ymlaen at yr allor; ac wedi cyraedd yno, er syndod i Joseph a Mair, y mae yr hen bregethwr, wrth fynd i bregethu am y tro olaf yn estyn, nid at y llyfr, ond yn cymeryd ei destun—testun byw—yn ei freichiau; ac wedi llefaru wrth Mair a Joseph, yn troi at y gynnulleidfa, ac yn dechreu llefaru ar y testun oedd o flaen ei lygaid, ac yn ei freichiau, llefaru nes i'r lle gael ei lanw â pharchedig ofn: "Wele hwn a osodwyd yn gwymp ac yn gyfodiad i lawer yn Israel, ac yn arwydd yr hwn y dywedir yn ei erbyn, fel y dadguddir meddyliau llawer o galonau;" a chan droi at Mair, dywed, "A thrwy dy enaid di dy hun yr â y cleddyf hefyd." Dacw waith Siméon wedi ei orphen—dyma ddyddanwch yr Israel, yr oedd wedi bod yn dysgwyl am dano cyhyd, wedi ymddangos—dyma addewid Duw, na welai efe angeu cyn gweled Crist yr Arglwydd, wedi ei chyflawni—dyma weddi y ffydd wedi ei hateb—a'r gŵr cyfiawn a duwiol yn cânu, "Yr awrhon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd, yn ol dy air; canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth, yr hon a barotöaist ger bron wyneb yr holl bobloedd; goleuni i oleuo y cenhedloedd, a gogoniant dy bobl Israel."

Y mae ein gofod ar ben, neu gallasem roddi engreifftiau lawer o'i sylwadau tarawiadol, ond gwasanaethed yr hyn a gofnodwyd. Credwn ei fod wedi dyweyd mwy o bethau a gofir, ac a draddodir o oes i oes, na nemawr o bregethwyr Cymru. Gallasai ambell un annghyfarwydd âg ef dybied mai dyn masw, gwâg, ysgafn, oedd y gŵr a yrai dorfeydd i siglo gan chwerthin, ond ni bu erioed fwy o gamsyniad. Un yn ofni Duw yn fwy na llawer oedd Dr. Arthur Jones. Y mae naws grefyddol yn rhedeg trwy ei lythyrau, a'i holl gyflawniadau; er nad oedd neb a fwynhâi ychydig ddigrifwch diniwed yn fwy nag ef, eto, cadwai o fewn

terfynau; ni ddeuai dim halogedig allan o'i enau, a gallai efe heb un arwydd o ymdrech, droi pob peth i wisgo gwêdd grefyddol. Wrth ei weled mor ddigyffro â delw fynor, pan y byddai pawb o'i amgylch wedi colli pob llywodraeth arnynt eu hunain, gan chwerthin weithiau, a wylo bryd arall, gallesid tybio mai Stoic perffaith ydoedd, heb feddu un teimlad ei hun, ag y gellid ei gyffwrdd; ond anfynych y gwelwyd neb yn fwy tyner. Gwelwyd ef yn gollwng ei ddagrau heilltion ar gauad arch aml gyfaill cyn i'r bedd gau arnynt; a safai yn hen ŵr pedwar ugain mlwydd, fel Barzilai, uwchben bedd ei fam, gan wylo fel plentyn.

Yr oedd Dr. Arthur Jones yn ŵr mawr fel pregethwr—yn fawr fel darllenwr, fel un a allai osod allan y synwyr wrth ddarllen—ond nid oedd yn fwy mewn dim nag fel gweddïwr. Nid oes neb a fu yn gwrando arno yn gweddïo, nad ydoedd ar unwaith yn argyhoeddedig mai "mynych y cyrchasai efe yno." Mor barchus, eto mor hyderus. Ystyriai mai at orsedd yr oedd yn agoshâu, eto cofiai mai ei Dad oedd yn eistedd arni. Tra y parchai ei Dad fel Brenin, ymddyddanai â'r Brenin fel ei Dad, gan gredu y caffai beth bynag a ofynai, os gwnai les iddo. Pan oedd un anwyl iawn genym ni, a chyfaill hoff iawn gan Dr. Arthur Jones, ar ei wely angeu, galwai yn fynych i'w weled. Y dydd cyn ei farwolaeth, aeth y Dr., yn ol ei arfer, yn syth i'r ystafell, ac ymneillduodd mab y clâf, ar ei ddyfodiad ef i mewn; yr oedd y dyoddefydd wedi myned yn rhy bell i'r glŷn i allu adnabod neb erbyn hyn, ac ymddangosai mewn poen fawr yn tŷnu ei anadl. Plygodd Dr. Jones ei liniau am y tro diweddaf wrth erchwyn gwely ei gyfaill, a chlywai yr hwn a safai y tu arall i'r drŵs ef yn daer mewn gweddi: "Os gweli yn dda, gwna hi yn esmwythach na hyn iddo ddyfod i'r afon, er mwyn dy Fab sanctaidd Iesu Grist, Amen." A sylwyd mai prin y cafodd y Doctor gyraedd ei dŷ, cyn i bob caethiwed gilio; ac anadlodd y clâf am y deuddeng awr gweddill o'i einioes mor esmwyth a baban. Credwn bod y ddau wedi cydgyfarfod na bydd yn rhaid ymadael mwy. Gofynwyd yn fynych pa fodd na buasai un mor bur ei gymeriad, mor gu ei gyfeillgarwch, ac mor gymwynasgar ei duedd, yn fwy yn mynwes ei frodyr. Buom ninnau yn rhyfeddu at hyn; ond ein barn ydyw, y byddai weithiau yn rhy bersonol ei gyfeiriadau, ac y mae lle i ofni ei fod trwy hyny wedi rhoddi tramgwydd pryd na fwriadai, a thrwy hyny wneyd niwed pan yr amcanai efe wneyd daioni, fel y dygwydd yn rhy fynych gyda chymeriadau mwythaidd fel yr eiddo efe. Gorphenodd ei yrfa lafurus mewn oedran têg, wedi cyraedd pedair blwydd a phedwar ugain; a pha eiriau mwy prïodol iddo na'r rhai a ddyferasant ddiweddaf dros ei wefusau,—"DAIONI A THRUGAREDD YN DDIAU A'M CANLYNANT HOLL DDYDDIAU FY MYWYD."

# Y GAREG FILLDIR.

I'r ffyddlawn dyst diwyrni ar fin y bri'ffordd sai',
Os mŷn yr awen eilio rhyw ganig fèr, pa fai?
Os càreg yw y testun, mae yn y gàreg dân,
A chyda rhai o'r gwreichion dymunwn dwymno 'r gân.

Sefydlog Gareg Filldir, wrth draethu 'r gwir heb lèn,
Bu 'stormydd hir flynyddau yn poeri am ei phen;
Pob awel sy 'n ei gwawdio am feiddio dal ei thir;
'R un fath yw tynged llawer sy 'n meiddio d'weyd y gwir!

Ni edwyn Càreg Filldir un dyn yn ol y cnawd;
'R un fath y mae yn cyfarch pendefig a thylawd;
Rhy annibynol ydyw i blygu pen i un,
A digon gostyngedig i siarad â phob dyn.

Hi welodd genedlaethau yn tramwy 'n ol a blaen,
Er hyny, 'r un, drwy 'r oesau, yw pregeth ddystaw 'r maen;
Gwŷn fyd na chai 'r anwadal, sy 'n troi i'r chwith a'r ddê,
Egwyddor Càreg Filldir i'w gadw yn ei le!

Ond er mai 'r un yw pregeth y gàreg i bob oes,
Mae adsain ein teimladau i'w geiriau, 'n aml, yn groes;—
Dylanwad amgylchiadau ar ansawdd teimlad dyn,
A deifl i'r syml lythrenau ei feddwl ef ei hun.

Un filldir i'r brif ddinas," os hyny fydd ei hiaith,
"Can milldir oddicartref," medd un, a'i rudd yn llaith;
"Un filldir i'r brif ddinas," medd arall, â gwêdd lòn,
"Mae hyfryd swynion cartre 'n byrhâu y filldir hon."

"Un filldir! un berffeithia fy nhaith o gylch y byd;
Un filldir! a chaf wasgu y llaw a siglai 'm cryd!
Caf wel'd fy nhad a'm brodyr,—cofleidio Gweni lòn,—
Yw ystyr cenadwri y gàreg filldir hon."

Un arall rhwng dau swyddog ddaw heibio 'r difrif dyst,
"Un filldir! yna carchar," sisiala yn ei glust;
Un filldir a'i chyfeiriad i'r crogbren erch, yn syth,
O! mŷnai fod y gofod fesura cy'd â byth!

Fel hyn mae amgylchiadau fel yn amrywio iaith
Y gàreg i'r fforddolion ânt heibio ar eu taith;
Os bydd ein hwyneb adref, gwnawn gyfri 'r ffordd ymlaen,
Ond os yn groes, mae 'r teimlad am gyfri 'n groes i'r maen.

Rhyw daith dros amser ydyw ein heinioes yn y byd,
Yn pwyntio tua'r bythol, fel ffrŵd oddiwrth y crŷd;
Mae terfyn y blynyddau, fel Cèryg Milldir sŷn,
Yn mesur, wrth ffigyrau, ein hymdaith yn y glŷn.

Rhai deimlant mor gartrefol yn anial bywyd brau,
Na fynant byth ymholi i b'le maent yn nesâu,
A'u golwg tua 'r ddaear mae llïaws dynolryw,
Yn teithio ymlaen heb sylwi ar Gèryg Milldir Duw.

Er hyny, yn rhifnodau 'r blynyddau, câi pob dyn,
Ond sylwi, bregeth gymhwys i'w gyflwr ef ei hun;
Pe ba'i y cablwr beiddgar yn sylwi ar eu hiaith,
Ond odid na newidiai gyfeiriad erch ei daith.

Mae 'r rhifnod "deg a thriugain," yn ymdaith einioes frau,
Yn awgrym daroganol i elyn Duw, 'n ddïau:—
"Prin gam ymlaen, ymdeithydd, mae bythol gartref cri,
Ac angeu, barn, a dystryw, yn dysgwyl wrthyt ti!"

Ond ystyr tra gwahanol, i feddwl plentyn Duw,
Awgryma 'r "deg a thriugain," rhyw Gàreg Filldir yw,
Yn d'weyd i'r blin bererin, gerllaw fod tŷ ei Dad;
A'i ffydd a ddring i Nebo i weled cyrau 'r wlad.

Mae amser fel llifeiriant yn cludo 'r oesau i ffwrdd,
Ac ar ei ffordd ni welir, byth, ddau yn dygwydd cwrdd;
Ai cysgod gwae neu wynfyd ar orwel oes ymdaen,
Arwyddair amser ydyw—"Ymlaen, ymlaen, ymlaen!"

Er hyn, amrywia barnau 'r fforddolion am y daith;
I syniad gŵyr yr ieuanc, mae 'n edrych yn lled faith;
Yr "ugain oed" i'w olwg, sydd draw fel seren gain,
Ac amser eisieu 'spardyn i'w yru 'n gynt yn mlaen.

Gan farnu rhediad amser yn araf, araf iawn,
At seren ei ddysgwyliad yr "ugain oed" yn llawn,
Daw heibio i fil o feddau, gan ymson wrth 'i hun—
"Ond cyraedd acw, hawliaf y teitl *o fod yn ddyn.*"

Gan dybio 'i fod yn sefyll yn ngorsaf "*bod yn ddyn,*"
Cyrhaedda 'r deg ar hugain heb wybod iddo 'i hun;
A llithra ymlaen, heb aros,'i bwynt y "deugain oed,"
Nes teimla braidd y ddaear yn llithro dan ei droed.

Ei ofid yn y boreu oedd eisieu *bod yn ddyn*,
Ond newid ei ofidiau a gaiff fel daw yn hŷn;
Caiff deimlo pwysau gofal yn llethu 'i ysbryd iach,
Nes dïanc aml ochenaid na buasai 'n *blentyn bach*.

Fel hyn o hyd, i'r meddwl, ffordd ddyeithr amser sy,'
Rhêd dysgwyliadau 'r ieuanc i'r pell ddyfodol du,
Tra 'r hen gofleidia 'r adgof am bethau heibio aeth,
Gan dybied y presennol na'r dyddiau gynt yn waeth.

Mae pobpeth mewn symudiad,—ymfuda 'r ddaear faith,
A'r sêr yw 'r Cèryg Milldir ddangosant hyd ei thaith:
O! f'enaid! tithau ydwyt yn brysio i ryw le,
Darllena 'r Cèryg Milldir, a wyt ar ffordd y ne' ?

---

# Y GYDWYBOD.

"Cydwybod yw y rheswm a ddefnyddir ynghylch cwestiynau o dda a drwg, ac â'r hwn y mae yn cydfyned y teimladau o gymeradwyaeth ac o anghymeradwyaeth, y rhai, wrth natur dyn, sydd yn glynu yn annattodadwy wrth ein syniadau am y da a'r drwg."—*Whewell.* "Yr egwyddor mewn dyn sydd yn cymeradwyo neu yn condemnio ei galon, ei dymher, a'i weithredoedd. Dyma ystyr brïodol y gair, er y defnyddir ef weithiau i gynnwys mwy."—*Butler.* "Yr ymwybyddiaeth o'n bod ni wedi gweithredu yn gyfatebol neu yn groes i gyfarwyddiadau y gynneddf foesol."—*Adam Smith.* "Ein barn ein hunain am uniondeb neu ddrygioni ein gweithredoedd ein hunain."—*Locke.* "Gwybodaeth am ymddygiad gyda golwg ar ddeddf y da a'r drwg."—*Fleming.* "Y gydwybod ydyw y meddwl yn edrych ar ddeddf foesol, ac yn cyhoeddi barnau sydd yn cynnyrchu teimladau."—*M'Cosh.* "Deddf yn y meddwl sydd yn rheol y da a'r drwg."—*Charnock.* "Y gynneddf hono trwy ba un yr ydym yn canfod nodwedd foesol gweithredoedd, a thrwy yr hon yr ydym yn alluog i feddu teimladau penodol mewn perthynas iddynt."—*Wayland.* "Y teimlad sydd yn ein rhwystro i gelu ein pechodau, ond sydd yn ein llusgo ger bron brawdle Duw."—*Calvin.*

Dyma y prif ddarnodiadau o'r gynneddf bwysig ac uwchraddol hon yn y meddwl dynol. Ac yn gydweddol â'r diffyniadau hyn, mae y gydwybod yn cael ei galw yn "gynneddf foesol, barn foesol, y gallu o ganfyddiad moesol, teimladrwydd moesol, y teimlad o ddyledswydd;" a chan yr henafiaid, "y teimlad o'r hyn sydd onest ac iawn *(sensus honesti et recti)*." Mae gweithrediad y gallu hwn yn cyfranogi o'r meddyliol a'r teimladol; fel

y mae yn cyhoeddi barn ar weithredoedd neu gymeriadau, ymdebyga i reswm; fel y mae yn teimlo naill ai yn ddedwydd neu yn annedwydd mewn perthynas iddynt, mae yn gyffelyb yn ei weithrediad i'r galon. Ac yn gymaint a bod athronwyr wedi cyfyngu eu sylw i'r naill neu y llall o'r gweddau hyn ar weithrediad y gydwybod, y maent wedi ymranu yn ddwyblaid, un yn dal y golygiad deallol, a'r llall yn dadleu dros y golygiad teimladol (*sentimental*). Ond yn ddïau y syniad cywiraf ydyw yr hwn sydd yn cymeryd i mewn y ddau olygiad. Mae y gydwybod wrth gymeradwyo yn dadgan barn ffafriol am, ac yn edmygu yr hyn sydd o dan ei hystyriaeth; ac y mae ei hanghymeradwyaeth yn cynnwys condemniad barn, a grâdd mwy neu lai o gashâd, yr hyn sydd yn brïodol yn unig i deimlad. Dynodir y gynneddf hon gan un awdwr yn *gynneddf y galon* ac yn *synwyr y deall*. Mae y rhai sydd yn dadleu mai teimlad yw y gydwybod, megys Brown a Mackintosh, yn gorfod sôn am benderfyniadau a barn y gynneddf hon. Teimladau o gymeradwyaeth neu o anghymeradwyaeth sydd yn cyfansoddi gwaith y gydwybod, yn ol yr awdwyr hyn. Eithr y mae cymeradwyo neu anghymeradwyo yn cynnwys gweithred o farn. Gan hyny, "nis gallwn," fel y dywed Butler, "ffurfio syniad am y gynneddf hon heb gymeryd i mewn farn." Mae enw y gynneddf, cydwybod, neu fel y mae yn y Saesoneg a'r Ffrancaeg, a'r ddwy iaith glasurol, cydwybodaeth (*conscientia, συνείδησις*), ar unwaith yn dangos fod y gallu hwn yn gweithredu yn ddeallol; fod yma wybodaeth yn gystal a theimlad. Ac o'r tu arall, mae y teimlad neillduol sydd yn ymgodi ar weithrediad y gydwybod y fath fel nas gellir rhoddi cyfrif am dano ond fel cynnyrch cynneddf benodol a gwahanol i alluoedd ereill yr enaid.

Beth gan hyny yw y farn mae y gydwybod yn ei dadgan? a'r teimlad a brofa neu a gynnyrcha? I ddechreu gyda'r rhan gyntaf o'r gofyniad, y syniad a fynegir gan y gynneddf hon am y weithred, neu'r cymeriad, neu yr agwedd meddwl a ddygir ger bron ei sylw ydyw, mai *da neu ddrwg ydyw*. Dadganiad rheswm am wrthddrychau ei sylw ydyw, eu bod yn ffeithiau neu nad ydynt, yn wirionedd neu yn anwiredd. Y llygad sydd yn canfod lliwiau, a'r glust sydd yn gwerthfawrogi seiniau. Nid yw y glust yn mwynhâu lliwiau, mwy nag y mae y llygad yn gweled seiniau. Felly gwaith y rheswm yw canfod gwirionedd, tra mai gorchwyl y gydwybod yw adnabod daioni. Mae y da a'r gwir mor wahanol i'w gilydd ag ydyw sŵn a lliw, neu gonglau triongl a'i linellau. Fel yn yr esiampl ddiweddaf hon y maent yn gyffredin gyda'u gilydd, yn cyfarfod ac yn cyfuno yn yr un gwrthddrych. Rhaid i adeilad bob amser wrth furiau ac onglau; ond y mae gwirioneddau yn bod nad ydynt na da na drwg. Mae yn wir, er engraifft, fod pump a phump yn ddeg; eithr nid oes y gronyn lleiaf o ddaioni moesol yn perthyn i'r gwirionedd hwn. Felly yr un modd y gellir dyweyd am holl wirebau a darganfyddiadau meintonaeth, ac am holl ffeithiau daearyddiaeth a seryddiaeth. Ac o'r tu arall, y mae yn bosibl i'r meddwl dynol gymeradwyo fel peth da, yr hyn nad yw y rheswm yn ei amgyffred fel gwirionedd. Fod gwahaniaeth gan hyny rhwng y gwir a'r da sydd eglur. Fel y mae yn annichonadwy gwneuthur sŵn o liw, neu i'r gwrthwyneb, felly nis gellir dadansoddi y gwir i gael allan y da, na thoddi y da i'r gwir. Maent yn ddau syniad perffaith a hollol wahanol. O ganlyniad,

naturiol yw dysgwyl y canfyddir hwynt gan ddau allu cwbl wahanol yn yr enaid. Y rheswm sydd yn canfod y gwir, a'r gydwybod sydd yn canfod y da. Mae y syniad o'r da felly yn wreiddiol i'r gydwybod, a'r un modd hefyd y syniad o'r drwg. Dyma fel yr ysgrifena M'Cosh ar y pen hwn:—"Yr ydym yn ystyried gosodiad meintonol, ac yn mynegu ei fod yn wir; yma cydnabyddir ar bob llaw fod barn. Yr ydym yn edrych y fynyd nesaf ar weithred greulawn, angharedig; ac yr ydym yn dadgan ei bod yn ddrwg. Yn awr, yn y naill achos fel yn y llall, mae barn o eiddo y meddwl. Mae yn wir, yn y ddau achos, fod y barnau yn cael eu cyhoeddi yn ol egwyddorion neu ddeddfau tra gwahanol—mor wahanol ag i'n cyfiawnhâu wrth siarad am y gydwybod fel yn wahanol oddiwrth y rheswm. Mae yn gwbl amgyffredadwy y gallai y meddwl feddu rheswm, a gwahaniaethu rhwng y gwir a'r gau, ac eto fod yn analluog i wahaniaethu rhwng daioni a drygioni. Mae hawl genym, gan hyny, i ddal nad ydyw tŷnu gwahaniaethau moesol yn gynnwysedig yn ymarferiad syml y rheswm. Mewn gair bŷr, mae y gydwybod yn gynneddf wahanol yn y meddwl oddiwrth y deall. Rhaid i ni ddal ei bod yn syml ac annosranadwy, hyd y cyfarfyddwn â dadansoddiad llwyddiannus o hòni i'w helfenau. Yn absennoldeb y cyfryw ddadansoddiad, yr ydym yn dal nad oes elfenau symlach yn y meddwl dynol a roddant i ni y drychfeddyliau o'r moesol dda a drwg, o rwymedigaeth foesol ac euogrwydd, o haeddiant ac anhaeddiant. Cymysgwch a dadgymysgwch bob drychfeddwl arall fel y mynwch—cymdeithaswch hwynt â'u gilydd fel y galloch—ni roddant byth y drychfeddyliau a gyfeiriwyd atynt, mor neillduol ac mor llawn o ystyr, heb gynneddf wedi ei phlànu yn y meddwl at yr amcan penodol hwn."

Ond i fyned ymlaen. Beth yw y teimlad, neu y dosbarth o deimladau a brofir neu a gynnyrchir gan y gydwybod? Tra mae gweithrediad y gynneddf hon yn cynnwys mwy na "dosbarth o deimladau" (chwedl Mackintosh), mae ein hymwybyddiaeth yn dadguddio yn eglur fod teimladau o fath neillduol yn ymgodi ynom fel yr edrychwn ar weithredoedd moesol, mewn perthynas i'r rhai yr ydym yn dadgan y farn eu bod naill ai yn dda neu yn ddrwg; os yn dda, yr ydym yn eu cymeradwyo ac yn eu hoffi; os yn ddrwg, yr ydym yn eu condemnio, ac i fesur mwy neu lai yn eu casâu. Nid yr ystyriaeth o'r pleserus a'r poenus yn unig sydd yn cyffwrdd â llinynau tynerwch y galon, ond y mae edrych ar y daionus a'r drygionus yn cynhyrfu teimladrwydd yr enaid, a hyny nid ar gyfrif fod y naill yn bleserus a'r llall yn boenus, ond o herwydd fod y naill yn dda a'r llall yn ddrwg. I brofi hyn yn anwrthwynebol, nid oes genym ond cofio fod y drwg yn fynych yn ymddangos yn bleserus i olwg lygredig y ddynoliaeth, tra mae y da, weithiau, yn ymddangos yn boenus. Eithr y mae y gydwybod, yn ddieithriad, yn teimlo yn foddhäol gyda golwg ar yr hyn y mae yn ei farnu sydd dda, tra mae yn teimlo i'r gwrthwyneb mewn perthynas i'r hyn y mae barn y gynneddf wedi ei gondemnio. Mae cyfansoddiad y gallu dan sylw yn hyn yn cyfateb i ansawdd gyffredinol y meddwl dynol. Wedi i'r meddwl ganfod gwrthddrych y tu allan iddo ei hun, mae yn profi rhyw fath o deimlad mewn perthynas iddo, ac y mae y cyfryw deimlad yn y cyffredin yn cynnyrchu dymuniad, os nad penderfyniad ewyllys. A dyma yr eglurhâd sydd wrth wraidd y dosraniad o'r ffeithiau meddyliol

i ganfyddiadau, teimladau, ac ewyllysiadau. Buasai felly yn annghydweddol â'r cyfansoddiad meddyliol fod yn yr enaid gydwybod yn barnu nodweddau moesol ein bwriadau a'n gweithredoedd, heb hefyd gynnyrchu teimladau priodol gyda golwg ar wrthddrychau ei sylw. Ac os creffir yn fanwl, mae cymaint gwahaniaeth rhwng y teimlad a gynnyrchir gan farn y gydwybod, â'r ysgogiadau a brofwn wrth ystyried y pleserus neu y poenus, ag sydd rhwng y syniadau am y da a'r gwir. Gwelir hyn amlycaf yn ein dyfarniadau ar ein gweithredoedd a'n hamcanion ein hunain. Yn y cysylltiad hwn, yr ydym yn profi ofn a dychryn, fel pe byddem mewn perygl, a gofid trwm, megys pe byddem mewn trallod dwys. Ac fel y mae y galon yn gyffredin yn blaenllymu y deall, felly mae teimladau y gydwybod yn cadarnhâu ei barnau, ac yn tywallt gwrês iddynt, nes eu troi yn symbyliadau a chymhellion i weithredoedd. Dyma un o fanteision y wêdd deimladol ar y gydwybod. Mantais arall ydyw, yn gymaint a bod y teimlad o gymeradwyaeth yn deimlad boddhäol a phleserus, fel y sylwa Cousin yn dra hapus, mae yn gwneuthur yn deimladwy i'r enaid y cysylltiad rhwng rhinwedd a dedwyddwch. A gellir ychwanegu, yn gymaint a bod y teimlad o anghymeradwyaeth yn fwy neu lai annedwydd, mae y teimladau a ddeffröir yn y gydwybod wrth farnu gweithredoedd moesol yn awgrymu hefyd y berthynas rhwng y drwg a'r poenus.

Y mae y gynneddf hon yn gyffredinol. "Mae iawn reswm ei hun yn ddeddf gydnaws â theimladau natur, yn wasgaredig ymhlith pawb dynion, yn unffurf a thragywyddol, yn ein galw yn awdurdodol at ein dyledswydd, ac yn gwahardd yn bendant bob troseddiad arni. Ac nid yw yn llefaru un iaith yn Rhufain ac arall yn Athen, yn gwahaniaethu o le i le, ac o amser i amser; ond y mae yn anerch yr holl genhedloedd, ac ymhob oes, yn derbyn ei hawdurdod oddiwrth Benllywydd cyffredinol yr holl fyd, ac yn dwyn adref ei diffyniadau i bob mynwes trwy y gosbedigaeth anocheladwy a weinydda ar droseddwyr." —*Cicero*. Mae Hume yn galw y sawl a wadant y ffaith o wahaniaethau moesol yn "ymbleidwyr hocedus;" ac nis gall efe ddychymygu am grëadur dynol yn credu yn sobr fod pob cymeriad a gweithred fel eu gilydd yn haeddu parch a serch pawb. Ac yr ydym yn cael fod yr oll o'r hen sectau athronyddol, oddigerth yr Epicurëaid, yn gwahaniaethu rhwng y cymhellion o'r teimlad o ddyledswydd ac o hunan lês, rhwng yr onest (*honestum*) a'r defnyddiol (*utile*). Nis gall dim fod yn eglurach na'r gwahaniaeth hwn. Un peth yw dyweyd, Dyma fy mantais; peth arall hollol wahanol yw mynegu, Dyma fy nyledswydd. Ac y mae egwyddor yr ail o'r dadganiadau hyn wedi gwreiddio yn ddwfn yn y natur ddynol. Mae y gydwybod felly yn gynneddf gynenid. Mae yn rhan hanfodol o gyfansoddiad y natur ddynol.

Nid yw ei barnau a'i theimladau, fel y dengys Wayland yn y bedwaredd ran o'r bennod gyntaf yn ei waith rhagorol ar elfenau Moeseg, yn agweddiad o ddrychfeddyliau eraill, nac yn gynnyrch barn, nac yn deillio oddiwrth gymdeithasiad meddyliau, nac yn cael eu cymeryd oddiwrth y drychfeddwl am y cyfanswm mwyaf o ddedwyddwch; ond y maent yn wreiddiol, fel y crybwyllwyd eisoes, i gynneddf bennodol yn yr enaid. Y mae y syniad am y da a'r drwg yn un o egwyddorion cyntaf y meddwl dynol. Nodweddion y cyfryw egwyddorion ydynt, cyffredinolrwydd,

angenrheidrwydd, a hunanamlygrwydd. "Mae yn hunanamlwg fod anniolchgarwch yn ddrwg. Mae y meddwl o angenrheidrwydd yn credu fod gwahaniaeth rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder, rhwng y da a'r drwg. Mae pawb yn meddu cydwybod fel y maent yn meddu rheswm." —*Mc'Cosh.* Ac fel prawf mai nid o ddiffyg gwybodaeth a choethder yr ydym yn ymdeimlo â'r syniad hwn, po fwyaf helaeth ein gwybodaeth a phuraf ein chwaeth, egluraf oll yw barnau y gydwybod, a dyfnaf oll yw ei theimladau o gymeradwyaeth neu o anghymeradwyaeth. Ac o'r tu arall, mae yn rhaid llwyr ddinystrio ein dynoliaeth cyn y gellir llwyr ddilëu argraffiadau y synwyr moesol. "Bydded dideimladrwydd dyn pa mor fawr bynag," medd Hume, "y mae yn rhaid ei fod yn cael ei gyffwrdd yn fynych gan ddelwau y DA a'r DRWG; a pha mor ystyfnig bynag y byddo ei ragfarnau, nis gall lai na sylwi fod eraill yn agored i'r unrhyw argraffiadau. Yr unig ffordd, gan hyny, i argyhoeddi gwrthwynebydd o'r fath hwn, ydyw ei adael iddo ei hun. Oblegid, wrth gael nad oes neb yn dal i fyny ddadl âg ef, mae yn debygol y bydd iddo yn y diwedd, o hono ei hun, oddiar flinder yn unig, ddyfod drosodd i ochr synwyr cyffredin a rheswm." Ond yr Ysgrythyr sydd yn profi yn egluraf gyffredinolrwydd y gynneddf hon, yn gymaint a bod y Bibl yn cynnwys tystiolaethau hanesyddol i'w gweithrediadau ymhob oes ac ymhlith pob dosbarth o ddynion. Eu cydwybod barodd i Adda ac Efa ymguddio ac ofni, pan glywsant lais yr Arglwydd yn rhodio yn yr ardd, wedi iddynt gyflawni eu trosedd cyntaf. Yr ydym yn clywed llais y gydwybod yn ngeiriau anobeithiol Cain. "Mwy yw fy anwiredd nag y gellir ei faddeu. Gwibiad hefyd a chrwydiad fyddaf ar y ddaear; a phwy bynag a'm caffo a'm lladd." Mae yr un llais yn sibrwd yn ngeiriau ein cyndeidiau ar wastadedd Sinar, pan yn annog eu gilydd i ymgymeryd â'r anturiaeth o adeiladu tŵr Babel: "Moeswch, adeiladwn i ni ddinas, a thŵr, a'i nèn hyd y nefoedd, a gwnawn i ni enw, rhag ein gwasgaru ar hyd wyneb yr holl ddaear." Ofni yr oeddynt y posiblrwydd o gael eu goddiweddu gan ail ddiluw; yr oedd eu cydwybod yn mynegu iddynt nad oeddynt yn ddim gwell na'r cynddiluwiaid. Yr un awdurdod eilwaith sydd yn llefaru yn yr ymddyddan rhwng brodyr Joseph, wedi iddynt gael eu carcharu gan eu brawd yn yr Aipht: "Dïau bechu o honom yn erbyn ein brawd; oblegid gweled a wnaethom gyfyngdra ei enaid ef, pan ymbiliodd efe â ni, ac ni wrandawsom ef; am hyny y daeth y cyfyngdra hwn arnom ni." Wrth droed mynydd Sinai, ar achlysur rhoddiad y gyfraith, dyma genedl gyfan o bobl yn dywedyd wrth Moses eu harweinydd, "Llefara di wrthym ni, a nyni a wrandäwn; ond na lefared Duw wrthym, rhag i ni farw." Paham y rhaid iddynt ofni marw a dychrynu mewn ofn rhag i Dduw eu lladd hwynt, oni bae fod o'u mewn dyst yn condemnio eu hanwiredd ac yn dadgan yn eglur eu heuogrwydd ger bron yr Arglwydd? Olafiaid i'r bobl hyn oedd y gynnulleidfa a aeth allan bob yn un ac un, gan ddechreu o'r hynaf hyd yr ieuangaf, o un o synagogau Palestina yn nyddiau y Gwaredwr, wedi iddo ef ddywedyd wrthynt, "Yr hwn sydd ddibechod o honoch, tafled yn gyntaf gàreg ati hi," sef y wraig a ddaliesid mewn godineb. Yr un gallu a barai i Herod ofni Ioan Fedyddiwr; ac wedi i'r sôn am yr Iesu gyraedd ei glywedigaeth, ei gydwybod barodd iddo ddyweyd, "Yr Ioan a dòrais i ei ben yw hwn; efe a gyfododd o feirw." Dïau hefyd mai

dyrned yr un nerth, o leiaf mewn rhan, a laddodd Ananïas a Sapphira. Ac felly y gellid amlhâu esiamplau yn ddirifedi i brofi ei fod yn annichonadwy dilëu deddf y gydwybod oddiar lechau y galon ddynol. Mae yn bosibl i'r gynneddf gael ei serio, ac ysywaeth mae y gydwybod wedi bod yn rhy aml yn nghwsg. Eithr nid yw hyn yn profi diffyg y gallu hwn yn fwy nag y mae dallineb yn brawf fod y corff yn llwyr amddifad o'r gallu i weled. Mae y llygad yna yn ei lawn faintioli, ac y mae y llinynau llednais a dirgelaidd sydd yn cysylltu y ganwyll â'r corff yn eu lle, ac oni bae yr ysmotyn gwŷn yna sydd yn ei orchuddio, byddai yn goleuo yn hyfryd yr holl beiriant. Mae y gallu i weled yn ei le, ond y mae yn cael ei rwystro i weithredu. Felly yr un modd y mae pob dyn yn meddu cydwybod, pa nifer bynag o rwystrau sydd ar ffordd y gynneddf bwysig hon i gyflawni ei gwaith. Ac er ei serio a'i handwyo ymhob modd, nid ydym yn gwybod am yr un engraifft lle mae ei gallu wedi ei lwyr ddinystrio, a'i llais wedi ei hollol ddystewi. Gall ymddangos weithiau fel pe wedi darfod am dani, ac y mae yn ddigon posibl i ninnau dybied ei bod wedi marw, yn gyffelyb fel y tybiodd cyfeillion Paul am dano ef, ei fod wedi marw, ar ol y llabyddio fu arno yn Lystra; ond "fel yr oedd y dysgyblion yn sefyll o'i amgylch, efe a gyfododd, ac a aeth i'r ddinas;" felly hefyd ond i ni sefyll o amgylch mangre y gydwybod, a sylwi yn graffus a manwl, ni a gawn ei gweled cyn pen nemawr amser yn ymgodi, a'i theimlo yn ymysgwyd, a'i chanfod yn gwneuthur ei hymddangosiad, ac yn cyflawni ei rhan, er o bosibl yn ddigon egwan, eto yn wirioneddol yn ninas yr enaid, ac yn nghynnulliad y cynneddfau meddyliol. Yr hyn sydd anhawddaf wedi y cwbl ydyw, nid canfod gweithrediadau y gydwybod, ond cael gan ddynion ddal cymundeb â hwy eu hunain, i sefyll, ac edrych, a dysgwyl, er dysgu a gwybod ansawdd eu calonau, a deall geiriau y llais sydd yn sibrwd o'u mewn. Mae dyn yn rhy debyg i'r masnachwr ammheus ei amgylchiadau, yr hwn ni fŷn fyned i mewn i'w gyfrifon; mae yn dychrynu rhag maint y swm ar waelod yr ochr chwith i'r ddalen; felly y mae dyn yn ofni edrych ar ei weithredoedd ei hunan. "Mae ei enaid yn ddiafol iddo, fel yn wir y bydd yr ysbryd mwyaf blinderus iddo yn uffern." Pan ddaeth y mab afradlawn gynt ato ei hun, yr oedd ar unwaith yn cael ei wneuthur yn ymwybodol o bresennoldeb y gydwybod o'i fewn, er yr oll a wnelsai i'w serio a dinystrio ei nerth a'i dylanwad, ac y mae yn parotôi cyffes i'w hadrodd ger bron ei dad: "Pechais yn erbyn y nef ac o'th flaen dithau." Yn wir, oni bae am y ddeddf hon yn nghyfansoddiad pob dyn, ni byddai dynion yn bechaduriaid. "Lle nad oes ddeddf, nid oes gamedd." Mae y gydwybod, yn llawn cymaint a'r ewyllys, yn gwneuthur dyn yn greadur moesol a chyfrifol. Ac "megys mewn dwfr y mae wyneb yn ateb i wyneb, felly mae calon dyn i ddyn;" "a'u cydwybod yn cyd-dystiolaethu, a'u meddyliau yn cyhuddo eu gilydd, neu yn esgusodi."

Mae cylch dylanwad y gydwybod, gan hyny, ac hefyd maes ei gweithrediadau, yn ogymesur â'r ddynoliaeth yn gyffredinol. Y cwestiwn nesaf i ddyfod dan ein sylw ydyw, Pa faint yw cylch ei gwybodaeth? pa bethau y mae yn cymeryd sylw o honynt? ac yn barnu, gan gymeradwyo neu anghymeradwyo, mewn perthynas iddynt? Y mae golygiadau gwahanol gyda golwg ar hyn hefyd. Tybia rhai mai ein gweithredoedd ein hunain yn unig ydynt y gwrthddrychau y mae y gyd-

wybod yn cymeryd sylw o honynt. Barn rhai ydyw fod y gynneddf foesol yn ymarfer ei hun gyda golwg ar ymddygiadau eraill, tra mae y gydwybod yn cyfyngu ei hystyriaeth i'n hymddygiadau ni ein hunain. Y mae gwahaniaeth felly yn cael ei wneuthur rhwng y gydwybod a'r gynneddf foesol. Ymhlith pleidwyr y gwahaniaeth hwn, ceir enwau Rush, Stewart, ac Adam Smith. Mae Butler a Locke hefyd yn tueddu at y golygiad mai unig swydd y gydwybod ydyw barnu gweithredoedd ei pherchenog; er nad ydynt yn tỳnu y gwahaniaeth crybwylledig rhwng y gallu hwn â'r hyn a elwir gan yr awdwyr eraill a nodwyd yn gynneddf foesol. Mae rhai hefyd wedi cyfyngu y gydwybod ymhellach fel yn unig neu o leiaf yn benaf yn adolygol yn ei gweithrediad, ac yn fwyaf neillduol fel yn condemnio y drwg. Ond y mae pob cais o'r fath megys i gaethiwo y gydwybod yn gwbl ofer ac yn hollol groes i athroniaeth a gwirionedd. "Mae tybied, fel y mae rhai yn ymddangos wedi gwneyd, mai gwaith y gydwybod yn unig ydyw adolygu gweithredoedd gorphenol yn debyg fel pe byddai dyn yn dychymygu mai unig swydd ei lygaid ydyw edrych yn ol ar y ffordd mae wedi ei theithio, a gweled pa un ai glân ai brwnt ydyw."—*Reid*. Mae y gydwybod yn rhoi barn ar weithred cyn ei chyflawni yn gystal ag wedi y cyflawniad; ac y mae yn barnu cymeriadau yn gystal a gweithredoedd. Ac fel y mae yn cael ei pherchenogi gan bawb, y mae hefyd yn barnu pawb. "Mae yn cymeradwyo, hyd yn nôd mewn llyfrau, rinweddau Trajan, ac yn condemnio drygau Marius." Mae y synwyr moesol yn edrych yn ol ac ymlaen, ac i bob cyfeiriad o'n hamgylch, heb anghofio hefyd yr hyn sydd agosaf at ei olwg, yr hyn sydd yn ei ymyl, hyd yn nôd dirgelion y breswylfod y mae yn trigo ynddi. Y mae cylch ei wybodaeth fel yr eiddo ei ddylanwad, yn gyffredinol.

Yn awr ni a geisiwn edrych yn fanylach ar y swydd bwysig y mae y gynneddf hon yn ei chyflawni. Dywed M'Cosh am y gydwybod, ei bod yn teithio yn gyffelyb i lŷs barn, i'r hwn y perthyn amryw swyddogion a gweinidogion, y penaf o ba rai ydynt y barnydd, y dadleuydd, y tyst, a'r dienyddwr. Mae y gynneddf hon yn llanw lle y swyddwyr hyn. Fel barnydd mae yn gwybod y gyfraith, yn ei chymhwyso at yr achos dan sylw, ac yn cyhoeddi y ddedfryd. Fel dadleuydd mae naill ai yn cyhuddo neu yn pledio dros yr hwn sydd ar brawf. Fel tyst mae yn cadarnhâu mynegiadau y dadleuydd, ac yn cymeradwyo dyfarniadau y barnwr. Ac fel gweinyddydd y ddedfryd y mae naill ai yn dienyddio y troseddwr neu yn ei arwain allan o'r frawdle, ac yn ei ddwyn i le agored, gan ei orchymyn i rodio yn rhydd ac ëofn lle y myno.

Sylwer ar weithrediad y meddwl mewn perthynas i unrhyw gyflawniad o'n heiddom. Penderfynir ar unwaith pa un ai da ai drwg ydyw; ac os drwg, mynegir y ddeddf sydd wedi ei throseddu, a pha fodd y dylasid fod wedi gweithredu yn yr achos. Ofer yw gwadu y cyflawnwyd y weithred; mae y tystiolaethau mor aml, ac y mae y tyst mor gadarn a phendant. Nid oes dim ammheuaeth am yr hyn ydys wedi ei gyflawni; ac os da y bernir y weithred, mae y meddwl yn dawel a dedwydd; ond os i'r gwrthwyneb, cosbir y gweithredydd â chwerwder ysbryd, ac â blinder calon.

Fel barnydd mae y gydwybod yn gweithredu yn ol, ac yn dadguddio deddf. Mynega pa beth sydd dda, a pha beth sydd ddrwg; yr hyn a ddylid, a'r hyn na ddylid ei gyflawni. Fel y mae rheswm yn dadguddio

yr hyn sydd, y mae y gydwybod yn dadgan yr hyn ddylai fod. Y modd y mae yn llefaru ynddo ydyw, nid y mynegol, na'r galluogol, na'r annherfynol, ond y gorchymynol. "Mae galluoedd eraill sydd yn cymeradwyo gwirionedd, ond hwn, rinwedd; eraill sydd yn gwylio rhag geudeb, ond hwn rhag trosedd. Mae yn eistedd ar orsedd fel brenin, ei reolau sydd rwymedigaethau, ei hòniadau ydynt ddeddfau, a'i gyhoeddiadau ydynt osodiadau. Mae yn eistedd mewn barn fel brawdlys, ei benderfyniadau sydd orchymynion, mae ei ddedfryd yn gondemniad, ei wênau yn wobrau, a'i ŵg yn gerydd. Mae yn hòni nid gallu, ond hawliau, y rhai sydd yn hòni uchafiaeth ar allu. Mae yn gosod allan nid grym, eithr iawnder, yr hyn yn ei natur sydd uwchlaw grym. Dywed yn aml am yr hyn sydd na ddylai fod, ac am yr hyn nad yw, y dylai fod. Mae yn aml yn rhoi benthyg ei wyneb i'r hyn sydd yn cael ei ddiystyru fwyaf ymhlith dynion, ac yn cyhoeddi dedfryd o anghymeradwyaeth yn erbyn yr hyn a gyfrifir yn fwyaf gwerthfawr. Nid yw yn ofni gwrthwynebu gallu mewn lleoedd uchel, tra y cofleidia ac yr amddiffyna achos y rhai a erlidir ac sydd yn ddigymhorth. Mae yn gorphwys ar ei hawlfreintiau ei hun, ac y mae yn gwisgo y goron ac yn dal y deyrnwïalen, pa un bynag ai cydnabod yr ydys ai gwadu ei hawliau."—*M'Cosh.*

Y gydwybod ydyw llyfr y gyfraith yn y meddwl; nid y ddeddf ei hun, modd bynag, ond y llygad sydd yn edrych arni, yr ysgrif sydd yn ei dadgan, yr awdurdod sydd yn galw sylw ati, a'r deall sydd yn ei hegluro ac yn ei chymhwyso. Fel y mae y barnwr yn y llŷs gwladol â'i lygaid yn sefydlog ar y gyfraith ac yn barnu pob peth ddaw ger ei fron yn ol ei chyfarwyddiadau hi, felly y gydwybod yn nghyflawniad ei swydd bwysig hithau sydd yn cadw ei golwg ar y ddeddf Ddwyfol. Ac y mae hi yn barnu nid yn unig yn ol llaw, ond hefyd yn flaenorol trwy rybuddio a rhaghysbysu y gosb am droseddu, a rhagaddaw gwobr dda am ufuddhâu: "Ni wnaf ymyraeth â hi," meddai un o'r dynladdwyr oedd ar fedr cuddlofruddio y Duc o Clarence, yn Shakspeare, (Richard III); "y mae yn beth peryglus; y mae yn gwneuthur dyn yn anwr; nis gall dyn yspeilio, heb iddi ei gyhuddo; nis gall dyn regu heb iddi ei attal. Ysbryd gwridiog, cywilyddgar, sydd yn codi gwrthryfel yn mynwes dyn ydyw; mae yn llanw dyn yn llawn o rwystrau. Gwnaeth i mi unwaith ddychwelyd pwrs o aur a gefais yn ddamweiniol." Ac y mae gan y prif-fardd ddesgrifiadau digyffelyb o ddylanwad a llwyddiant y gydwybod yn barnu ymlaen llaw er rhwystro y gweithredydd i gyflawni ei amcan. Dyma gan hyny un o ragoriaethau y barnydd sydd o'n mewn ni, ar farnwyr goreu y ddaear. Rhaid iddynt hwy gael y sawl a ddygir ger eu bron, yn gyntaf yn ngafael y gyfraith o herwydd ei throseddu. Mynant weled fod cynnwys y cyhuddiad yn droseddiad ar y gyfraith, a bod y cyhuddiad ei hun yn wir, a gallant o'u lle uchel draddodi cynghorion a rhybuddion gyda golwg ar y dyfodol, yn gystal a gweinyddu ceryddon y gyfraith ar y rhai sydd yn ei thòri; a dyna yr oll. Ond y mae y gydwybod trwy ddadgan yr hyn sydd dda a dangos yr hyn sydd ddrwg, cymeradwyo y naill a chondemnio y llall, ac felly yn dangos yn eglur y gwahaniaeth rhyngddynt, yn gweinyddu gocheliadau i'r dieuog, yn cynnorthwyo i'w rwystro i syrthio i afaelion cyfraith, ac am hyny yn gweithredu rhan y barnydd megys cyn y prawf yn deilwng ac effeithiol.

Eithr nid dyma yr unig fantais sydd gan y gydwybod fel barnydd, mae yn cyfuno hefyd y dadleuydd a'r tyst. Heb symud oddiar y fainc, ac heb syrthio i'r amryfusedd o golli yr enw da o fod yn ddiduedd ac o gymeryd rhan anmhrïodol ac anweddus yn y prawf, mae y gydwybod yn gallu cyhuddo troseddwr deddf a dadleu yn ei erbyn, ac hefyd dwyn y dystiolaeth sydd yn ei gondemnio; neu, o'r tu arall, ddadleu yn ffafr a thystiolaethu o blaid y gweithredydd moesol, ymddygiad yr hwn fyddo dan sylw. Mae Quintillian yn cofnodi dïareb ymhlith yr hynafiaid i'r perwyl fod cydwybod yn fil o dystion—"*Conscientia mille testes.*" Mae hyn yn wir yn arbenig pan y mae yn ein cyhuddo o drosedd. Canys y mae y teimlad o euogrwydd yn cynnyrchu yr ofn fod pawb a phob peth yn gwybod y drwg yr ydys wedi ei gyflawni, pa mor ddirgelaidd bynag y weithred, ïe, er ein bod yn sicr na welodd neb ni yn cyflawni y peth.

Suspicion always haunts the guilty mind,
The thief doth fear each bush an officer.

*Shakspeare.*

How is it with me when *every noise* appals me?

*Yr un.*

"Yr annuwiol a ffŷ heb neb yn ei erlid." Ac fel y mae yn ffoi, mae yn ofni pob sŵn a glyw, mae yn teimlo fod pawb a gwrdd yn edrych yn ddig arno, mae yr holl lwyni ar y perthi sydd o bob tu i'r ffordd yn ymrithio megys cyhuddwyr o flaen ei lygaid. Y mae yn dychrynu hyd yn nôd rhag ei gysgod ei hun. O'r diwedd mae y "mil tystion" yn myned yn drech nag ef, ac yn ei roddi yn llaw yr awdurdodau gosodedig. Gwell ganddo bellach ddyoddef y gosb pa mor boenus a gwarthus bynag, hyd at farw, na gorfod rhedeg mwy a dal pwysau trwm—"*grave pondus*" (chwedl Cicero)—cydwybod euog. Y mae y gynneddf hon felly yn cyflawni ymhellach ran y dïenyddwr. Mae yn cosbi ei pherchenog yn drwm; y teimladau o anghymeradwyaeth a phoen sydd yn dilyn cyflawniad gweithred ddrygionus ydynt y gweinyddion dirifedi sydd yn dilyn y "llŷs barn" sydd o'n mewn. Ond o'r tu arall, "y rhai cyfiawn sydd hŷf megys llew;" maent hwy yn llòn eu hysbryd, yn iach eu calon, yn ddedwydd eu teimladau yn eu diniweidrwydd.

I feel within me
A peace, above all earthly dignities,—
A still and quiet conscience.

*Shakspeare.*

"Mae fy nghydwybod," medd Cicero, yn un o'i lythyrau at Atticus, "yn fwy i mi na siarad (*sermo*) pawb."

Mae y darllenydd bellach yn barod i gydnabod lle uchel a phwysig y gydwybod yn yr enaid. "Yn ei hurddas mae yn ddiammheu ymhell uwchlaw holl alluoedd eraill y meddwl."—*Reid.* "Mae i'w hystyried nid yn unig fel yn meddu dylanwad yn ei thro, yr hyn a ellir ei ddyweyd am bob nwyd perthynol i'r chwant iselaf, ond hefyd fel yn amlwg hawlu uchafiaeth ar y lleill oll."—*Butler.* Dyma yr egwyddor yn yr enaid ag y mae M'Cosh, yn ei *Method of Divine Government*, yn ei alw "*the master power of the human mind,*" "*the monarch faculty.*" O dan

ddylanwad yr un syniad mae Adam Smith yn enwi y gynneddf "prif breswylwydd y fynwes," *the great inmate of the breast.* "Yn yr oesoedd tywyllaf," medd Calvin, "yr oeddid yn dal fod y gydwybod yn uwch na'r holl farnau dynol." "Ein cydwybod ein hunain sydd i fod yn arweinydd i ni ymhob peth."—*Paley.* Fe gollodd y Stoiciaid gynt eu golwg yn llwyr ar yr *utile* wrth edrych ar bwysigrwydd yr *honestum*; yn yr athroniaeth sur hono mae hunanles yn ymgolli yn hollol yn yr ymwybyddiaeth o ddyledswydd. O'r tu arall, tra nad aeth Paley mor bell yn ei hoffder o'r athrawiaeth o ddefnyddioldeb ag i golli ei olwg ar yr onest a'r cydwybodol, fel y dengys y dyfyniad yr ydym newydd ei wneuthur, eto mae awdwr y gwaith ar y Tystiolaethau i Wirionedd Cristionogaeth yn syrthio i'r amryfusedd o gyfrif y gynneddf dan sylw yn unig fel cymhelliad yn meddu nerth, eithr nid yn feddiannol ar awdurdod ragor y gwahanol gymhelliadau ereill sydd yn perthyn i'r natur ddynol. Ond y mae y gydwybod yn meddu lle o awdurdod yn y meddwl. Mae yn amlwg oddiwrth gyfansoddiad a swyddogaeth y gynneddf, yr amcanwyd hi gan Awdwr natur i arwain a rheoli ein meddyliau a'n hymddygiadau. Onid ydyw yn barnu bwriadau y galon? onid ydys yn appelio ati oddiwrth y cynneddfau eraill? Pan y mae rheswm yn olrhain ac yn ymddyrysu uwchben cwestiwn o foesoldeb, mae yn troi at y gydwybod i benderfynu y ddadl. Mae y nwydau yn blysio llawer o bethau sydd yn ymddangos yn ddymunol, ond cyn yr eir i ymegnïo i gymeryd gafael ynddynt, yr ydys yn troi at yr awdurdod oruchel yn y gydwybod, gan ofyn, ai cyfreithlawn eu cael? Ac onid yw y gallu moesol yn aml yn attal ac yn rhwystro y nwydau a'r chwantau? A phan nad yw yn llwyddo i attal llifeiriant y cnawd ac yn gorchfygu grym y nwydau, y mae yn eu barnu ac yn eu condemnio. Mae yr holl enaid yn dyfod o dan sylw, ac yn cael ei feirniadu gan y gydwybod, syniadau y meddwl, serchiadau y galon, dymuniadau a phenderfyniadau yr ewyllys; ac yna mae y gydwybod yn bwrw golwg dros holl ymddygiadau y bywyd. "Mae gan egwyddorion eraill nerth, ond gan hon yn unig y mae awdurdod." Ac fel y dywed Butler yn ei ail bregeth ar y Natur Ddynol, pe bae gan y gydwybod nerth fel y mae ganddi hawl, hi a lywodraethai y byd yn gwbl hollol. "Mae yn perthyn iddi i lywyddu a llywodraethu."

Cymharer ei gweithrediad âg eiddo y nwydau nerthol sydd yn perthyn i'r natur ddynol. Mae yr olaf yn rhoddi eu holl fryd yn unig ar eu gwrthddrychau, ac nid ydynt yn ystyried cymeriad y pethau y maent yn blysio am danynt ond mor bell ag y maent yn eu boddloni hwy. Eithr nid felly y gydwybod; mae hi yn ystyried nodwedd foesol a chyfreithlondeb y gwrthddrychau, ac os penderfyna mai da eu cael, y mae yn bwrw golwg ar y llwybr tecaf i ddyfod o hyd iddynt. Nid yw y nwydau chwaith yn ystyried dim am ganlyniadau, nac yn edrych ymlaen i'r dyfodol o gwbl ymhellach na'u boddloniad eu hunain. Ond y mae y synwyr moesol yn edrych ymlaen ac i fyny, ac yn ystyried y canlyniadau, a hyny gyda golwg ar ddeddf sydd yn deillio oddiwrth uwch awdurdod. Ar y tir yma y mae dyn yn ddeddf iddo ei hun yn rhinwedd ei berchenogaeth o'r gynneddf hon. Dyma, yn wir, y gallu yn rhinwedd yr hwn y mae dyn yn grëadur moesol. Pa allu sydd mewn dyn yn fwy rhagorol ac yn fwy prïodol i natur resymol, na'r hwn

sydd yn adystyried neu yn troi ei feddyliau arno ef ei hun? Gan hyny, gweithredu yn naturiol ydyw ymddwyn yn gyson â chymhellion y peth mwyaf hwn sydd mewn dyn, ac nid o dan reolaeth nwyd bresennol. Eithr fel yr awgrymwyd eisoes, mae y nwydau, nid yn anfynych, o herwydd eu nerth mwy, nid oblegid eu hawdurdod uwch, yn buddugoliaethu ar y gydwybod, ac felly yn ennill y llaw uchaf yn rheoleiddiad y fuchedd. Trawsfeddiant a thrais hollol yw hyn, a throseddiad amlwg ar ddeddf ein cyfansoddiad. Ar yr un pryd perthyna i'r serchiadau, ac hyd yn nôd i'r nwydau, ddylanwad cyfreithlawn ar y gydwybod, fel sydd ganddynt ar yr ewyllys. Mae gan y gallu moesol yn ei ddyfarniadau i ystyried yr hyn sydd ddymunol i'r galon, a'r hyn sydd yn gydnaws yn gyffredinol â'r natur ddynol. Nid yw y gydwybod, er ei holl awdurdod uwchraddol, i weithredu yn fympwyol, ond yn ddeallus a chyfiawn; mae hithau hefyd yn ddarostyngedig i awdurdod goruchel y Penllywydd cyffredinol.

Y mae hyn yn ein harwain at y peth diweddaf yr ydym yn bwriadu sylwi arno, sef, Perthynas y gydwybod â Duw. "Nid yw cydwybod ddim," medd Charnock, "ond gwybodaeth adlewyrchol o allu uwch, ac o ddeddf gyfiawn." Mae yr awdwr hwn wedi bod yn dra ffodus mewn pentyru teitlau ar y gynneddf hon yn gosod allan ei pherthynas â Duw; megys, "rhaglaw Duw, a'i dyst yn mynwes y dyn ei hun; swyddog Duw; canwyll yr Arglwydd; gorsedd neillduol Duw ar y ddaear, a'i gynnrychiolydd; a blodeuyn ydyw yn nghoron yr Arglwyddiaeth Ddwyfol." Dywed Dr. Reid i'r un amcan, "Canwyll yr Arglwydd ydyw, wedi ei gosod i fyny ynom i arwain ein camrau." Ac y mae Howe hefyd yn galw y gydwybod yn "îs-farnydd." Eithr er yr holl enwau uchel hyn, a'r urddas sydd yn perthyn i'w swyddogaeth yn nghyfansoddiad meddyliol y gweithredydd moesol, mae y brif gynneddf yn rhoddi yr esiampl oreu mewn teyrngarwch i benarglwyddiaeth y Crëawdwr. Er ei bod yn oruchaf yn y meddwl, nid yw y gydwybod yn edrych arni ei hun fel yn hollol oruchaf. Mae yn cyfeirio at ddeddf uwchlaw ei hun, hynach na'i hun, annibynol arni ei hun, gyffredinol, anghyfnewidiol, a thragywyddol. Nid hi sydd yn crëu egwyddorion moesoldeb, mwy nag y mae y llygad yn crëu goleuni, neu reswm y gwirionedd. Y synwyr ydyw sydd yn canfod y ddeddf, ac y mae yn cyfuno cymhelliad nerthol i ufudd-dod i'w gorchymynion hi. Ac y mae hefyd yn cysylltu y gyfraith â Duw, gan ei gydnabod Ef fel ei Hawdwr a'i Chyflawnydd, Gwobrwywr y rhai sydd yn ufuddhâu iddi, a Gweinyddydd cosbau ar bawb a'i troseddant.

Yn y lle cyntaf, y mae y gydwybod yn dwyn tystiolaeth i fôd Duw. Mae ein hymwybyddiaeth o weithrediadau y gynneddf hon, yn dadgan fod da a drwg, ac yn cymeradwyo y naill tra yn condemnio y llall, yn ein hysbysu fod llywodraeth oruwchnaturiol mewn bod; ac os oes llywodraeth o'r fath yn bodoli, mae yn rhaid fod deddf, ac os oes deddf, mae yr un mor angenrheidiol fod Deddfroddwr, un sydd yn ffynnonell pob awdurdod, ac uwchlaw pob cyfraith. Felly yr ymresyma Syr William Hamilton yn yr ail o'i *Lectures on Metaphysics*, ac y profa ddefnyddioldeb mwy rhagorol efrydiau uchanianol. "Yn awr, mae yn hunan-amlwg, yn y lle cyntaf, os nad oes byd moesol, nas gall fod llywodraeth foesol; ac yn yr ail, nad oes genym, ac nas gall fod genym, yr un tir i gredu

hanfodiaeth byd moesol, oddieithr mor bell ag yr ydym ni ein hunain yn weithredwyr moesol. Hyn sydd anwadadwy, mae yn amlwg, ymhellach, os byth yr argyhoeddir ni nad ydym yn weithredyddion moesol, fe'n hargyhoeddir hefyd nad oes gyfundrefn foesol mewn bodolaeth, ac nad oes dealltwriaeth goruchel i'r hwn y mae y gyfundrefn foesol yn cael ei sefydlu, ei chynnal, a'i rheoli ganddo." Ond, fel yr awgrymwyd eisoes, mae ein hymwybyddiaeth yn dwyn y byd moesol sydd o'n mewn i wyneb y meddwl dynol, fel ag i'w wneuthur yn wirionedd amlwg ac yn ffaith eglur ac anwadadwy. Ac y mae y gydwybod ymhellach mewn modd uniongyrchol yn dwyn tystiolaeth i fôd Penllywydd Dwyfol y byd moesol; canys pan y mae yn condemnio drwg, ac yn cynnyrchu ofn a dychryn yn yr euog, onid yw yn dyweyd yn bendant fod Rhywun yn bod sydd yn cosbi pechod? Pa raid ofni, os nad oes Rhywun i'w ofni? Pa raid i'r annuwiol ffoi, os nad oes rhyw awdurdod yn ei erlid? "Mae yn nghydwybod pob dyn," medd Charnock, "ofn cosb, a gobaith am wobr. Mae teimlad *(sense)* gan hyny o fod rhyw Farnwr uwch, yr hwn bia y gallu i wobrwyo ac i gosbi. Pe dyn fyddai ei reol oruchaf, pa raid iddo ofni cosbedigaeth, gan na wnai yr un dyn ei gosbi ei hun âg unrhyw ddrwg neu boen; ac nis gellir dywedyd fod neb yn gwobrwyo ei hun, oblegid mae pob gwobr yn cyfeirio at arall, i'r hwn y mae y weithred yn foddhäol, ac sydd yn cynnwys cyflëad rhyw ddaioni nad oedd gan ddyn yn flaenorol." Ac fel prawf pellach fod y gydwybod yn tystiolaethu i fôd Duw, mae yn ffaith, mor gynted ag y mae y syniad am Dduw yn dyfod ger bron y meddwl, ei bod ar unwaith yn cysylltu y ddeddf foesol âg Ef, yn teimlo ei fod Ef yn cymeradwyo y da, a'i fod Ef yn condemnio y drwg.

Mae y gydwybod hefyd yn cynnrychioli Duw yn y fynwes ddynol. Adlewyrchydd ydyw, wedi ei osod yn y cyfansoddiad meddyliol, sydd yn cyfeirio at ei Awdwr. Mae yn adleisio holl orchymynion ei gyfraith sanctaidd Ef. Dywed y gydwybod am bob gair sydd yn y ddeddf mai da ydyw, ac mae yn sibrwd Amen ar ddiwedd pob gorchymyn. Y gynneddf hon ydyw y pen arall i'r llinyn sydd yn cysylltu yr enaid â gorsedd Duw; ac fel y dywed Charnock, gorsedd Duw ar y ddaear ydyw y gydwybod. Ac i'r un perwyl hefyd ysgrifena y Parch. William Arnot yn ei *Laws from Heaven for Life on Earth*. "Gyda mwy neu lai o eglurdeb, mae y drych hwn yn derbyn neu yn dadguddio y gŵg neu y gwenau sydd yn eistedd ar wyneb y Barnwr. Felly, mewn effaith, y mae Duw yn bresennol ymhob mynwes ddynol. Cydwybod o fewn dyn sydd un pen i'r gwyfr trydanol, pen arall yr hwn sydd glymedig wrth orsedd y farn. Mae y peiriant hwn yn dwyn y Barnwr a'r troseddwr yn ofnadwy o agos at eu gilydd; ac y mae gelyniaeth mewn cyffyrddiad mor agos yn annyoddefol. Mae paganiaid wedi profi eu hymwybyddiaeth o'r agosrwydd, i'r hwn y mae y gydwybod yn dwyn dyn â Duw. Cyfrifent y cysur o hunan-gymeradwyaeth fel yn cysylltu dyn â phreswylwyr y nefoedd. Ystyriai Maximus Tyrius ac Apuleius, er esiampl, y gydwybod fel duw yn preswylio o'u mewn *(an in-dwelling deity)*." "Ac y mae un arall," fel y dywed Howe, "yr hwn sydd yn rhoddi y cynghor, Ymgydnabydda â'r duwiau, yn ychwanegu, A thi a wnai hyn, os ymddygi yn weddaidd yn dy feddwl tuag atynt, yn llwyr foddlawn i'r pethau y maent yn eu rhoddi, ac yn gwneuthur y pethau sydd yn

boddloni dy ysbryd (δαιμων), yr hwn y mae y Goruchaf Dduw wedi ei osod ymhob dyn * * * i fod yn llywydd ac arweinydd iddo; hyny yw, meddwl a rheswm pob dyn ei hun." "Mae yn llanw math o le canol," medd Calvin, "rhwng Duw a dyn; nid yw yn caniatâu i ddyn gelu yr hyn y mae yn ei wybod ynddo ei hun, ond yn ei ddilyn allan nes ei ddwyn i euog brofiad." Ac y mae ei chyhuddiadau yn profi hollwybodaeth Duw; fel hefyd y mae ei gweithrediad yn condemnio drwg ac yn cymeradwyo daioni yn cyfeirio at ei sancteiddrwydd Ef. Felly y mae cydwybod dda yn cynnrychioli cymeriad y Goruchaf, fel y mae ei swydd yn cynnrychioli llywodraeth foesol Duw ar ei grëaduriaid rhesymol. Dyma fan y cyffyrddiad a'r cymundeb agosaf rhwng yr enaid â Thad yr ysbrydoedd.

Yn olaf, Duw yn unig fedr drîn y gydwybod, ei goleuo, cywiro ei barnau, ei thawelu a'i llonyddu, a'i hadferu o bob cysgadrwydd ac euogrwydd i heddwch âg Ef ei hun. Os gofynir gan hyny, Pwy a saif rhwng yr erlidiwr a'r fföadur? Yr ateb yw, Duw. Ac y mae Efe yn cyflawni hyn trwy efengyl ei anwyl Fab Iesu Grist. Wrth edrych ar yr Oen perffaith a fu farw, mae y gydwybod yn ymlonyddu yn yr olwg ar Iawn digonol dros ein holl euogrwydd, ac ar Ddaioni sydd yn ogymaint â holl ofynion y gyfraith; a thrwy ymorphwys yn barhäus a diysgog ar ei haeddiant anfeidrol am gymeradwyaeth ger bron Duw, a chadwedigaeth yr enaid i fywyd tragywyddol, mae y gynneddf hon yn yr enaid yn cael ei graddol iachâu, ac yn ymgodi i fwynhâu y rhyddid sydd i ni "i fyned i mewn i'r cysegr trwy waed Iesu." Mae Sterne wedi gwneuthur i lawer wylo uwchben yr asyn marw, ac yntau ei hun ar yr un pryd yn ymddwyn yn angharedig at ei fam; ac y mae llawer wedi wylo yn y chwareudai yn yr olwg ar brofedigaethau diweirdeb mewn dyoddefaint, ac yna yn myned allan i'r nos i gyflawni pechodau rhy aflan i'w henwi. Nid felly yr effeithia yr efengyl ar y rhai a gredant, ond yn gwbl i'r gwrthwyneb. Mae cyfuniad gogoneddus cyfiawnder a thrugaredd yn nhrefn gras, purdeb sancteiddrwydd a mawredd daioni Duw fel y maent yn cydymddysgleirio yn yr efengyl, nid yn unig yn argyhoeddi y gydwybod trwy weithrediad yr Ysbryd Glân er peri i ni edmygu y da, a thrwyadl gondemnio y drwg, ond hefyd yn arfogi prif gynneddf y meddwl â phob nerth a chymhelliad i gyflawni holl ranau ei swyddogaeth bwysig, i farnu yn gywir, i ddadleu yn dêg, i dystiolaethu yn gyflawn, i gadw bob amser yn effro, i lywodraethu y nwydau yn effeithiol, ac felly i lanw y gynnrychiolaeth sydd wedi ei ymddiried iddi gan y Penllywydd mawr.

Heb ymhelaethu, yr ydym bellach yn terfynu yr hyn a alwn, yn ol esiampl ostyngedig Dr. Reid, wrth eirio cynnwys un o'i bennodau ar y Galluoedd Gweithredol, yn ddim mwy nag ychydig "Sylwadau ynghylch y Gydwybod."

# "MARW I BECHOD."

MAE yr ymadrodd, "A ninnau wedi meirw i bechod," Rhuf. vi. 2, yn cael ei ddefnyddio gan yr apostol fel rheswm paham na allai y credinwyr "fyw ynddo ef." Felly er deall grym y rheswm, rhaid i ni ddeall natur yr oruchwyliaeth a ddynoda.

Mae dwy ddamcaniaeth o barthed ystyr yr ymadrodd.

I. Ei fod yn golygu marw yn gyfreithiol, neu farw i euogrwydd neu gondemniad pechod. Dyma syniad Haldane, Fraser, Chalmers, a Forbes.

II. Ei fod yn golygu marw yn foesol—marw i lywodraeth neu ddylanwad pechod.

I'r ddamcaniaeth gyntaf, sef ei fod yn golygu *marw i euogrwydd* pechod, y mae genym amryw wrthresymau.

1. Nid oes genym un engraifft yn yr holl Destament Newydd fod yr ymadrodd marw i bechod yn cael ei ddefnyddio i ddynodi cyfiawnhâd, neu farw i euogrwydd neu i gondemniad pechod. Nid yw y weithred gyfiawnhäol byth yn cael ei galw yn farw; ond y mae genym liaws o engreifftiau o honi yn cael ei galw yn fywhâu ac yn adgyfodi. Nid ychwaith yn adgyfodi o 'stâd o fod yn *farw i bechod*, ond o fod *yn farw mewn* pechod. "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, y neb sydd yn gwrando fy ngair i, ac yn credu i'r hwn a'm hanfonodd i, a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn, [i gondemniad,] eithr efe a aeth drwodd o farwolaeth i fywyd," Ioan v. 24. Yn ol yr adnod hon, y mae cyfiawnhâd nid yn farwhâd, ond yn arbediad rhag marw—ni ddaw i farn, neu i gondemniad. Eto, Eph. ii. 5: "Ië, pan oeddym feirw mewn camweddau, a'n cyd-fywhäodd ni gyda Christ." Yma y mae cyfiawnhâd yn fywhâd, nid yn farwhâd. Nid yn fywhâd ychwaith o fod yn farw i bechod, ond o fod yn farw mewn pechod. Ceir engraifft ychwanegol yn Col. ii. 13: "A chwithau, pan oeddych yn feirw mewn camweddau, a dienwaediad eich cnawd, a gyd-fywhäodd efe gydag ef, gan faddeu i chwi yr holl gamweddau." "Maddeu yr holl gamweddau" ydyw y cyfiawnhâd, a'r cyfiawnhâd hwn a eilw efe yn fywhâu, ac nid yn farwhâu.

Y rhanau a ymddangosant, ar yr olwg gyntaf, megys yn ffafrio y syniad fod y term *marw* yn cael ei ddefnyddio yn ddesgrifiadol o gyfiawnhâd ydynt y canlynol: Gal. ii. 19; 2 Cor. v. 14. Ond os edrychir drostynt yn fanwl, canfyddir nad oes ynddynt yn wirioneddol un sail i'r cyfryw syniad. Cymerwn yr adnod yn y Galatiaid: "Canys yr wyf fi trwy y ddeddf wedi *marw i'r ddeddf*, fel y byddwn fyw i Dduw." Tybir fod yr ymadrodd *marw i'r ddeddf* yma yn golygu *marw i'w chondemniad*, ac felly yn golygu cyfiawnhâd; ond amlwg yw mai mater rheol ei ymarweddiad, ac nid modd neu ddull ei gyfiawnhâd, sydd gan yr apostol yn y geiriau hyn. Ei amcan ydyw dangos ei fod, nid wedi marw i gondemniad y ddeddf, ond wedi darfod â hi fel rheol ei ymarweddiad. Mae hyn yn amlwg oddiwrth yr adnod flaenorol, lle y dywed fod ei ddychweliad yn ôl *i fyw* neu ymarweddu *yn ôl y ddeddf*, yn

dinystrio yr hyn ag oedd wedi bod yn ei adeiladu; ac i ddangos nas gallai ddychwelyd felly yn ôl i fyw yn ol y ddeddf, dywed ei fod wedi marw iddi, hyny yw, wedi darfod â hi fel rheol ei ymarweddiad. Cadarhëir yr eglurhâd hwn ar y marw i'r ddeddf gan yr ymadrodd cyferbyniol iddo, "*fel y byddwyf* byw i Dduw." "Byw i Dduw" ydyw ymarweddu i Dduw; felly marw i'r ddeddf ydyw y peth cyferbyniol i hyn, sef, peidio ag ymarweddu i'r ddeddf; darfod yn llwyr â'i rheolau seremonïol a materol fel rheol bywyd; yr hyn a elwir gan yr apostol mewn man arall yn fyw yn y byd, yn ymroi i ordinhadau.

Eto, cymerwn yr ymadrodd arall o'r Corinthiaid: "Os bu un farw dros bawb, yna meirw oedd pawb." Neu os goddefir i ni yma roi aralleiriad Dean Stanley—yr ydym yn ysgrifenu oddiar gôf—"Os bu un farw dros bawb, yna meirw fu pawb o'r rhai y bu efe farw drostynt." Tybir fod yr ymadrodd *meirw fu pawb* yn golygu cyfiawnhâd, hyny yw, fod y credadyn wedi marw i euogrwydd yn marw Crist drosto. Ond y mae yr adnod nesaf yn ein rhwymo i edrych ar y marw hwn fel goruchwyliaeth yn dyfod â'i deiliaid i ddarfod â bywyd, neu ymarweddiad cyferbyniol i fywyd o hunanymwadiad, ac o wasanaeth i'r hwn a fu farw drostynt (adn. 15). Hyny yw, fod y marw hwn nid yn farw i euogrwydd, ond i'r egwyddor o hunanfoddhâd, ac i ymarweddiad hunangesiol. Dyma, dybygem, ydyw baich ymresymiad yr apostol.

Tybiwn fod yr engreifftiau a ddyfynwyd yn ddigon i wrthbrofi y syniad fod yr ymadrodd *marw i bechod* yn ddesgrifiadol o'r oruchwyliaeth gyfiawnhäol yn unrhyw un o'i agweddau.

2. Gwrthreswm arall i'r syniad fod *marw i bechod* yn golygu cyfiawnhâd, neu farw i euogrwydd pechod, ydyw fod y cyfryw syniad yn syrthio yn fŷr o wasanaethu amcan ymresymiad yr apostol.

Mae yn amlwg mai amcan ymresymiad yr apostol ydyw dangos nas gall y credadyn *fyw* mewn pechod,—fod y cyfryw beth yn wrthddywediad mewn gair, nas gall fod. Felly y gofyniad yw, O beth y mae y duedd i fyw mewn pechod yn codi? Beth ydyw egwyddor llywodraeth pechod arnom? Ai ein heuogrwydd, ai ynte ein halogrwydd? Dïau mai yr olaf. Nid oes un duedd yn y syniad o euogrwydd i gymhell dyn i bechu; o'r ochr arall, mae tuedd y cyfryw syniad, os caiff chware têg, i attal dyn rhag pechu. O'r ffaith o'n halogrwydd y cyfyd y duedd i bechu. Os felly, pa fodd y mae marw i'r syniad o euogrwydd pechod yn meddu grym i ddirymu ei lywodraeth arnom? Cyn y gall fod un grym yn y ffaith o'n marw i bechod i ddangos fod ei lywodraeth wedi ei ddirymu, ac nas gallwn "fyw ynddo," a "thrigo yn wastad ynddo," rhaid ei fod yn golygu rhywbeth heblaw symud euogrwydd, neu gondemniad pechod; dim llai na symudiad ymaith egwyddor ei lywodraeth, neu farwhâd ein halogrwydd. Gwir fod symudiad ymaith y syniad o euogrwydd fel gweithred rasol, yn gymhelliad cryf i'r credadyn i beidio pechu mwy; ond y mae ymresymiad yr apostol yn cynnwys mwy na'i fod wedi ei gynnysgaethu â chymhelliad i beidio a phechu; cynnwysa ei fod wedi ei osod ar dir ag sydd yn sicrhâu na phecha; golyga ei fod wedi myned dan oruchwyliaeth weithredol o ladd llywodraeth pechod arno, a symud ymaith ei halogrwydd.

Am y rhesymau hyn, gorfodir ni i wrthod y ddamcaniaeth fod marw i bechod yn golygu marw i'w euogrwydd, neu i'w gondemniad.

Tueddir ni, am y rhesymau canlynol, i fabwysiadu yr ail ddamcaniaeth, sef ei fod yn golygu marw moesol; marw i'r ymarferiad o hóno.

1. Mae yr ymadrodd yn yr ystyr hwn yn gydweddol âg ieithwedd y Testament Newydd. Mae yr ymadrodd *marw i beth* yn ddull cyffredin o osod allan ymwrthodiad â pheth. "Marw i'r ddeddf," fel y dangoswyd, a olyga ymwrthod â hi; gwrthod ei llywodraeth. "Os ydych wedi meirw gyda Christ oddiwrth egwyddorion y byd, paham yr ydych, megys pettych yn byw yn y byd, yn ymroi i ordeiniadau?" Col. ii. 20. Nis gall fod un ammheuaeth beth a olygir wrth y gair *marw* yma; marw i'r byd —marw oddiwrtho—darfod â'i egwyddorion; dyn yn gwrthod cymeryd ei lywodraethu gan ei egwyddorion. Eto: iii. 3, "Canys meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw." Mae yn amlwg beth a olygir wrth y marw hwn, oblegid fe'i rhoddir ef yn rheswm dros iddynt beidio rhoi eu serch ar y pethau sydd ar y ddaear. Golyga felly eu bod wedi marw i bethau y ddaear—wedi darfod â hwy fel pethau eu gobaith ac elfenau eu dedwyddwch.

2. Mae yr ymadrodd yn yr ystyr hwn yn cydweddu âg ymadroddion eraill yn y cyd-destynau. (1.) Cymerwn i ddechre yr ymadrodd cyferbyniol iddo, "pa wêdd y byddwn byw eto ynddo ef." Mae yr ymadrodd *byw ynddo ef* yn amlwg yn golygu nid y syniad o'i euogrwydd, neu y 'stâd o fod dan ei gondemniad, ond y 'stâd o'i arfer a'i weithredu; felly mae cysondeb yn gofyn fod i'r marw iddo yn yr ymadrodd cyferbyniol olygu y peth cyferbyniol i'w arfer a'i weithredu.

(2.) Hefyd y mae yn farw ag yr adgyfodir o hóno *i fuchedd newydd*. Os ydyw y fuchedd newydd yn golygu ymarweddiad newydd neu sanctaidd, rhaid o angenrheidrwydd cysondeb fod y marw yr adgyfodir o hóno i'r cyfryw fywyd sanctaidd, yn golygu marw i'r peth cyferbyniol i sancteiddrwydd; nid euogrwydd ydyw hwn, ond halogrwydd.

(3.) Mae yn gyson â'r ymadroddion "croeshoelio yr hen ddyn, er mwyn dirymu corff pechod." Y mae yn amlwg fod yr ymadrodd hwn yn golygu yr un peth a "marw i bechod," rhag "byw ynddo." Felly y cwestiwn yw, beth a olygir wrth yr *hen ddyn*, a *chorff pechod*. Os ydyw y marw i bechod yn golygu marw i'r euogrwydd o hóno, neu i'w gondemniad, rhaid fod yr hen ddyn yma yn golygu yr hen 'stâd gondemniad, a chorff pechod yn golygu ei euogrwydd; ac felly fod croeshoelio yr hen ddyn er mwyn dirymu corff pechod, yn golygu marw i'r hen 'stâd o gondemniad, a hyny yn dirymu neu yn symud ymaith y syniad o euogrwydd. Ond a oddefa yr ymadroddion "hen ddyn," a "chorff pechod," y dehongliad hwn? Tybiwn na wnant. Cyfarfyddwn â'r ymadrodd "hen ddyn" ddwy waith heblaw yma; unwaith yn Eph. iv. 22. "Dodi o honoch heibio o ran yr ymarweddiad cyntaf yr hen ddyn, yr hwn sydd lygredig yn ol y chwantau twyllodrus." Yma y mae yr hen ddyn yn gyfystyr â'r ymarweddiad cyntaf; a hwnw nid yn ei agwedd gondemniedig, ond yn ei agwedd lygredig, dan lywodraeth y chwantau twyllodrus. Hefyd gosodir ef yn gyferbyniol i'r "dyn newydd, yr hwn a grëir mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd." Os ydyw y dyn newydd yn gynnwysedig mewn ymarweddiad cyfiawn a sanctaidd, rhaid fod yr hen ddyn yn dynodi ymarweddiad cyferbyniol; yr hwn a eilw yr apostol, fel y nodwyd, yn "llygredig yn ol y chwantau twyllodrus."

Eto cawn yr ymadrodd "hen ddyn" yn Col. iii. 9: "Na ddywedwch

gelwydd wrth eich gilydd, gan ddarfod i chwi ddïosg yr hen ddyn, ynghyd â'i weithredoedd." Y mae yn amlwg fod yr ymadrodd "hen ddyn" yma, fel yn yr engraifft yn yr Ephesiaid, yn golygu yr ymarweddiad blaenorol yn ei agwedd o lygredigaeth ymarferol, oblegid hunaniaethir ef â dyweyd celwydd, ac â digter, llîd, drygioni, cabledd, serthedd, (adn. 8). Hefyd y mae yr "hen ddyn" yn yr engraifft hon yn cael siarad am dano yn gyferbyniol i'r "dyn newydd," am yr hwn y dywedir ei fod yn cael ei "adnewyddu mewn gwybodaeth yn ol delw yr hwn a'i crëodd ef." Os mai peth i'w adnewyddu mewn gwybodaeth yn ol delw Duw ydyw y dyn newydd, nis gall olygu cyfiawnhâd; darluniad ydyw o'r oruchwyliaeth sancteiddiol. Os felly, rhaid fod yr hen ddyn yn golygu y peth cyferbyniol i sancteiddrwydd.

Mae yr engreifftiau hyn yn profi nad oes un sail i'r syniad fod yr ymadrodd *hen ddyn* yn golygu 'stâd o gondemniad; o'r ochr arall, cydunant i gyd i ddangos ei fod yn golygu llygredigaeth. Eto cymerwn yr ymadrodd "corff pechod." A ellir cymeryd hwn i olygu euogrwydd pechod? Cawn yr ymadrodd hwn mewn un lle arall, Col. ii. 11: "Yn yr hwn hefyd y'ch enwaedwyd âg enwaediad nid ö waith llaw, trwy ddyosg corff pechodau y cnawd, yn enwaediad Crist." Mae yr ymadrodd yn dygwydd yn yr adnod hon mewn cysylltiadau a bâr nas gall olygu euogrwydd. Dywedir ei fod yn cael ei "ddyosg" trwy "enwaediad nid o waith llaw," sef enwaediad Crist. Mae yr enwaediad hwn, mae yn amlwg, yn dynodi goruchafiaeth foesol, ac nid cyfreithiol. Os gweithred foesol ydyw yr enwaediad nid o waith llaw, rhaid fod y corff pechodau a ddyosgir yn y weithred hon yn golygu yr ymarweddiad llygredig, ac nid euogrwydd pechod.

Oddiwrth y nodiadau hyn, gorfodir ni i edrych ar yr ymadroddion "hen ddyn" a "chorff pechod," fel pethau desgrifiadol o ymarweddiad llygredig, a bod "croeshoeliad" y naill, "er mwyn dirymu" y llall, yn golygu goruchwyliaeth foesol. Os ydyw hyn yn golygu goruchwyliaeth foesol, rhaid fod y *marw i bechod* yn golygu goruchwyliaeth foesol, oblegid fel y crybwyllwyd, y maent yn ddesgrifiad o'r un peth; nid yw y naill frawddeg ond ymehangiad o feddylddrych y llall.

3. Mae edrych ar y marw i bechod fel desgrifiad o oruchwyliaeth foesol, yn gyson âg athrawiaeth y Testament Newydd am egwyddor sancteiddhâd.

Mae yr Ysgrythyrau yn dysgu fod sancteiddhâd yn ffrwyth chwyldröad yn holl deimladrwydd moesol y meddwl tuag at bechod—fod y chwyldröad hwn yn weithred wirioneddol a phersonol. Mae esbonio yr ymadrodd *marw i bechod* fel goruchwyliaeth foesol yn gyson â hyn; golyga yr oruchwyliaeth chwyldröawl foesol tuag at bechod, ag sydd yn gâreg sylfaen teml sancteiddhâd.

4. Mae y syniad mewn cwestiwn yn cydweddu âg amcan yr apostol. Yr amcan hwnw ydyw dangos fod y cristion wedi ei osod ar dir ag sydd yn gwneyd "trigo yn wastad mewn pechod," a "byw ynddo ef," yn yr ystyr o gael ein llywodraethu ganddo, fel y llywodraethir caethwas gan feistr, yn anmhosibl. Yn awr, yr unig beth a wna hyn yn anmhosibl ydyw fod egwyddor llywodraeth pechod wedi ei dilëu, sef cariad ato yn codi o lygredd ein natur. Felly, cyn y gall haeriad yr apostol fod y cristion wedi marw i bechod, brofi ei fod ar dir anmhosibl i bechu yn yr

ystyr a nodwyd, rhaid i'r ymadrodd uchod olygu dilëad egwyddor ei lywodraeth arno, sef marwhâd neu ddilëad ei gariad tuag ato.

Dyma ni wedi olrhain y ddwy ddamcaniaeth a gynnygir fel esboniad ar yr ymadrodd, "marw i bechod." Cawsom un yn anghyson âg ieithwedd y Testament Newydd, yn anghyson â brawddegau eraill yn y cyd-destynau, yn syrthio yn fỳr o gyrhaeddyd amcan yr apostol yn ei ymresymiad, ac yn anghydgordiol â dysgeidiaeth yr Ysgrythyrau ar egwyddor sylfaenol sancteiddhâd; o'r ochr arall, cawsom yr ail ddamcaniaeth yn gyson â'r holl bethau hyn. Mae yn unol âg ieithwedd y Testament Newydd, yn cydgordio a brawddegau eraill yn y cyd-destynau, yn gyson â dysgeidiaeth y Testament Newydd o barthed i egwyddor sylfaenol sancteiddhâd, ac yn ateb dyben yr ymresymiad. Er hyny têg yw i ni cyn dwyn ein nodiadau i derfyniad, ystyried, o leiaf, rai o'r prif wrthresymau a ddygir ymlaen yn erbyn y ddamcaniaeth hon.

1. Dadleuir fod yr ymadrodd *marw i bechod* yn rhy gryf a llwyr i ddynodi perthynas *foesol* dyn â phechod. Haerir fod perthynas dyn â phechod heb ei lwyr dòri, ei fod yn pechu yn barhäus, ac felly, fod dyweyd ei fod yn farw i bechod yn ddyweyd mwy nag sydd wir.

Mae yr wrthddadl hon yn codi o gymysgu peth sydd â gwahaniaeth rhyngddynt. Mae yn amlwg oddiwrth yr Ysgrythyrau, a dysgeidiaeth Paul yn arbenig, fod i natur foesol y credadyn ddwy agwedd; un o'r agweddau hyn ydyw fod tuedd bechadurus yr ewyllys wedi ei llwyr ddilëu, a'r meddwl wedi ei ddwyn i garu cyfiawnder ac i gasshâu anwiredd; dyma yr agwedd ysbrydol: a'r llall ydyw fod olion y llygredd blaenorol yn aros yn y natur; hwn a elwir "y cnawd." Yn awr, mae yr ymadrodd marw i bechod, yn dynodi yr oruchwyliaeth foesol a effeithiodd yr agwedd gyntaf a nodwyd. Nid yw yn dynodi dim mwy na dim llai na'r oruchwyliaeth y mae yr ewyllys wedi myned dani gyda golwg ar bechod, yr oruchwyliaeth a'i dygodd i golli pob hyfrydwch ynddo, ac i wisgo tuag at ei hudoliaethau a'i swynion y cyfryw agwedd o ddideimladrwydd ag a wisgir gan gorff marw at y byd a'i hamgylchyna. Nid yw hyn yn cynnwys llwyr ddilëad llygredd y natur, yn unig caua allan y posiblrwydd o ymarferiad ymhyfrydol ac o fyw ewyllysgar ynddo. Mae yr oruchwyliaeth feddyliol a sicrhâ hyn yn farwolaeth gyflawn a gwirioneddol. Mae yr oruchwyliaeth yn gyflawn lon'd y gair. Nid yw y rhai a ddadleuant dros ystyr foesol yr oruchwyliaeth a ddynodir yn y gair *marw i bechod*, yn golygu fod yr oruchwyliaeth hono yn cymeryd yr holl fywyd i mewn; ond yn unig dadleuir fod *marw i bechod* yn dynodi goruchwyliaeth foesol neu newidiad agweddiad yr ewyllys tuag at bechod, a bod yr oruchwyliaeth yna ynddi ei hun ar wahân oddiwrth ei heffeithiau ar lygredd y natur yn ol llaw, yn farwolaeth gyflawn a hollol, er nid yn unig, eto yn ngwir ystyr y gair.

Er y dywedwn nad ydyw y gair *marw i bechod* yn cymeryd i mewn ddilëad llygredd y natur, y mae er hyny yn sicrhâu ei ddilëad. Fel y mae attaliad bywyd naturiol y corff yn sicrhâu ei lwyr ddadfeiliad yn ol llaw.

Ymhellach gallwn nodi fod genym lïaws o engreifftiau o'r gair *marw* yn cael ei ddefnyddio gan yr apostol i ddynodi agwedd meddwl cyffelyb i'r un a hawlir iddo yma: wele un, "Am hyny, os ydych wedi meirw gyda Christ oddiwrth egwyddorion y byd, paham yr ydych, megys pettych yn byw yn y byd, yn ymroi i ordeiniadau?" Col. ii. 20. Nid oes

yma un ammheuaeth o barthed beth a feddylir wrth y term marw, golyga eu bod wedi darfod â'r byd, wedi derbyn egwyddor a bâr iddynt beidio âg ef a'i ymarferiadau, ac eto awgryma eu bod yn hynod o anmherffaith mewn cario allan i ymarferiad y marwhâd hwn; er hyny, nid ydyw yr anmherffeithrwydd a nodwedda eu gwrthodiad o'r byd yn ei attal i ddyweyd eu bod wedi *marw* iddo neu oddiwrtho.

Eto, nis gall fod mwy o anghyfaddasrwydd, ar gyfrif ei orgryfder, yn y gair *marw*, i ddynodi agweddiad meddwl y credadyn at bechod, nag y gall fod yn ymadrodd Ioan, "Pob un a aned o Dduw nid yw yn gwneuthur pechod, oblegid y mae ei hâd ef yn aros ynddo; ac *nis gall efe bechu*, oblegid ei eni o Dduw," 1 Ioan iii. 9. Eto, dywed yr un ysgrifenydd, "Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, ac yn ei wneuthur ef yn gelwyddog," i. 8. Os oes cysondeb yn ngwaith Ioan yn dyweyd am y rhai ag sydd â phechod ynddynt, ac ydynt yn pechu, nad allant bechu am eu geni o Dduw, onid all fod cysondeb hefyd mewn dyweyd am rai sydd yn pechu yn barhaus, ïe, am rai nad oes yn eu "cnawd ddim da yn trigo," eu bod wedi marw yn foesol i bechod, a bod eu "hen ddyn," sef eu tuedd lygredig, wedi ei groeshoelio er mwyn dirymu corff pechod? Fel ymadrodd yn dynodi yr oruchwyliaeth ysbrydol yr ä meddwl y credadyn drwyddi er newid tueddiad ei ewyllys, ac er plàniad yn ei fynwes egwyddor a newidia holl agweddiad ei feddwl at bechod, ac a ddylanwada er ei attal i drigo yn wastad ynddo (adn. 1), i fyw ynddo (2), i ufuddhâu iddo yn ei chwantau (12), i roi ei aelodau yn arfau iddo (13), ac i fod yn was iddo, nid yw mewn un modd yn rhy gryf; mae y dylanwad a sicrhâ y dybenion hyn yn ffrwyth goruchwyliaeth ar yr ewyllys nas gall fod yn llai na marwolaeth i bechod.

2. Gwrthreswm arall i ystyr foesol yr ymadrodd *marw i bechod* a ddygir ymlaen ydyw yr ymadrodd, "Croeshoeliwyd ni gydag ef," adn. 6. Dadleuir fod ei groeshoeliad ef, sef Crist, yn gyfreithiol; ac felly os croeshoeliwyd ni gydag ef, fod yn rhaid fod ein croeshoeliad ninnau hefyd o'r un cymeriad â'r eiddo ef, hyny yw, yn gyfreithiol.

Rhaid i ni esbonio y croeshoeliad hwn yn ngoleu y peth a groeshoelir, a'r peth y croeshoelir er ei fwyn. Y peth a groeshoelir ydyw "yr hen ddyn," a'r peth y croeshoelir "yr hen ddyn" er ei fwyn ydyw "dirymiad corff pechod." Yr ydym eisoes wedi dangos fod yr ymadrodd "hen ddyn" yn golygu yr ymarweddiad llygredig, ac nid y 'stâd o euogrwydd; felly rhaid fod y "croeshoelio" hwn yn golygu goruchwyliaeth foesol gyfartal i "roi heibio yr hen ddyn" yn Eph. iv. 22, ac i'w "ddyosg" yn Col. iii. 9.

Eto: cymerwn yr ymadrodd "dirymu corff pechod," sef amcan y croeshoelio. Nid yw yn hawdd dyweyd beth a olyga yr apostol wrth "gorff pechod." Tybia rhai ei fod yn golygu sylwedd pechod, gan fod y gair "corff" yn dygwydd yn aml am sylwedd, yn gyferbyniol i gysgod neu rîth: gwel Col. ii. 9, 17. Tybia eraill ei fod yn golygu y cyfanswm o bechod—yr oll o hóno—ei holl agweddau. Ond beth bynag a olyga, fe ddywedir ei fod yn cael ei ddyosg yn enwaediad Crist, neu yn yr enwaediad cristionogol, neu âg enwaediad nid o waith llaw (Col. ii. 11). Beth ydyw yr enwaediad cristionogol—yr enwaediad nid o waith llaw? Wel, fe'i gosodir yn gyferbyniol i ddienwaediad y cnawd, adn. 13.

Golyga ddienwaediad eu cnawd gyflwr o halogrwydd moesol. Felly mae enwaedu âg enwaediad nid o waith llaw, neu enwaediad Crist, yn golygu goruchwyliaeth ag sydd yn ymwneyd â natur foesol dyn yn wyneb ei halogrwydd. Mae yr enwaedu yn amcanedig i ddyosg corff pechod. Yn awr dygwn y ddwy frawddeg at eu gilydd, a dodwn hwy yn gyfochrog.

"Gan wybod hyn, ddarfod croeshoelio ein hen ddyn ni gydag ef, er mwyn dirymu corff pechod." "Yn yr hwn hefyd y'ch enwaedwyd âg enwaediad nid o waith llaw, trwy ddyosg corff pechodau y cnawd." Mae y ddau ymadrodd hyn yn amlwg yn cynnwys meddylddrychau cyfochrog mewn geiriau gwahanol—yr un gwirionedd mewn gwahanol gymhariaethau. Mae "corff pechod" yn y naill yn cyfateb i "gorff pechodau y cnawd" yn y llall; mae "dirymu" corff pechod yn y naill yn cyfateb i "ddyosg" corff pechod yn y llall; mae "croeshoelio yr hen ddyn" er mwyn dirymu corff pechod yn y naill yn cyfateb i "enwaedu âg enwaediad nid o waith llaw" er mwyn dyosg corff pechod yn y llall. Felly pa beth bynag a olygir wrth "enwaedu âg enwaediad nid o waith llaw," dyna sydd i'w olygu wrth y "croeshoelio." Gwahanol gymhariaethau i ddynodi yr un peth ydynt. Os ydyw yr "enwaediad nid o waith llaw" yn oruchwyliaeth foesol, rhaid fod y "croeshoeliad" hefyd yn oruchwyliaeth foesol. Fe allai y dywedir fod y croeshoeliad hwn yn "groeshoeliad gyda Christ;" felly hefyd yr oedd yr enwaediad, "yn yr hwn hefyd y'ch enwaedwyd." Mae y naill a'r llall o'r cymhariaethau hyn yn dangos fod y credadyn yn marw Crist yn gweled y fath esboniad ar fawr ddrwg pechod, nes crëu chwyldröad yn holl agwedd ei feddwl tuag ato. Gelwir y chwyldröad hwn yn "enwaediad," am ei fod yn dwyn y meddwl i ymwahanu oddiwrth bechod a'i holl arferion, fel yr oedd yr enwaediad llythyrenol yn dwyn yr Iuddew i ymwahanu oddiwrth bersonau a phethau dienwaededig. Gelwir ef yn enwaedu yn Nghrist am mai yr arddangosiad o Grist yn ei farw a'i heffeithiodd. Gelwir yr un chwyldröad yn "groeshoelio gyda Christ" am mai croeshoeliad Crist a'i cynnyrchodd. Wrth alw y chwyldröad hwn yn enwaediad, gelwir ef ar enw ei effaith; ond wrth ei alw yn groeshoeliad, gelwir ef ar enw ei achos. Mae croeshoelio gydag ef yn golygu, nid ein bod ni yn marw i euogrwydd pechod yn ei farw iawnol Ef, ond fod ei farw iawnol Ef yn fath o esboniad mor effeithiol ar ddrwg pechod, fel ag i farwhâu y meddwl iddo am byth. Mae y term croeshoelio gydag Ef yn cael ei ddefnyddio yn ddiammheuol i ddynodi yr effaith moesol hwn; "Trwy yr hwn [sef Crist a'i groes] y croeshoeliwyd y byd i mi, a minnau i'r byd," Gal. vi. 14. Yma nis gall dadl fod mai yn yr ystyr foesol y defnyddir y gair "croeshoelio."

3. Tybir fod adn. 7fed, "Canys y mae yr hwn a fu farw wedi ei ryddhâu oddiwrth bechod," yn anffafriol i'r syniad moesol i'r marw i bechod. Haerir fod yr ymadrodd "rhyddhâu oddiwrth bechod" yn golygu cyfiawnhâu, felly fod y marw a sicrhâ y rhyddid hwn yn farw cyfreithiol. Y mae ymadroddion eraill yn y bennod yn dangos i ni y gellir deall yr ymadrodd "rhyddion oddiwrth bechod," yn yr ystyr o sancteiddhâd. Edrycher i adnodau 18 a'r 22. Yn yr adnodau hyn ceir yr ymadrodd rhyddion oddiwrth bechod, a desgrifir ef fel peth cyfatebol i fod yn weision i gyfiawnder, ac yn weision i Dduw. Os ydyw bod yn

rhyddion oddiwrth bechod yn golygu bod yn weision i Dduw, ac i gyfiawnder (ac y mae hyn yn gyfystyr â sancteiddrwydd, gwel adn. 22), yna rhaid fod bod yn weision i bechod yn golygu nid bod dan ei euogrwydd, ond dan ei arglwyddiaeth, ac yn ei wasanaeth. Os felly, y mae y *marw* ag sydd yn rhyddhâu oddiwrtho nid yn farw i'w euogrwydd, ond i'w wasanaeth a'i arglwyddiaeth.

4. Dygir adnodau 10fed a'r 11eg eto ymlaen fel prawf o anghysondeb y syniad moesol: "Canys fel y bu efe [Crist] farw, efe a fu farw unwaith i bechod. * * * Felly chwithau, cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod, eithr yn fyw i Dduw." Dadleuir mai mewn ystyr gyfreithiol y bu Crist farw i bechod, felly fod y frawddeg gyfochrog yn golygu yr un peth am y credinwyr. Caniatäwn fod rheolau cyfochraeth yn gofyn fod yr ymadrodd *marw i bechod* yn y ddwy adnod yn golygu goruchwyliaethau cyffelyb, a bod y naill i'w deall yn ngoleu y llall. Ond dadleuwn hefyd fod yr un faint o brïodoldeb mewn casglu ystyr y frawddeg *marw i bechod* yn ei pherthynas â Christ, oddiwrth ei hystyr yn ei pherthynas â dynion, ag sydd mewn casglu ei hystyr yn ei pherthynas â dynion oddiwrth ei hystyr yn ei pherthynas â Christ.

Haerir gan y rhai a ddadleuant dros ystyr gyfreithiol yr ymadrodd, mai yn yr ystyr hwn y bu Crist farw; haerwn ninnau ei fod wedi ei brofi nas gall y credadyn farw yn gyfreithiol i bechod, mai ymadrodd heb ystyr iddo ydyw oddieithr yn ddirprwyedig; ond ni wna yr ystyr ddirprwyedig y tro i ateb dybenion ymresymiad yr apostol. Felly gan na all dynion farw yn gyfreithiol i bechod, rhaid mai yn yr ystyr sancteiddiol y dylid ei ddeall. Os ydyw yr ymadrodd i'w ddeall yn yr ystyr hwn yn ei berthynas â dynion, y mae cyfochraeth yn gofyn i ni ei ddeall yn yr un ystyr yn ei berthynas â Christ. Ac yn gadarnhäol o hyn gellir nodi nad oes genym un engraifft drwy yr holl Destament Newydd o agwedd gyfreithiol marw Crist yn cael ei ddynodi â'r ymadrodd, *marw i bechod*. *Dros bechodau, a throsom ni*, ydynt yr ymadroddion a ddefnyddir i ddynodi agwedd gyfreithiol ei farw Ef. Gwel Rhuf. iv. 25, v. 6, 8; Gal. i. 4; 1 Pedr iii. 18, iv. 1.

Ond fe allai y gofynir, A oedd yn bosibl i Grist farw i bechod yn yr ystyr sancteiddiol? Tybiwn fod. Daeth ef yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus; dygai yn ei natur ddynol wendidau dibechod 'stâd o fodolaeth yn myd y pechod; yr oedd yn agored i hudoliaethau a themtasiynau pechod; yn cael ei amgylchynu gan elfenau pechadurus; a chan belled ag yr oedd dylanwad a gallu pechod arno yn myned, yn cael ymosod arno ganddo ar bob llaw: "ymhob peth fe'i temtiwyd yr un ffunud a ninnau." Ond yr oedd ei farwolaeth yn ei ryddhâu am byth oddiwrth flinderau a themtasiynau pechod; yr oedd ei farw unwaith Ef yn ddigon i'w ryddhâu yn llwyr ac yn hollol oddiwrtho. Dyma sancteiddiad Crist. Dyma berffeithiad ei ddidoliad ef oddiwrth bechaduriaid. Mae Ef ei hun mewn rhagolygiad o'i farw yn ei alw yn sancteiddio ei hun; Ioan xvii. 19: "Ac er eu mwyn hwy yr wyf fi yn fy sancteiddio fy hun, fel y byddont hwythau wedi eu sancteiddio yn y gwirionedd." Yr oedd gwirionedd ei sancteiddiad ef yn ei farw, neu ei ddidoliad ef oddiwrth bechod,—oblegid dyma yr unig sancteiddiad yr oedd ef yn alluog o hóno, i weithredu er cynnyrchu yr un ymddidoliad ynddynt hwy mewn ystyr

foesol,—yn y gwirionedd. Mae hwn yn cyfateb i'r adnod dan sylw, "Canys fel y bu ef farw efe a fu farw unwaith (am byth) i bechod;" * * "felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod." Fel y mae ei farw anianyddol Ef yn ei ryddhâu oddiwrth bechod yn yr ystyr yr oedd Ef yn agored iddo, felly cyfrifwch chwithau eich marw moesol yn rhyddhâd i chwithau oddiwrth bechod yn yr ystyr yr oeddych yn rhwym iddo.

Ymhellach fel prawf mai dyma yr unig ystyr cyson i'r frawddeg marw i bechod yn ei pherthynas â Christ, gallwn nodi, os cymerir y frawddeg yn yr ystyr gyfreithiol, rhaid i ni gymeryd y frawddeg gyferbyniol iddi yn yr ystyr hwn hefyd, "Ac fel y mae yn byw, byw y mae i Dduw." Nid oes yn y "byw y mae i Dduw" ddim yn cyfateb i'r marw cyfreithiol. Yr unig ystyr y gellir dyweyd fod Crist yn byw i Dduw ynddo ydyw yr ystyr ymgysegriadol. Y peth cyfatebol i hwn oedd nid ei farw dros bechod, ond ei farw i bechod; hyny yw, ei ymddidoliad llwyr oddiwrth ei hudoliaethau a'i demtasiynau a'i flinderau, ac yn arbenig ei ryddhâd oddiwrth yr holl elfenau hyny o wendid cysylltiedig â dynoliaeth, fel yr ydoedd ar ddelw neu gyffelybiaeth dynoliaeth bechadurus.

Hyderwn ein bod wedi llwyddo i ddangos mai unig ystyr cydweddol â chysondeb y ffydd a berthyn i'r frawddeg "marw i bechod," ydyw, yr un foesol, a'i fod yn golygu fod y credadyn wedi myned o dan oruchwyliaeth a olyga weithred foesol wirioneddol a phersonol, ac yn ei ddwyn i dir ag a wna "drigo yn wastad mewn pechod," a "byw ynddo ef," a rhoi "ei aelodau yn arfau iddo," a'i wneyd yn "was i ufuddhâu iddo," yn anmhosibl.*

* Ysgrifenwyd yr erthygl uchod gan frawd o Fedyddiwr ag y mae genym lawer o barch i'w feddylgarwch a'i lafur ffyddlawn a chynhes yn nheyrnas y Gwaredwr; ond gyda golwg ar y syniad a fyntumia yn yr erthygl, byddai yn dda genym gyhoeddi eglurhâd ar yr ochr arall i'r cwestiwn. Dichon y daw rhyw "gymydog" i'n cyfaill "i'w chwilio ef allan."

# DAVID JONES, LLANGEITHO.

## II.

WEDI myned dros brif helyntion personol a theuluaidd David Jones, deuwn bellach at y pethau hyny a'i gwnaeth yn gymeriad mor gyhoeddus. Daeth at grefydd yn 1811, blwyddyn yr ordeinio, yr hon fydd yn fythgofiadwy yn hanes Methodistiaeth Cymru. Pan ofynid iddo pa bryd y daeth at grefydd, ei ateb yn gyffredin fyddai, "Fe ge's i grefydd yn mlwyddyn y diwygiad mud, mewn gwaed oer; ac y mae yn dda gen' i hyny bob amser pan fyddw' i'n gwel'd y fath annybendod sy' mewn diwygiadau. 'Dalla' i na neb arall mwy ddyweyd mai poethder diwygiad ddaeth â fi i'r seiat." "Yr oedd dau reswm," meddai, "dros alw y diwygiad hwnw yn un mud; un oedd, am nad oedd gwaeddi, moliannu, a neidio ynddo, fel y mae mewn diwygiadau eraill yn gyffredin. 'Ry' ni, y Cymry, wedi arfer cymaint â phethau cyffröus fel hyny mewn diwygiadau, fel na byddwn yn credu fod diwygiad o gwbl os na bydd pethau fel hyny yn cydfyned âg e'. Ond y mae yn rhaid i ni gael dyweyd hefyd, os bydd llawer o ddynion yn dyfod at grefydd, fod rhyw ddiwygiad yn bod y pryd hwnw; a chan fod llawer o hyny yn bod y flwyddyn hono, yr oedd yn rhaid cael ei alw yn ddiwygiad. Ond er mwyn ei wahaniaethu oddiwrth ddiwygiad y gorfoleddu a'r neidio, galwent ef yn ddiwygiad *mud*. Yr oedd peth arall yn ei wneyd yn un mud, sef, mudandod y rhai fyddai yn cael eu derbyn i'r seiat. Yr oedd yn anmhosibl bron cael gan neb o honynt siarad, nac hyd yn nôd i ddyweyd beth oedd yn gwasgu fwyaf ar eu meddwl. Yr o'wn ni fel hyny fy hunan, yn methu yn lân ag ateb y peth a ofynai Mr. Williams a Mr. Richard i fi. Cododd Evan Tanner i fyny mewn nwydau enbyd oblegid hyny, a dywedodd, 'A yw pethau fel hyn i gael eu goddef, i aelodau yr Ysgol Sabbothol dd'od yn y shâp yma i'r seiat? Achwynwn i fawr pe bydde nhw'n arfer bod yn ddystaw; ond dynion oedd yn dadle' â phawb, nad oedd yn bosib' cael taw arny' nhw, a rhei'ny fan hyn heb ddim i 'weyd drostyn' 'u hunain.' Ac wn i faint 'wedsai," meddai D. Jones drachefn, "oni bae i Jack Siencyn, Llwyngroes, blaenor, a thad Thomas Jenkins, pregethwr, Penuwch, godi fyny a dyweyd, 'Mae yn dda gan fy nghalon i wel'd Deio yn yr agwedd yma heddy'. Clywais i e' cyn hyn yn dyweyd, 'Holwch ch'i, atebaf finnau; a gwnai e' hyny yn ddigon rhwydd; ond 'rwy' i'n credu mai dyma yr agwedd oreu ar 'i fath e' heddy'.'" Dyna dystiolaeth D. Jones am fudandod diwygiad 1811; ac wrth holi yr hen bobl, yr ydym yn cael sicrhâd o'r un peth, fod ychwanegiadau lawer at yr eglwysi yn y flwyddyn hono, ond nad oedd dim neillduol gan y dychweledigion i'w ddyweyd, na dim yn neillduol yn Sïon wrth eu derbyn. Beth bynag, nid oedd y cwbl ond rhywbeth yn debyg i'r dystawrwydd y sonia y morwyr am dano, sydd yn blaenori ystorm; yr awelon fel yn cysgu, a'r môr yn y tawelwch mwyaf, ond yr adar yn tyru yn ddôf o gwmpas y llong. Felly yma; oblegid yn gynnar yn y flwyddyn 1812,

tòrodd diwygiad nerthol iawn allan, gyda holl osgordd arwyddol diwygiad yn ei gylchynu, ac ymledodd dros yr holl wlad, pryd y gwnaed llawer mwy na dyblu nifer yr aelodau crefyddol trwy Ogledd a Deheudir Cymru. Er na ddarfu i'r hen bobl dda glywed "llef un yn gwaeddi" yn y dychweledigion yn mlwyddyn yr ordeiniad, eto yr oedd y diwygiad mud yn rhagredegydd amlwg i ddiwygiad y flwyddyn ganlynol, am yr hwn yr arferai D. Jones ddyweyd, y dylai y Methodistiaid fod mor ddiolchgar am dano â dim yn eu hanes. "Beth oedd yn fwy o arwydd o foddlonrwydd Duw," meddai, "nag iddo ddyfod â'r diwygiad hwnw yn amser yr ordeiniad, pan oedd cymaint yn darogan llwyr ddinystr y Cyfundeb. A pheth oedd yn rhyfedd iawn," meddai drachefn, "nid oes dim hanes i'r gawod ddisgyn mewn nemawr i fan ar Eglwys Loegr, pan y disgynodd ar y Methodistiaid dros yr holl wlad, nes y daethant yn fwy llïosog a dylanwadol nag y buont erioed."

Dichon y bydd rhai wedi darllen yr hanes uchod am yr hen gynghorwr, Evan Tanner, yn sýnu at ei ddull garw o siarad â'r gweiniaid yn y cyfarfod eglwysig. Y mae eraill wedi bod yr un fath, ac wedi amlygu eu teimlad i D. Jones; ond yr oedd ganddo ddigon o ffeithiau eraill i ddangos fod y Tanner a mwy o duedd ynddo i fod yn "darawydd" mewn amgylchiadau o'r fath, nac yn ddim arall; ac yn eu plith adroddai yr un ganlynol:—Pan oedd yr henwr Thomas Lewis, Cilrŷg, wedi cael ei alw i ddyweyd ei brofiad wrth y Parchedig Ebenezer Morris, ar ryw ddydd Mercher,* yn Llangeitho, nid oedd ei atebion yn dyfod i fyny â safon yr hen frawd am brofiad. Cododd i fyny yn wyllt fel arferol, a dywedodd yn ei ddull sychlyd, y dylai fod cywilydd ar hen grefyddwr o'i fath ef, na byddai ganddo fwy i ddyweyd am ddaioni y Gŵr. "Beth allwn ni ddysgwyl oddiwrth grefyddwyr ieuainc pan y'ch ch'i mor fud, a hyny 'wedwch ch'i mor gintachlyd? Dewch â rh'wbeth gwerth i 'weyd." "Ond câs e' 'i *ffito* yn iawn y tro hwnw," meddai D. Jones; "gwelodd Mr. Morris yr henwr yn ymollwng, a gofynodd iddo yn union, 'Faint sy' oddiar pan y'ch ch'i gyda chrefydd, Tomos bach? fe allwn i feddwl wrth glywed y brawd Evan yn dyweyd, y dylai fod gyda ch'i ryw sachaid o brofiad erbyn hyn.' 'Fe ddylai fod o ran amser,' meddai yntau, 'waith yr w'i gyda'i 'nawr er ys 60 mlynedd.' 'Ai'ë? *dear me!*' ebai Mr. Morris; 'a fuoch ch'i ddim allan o'r tŷ wedi hyny?' 'Naddo, naddo, er i fi haeddu lawer gwaith,' meddai yntau, dan wylo. 'Wel! wel! bobol fach,' meddai Mr. Morris, â'i lais yn ddyrchafedig, 'wn i b'le gallwn ni gael neb arall all ddyweyd y Shibboleth yna mor gröew. Nid peth bach yw treulio 60 mlynedd *gyfan* gyda chrefydd.'" Ond yr oedd D. Jones yn dyweyd nad oedd dim yn rhyfedd i Evan Tanner siarad âg ef fel y gwnaeth, gan ei fod wedi ei boeni gymaint â chwestiynau. Yr oeddynt yn byw yn bur agos i'w gilydd, ac ar hyd yr un ffordd yn myned i ac yn dyfod o'r Capel, ac felly mewn cyfleusdra i ymaflyd codwm duwinyddol yn aml. Ac nid esmwyth iawn i deimlad hen grefyddwr, yn enwedig hen gynghorwr, oedd clywed rhyw bŵt o saer digrefydd fel Deio'r Castell yn dadleu cymaint am bethau crefyddol; mŷnai ef iddo

* Dydd Mercher, am 12 o'r gloch, yw amser oedfa wythnosol y Capel, oddiar amser Rowlands, ond ei fod ar ddydd Sadwrn, fel gydag yntau o flaen Sabbath cymundeb.

fod yr un fath ger bron Mr. Williams a Mr. Richard. Ond gwyddai y saer â phwy a pha bryd i ddadleu, pe na buasai dim yn natur y diwygiad i gynnyrchu mudandod.

Pa faint bynag oedd y golled a deimlai y blaid wrthwynebol y diwrnod y gadawodd D. Jones ei baner, ymddengys oddiwrth yr hanesynau canlynol fod byddin Iesu yn llawen ac yn gorfoleddu. Yr oedd yr henwr Tomos, Coedmawr, ei gymydog, wedi cynghori llawer arno i ddyfod at grefydd, wedi dysgwyl llawer am dano, os nad wedi gweddïo llawer drosto. Ac unwaith, yn nghlyw D. Jones, pan yr oedd ef ac eraill yn siarad am yr agwedd isel oedd ar grefydd, tòrodd yr ymddyddan i fyny ar unwaith trwy ddyweyd, "'Ry' ni 'n cwyno, bobol fach; ond pe byddai'r Arglwydd ddim ond d'od at ei waith, byddai gwêdd arall ar bethau yn y fan." A chan roddi ei law ar ysgwydd D. Jones, dywedodd, "Dyma fachgen fan hyn wnai lawer o waith, pe byddai ddim ond treio; 'nawr, fachgen, penderfyna ar unwaith, mae'r cerbyd yn aros am danat." Ond y dydd Mercher, pan y tòrodd Dafydd y ddadl o du Iesu Grist, yr oedd yr henwr yn ei wely gartref; ond aeth ei ferch â'r newydd iddo mor fuan ag y gallai. "'Nhad," meddai, "a wyddoch ch'i pwy ddaeth i'r seiat heddy'!" "Na wn i; pwy?" "Deio'r Castell." A chan neidio o lawenydd i'w eistedd, er gwaeled oedd, dywedodd yn sỳn a sydyn, "Be ti'n geisio 'weyd, lodes!" "Eitha' gwir i chwi," meddai hithau. "Fath agwedd oedd arno, d'wed? os nad yw Deio wedi tòri asgwrn ei gefn, 'dyw e' werth dim." Rhoddodd hithau ddesgrifiad o hóno. "O diolch," meddai yntau, "mae e' wedi chael hi adre'; mae Deio yn werth ei gael, os yw yn yr agwedd yna." Yr oedd mam D. Jones wedi bod yn glâf am amser maith cyn iddo ef ddyfod at grefydd, a'r diwrnod y daeth, dyma Evan Siôn, Castell bach, yn dyfod ati, ac yn dyweyd, "Mally, mae gen' i newydd i roi i ti." "Beth yw e', Evan bach?" "Fe ddoeth Deio dy fab ato ni i'r seiat heddy'." "Do, fe?" "Do; a welais i ddim o hóno 'rioed yn gymaint o *goward*, yr hen siaradwr mawr ag e'; 'ro'wn i'n well o ben nag e' heddy', 'wn i pryd o'r blaen." "Be' 'wedodd e'?" meddai hithau, a'i bron yn rhy lawn i'w thatod lefaru llawer. "Fe 'wedodd i fod e'n bechadur mawr, a dyna'r cwbwl." "Be' 'wedo' nhw am dano?" gofynai drachefn. "Be' 'wedo' nhw am dano, wir," meddai yntau, "yr oedd yn well gyda nhw gael Deio yno, deall di, na phe byddai nhw'n cael dwsin o dy fath di a finnau."

Wedi iddo ddechreu "myned i fewn i deyrnas Dduw," dechreuodd y "gorthrymderau" yr un pryd. Yr oedd ef erbyn hyn yn byw dan yr un tô a'i rïeni, ac felly yn ddeiliad fel hwythau i Mr. Jones, Glànmarch, offeiriad Capel Bettws a Llanbadarn Odwyn. Ar ol i'r tirfeddiannydd glywed fod Dafydd wedi myned i'r seiat i'r Capel, galwodd ef ato, ac wedi y cyfarchiadau arferol, cymerodd yr ymddyddan canlynol le:—"Yr wyt ti, Deio, wedi myned i *felongo* i'r Capel, mae'n debyg?" "Do, mi e's o'r diwedd." "Be' 'na'th i ti fyn'd yno, yn fwy na d'od ata' i i'r Llân?" "Wel, yno yr o'wn i yn leicio myn'd, rhywfodd, yno 'ro'wn i'n arfer gwrando, ac yno yr oedd 'nhad a 'mam." "Wel, wn i ddim, Deio, 'dalla' i ddim gadael y rhai sy' dan fy llaw i 'neyd fel y mỳno nhw; a dyna beth o'wn i am 'neyd â thi heddy', i ti gael dy ddewis, naill ai d'od ata' i i'r Eglwys, neu adael y Castell." "Wel, ch'i bia'r tir, Mr. Jones, a gellwch ei ro'i i'r sawl fynoch; ond 'ry'ch i'n

gw'bod mai finnau bia 'nghrefydd, ac mi wn eich bod ch'i yn ddigon o ŵr boneddig i nghyfri' i'n ddyn gwael iawn os do' i *atoch ch'i* eto i'r Llân, newydd fyned at *grefydd* i'r Capel." "Fel 'na 'rwy' i'n penderfynu, Deio, a chei di w'thnos i 'neyd dy feddwl i fyny." "'D oes arna' i ddim eis'e' w'thnos at hyna, Mr. Jones, 'rwy' i'n ystyried fod hyna wedi 'i benderfynu ddydd Mercher; ac os âf fi i 'weyd y gwir, dyna yw 'nheimlad i *'nawr, pe byddech yn cynnyg y Castell i fi am fyned trwy un drŵs yn lle y llall i'r Capel, na allwn i ddim o'i 'neyd;* ac os na alla' i 'neyd hyny, peidiwch dysgwyl am i fi 'neyd peth sy' lawer mwy." "O, os dyna yw dy benderfyniad, sâf yn y Capel, a dyro y Castell i fi."

Dyna fel y bu; cadwodd pob un at ei benderfyniad yn ddiysgog. Ond wrth derfynu yr ymddyddan yn Glànmarch, dylid dyweyd, er anrhydedd iddynt, pa mor boeth bynag y buont yn dadleu, iddynt siglo dwylaw wrth ymadael. Gallem feddwl fod y ddau, i raddau, yn siomedig; yr offeiriad am iddo fethu cyrhaeddyd ei amcan, a D. Jones am na wyddai ymha ran o'r byd y byddai ei gartref newydd. Ond gwyddai ar hŷn o bryd fod yr ennill yn fwy na'r golled am yr hen gartref, gan fod ganddo gydwybod heb ei dolurio, ac egwyddorion heb syflyd trŵch y blewyn gan rym y brofedigaeth danllyd a gyfarfyddodd. Nid oedd yr offeiriad yn teimlo cymaint oblegid yr hen deulu yn y Castell, gan eu bod hwy yn hen aelodau yn y Capel, ac hefyd yn hen denantiaid ar y ffarm. Yr oedd yr amser ar grefydd hefyd yn myned dan gyfnewidiad pwysig, y cyrchu i Langeitho wedi darfod i raddau mawr, a'r praidd yn cael eu corlanu mewn capelau newyddion ymhob cymydogaeth, ac oblegid hyny, yr oedd yr offeiriaid, hwythau, yn ymddeffro o'u cysgadrwydd, ac yn gwneyd y goreu o'r adeg i lenwi yr eglwysi gweigion â'r *tide* oedd yn cilio yn ol o Jerusalem Cymru, ac felly ddim yn foddlawn i golli neb. Ond y rheswm penaf oedd ei fod ef yn gymeriad llawer mwy pwysig yn y byd crefyddol na'i rïeni, ac felly yn fwy o werth ei gael; a chan fod y ddau wedi bod yn gymaint o gyfeillion o'r blaen, nid oedd yr offeiriad wedi meddwl nad ato ef y daethai yn aelod.

Yr oedd D. Jones yn dyweyd i'r hanes am gartref newydd ddyfod iddo yn hollol ddiymofyn a diarwybod. Galwodd Lewis Thomas, o Wenallt, ef o'r neilldu, pan oedd yn gweithio wrth gapel presennol Llangeitho, yn 1813, a gofynodd iddo a oedd yn gorfod gadael y Castell, ac a oedd ganddo addewid am le newydd. Wedi cael gwybod yr amgylchiadau, dywedodd fod ganddo ef ddôl tu hwnt i Tŷ'ndolau, ar yr hon yr oedd yn meddwl adeiladu tŷ, os cawsai grefftwr i fyw ynddo. Yn niwedd y dydd, aeth Dafydd i weled y lle, a chyttunwyd i adeiladu arno y Dolaubach. Ond oblegid rhyw bethau yn ei amgylchiadau ef, a rhyw fath o Act Goddefiad o du yr hen feistr, ni ddarfu iddo fyned yno i fyw hyd ar ol marwolaeth ei dad. Ac oblegid i'w dad farw, ni allai ei fam gadw y ffarm; a chan na oddefid iddo yntau a'i deulu fod yno gyda'i fam, dewisodd y ddau deulu adael tŷ y caethiwed yr un diwrnod; a chododd Joseph Davies, Llundain, Tanyrallt, yr ochr arall i'r ffordd o Dolaubach, i'r fam a'i theulu. Ac os bydd rhyw ddyngarwyr haelfrydig yn dewis cael golwg ar y ddau dŷ, oblegid yr amgylchiadau gofidus a chlodwiw a achlysurodd eu cyfodiad, gwybydded y cyfryw fod y ddau yn aros hyd y dydd hwn. Dangosodd yr offeiriad lawer o edifeirwch am ddanfon D. Jones ymaith o'r Castell; a bu yn ei gym-

hell i ddyfod yn ol, ond yn aflwyddiannus; er hyny bu y ddau yn rhywfath o gyfeillion mawr hyd farwolaeth Mr. Jones. David Jones oedd un o'r ymddiriedolwyr a ddewisodd yr offeiriad ar ei ewyllys ddiweddaf, am yr hyn y bu calon Dafydd yn gwaedu am flynyddoedd, oblegid nad oedd yr eiddo yn ateb i'r ewyllys, a bod y ddau eraill oedd gydag ef, un wedi myned yn fethdalwr, a'r llall yn rhy bell o'r wlad, ac o ganlyniad yr holl gyfrifoldeb wedi syrthio arno ef. Yr oedd yn arfer dyweyd mai dyma y peth mwyaf gofidus a gyfarfyddodd yn ei fywyd, ac y collasai drwyddo bob ceiniogwerth a feddai, oni buasai i'r cyfreithwyr ac eraill gymeryd ei blaid.

Wedi darllen yr uchod, bydd pob un cyfarwydd â'r natur ddynol yn gweled fod ynddo ddefnyddiau gweithiwr anhyblyg. Felly yr oedd: ac yn y symudiadau hyny a wnaeth corff y Methodistiaid yr hyn ydyw, yn enwad hollol ar wahân oddiwrth bob enwad arall, fe gymerodd efe ran neillduol. Nid llygad-dyst yn unig oedd; yr oedd yn ormod o Fethodist, meddai ar ormod o yni ysbryd, ac yr oedd ei gymhwysderau i waith y fath, fel na oddefid iddo fod felly, ond daeth allan fraich ac ysgwydd o'u plaid. Mewn symudiadau mor ammheus i feddwl y cyffredin am eu cyfreithlondeb, byddai llawer, er yn awyddus i wneyd rhywbeth, eto yn ofni cymeryd y blaen rhag ofn llosgi eu bysedd; ond taflodd ef ei hunan ar unwaith i flaen y frwydr, heb ymgynghori â chîg a gwaed.

Bu Gwasanaeth Eglwys Loegr yn cael ei ddarllen yn y Capel oddiar ddyddiau Rowlands, hyd nes y daeth Mr. Richard i Dregaron, fel nad oedd yr un gwahaniaeth yn yr addoliad a gynnelid yno i addoliad y Llàn oedd yn ymyl, ond yn unig mai mewn capel yr oedd yn cael ei gynnal, a bod yno fwy o ysbryd addoli. Ni fyddai hyny yn cael ei wneyd, mae yn wir, ond pan fyddai un o'r offeiriaid yno yn gweini, yr hyn fyddai bob mis, ac weithiau yn amlach; ond rhaid oedd ei ddarllen y pryd hwnw. A byddai y rhan fwyaf yn ystyried mai hono oedd yr unig oedfa gyflawn, ac nad oedd y rhai eraill i gyd ond diffygiol ac afreolaidd. Beth bynag, yr oedd rhai fel D. Jones yn anfoddlawn i'r gwasanaeth, ac yn gwneyd y goreu i ddadleu yn ei erbyn. Ac fel yr oedd goreu, yr oedd Mr. Williams, Lledrod, yn bur ammheus ei feddwl yn ei gylch, ac wedi amlygu ei ddymuniad i'w adael heibio, oni bae fod arno ofn tramgwyddo y gweiniaid. Wedi i Mr. Richard ddyfod i'r gymydogaeth i aros, siaradodd â Mr. W. ar y pwnc, a chafodd ef yn addfed i'w roddi i fyny ond cael rhyw lwybr addas at hyny. Wedi hir siarad, symiwyd y cwbl i fyny mewn tri o benderfyniadau,—fod y gwasanaeth i gael ei roddi heibio yn ddioed—fod pennod o'r Bibl i gael ei hadrodd yn ei le—ac mai D. Jones oedd i adrodd y gyntaf. Caiff y darllenydd ddyfalu beth oedd eu rhesymau dros benodi D. Jones at y fath orchwyl am y tro cyntaf. Fel yr oedd arfer Mr. R. trwy ei oes o roddi y blaen i Mr. W., felly y bu y tro hwn. Aeth Mr. W. at D. Jones i ddyweyd yr holl benderfyniadau. "Yn awr," meddai, "bydd di â'r bennod yn barod erbyn y byddw' i yn galw am dani; ac ar ol i ti orphen, âf finnau i weddi heb gymeryd arnaf na fydd pob peth fel arferol." "O'r goreu," meddai yntau, "yr o'wn i yn dysgwyl i hyna gael ei 'neyd ys tro, ond 'do'wn i ddim yn meddwl mai fi gawsai roi yr ergyd olaf iddo; ond 'rwy'n eitha' boddlon." Y Sabbath a'r amser a

ddaeth, a chwiliai Dafydd Sisyllt yn ddyfal am y gwasanaeth arferol yn y Llyfr Gweddi, er mwyn cyflawni ei swydd fel clochydd. Ond yn lle hyny, galwodd Mr. W. am y bennod, ac adroddodd D. Jones yr 8fed o Dïarhebion, ac aeth Mr. W. i weddi. Felly terfynodd y rhan ddefosiynol o'r gwasanaeth, heb na llith gyntaf, ail, na thrydedd, y Sabbath hwnw, na byth wedi hyny yn y Capel. Nid ydym yn gwybod pa flwyddyn y cymerodd hyn le; ond rhaid ei fod wedi cymeryd lle rhwng 1809 ac 1813, gan mai ar y dyddiad cyntaf y daeth Mr. Richard i fyw i Dregaron, ac mai yr olaf y dechreuwyd adeiladu y capel presennol. Mae digon i dystiolaethu mai adrodd y bennod oedd yr arferiad yn Tŷ'ndolau pan oedd yr hen gapel ar lawr. Nid ydym yn gwybod pa effaith gafodd diddymiad y gwasanaeth ar yr ardal, ond dywedai D. Jones ei fod yr un fath i Gymry Llangeitho ag oedd yr ymgais i ddiddymu y seremonïau Iuddewig i'r Iuddewon.

Er yr holl siarad oedd wedi bod er goleuo y wlad am y prïodoldeb o ordeinio pregethwyr y Methodistiaid eu hunain i weinyddu y sacramentau, ac er fod hyny wedi ei wneyd yn 1811 yn y Gogledd a'r Dê trwy gydsyniad unol y Corff, eto nid oedd neb bron yn nghymydogaeth Llangeitho yn ddigon gwrol i fyned â'u plant i'w bedyddio ond at offeiriaid y gymydogaeth. Yr oedd arnynt gymaint o ofn eu digio, a llawer yn meddwl nad oedd bedydd neb arall o werth, fel yr oedd yn anhawdd cael unrhyw ddyn fyddai yn ddigon goleuedig ei farn, ac ar yr un pryd yn ddigon annibynol ei feddwl, i dòri trwy bob anhawsdra er cael yr hyn yr oedd yn gredu i ymarferiad. Yr oedd D. Jones yn gydnabyddus â holl dratodaeth yr ordeinio o'r dechreuad, ac wedi bod yn dadleu yn wresog drosto ddegau o weithiau; ond nid aeth yntau â'r plentyn cyntaf a gafodd wedi yr ordeiniad at y Methodistiaid i'w fedyddio. Beth bynag, efe oedd raid gael tuag at chwalu y canolfur gwahaniaeth hwn eto; nid oedd yr arwydd lleiaf fod neb arall yn meddwl gwneyd, er fod tair blynedd wedi myned heibio er yr ordeiniad. A phan fendithiwyd ef â phlentyn drachefn, aeth yn ei unswydd i Dregaron i ofyn a wnai Mr. Richard ei fedyddio pan ddelai i'r Capel drachefn. "Dafydd bach," meddai yntau, "a oes arnoch chwi ddim ofn yr â hi yn *revolution* enbyd yno os gwnaf hyny?" "Nac oes, un tipyn," meddai yntau; "waeth iddi fyned yn awr nag eto, mae yn siŵr o fyned r'wbryd." "Yr ydych yn dyweyd y gwir, ond rhywbeth rhyfedd yw dechreu peth y mae llawer o ddyweyd yn ei erbyn, serch hyny." "Wel," meddai yntau, "'rwy i yn foddlon rhoi mhlentyn i i ddechreu, a mentro'r canlyniadau." "Mae'n dda gen' i 'ch gweled ch'i mor wrol Dafydd, mae'n rhaid i fi 'neyd. 'Rwy i fod yn y Capel ddydd Mercher, a bydd Mr. Williams yno hefyd; ac yn awr, gofala di dd'od â dwfr yno heb yn wybod i neb, fel na ddeallir dim am y peth nes y byddom yn barod at y gwaith." Felly y bu. Wedi gorphen yr oedfa gyhoeddus, dywedodd Mr. Richard, yn ei ddull call a deniadol ei hun, fod yr ordinhâd o fedydd i gael ei gweinyddu. "Nid yw bedydd," meddai, "yn beth dyeithr i neb o honoch, er y gall y pwys sydd ynddo fod yn ddyeithr i lawer. Ond gan fod y teulu am fedyddio eu plentyn yn ol y dull y penderfynwyd arno yn ddiweddar gan ein Cyfundeb ni, nid wyf yn teimlo y gallaf fyned ymlaen heb eich cydsyniad chwi, am hyny yr wyf yn dymuno am i bawb sydd dros hyn i arwyddo hyny trwy godiad deheulaw." Gwnaed hyny yn bur unfrydol. "Wel, gyfeillion,"

meddai drachefn, "mae yn dda iawn genyf eich bod yn amlygu cydsyniad mor unol a brawdol. Gallai Mr. Williams yma fyned ymlaen heb eich trafferthu â hyn, a gallaf finnau fyned yn wrol bellach, gan fod rhywbeth mawr iawn yn nghydsyniad yr eglwys, fel y dywedodd ein Hiachawdwr bendigedig. Gweddïwch, frodyr, am i ninnau gael gwneyd hyn yn ysbryd y wir eglwys, fel y byddo yr hyn a rwymir yma gael ei rwymo hefyd yn y nef." Yna aeth ymlaen i draethu ar y pwnc, ac i fedyddio. A chan fod y fath arogl esmwyth ar y cyfan, ymddangosai pawb yn llawen ac wrth eu bodd. Wedi y cyfarfod daeth llawer at D. Jones i amlygu eu diolchgarwch iddo am dòri trwyddi o'u blaen, ac i amlygu hefyd eu penderfyniad i wneyd yr un fath. Y ddau ordeiniad, yr Esgobol a'r Methodistaidd, oedd testun mawr y siarad y pryd hwnw; ond yr ydym wedi ein hysbysu fod y bedydd cyntaf hwn, yn ol y dull newydd, wedi bod yn foddion i dòri y ddadl yn meddwl llawer o rai ammheus, i ddystewi llawer ar y gwrthwynebwyr, ac i gryfhâu yr ymlyniad wrth y cyfundeb yn llawer mwy.

Ond ni fu y cam hwn chwaith heb ei brofedigaethau i D. Jones, oblegid cyn y nos yr oedd hanes y bedydd wedi cael ei gario gan ryw bïoge nffyddlawn i offeiriad plwyf Llangeitho, yn yr hwn le yr oedd D. Jones yn byw. Bore drannoeth daeth *bill* o swllt iddo am y bedydd, wedi ei arwyddo gan y Parch. Hugh Lloyd ei hun. Ni wnaeth efe sylw o hóno y pryd hwnw, ond yn unig dywedodd nad oedd yn gyfleus i dalu. Anfonwyd ato drachefn a thrachefn; ond yr oedd ef wedi ymgynghori digon ar y mater erbyn hyn, ac ni fynai dalu. O'r diwedd anfonwyd gwŷs gyfreithiol, ac aeth yntau yn uniongyrchol i Cilpill at y gŵr parchedig ei hun. Cyfarfyddodd âg ef cyn myned at y tŷ, a dywedodd ei fod ef yn rhyfeddu ato ei fod yn dangos cymaint o ffolineb i'r byd, a hyny am beth nad oedd yn perthyn iddo; a gofynodd beth yr oedd wedi wneyd iddo, nad oedd dim a fynai ef â'r bedydd o gwbl. "Dim fynwy' i â'r bedydd," meddai yntau, "mae hyna yn dangos dy fod yn siarad peth nad wyt yn wybod; i beth 'rwy i 'n talu am fy llyfrau a'm papyrau os nad oes fynwy' i â'r bedydd? Mae yn gâs gen i glywed rhai 'rwy' i wedi gwneyd cymaint o ddaioni iddyn' nhw yn myn'd i godi yn fy erbyn fel hyn." "Pob parch i ch'i, Mr. Lloyd, am bob peth wy' i wedi gael ar eich llaw, ond 'dwy i ddim yn ystyried mod i wedi g'neyd dim yn eich erbyn ch'i na neb arall wrth fedyddio mhlentyn." "Pam hyny?" gofynai. "Wel, gan mod i'n aelod gyda'r Methodistiaid, a bod hawl gan ein gweinidogion ni 'n hunain i fedyddio, 'rwy'n ystyried y byddwn i 'n bradychu 'n henwad 'n hunain pe byddwn yn rhoi mhlentyn i ch'i i fedyddio." "'Rwy' i wedi cael twyll ynot ti, Deio; 'down i ddim yn meddwl mai thi fyddai y cynta' yn y Capel i dòri dros derfynau'r Eglwys." Mae yr ymddyddan yn bur faith, ond gan nad ydym yn cofio ei sylwedd ymhellach, ymattaliwn. Beth bynag, trwy i Mr. Jones, Glànmarch, ei hen feistr, ac eraill, weithio drosto, ni chafodd D. Jones dalu y swllt na'r costau. Ac y mae hyn i'w ddyweyd, pa faint bynag a wnaeth y bedydd ei hun o ddaioni i'r Methodistiaid, fod yr helynt ganlynol wedi gwneyd llawer mwy.

Gwnaed D. Jones yn flaenor yn 1822, efe a Peter Davies, y Glŷn. Ac ar ol eu dewis hwy, dywedodd Mr. Williams a Mr. Richard y gallai defnyddioldeb Mr. Thomas Williams, Bwlchyddwyallt, fod yn llawer

mwy pe byddai yn cael ei alw i flaenori. Yr oedd y brawd hwn wedi bod yn pregethu, ond wedi rhoddi hyny fyny er ys tro. A dywedir fod y ddau weinidog wedi ei gynnyg i'r eglwys er mwyn ei galonogi, a chan led-awgrymu, os nad allai wneyd pregethwr, y gallai wneyd blaenor da. "Nid oeddym yn dysgwyl," ebai Mr. Richard, "y byddai neb o honoch yn cynnyg Thomas Williams, am fod yr enw pregethwr arno; ond yr ydym ni yn ei gynnyg; ac os ydych yn cydsynio arwyddwch." Felly bu; a bellach yr oedd yno dri blaenor wedi eu gwneyd ar unwaith. Yr oedd yno un Thomas Williams yn flaenor o'r blaen, yr hwn oedd yn frawd i Rees Williams, Blaenpenal, dau frawd a safent yn y rhestr flaenaf o flaenoriaid yn y Sîr. A dywedir am y cyfarfodydd eglwysig yn y Capel ar ol y neillduad hwn, y byddent yn gyflawn pan fyddai y tri hyn yno, gan y byddai Tomos brawd Rees heb ei fath am dynu un i ddyweyd ei brofiad; Peter Davies yn fanwl iawn ynghylch buchedd y dyn gartref ac oddi-cartref; a D. Jones yntau yn enwog am chwilio gwybodaeth ac am oleuo y dyn o ran ei farn. Felly rhyngddynt byddai tri pheth mawr pob dyn yn cael ei godi i sylw, sef ei grêdo, ei brofiad, a'i ymarweddiad. Yr oedd Tomos fel Rees ei frawd, yn enwog yn y Cyfarfodydd Misol am draethu ar ysbrydolrwydd pwnc y seiat gyffredinol; yr oedd P. Davies yn enwog mewn politiciaeth grefyddol, ac yn gymaint felly, fel y byddai ei air y rhan amlaf yn y *committees* yn ddeddf; ac yr oedd D. Jones yn dipyn o bob peth, fel mai ato ef y cyfeirid am gymhwysderau pregethwyr, ac am atebiad parod a therfynol mewn achosion dyrys, ac efe, y rhan amlaf, fyddai yn myned dros y Sîr i Gymanfäoedd. Teithiodd Mr. Davies, y Glŷn, lawer gyda'r Cyfarfodydd Misol a'r Cymanfäoedd; ond pan fyddai eisiau dewrder a beiddgarwch, fel rheol ni ddewisid ef, gan ei fod yn rhy wylaidd; D. Jones fyddai y dyn at hyny.

Cafodd ei ddewis yn Ysgrifenydd Cyfarfod Blynyddol Ysgolion Sabbothol y Sîr yn y flwyddyn 1829, sef y flwyddyn gyntaf ei cynnaliwyd, a chafodd fod yn ei swydd hyd ddydd ei farwolaeth. Bu yr un fath yn Ysgrifenydd Cyfarfod Daufisol y Dosbarth. Ac y mae cofnodau o'r cyf-arfodydd blynyddol a daufisol wedi cael eu cadw yn ofalus ganddo, a hyny, os ydym wedi deall yn iawn, o ddechreuad pob un o honynt; a chedwir hwynt yn awr gan ei fab fel perlau o werthfawr bris, er mwyn i'r sawl a ewyllysio eu gweled gael hyny o roesaw. Mae ganddo hefyd lyfr cofnodau o gasgliadau y Capel, a hyny ymhell cyn marwolaeth Mr. Williams, Lledrod, ac yn bur agos oddiar yr amser y daeth i fyw i ardal Llangeitho. Mae ganddo gofnodau hefyd o lawer o bethau eraill.

Wedi dilyn D. Jones fel yna i fewn i'r cylchoedd cyhoeddus ymha rai y dysgleiriodd fwyaf, ni wnawn bellach ond nodi prif deithi ei gymeriad trwy ba rai y daeth yn wrthddrych cymaint o sylw ac edmygedd. Ac wrth wneyd hyny ymdrechwn ddyfod â digon o'i bethau ef ei hun ymlaen er egluro yr hyn y ceisiwn ei brofi.

Un peth a fu yn help mawr iddo ragori oedd ei *ddychymyg parod.* Meddai ar lawer o'r gallu i awgrymu dyfais i'r meddwl, erbyn angen. Ni allai neb ond un yn meddu llawer o'r gallu hwn fyned mor ddianaf trwy amgylchiadau mor beryglus â'r rhai a gyfarfyddodd âg ef ar ei ddyfodiad at grefydd, ar fedydd ei blentyn, ac yn enwedig gydag ewyllys ei hen feistr. Nid oedd neb yn meddwl na chollai yr oll a feddai y pryd hwnw, os na ddaethai arno yn drymach na hyny. Costiodd lawer o

anhunedd a phoen iddo, nes yr oedd y rhan fwyaf yn credu na fyddai byw; ond daeth trwyddi yn ddïogel ac anrhydeddus. Gadawodd Mrs. Griffiths, Glànyrafon-ddu, Sir Gaerfyrddin, lawer o eiddo yn ei hewyllys er eu rhoddi rhwng tlodion eglwys y Capel, ynghyda chapel Tal-llychau, ac eraill yn Sir Gaerfyrddin. Trwy ryw afreoleidd-dra aeth y llywodraeth â'r arian i ddwylaw nad oeddynt yn gweithio allan amcan yr ewyllys wrth eu cyfranu. Ac ni fynent roddi yr ysglyfaeth i fyny ar un cyfrif, nes y gorfodwyd hwy gan lŷs cyfreithiol. Ac wedi cael yr arian i ymddiriedolwyr prïodol, bu y dull o'u cyfranu yn fater dadl faith drachefn yn Nghymanfa y Corff. Gan eu bod yn bedair neu ragor o eglwysi, mynai llawer y dylid rhoddi yr un swm i bob un o honynt. Cynllun D. Jones oedd i'r arian gael eu cyfranu yn flynyddol yn ol cyfartaledd rhifedi aelodau pob eglwys; a dadleuodd mor orchestol drosto, nes y gwelodd pawb ei degwch, er fod teimlad cryf yn ei erbyn yn yr eglwysi cyfranog o'r budd, gan fod rhifedi aelodau y Capel mor llïosog bron a'r lleill i gyd. Ond y cynllun hwn a fabwysiedir hyd heddyŵ, er budd mawr i dlodion Llangeitho, y rhai sydd yn derbyn oddeutu 20p. bob blwyddyn. Mae llawer yn cofio am y sarhâd mawr a amcanwyd daflu ar enw Rowlands, Llangeitho, mewn erthygl yn y *Quarterly Review* er ys blynyddoedd yn ol, a hyny oblegid i un a ddylasai wybod yn well ddyweyd mai dyn meddw ydoedd. Cynnyrchodd y peth deimlad mawr yn meddwl pob gwladwr gwirioneddol yn Nghymru. Teimlodd rhai offeiriaid i'r byw, megys y Parch. Mr. Rowlands, Abergwaun, yr hwn a fu yn gohebu yn hir â D. Jones er mwyn cyfansoddi gwrthdystiad i'r enllib, darnau o'r hwn sydd i'w gweled yn *Methodistiaeth Cymru*. A pha ddefnyddiau bynag a gafwyd tuag at hyny, i D. Jones yr ydys yn ddyledus am danynt, gan mai efe yn ei ddull deheuig a chall a fu yn chwilio allan y tystiolaethau, ac yn rhoddi hefyd lawer o awgrymiadau er taflu goleuni ar y mater. Nid ychydig yw y cymhorth a roddodd o bryd i bryd er cael hanes cywir am Langeitho, Rowlands, Williams Lledrod, Ebenezer Richard, &c., y rhai na chyffyrddwn â hwynt yn awr, gan eu bod wedi eu cyhoeddi gan mwyaf yn y *Methodistiaeth*.

Bu y gallu hwn yn fantais fawr iddo er terfynu dadleuon yn a thros y Cyfarfod Misol. Unwaith pan oedd rhyw bregethwyr ieuainc sychedig am wybodaeth yn myned i un o Brifysgolion Scotland, dadleuai yn gryf dros i'r Cyfarfod Misol eu cynnorthwyo i ddwyn y draul, gan y byddai hyny yn foddion i'w denu yn ol i'r Sîr, a glynu wrth y Cyfarfod Misol. A chan fod yno rai o'r pregethwyr yn dadleu yn erbyn hyny, adroddodd yntau chwedl Æsop am y cadnaw gollodd ei gynffon pan ar ei hynt am helwriaeth. "Yr oedd y cadnöaid eraill," meddai, "i gyd yn chwerthin am ei ben, ac yn dangos iddo y fath beth hyll oedd cadnaw heb un gynffon. Yntau yn teimlo fod ei *gase* yn wan, ac er treio eu diraddio hwy, a chael llonydd yn ei warth, a ddywedai fod y gynffon oblegid ei hŷd a'i phwysau yn llawer mwy o rwystr nag o lês, a'i bod yn gosod y cadnaw mewn mwy o berygl i gael ei ddal a'i ddyfetha. Hwythau wedi ei glywed yn ceisio ymresymu, a ddywedasant mai am ei fod ef heb un gynffon yr oedd yn ceisio dadleu yn eu herbyn, ac fel y gallai gael pawb eraill heb gynffon fel yntau. Ac mae yn ymddangos i mi," meddai D. Jones wrth gymhwyso y ddammeg, "mai ofn y gwelir rhai â chynffon ganddynt, a chwithau heb un, sydd arnoch chwithau. Mae yn well gyda

ch'i wel'd pawb heb gynffon gan y'ch bod ch'i hebddi." Anfonwyd ef dros y Cyfarfod Misol unwaith i ardal lle yr oedd dynion cymysg o Saeson, Gwyddelod, a Chymry, yn gwneyd ymgais am ddifeddiannu plant o waed Gomeraidd pur o'u hetifeddiaeth, fel yn yr hen amser gynt. Gwelir camlesydd mawrion yno yn awr, y rhai oedd wedi eu cloddio gan y *Sais bach*, fel ei galwent, er amddiffyn ei eiddo rhag ymgyrch y Cymry; ond y Cymry orchfygodd yno, beth bynag am ddyffrynoedd Lloegr. Yr oedd yno y tro hwn un o'r enw Jennings, wedi prynu tir gan y Llywodraeth, ar yr ammod iddo ef ei hun ymladd ei ffordd am y meddiant o hóno. Ac er fod hwn yn flaenor yn yr eglwys, ac yn meddu dylanwad mawr yn y gymydogaeth, eto teimlodd ei bod yn ormod gorchest iddo gael meddiant llonydd o'r tir, gan fod yr holl eglwys a'r gymydogaeth wedi codi yn ei ben. Wedi i D. Jones ac eraill fyned yno, gwelwyd fod y terfysg yn llawer gwaeth nag yr oeddynt wedi meddwl, a bod eu cymmodi yn anmhosibl. O'r diwedd, daeth ef â'i gynllun i'r golwg o droi pawb allan o'r eglwys, a derbyn cynifer o honynt a fyddai yn foddlawn i arwyddo â'u llaw na fyddai dim a wnelent â'r ymrafael mwy, yn ol i'r eglwys y diwrnod hwnw. Nid oedd yn un hawdd ei fabwysiadu, mae yn wir, ond gan fod yno y fath dalentau ar y pryd er dangos ei brïodoldeb, daeth llawer yn foddlon iddo. Cafwyd yno eglwys fechan newydd dangnefeddus cyn ymadael, ac aeth eraill gyda Jennings i ymladd drachefn, a chadwyd ef heb gael ei amcan byth. "Ond wedi bwrw allan y wasanaethferch a'i mab," meddai D. Jones, "cafodd y wraig rydd gadw tŷ yn heddychol." Mae blys arnom nodi achosion cyffelyb, ond rhaid ymattal.

Bu y gallu hwn yn help mawr iddo gyflawni ei ddyledswydd, ac ar yr un pryd achub ei ben, gyda'i wahanol alwedigaethau bydol. Gan ei fod yn Stiward i Evans, Ystradmeurig, prif athraw y Coleg, galwodd arno i ddyfod gydag ef i weled dwy ffarm yr oedd efe yn methu penderfynu pa fodd i wneyd â hwynt. Yr oedd un o'r ffermydd yn llai na'r llall, ac yr oedd y dyn â'r ffarm fawr am gael y ddwy iddo ei hun. Wedi myned yno, ymresymai y dyn yn gadarn dros ei bwnc, trwy ddyweyd ei fod ef yn arfer myned i'r Llan bob Sabbath, a dywedai hefyd pa le yr oedd y llall yn myned, a llawer o bethau cyffelyb. Yr oedd D. Jones wedi deall wrth yr arwyddion, nad oedd Mr. Evans yn cael ei foddloni gan ffraethineb a rhagrith y dyn, ac wedi i Mr. Evans appelio ato am ei farn, dywedodd, "'R'ych ch'i 'n gw'bod fath ddyn yw Mr. Evans, a beth yw ei swydd. Mae e'n darllen y deg gorchymyn bob Sabbath, y rhai sy'n dyweyd 'Na chwennych dŷ dy gymydog,' a rhan arall o'r Bibl sy'n dyweyd 'Gwae y rhai sydd yn cydio maes wrth faes, ac yn cysylltu tŷ at dŷ hyd oni byddo eisiau lle.' A chan 'i fod e'n darllen ac yn pregethu peth fel yna i eraill, 'dy'ch ch'i ddim yn disgwyl am iddo fe 'neyd fel arall i hunan." "Nag yw, nag yw," meddai Mr. Evans, "'dalla i ddim o'i 'neyd e', mae cystal gydag e' am i dir a ch'ithau, a byddech ch'i yn y ngweled i yn g'neyd yn anghyfiawn, pe byddwn yn rhoi 'ch ffarm ch'i iddo fe." Felly cafodd pob un gadw ei dyddyn fel o'r blaen. Pan oeddid yn gwerthu coed wrth y droedfedd mewn arwerthfa gyhoeddus yn Abermeurig, prynodd un o'r Undodiaid onen fawr yno. Drannoeth, yr oedd D. Jones yno yn cadw mesurau y coed, a'r Undodwr yno yn ei boeni trwy y dydd ynghylch

gwneyd cyfiawnder. "Mae gyda ch'i ryw drugaredd," meddai, "tua'r Capel yna, ond 'does dim eis'e hono yma heddy' cofiwch ch'i." Ond wedi dyfod ymlaen at ei onen fawr ef, dyma yr *orders* am gyfiawnder yn cael eu hadnewyddu drachefn, a theimlai D. Jones yntau mai cyfiawnder oedd raid gael yn awr, beth bynag ddelai o drugaredd. Dywedodd wrth y mesurydd am ei mesur fel arfer. "Mesur y golfen yma eto," meddai; "hon eto," am un arall. "Be' ch'i 'n geisio 'neyd?" meddai yr Undodwr. "Gwneyd cyfiawnder y'n ni," meddai yntau. "Mesur hon eto," meddai. "O peidiwch gwneyd dwli," meddai yr Undodwr, a rhedodd i ymaflyd yn y mesurydd, gan ddyweyd, "*Stop, stop*, mae hyn yn rhy ddrwg." "O," meddai D. Jones, "'r'ych ch'ithau am drugaredd nawr." "Nag w' i," meddai yntau, "'d'ych ch'i ddim i fesur y colfenau." "A bryn'soch ch'i ddim o'r pren i gyd ynte?" gofynai D. Jones, drachefn. "Do," meddai yntau. "Wel," meddai D. Jones, "cyfiawnder yw mesur cymaint ag y'ch ch'i wedi brynu." "Pa'm 'ry'ch ch'i 'n g'neyd â fi yn wahanol i eraill?" "Y mae eraill yn foddlon i *allowance* trugaredd," meddai D. Jones, "ac 'rwy'n gwel'd nawr eich bod chwithau am hyny gymaint a neb. Fe ro'wn i gyngor i ch'i'r Sociniaid i beidio siarad cymaint yn erbyn trugaredd, os na ellwch fyw hebddi." Cymerodd yr Undodwr y cwbl yn dawel, a chrybwyllai am onen trugaredd bob tro y cyfarfyddai âg ef.

Nid ydym yn hoffi gorganmol neb, a rhaid dyweyd mai y gallu hwn oedd profedigaeth fwyaf D. Jones i fyned y tu hwnt i derfynau gwedddeidd-dra, pan yn cribo ambell i frawd. Cafodd ef wybod hyn hefyd lawer pryd, yn enwedig gan rai fyddai wedi yfed digon i ddyweyd eu meddwl. Un o'r cyfryw a ddaeth ato unwaith yn mhentref Llangeitho, a gofynodd pa fodd yr oedd; ac ar ol hyny, gofynodd a oedd ei ddannedd yn dda. "Wel, dyna'r peth goreu sy' gen' i," meddai yntau, "'che's i ddim gofid gan y nannedd erioed." Ond methodd weled y rhwyd y tro hwn; yr ateb a gafodd oedd, "Mae hyny yn beth hynod hefyd; anaml byth y mae dannedd ci sodlo yn dda." "Wel," meddai yntau, "mae hyny yn profi nag w' i ddim yn gi sodlo." "Fe 'wnaethech ch'i gi sodlo da iawn, pe tynid y dant drwg yna o'ch pen ch'i," meddai hwnw drachefn. "Mae yn dda i fi gwrdd â'ch bath ch'i," meddai D. Jones, "i fi gael clywed y drwg yn gystal a nâ."

Meddai hefyd ar *feddwl penderfynol*. "Yr un fath i ch'i geisio symud y mynydd, a'i symud yntau," ebai Jones, Glànmarch, wrth Lloyd, Cilpill, pan oedd yn ceisio ei orchfygu am swllt y bedydd; "buais i mewn tywydd enbyd gyda hwna, ond buasai yn dda gen' i pe buaswn wedi ei adael yn llonydd; y peth goreu i ch'ithau yw g'neyd hyny mewn pryd." Ni ollyngodd Jones yn anghof byth ei ddywediad, na newidiai yr un drws am y llall i'r Capel pe rhoddai y Castell iddo am wneyd hyny, ac aeth hyny yn ddïareb am ei zêl a'i benderfyniad. Daeth allan gyda Dirwest yn ei blynyddoedd cyntaf, a chadwodd ei Nazarëaeth yn hyn hyd ei fedd. Nid ychydig oedd y profedigaethau a gyfarfyddodd er ei lithio i yfed, gan ei fod yn arfer myned i'r tai goreu yn y wlad, ac yn arfer myned i bob math o gwmpeini ymhell ac yn agos; ond ni thynwyd ef i yfed dim wedi iddo unwaith ardystio. Gwnaeth Dr. Rogers, Abermeurig, brawf têg arno, pan oedd yno yn gwneyd i fyny ryw gyfrifon ar ei ystâd. Anfonwyd un o bobl y tŷ ar ol y llall ato i gynnyg ar

wahanol amserau, ond gwrthodai bob tro. O'r diwedd gwnaeth y gŵr boneddig ei hun y prawf, ac wedi iddo wrthod, gofynodd a oedd wedi cymeryd y *pledge*. "Ydw'" meddai, "er's blynyddau." Gwnaed y prawf drachefn, ond i ddim dyben; ac aeth y boneddwr ymaith fel pe buasai wedi cael sarhâd. Ond pan oedd D. Jones yn myned ymaith, daeth Mr. Rogers ato, a dywedodd ei fod ef wedi meddwl llawer am ei onestrwydd a'i gywirdeb. "Y ch'i sy' yn y'ch lle Dafydd," meddai; "a dyma ddêg swllt i ch'i am y'ch *pluck*." A byth ar ol hyny, yr oedd yn cael ei alw ato i dê, ac yn cael rhyw wobr yn lle y ddïod. Gorfu arno wrthsefyll llawer o brofedigaethau o'r fath yn nechreuad ei yrfa ddirwestol, pan oedd fel stiward mewn gwahanol fanau, yn derbyn ardrethoedd, ac yn gorfod cyfeillachu â gwahanol foneddigion. Bu am ryw gymaint o amser yn ysmociwr cymedrol; ond ryw dro aeth i'r pentref, a swllt yn ei logell i'w roddi am fyglys, a chyfarfyddodd â chyfaill wedi bod yn y Capel yn ymofyn am ychydig wîn i ddyn oedd yn ymyl marw, ond yn gorfod myned yn ol hebddo, am nad oedd dim i'w gael. Wedi i hwnw droi ei gefn, galwodd ef yn ol: "'Rwy' i," meddai, "wedi d'od a swllt yn y mhoced i 'mofyn tybacco, ond mae yn ddireswm i fi fyn'd i borthi mlŷs, a'r dyn yn methu cael ychydig o wîn pan bron marw; hwde, cerdd â hwn i'r Plâs, a phryn beth iddo." Felly, aeth adref heb y myglys, ac nid aeth i'w ailgyrchu byth. Mae ei fab yn dyweyd fod ganddo ryw reolau manwl gyda golwg ar gadw arian, y rhai a gadwodd yn ddirgel iddo ei hun. Ni fynai gadw dim arian yn ystôr, ond yr oedd yn dda ganddo bob amser gael rhyw le i'w cyfranu, ac yr oedd hyny yn benderfynol na chadwai ef ddim o honynt. Ni chafwyd yr un eglurhâd boddhäol ar yr achos o hyn. Ond soniodd ef ddigon am "Gyfammod cae y Castell," yr hwn oedd fel Bethel i Jacob iddo trwy ei oes. Ac fe allai mai penderfyniadau y cyfammod hwnw oedd yn ei wneyd mor anhyblyg gyda llawer o bethau ar hyd ei fywyd. Bu ei amgylchiadau yn bur wasgedig am flynyddoedd, ac fe allai iddo addunedu yn y cyfammod os byddai i Ragluniaeth roddi iddo fwy nag a fyddai ei dreuliau ef yn ofyn, y gwnai ei offrymu yn ol i'r Arglwydd. Beth bynag, yr oedd arwyddion amlwg o addunedau cyfammod sicr ar bron holl gynlluniau ei fywyd, a chafodd rhai boen wrtho gyda rhyw bethau oblegid hyny. A hwyrach iddo yntau wedi iddo arfer cadw yn fanwl at ryw reolau, fyned i arfer yr un manylrwydd gydag amser at bethau eraill llai eu pwys a fyddent yn cael eu hawgrymu i'w feddwl. Ond beth bynag oedd yn nghyfammod cae'r Castell, yr oedd ef yn dyweyd na phasiodd unwaith heibio y fan heb ail-addunedu wrth adgofio yr "hen drugareddau."

Meddai hefyd ar ystôr helaeth o *wybodaeth gyffredinol*. Bu mewn llafur diflino am wybodaeth byth wedi bod yn ysgol Gymraeg Dafydd Evan Hugh. Ond wedi dyfod at grefydd yr ymroddodd fwyaf at hyn. Hysbysir i ni gan un a fu gydag ef yn brentis, ac wedi hyny yn gydflaenor gydag ef yn y Capel, na fyddai byth yn bwyta ei fwyd heb fod rhyw lyfr o'i flaen. Un arall a fu yn gweithio gydag ef a ddywedai, fod dynion yn rhyfeddu at ei gôf a'i wybodaeth, ond na ryfeddent yn gymaint pe gwybyddent am y llafur yr âi trwyddo. Yr oedd y prentis yn dyweyd iddo gael ei anfon ganddo lawer gwaith i ymofyn benthyg llyfrau. A'r pryd hwnw yr oedd digon o lyfrau i'w cael yn y Parcau, gan Evan Evans,

yr hwn a fu yn ceisio pregethu am ryw gymaint, ond er iddo roddi fyny bregethu, ni roddodd y darllen i fyny; darllenai yn ddiflino, ac yr oedd ganddo ddigon o amser at hyny, gan ei fod yn aros ddydd a nos yn y parlwr gyda ei fab, heb ddim arall i'w wneyd. Ac yr oedd ganddo hefyd ddigon o lyfrau, y rhai yr oedd wedi eu cael ar ol ewythr iddo, brawd ei dad, sef y Parch. John Evans, M.A., Portsmouth.* Ond er ei holl fanteision, ni ddaethai dim oddiwrtho; yr oedd fel y môr Caspiaidd, yr hwn er derbyn yr afon fawr Volga trwy ddeg a thriugain o wahanol rêdleoedd, nad oes yr un afon yn rhedeg o hóno. Ond pan gawsai D. Jones Burkitt a Matthew Henry oddiwrtho, yfai gyflawnder, a rhoddai gyflawnder allan. Yr oedd ef yn gallu deall Saesoneg yn bur dda, er na fu ddim awr allan o'r gymydogaeth erioed; hunanaddysgiant oedd y cwbl iddo ef. Bu ef a Dafydd y gôf, Tŷnant, hen feistr James Hughes, Llundain, yn derbyn y *Weekly Dispatch* yn rhanog â'r enwog Thomas Grey, am amser maith; a dysgodd lawer trwy ymdrech i geisio deall hwnw. Ac y mae ei fod yn stiward i foneddigion Seisonig, ac yn llanw cynifer o gylchoedd ag oeddynt yn gofyn rhyw gymaint o gydnabyddiaeth â'r iaith Saesoneg, yn ddigon o brawf ei fod wedi gallu meistroli yr iaith yn ei dull cyffredin. Efe oedd yn cael ei alw yn gyffredin i brisio pethau, ac i ysgrifenu cyttundebau ac ewyllysiau; a gwyddai reolau y gyfraith wladol bron am bob peth at angen gwlad. Darllenodd lawer ar dduwinyddiaeth, fel y gallodd ffurfio barn glir ar y rhan fwyaf o'r pynciau yn eu gwêdd Galfinaidd, a hyny nid trwy eu darllen yn y ffurf hono yn unig, ond trwy eu cymharu yn dêg â dull eraill o'u dal. Ond er ei fod wedi darllen cymaint ar y pethau hyn, eto, pan glywai rywbeth dyeithr o'r pulpud yn awr a phryd arall, nid oedd ganddo ddigon o ymddiried i'w farn ei hun i'w gondemnio ar unwaith. Y cynllun a gymerai, fynychaf, oedd ysgrifenu at neu ofyn yn bersonol i rywrai fyddai ef yn ystyried yn ddigon o safon; ac ar ol cael cefnogaeth y cyfryw i'w farn ei hun, cyfraith y Mediaid a'r Persiaid fyddai hyny drachefn. Yr oedd David Williams, Merthyr, yn pregethu unwaith yn y Capel, ac yn dyweyd mewn rhyw fan yn ei bregeth, fod Iesu Grist wedi prynu maddeuant, prynu pob gras, y nefoedd, a'r cwbl oedd yn angenrheidiol tuag at achub pechaduriaid. Aeth yntau mor anesmwyth, fel yr ysgrifenodd at James Hughes, i Lundain, am y pethau a ymddangosent yn ammheus iddo, a dyma yr atebiad:—

Nid y nefoedd na'r bendithion
  Brynodd Iesu ar y groes,
Ond fe brynodd fyrdd o ddynion,
  Pan ddyoddefodd angau loes:
'R oedd yn ffynnon pob bendithion,
  Nid oedd achos prynu rhai'n;
Prynu wnaeth yr etifeddion,
  Pan goronwyd ef â drain.

* Gweinidog o Eglwys Loegr oedd y gŵr hwn, wedi cael ei fagu yn y Meini Gwynion, yn agos i Langeitho, ac wedi derbyn ei addysg yn Rhydychain. Mae llyfr deuddegplyg o'i waith yn llyfrgell D. Jones, a elwir *Cysondeb y Pedair Efengyl*, wedi ei gyhoeddi yn 1765, yr hwn yw yr Esboniad Cymraeg cyntaf a gyhoeddwyd. Mae ynddo yn gyntaf Ragdraethawd maith a gorchestol ar Dduwinyddiaeth a Hanesiaeth Ysgrythyrol. Wedi hyny *Rifres*, fel ei gelwir, yn cynnwys y prif bethau mewn hanesiaeth o Adda hyd uniad Cymru a Scotland â Lloegr. Ac yna y cysondeb, ac esboniad manwl a dysgedig ar y prif bethau. Trueni ei fod mor anghyoedd. Bu yn golygu y Bibl Cymraeg yn 1770, a chyfieithodd amryw o lyfrau.

Yr oedd y Parch. Edward Jones, Aberystwyth, yn ceisio profi unwaith, mewn pregeth, nad oedd yr annuwiol yn pechu o anian; ac er ei fod yn dyfod a rhesymau cedyrn i brofi ei bwnc yn y dull yr oedd yn ei feddwl, eto, yr oedd yno ormod o newydd-deb i'w feddwl ef, a dywedodd wrth Ebenezer Richard. Ond y cyfan gafodd gan hwnw oedd hyn, "Dafydd bach, y mae cymaint o ysgrifenu ac o bregethu wedi bod bron ar bob peth ag 'ry' ni yn ceisio dyweyd tipyn arnyn' nhw, fel y mae 'n anmhosibl i ni gael dim byd i ddyweyd na bydd rhywun wedi ei ddyweyd o'n blaen. Mae yn anodd iawn ch'i gydymdeimlo â phregethwr, pan gaffo ni rywbeth y byddom yn meddwl ei fod yn *idea* newydd, O mor felus fydd hi; bydd fel y diliau mêl." Y dernyn goreu ganddo pan yn siarad am etholedigaeth a phrynedigaeth oedd *argument* y Dr. Owen yn erbyn Prynedigaeth Gyffredinol, yr hwn a ddylynai y rhan amlaf yn yr iaith yr ysgrifenwyd ef, a dyma fe:—

"Yr wyf yn cynnyg i sylw y Cyffredinolwyr yr anhawsdra canlynol:—Mae y Tad wedi cosbi ei Fab, a'r Mab wedi myned dan gosbedigaeth, naill ai dros

*Holl* bechodau *pob* dyn;
neu *Holl* bechodau *rhai;*
neu *Rai* pechodau i *bob* dyn.

Os yr *olaf*, rhaid fod gan ddynion rai pechodau i ateb am danynt eu hunain, ac felly ni chedwir neb. Os yr *ail*, yr hwn yr ydym yn ei ddal fel gwirionedd, yna y mae Crist yn eu lle, wedi dyoddef am bechodau pawb a etholwyd yn yr holl fyd. Os y *cyntaf*, paham na byddai pawb yn cael eu rhyddhâu oddiwrth y gosb ddyledus am eu pechodau? Yr ydych yn ateb, 'Oblegid eu hanghrediniaeth.' Gofynaf finau, A yw anghrediniaeth yn bechod, ai nad yw? Os nad yw, paham eu cosbir am dano? Os ydyw, yna y mae Crist wedi dyoddef y gosbedigaeth ddyledus am dano, neu ni wnaeth. Os gwnaeth, paham y gwna y pechod hwn rwystro eu hachubiaeth yn fwy na phechodau eraill y bu efe farw drostynt? Os na wnaeth, yna ni bu efe farw dros eu *holl* bechodau. Bydded i'r Arminiaid gymeryd y rhaw fyddont yn ddewis."

Mae wedi ysgrifenu ei olygiadau ar ryw ranau o'r Bibl, yn enwedig ar Weddi yr Arglwydd; ond gan nad oes ynddynt ddim rhyw newydd-deb neillduol, ni wnawn ddyfynu o honynt ond y darn diweddaf:—"Gan mai cynllun o faterion gweddi ac o'r drefn y mae y materion hyny i fod yn ein gweddïau, yw y weddi hon, dymunwn yn ostyngedig ofyn, a yw llawer ddim yn gŵyro oddiwrth y cynllun yma, wrth adael dymuno am lwyddiant crefydd ac achos Iesu Grist i fod y peth olaf yn eu gweddïau, a hyny hyd yn nôd ar nos Lun cyntaf o'r mis?" Mewn llythyr at William Morris, Tyddewi, y mae yn ysgrifenu ei farn am deimlad Crist yn y nefoedd tuag at ei bobl, ei fod yn debyg, gan mai yr un yw Iesu yno a phan oedd yma ar y ddaear, a chan fod yn well ganddo am rai o honynt yma nag eraill, y bydd yr un fath hefyd yn y nefoedd. Cyfeiriai at Ioan y dysgybl anwyl, a theulu Bethania; a dywedai fod y myfyrdod ar hyny wedi codi awydd mawr ynddo i fod yn un o honynt. Mewn llythyr at James Hughes, yr hwn sydd yn atebiad i'w lythyr ef i'r Dolaubach, mewn canlyniad i gystudd trwm pan oedd D. Jones, a dau o'i blant, yn amheu cael byw, y mae yn dyweyd, wedi rhoddi darluniad o'r dwymyn, iddo ddysgu y tri pheth canlynol:—"Yn gyntaf," meddai, "gwelais, teimlais, a deallais fwy nag erioed o lygredigaeth a didduwiaeth fy nghalon, a bu Gen. vi. 5., ddiwrnodau ar fy meddwl; ac oni buasai i mi ddarllen y 7fed o'r Rhufeiniaid, buaswn yn penderfynu

nad oedd y gwaith da wedi ei ddechreu ynof. Cefais ychydig o'm hanadl wrth weled fod un wedi bod yr un fath a mi, trwy y geiriau rhyfedd hyn, 'Ac yn fy nghaethiwo i ddeddf pechod, yr hon sydd yn fy aelodau.' Yn nesaf, sylwais yn fwy nag erioed o'r blaen fel y mae yr Ysbryd Glân wedi cysylltu wrth addewidion a thystiolaethau y Bibl, gymeriad y personau a'u pia. Peth arall a darawodd fy meddwl gyda goleuni neillduol ar ddechre fy adferiad oedd, mai prif ddefnydd gofidiau pawb mewn cyfyngderau yw y pethau ddarfu iddynt *esgeuluso* wneyd pan oedd hyny yn eu gallu."

Bu ei wybodaeth yn help mawr iddo mewn llawer amgylchiad. Pan oedd unwaith mewn cyfeillach â dau neu dri o offeiriaid, gofynai un o honynt a oedd efe ddim yn meddwl mai yr Eglwys Sefydledig fyddai yr unig Eglwys yn y Mil Blynyddoedd. "Wel, os âf fi i 'weyd y gwir wrthych am 'y marn, Mr. Griffiths," ebe yntau, "'dwy' i ddim yn meddwl y bydd un o'r enwadau sy'n awr yn bod yr amser hyny, fel y maent yn awr, yr Eglwys Sefydledig na neb arall. Y rheswm sy' gen' i am hyny yw, fod pob enwad yn newid rhyw gymaint o hyd, a hyny lawer oddiar fy nghô' i. Dyna'r Kirk, Eglwys Scotland, mae hono wedi newid ac ymranu llawer, ac yn methu d'od yn berffaith o hyd. 'Ry' ninnau, y Methodistiaid, wedi, ac yn newid llawer; fel 'rwy' i'n barod i ofyn lawer pryd, Ai ni ydy' ni? Dyna ch'ithau, yn yr Eglwys, 'ry'ch ch'i mor wahanol i'ch gilydd fel na chyttunech ch'i ddim 'nawr ymha ffurf y dylai'ch enwad ch'i fod, pe caech ch'i sicrwydd mai 'fe fyddai enwad y mil blynyddoedd. Mae rhai o honoch ch'i yn anfoddlawn iawn i'r Llyfr Gweddi fel y ma' fe. Mae llawer o gyfnewidiadau yn yr Eglwys oddiar pan w' i yn ei nhabod hi, er cymaint sydd o ddyweyd ynddi, 'Megys yr oedd yn y dechre y mae yr awr hon, ac y bydd yn wastad, yn oes oesoedd.'" Mewn Cymanfa yn Llangeitho, pan oedd yno ddadl frŵd ynghylch arholi dynion ieuainc ar eu mynediad i'r Athrofa, rhai dros hyny, ac eraill yn erbyn, cododd yntau i fyny, a dywedodd, "Os oes perygl yn bod, yn y peidio bod yn fanwl y mae e', ac yn y dechre y mae gofalu. Yn nechreuad y ddwy oruchwyliaeth y rhoddodd yr Arglwydd y gorchymynion pa fodd i weithredu; ac fe laddwyd dau dan bob goruchwyliaeth, ac yn y dechre y gwnaed hyny dan yr Hen Destament a'r Newydd. A 'dw' i ddim yn gwybod pam yr oedd Duw yn g'neyd y pethau hyn yn y dechre, os nid i ddangos i'r byd mai yn y dechre gyda phob symudiad y mae gofalu." Pan oedd un brawd ieuanc yn pregethu yn nhaith Llangeitho, wrth ddyfod yn ol o Lwynpïod i'r Capel erbyn nos Sabbath, dywedodd wrth D. Jones, yr hwn oedd wedi d'od gydag ef, ei fod wedi crygu yn fawr, ac y byddai yn dda ganddo gael rhywun i ddechreu y cyfarfod yn y Capel, rhag ofn y methai fyned trwy yr oedfa. Ac wrth roddi darluniad o'i anhwyldeb, dywedai, ymysg pethau eraill, fod ei enau yn sychu fyny wrth ddyweyd. Dechreuodd D. Jones yr oedfa, ac er syndod, a pheth cywilydd, i'r pregethwr ieuanc, darllenodd Salm lxix., lle y mae y geiriau hyny, "Blinais yn llefain, sychodd fy nghêg, pallodd fy llygaid, &c." Yr oedd ei gydnabyddiaeth â'r Bibl mor fawr, fel y gallai gyfeirio ato ar bob amgylchiad.

Digon tebyg mai ei wybodaeth helaeth, a'i fod yn un o'r rhai mwyaf llygadgraff i wylio yr athrawiaeth yn y pulpud, a'i gwnaeth yn gymaint

o ddychryn i bregethwyr. "Mae yno bwt o flaenor, sydd bob amser yn eistedd o dan y pulpud," meddai un gweinidog wrth bregethwr ieuanc oedd yn myned i'r Capel am Sabbath; "tra byddo 'fe dros y golwg, hel di mla'n; ond os unwaith y daw e' i eistedd ar dy gyfer, goreu po gynta' i ti gau dy siop, gan na bydd y *goods* yn gymeradwy." Ond i'r gwrthwyneb i hyn yr oedd; ni ddeuai byth i'r golwg ond pan y byddai yn cael gwynt yn ei hwyliau gan y bregeth, a gwyddai y gweinidog hyny yn ddigon da, ond ei fod am gael ychydig o'r awel ar draul profedigaeth y brawd. Felly y bu; daeth y bychan allan, a thorodd y brawd y bregeth yn ei hanner, er siomedigaeth fawr i D. Jones a phawb oedd yn gwrando. Cafodd yntau ddeall y fath un oedd, unwaith, gan iddo gyfarfod â phregethwr ieuanc oedd yn dyfod am y tro cyntaf i'r Capel, ac i hwnw, oblegid nad oedd yn ei adnabod, ddyweyd wrtho yr holl hanes a glywodd am y dyn bach o flaenor oedd yno. Cymerodd yntau yr awgrym; a meddyliodd y gallai fod yn rhwystr i lawer bregethu fel y *gallent* yn y Capel, a bu yn fwy rhydd a charedig byth i bregethwyr ieuainc; bu yn cynghori llawer o'i gyd-flaenoriaid hefyd ar ol hyny i wneyd eu goreu i *ddangos* eu bod yn mawrhâu y dynion ieuainc fyddai yn dyfod atynt, er mwyn iddynt fod yn ddiofn yn eu plith. Ac y mae llawer o bregethwyr yn tystio heddyw mai efe oedd y goreu ddarfu iddynt hwy gyfarfod yn eu cychwyniad. Yr oedd bob amser, er cymaint o hen bethau da a welodd, a chymaint o hen enwogion y bu yn eu gwrando, yn dyfod bob amser o'u blaen hwy yn y dull y dywed Denham am Cowley, "He wears the garb, but not the clothes of the ancients."

*Côf mawr* hefyd oedd yn rhagoriaeth ynddo. Ond gan ein bod wedi myned eisoes yn faith, ni wnawn bellach ond rhoddi ger bron ryw gymaint o'r adgofion hyny y bu ei gôf gafaelgar mor ffyddlawn a'u cadw er mwynhâd ac adeiladaeth yr oes hon a'r oesoedd a ddêl.

*Y perygl o golli y peth oedd gan y tadau.* Aeth ef ac Ebenezer Richard i Gymanfa Caernarfon yn 1838, yn ol ei gyfrif ef, a'r uchod oedd mater y *society*. Elias o Fôn a ddywedai, "Y mae pawb yn addef fod y Methodistiaid wedi gwneyd mwy o ddaioni na neb i'r wlad yn y can' mlynedd diweddaf. Ond y mae rhai yn dyweyd yn awr, os na chânt athrofëydd i godi dynion dysgedig, yr ânt i lawr eto. Yr wyf finnau yn dyweyd yn ol, nad ânt i lawr byth os na chollant y peth a'u cododd i fyny." Wedi hir gymhell ar Mr. Richard, Tregaron, i ddyweyd, cydiodd Elias yn ei fraich, gan ddyweyd, "Dewch, dewch, mae y bobl yn edrych drosom ni atoch chwi." Ar ol ei gael i fyny, dywedodd, "Mae cŵyno am yr hen bobl yn ddigon i dòri calon yr un dyn sydd yn eu cofio. Ond y mae perygl i ni ddilyn y tadau i bob man; byddai yn well i ni godi llŵyn ar eu llwybrau weithiau, rhag i ni fyned yn rhy bell. Nid ydym wedi cael ond un esiampl berffaith erioed. Yr oedd yr achos Methodistaidd, er ys hanner can' mlynedd yn ol, fel plentyn yn nghôl ei fam, yn chwareu ei law, ac weithiau yn ei tharo yn ei llygad, ac nid yw yn rhyfedd os gwna boeri yn ei hwyneb. Rhaid ceisio y wialen fedw? O na, plentyn yw e'; pe byddai y ferch ddeunaw oed, neu y bachgen ugain oed, yn gwneyd, ni ellid pasio heibio iddynt hwy heb iddynt roddi cyfrif am hyny. Yr oedd yr Arglwydd yn goddef gan yr hen Fethodistiaid bethau na wna eu goddef gyda ni yn awr. Mae y geiriau hyny ar fy meddwl, 'A'i phlant hi a laddaf â marwolaeth; goddefais lawer ganddi hi, ond ni oddefaf ganddynt hwy.'" Yr oedd D. Jones yn dyweyd nad oedd yno yr un wyneb sych yn y lle, a bod John Jones, Tremadog, ar ei orwedd yn wylo.

*Ieuenctyd heb ddyfod i gymundeb.* Yn yr un Gymanfa, ymddyddenid ar y pwnc hwn, pan y dywedai rhai am dòri allan y rhai fyddai o'r pymtheg oed i fyny, ac yn gwrthod d'od i gymundeb, ac eraill am eu cadw. Cododd W. Morris, Tŷddewi, i fyny, a dywedodd, "Ni raid i ch'i wneyd yr un hoynt, ond rhoddwch driniaeth dda

iddynt trwy ymddyddan yn frawdol â hwy, a'u cynghori, a chewch weled pob un yn myned i'w le; rhai yn dyweyd, 'At bwy yr awn ni?' ac eraill yn dyweyd, 'Caled yw yr ymadrodd hwn.'"

*Paham y mae cymaint o deimlad tuag at hen bregethwyr.* Pan oedd yn myned gyda Richard, Tregaron, i gladdedigaeth yr hybarch David Evans, Aberaeron, yn 1825, ymhen yr wythnos ar ol claddedigaeth Ebenezer Morris, Twrgwyn, dywedodd wrth Mr. Richard, ei fod ef yn ofni fod yr hen bregethwyr yn rhagorach na'r rhai ieuainc sydd yn codi yn awr. Wedi ychydig ddystawrwydd, dywedodd Richard, "Digon tebyg fod rhai yn teimlo fel hyny; ond hwyrach y gallant fod yn camgymeryd. Mae dau beth yn tueddu i'w camarwain. Yn un peth, mae y fendith a gawsant trwy yr hen bregethwyr yn eu tueddu i feddwl na chlywsant neb o'u bath, yn enwedig os darfu iddynt gael tröedigaeth trwyddynt. Mae yn debyg mai dyma achos mawr yr holl ganmol sydd ar Rowlands; ac y mae gan bob dyn a gafodd ei aileni trwy offerynoliaeth dyn, ei Rowlands yntau, yr hwn y mae yn meddwl na phregethodd, ac na phregetha neb yn debyg iddo byth. Dichon hefyd fod dynion yn cymeryd rheol annhêg i farnu, sef cymharu yr hen weinidog sydd wedi bod am oes faith yn pregethu, â dyn ieuanc sydd yn dechreu. Y peth ddylid wneyd yw, cymharu y ddau â'u gilydd pan yn dechreu. A phe byddem ni yn cael byw, fe allai y caem glywed y rhai a gânt dröedigaeth trwy y rhai sy'n codi yn awr, yn eu canmol yn llawn cymaint ag yr ŷm ni yn awr yn canmol yr hen. Dichon hefyd fod llawer iawn gan yr amserau i wneyd â hyn; fod yr Arglwydd yn ei gwel'd yn angenrheidiol amlygu mwy o'i fawredd a mawredd ei bethau mewn un oes nag fydd eisieu iddo wneyd mewn oes arall."

*Y plant a'r scrât.* Pan oedd Robert Jones, Rhoslan, yn rhoddi cynghor i bregethwyr oedd yn cael eu hordeinio yn Nghymanfa y Bala (os ydym yn cofio yn iawn), dywedai mai peth anmhriodol iawn oedd para'n hir, un amser, i bregethu, ond ei fod yn fwy felly ar Sabbath cymundeb. "Y dynion mewn brys yn aml, gan fod eu ffordd ymhell i ddyfod yn ol erbyn yr oedfa arall, ond y pregethwr yn myned dros ei bregeth bob gair o hóni, fel pe na byddai cymundeb ar ol. Yn debyg i blant bach ar ochr y ffordd â phob o scrât ganddynt i'w chânu, a dynion ar geffylau yn dyfod heibio ac yn gofyn am iddynt gânu *tune* iddynt hwy; ond erbyn iddynt ddechreu, aeth y ceffylau yn rhy wyllt iddynt allu eu rheoli. 'Peidiwch, peidiwch,' meddent wrth y plant; 'O na,' meddai rheiny, 'rhaid i ni gael myn'd dros ein *tune*.'"

"*Gobaith ni chywilyddia.*" Pan oedd Richard Thomas, Llŷsfronydd, yn pregethu ar y geiriau uchod, mewn Cymanfa yn Aberystwyth, dywedai, "Er mwyn gwneyd meddwl y geiriau yn fwy amlwg, ni ddefnyddiwn gymhariaeth. Golygwch fod dyn wedi myned i sefyllfa o gyfyngder mawr am arian, ac iddo fyned yn ei angen at gyfaill iddo, yr hwn y credai fod ganddo ddigon wrth law, a chalon hefyd i roddi, a dywedyd yr amgylchiad, gan ddymuno'r benthyg. Ac os byddai y cyfaill hwnw yn ei droi heibio â rhyw esgusodion ar y pryd, byddai yn sicr o syrthio yn is yn ei feddwl byth o hyny allan. Ond y mae meddiant a chymeriad Duw y fath, fel po fwyaf o brawf a wnelom arno, bydd yn sicr o fyned yn uwch yn ein meddyliau o hyd, fel nad oes berygl i'n gobaith ynddo ddyfod byth i gywilydd am ei fod wedi ei siomi."

*Crist a'r saint.* Pan oedd Mr. Jones, Llangan, yn pregethu mewn Cymanfa yn Llangeitho, ar y geiriau hyny, "Pan ddêl efe i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu," &c., dywedai yn gyntaf peth, gan edrych yn ol ar enwogion y Gogledd, "Mi roddaf fi dasg i chwi, fechgyn y Gogledd yma, sydd mor dreiddgar a'r nodwyddau dur; pa un fwyaf o ôl Crist fydd ar y saint, neu o ôl y saint fydd ar Grist yn y dydd hwnw, pan ddêl efe i'w ogoneddu yn ei saint."

*Crëu plant dynion yn ofer.* Nid ydym yn gwybod pa le y bu yn gwrando y Parch. Henry Rees yn pregethu ar y geiriau, "Paham y crëaist holl blant dynion yn ofer?" Ond yr oedd yn dyweyd fod Mr. Rees, wrth roddi darluniad o'r oferedd yr oedd plant dynion yn ddarostyngedig iddo gan lygredigaeth, rhyfeloedd, a phläau, yn peri iddo ef gredu eu bod yn cael eu diddymu yn lân. Ond pan oedd yn dangos y difrod oedd marwolaeth yn wneyd ar gyrff dynion, yn angeu ac yn y bedd, gan gymharu hyny â gorchestion meddwl y dyn pan yn fyw, yr oedd ei gwestiynau i'r gynnulleidfa yn peri i bawb benderfynu bod dyn i fod yn rhywle wedi darfod â'r ddaear. Ac eglurodd y dirgelwch o'r oll trwy y gymhariaeth ganlynol. "Yr oedd gŵr boneddig mewn rhyw fan yn Lloegr yn cyfodi tŷ haiarn ar gyfer y West Indies. Bu am amser maith yn ei wneyd; ac o'r diwedd gosododd ef i fyny er mwyn i bawb gael golwg arno cyn ei drosglwyddo drosodd i'r Gorllewin; a mawr oedd y rhyfeddu at ei drefu-

usrwydd a'i brydferthwch. Ond pan oeddynt yn ei dŷnu i lawer, yr oedd pawb yn barod i waeddi, Ofer, ofer, ofer. Beth bynag am eraill, nid oedd y perchen na'r adeiladwyr yn teimlo dim, gan eu bod yn gwybod mai nid er mwyn Lloegr ei bwriadwyd, ond er mwyn gwlad arall. Felly am ddyn." Dywedai D. Jones fod y gymhariaeth a'i chymhwysiad wedi effeithio fel trydan ar yr holl gynnulleidfa.

*Dynion Deddfol.* Pregethai y Parch. W. Morris, Tŷddewi, unwaith mewn ardal lle yr oedd llawer o Arminiaid yn byw, a gofynai yn ei bregeth, "A oes rhai o honoch yn meddwl y gellwch fyned i'r nefoedd trwy eich gwaith eich hunain? Yr ydym wedi darllen am *set* o ddynion tebyg o'r blaen yn ceisio gwneyd tŵr a'i nèn hyd y nefoedd; ond erbyn eu bod yn dechreu, dyma y *Lord Chief Justice* yn dyfod a *Warrant of Trespass* yn eu herbyn, ac yn dyweyd na chaent ddyfod yno serch iddo gymysgu eu hiaith. Ac yn wir iaith gymysglyd iawn yw iaith y dynion deddfol hunan-gyfiawn."

*Smuggling yn y tŷ.* Pan yr oedd yr un eto yn siarad â blaenor mewn Cyfarfod Misol yn Sir Aberteifi, dywedai wrtho pan ddywedodd y blaenor fod Salm cxxxix. 23, 24, ar ei feddwl, "Gochelwch ch'i, frawd, alw y swyddog i fewn, cyn i chwi chwilio digon o'r tŷ eich hunan, rhag iddo gael *smuggling* ynddo mewn rhyw fan."

*Y diafol fel plant bach.* Pan y byddai D. Jones yn cynghori dynion i wylio ar eu meddyliau wrth ddyfod i foddion gras, dywedai sylw Rowlands, Llangeitho,—"Mae y diafol yn union fel plant bach, pan fyddo y rhïeni yn myned i'r cwrdd, gwnant eu goreu yn gyntaf i'w hattal, ond wedi methu, dywedant, Fe ddown ni gyda ch'i."

*Rhyfela wedi methu gwneyd heddwch.* Yn yr etholiad diweddaf dros Sir Aberteifi, yn wyneb fod rhyw achos tebyg wedi dyfod dan ei sylw ef a chyfeillion iddo, dywedai, "George IV. a ddywedai wrth agor y Parliament unwaith, "Mae yn dda genyf hysbysu i chwi fy mod wedi llwyddo i derfynu yr ymrafael rhyngom â Ffrainc heb fyned i ryfel, gan fy mod yn barnu ei bod yn ddigon cynnar i ni fyned i ryfel wedi i ni *fethu* gwneyd heddwch."

*Ieuo Anghymharus.* Pan oedd y pwnc hwn dan sylw yn Nghyfarfod Misol Sir Aberteifi, a brawd yno yn dyweyd fod rhai yn gofyn a oes rhan mewn prïodas, cododd Mr. Richard, Tregaron, i fyny, a dywedodd fod Paul wedi gofyn y cwestiwn, "'Pa ran sydd i gredadyn gydag anghredadyn?' er ys mwy na deunaw cant o flynyddoedd, ond ei fod heb ei ateb hyd heddyw; rhowch chwithau gwestiwn Paul i'r rhai hyny, ac os gallant ei ateb bydd y pwnc ar ben; ond os na allant, bydd y rheol yn aros."

*Yr etholedigion uwchlaw twyll.* Pan ofynodd Undodwr i Dafydd y gôf, Tŷnant, Abermeurig, pwy oedd yr etholedigion y maent yn sôn cymaint am danynt yn y Capel yna; "O mi ddyweda i ch'i 'n union," meddai yntau, "rhai na alloch ch'i a'ch sort i twyllo nhw."

*Gwas i Dduw neu frawd i ni.* Pan oedd y Parch. John Hughes, Sychpant, mab yn nghyfraith y Parch. Thomas Grey, yn darllen gwasanaeth claddedigaeth yn Nantcwnlle, uwchben bedd dyn annuwiol iawn, er mwyn gweddeidd-dra, yn lle darllen, "fel y mae ein gobarth fod ein *brawd* hwn," darllenodd, "fel y mae ein gobaith fod dy *was* hwn." Ar ol gorphen, daeth y gôf uchod at yr offeiriad a gofynodd iddo, "P'un fwya' o anrhydedd cael bod yn was i Dduw, neu fod yn frawd i ch'i?"

*Angel yn gythraul.* Dywedai D. Jones yn aml pan glywai am ormod cyfeillach rhwng rhai dynion â'u gilydd, am gynghor a roddodd un i'r llall fel hyn, "Yr wyt ti, Dafydd, fel angel gyda nhw 'nawr, ond nid yn hir iawn, a chofia di mai cythraul yw angel wedi syrthio."

*Twyll adduned y brïodas.* "Mae llawer," ebe David Williams, Talsarnau, yn dyweyd wrth brïodi gwraig, 'A'm holl olud bydol y'th gynnysgaethaf,' ond yn ei lythyr cymun yn gadael mwy na hanner eu golud i eraill; ond ni wna Crist hyny â neb a gredo ynddo."

*Ieuo Anghymharus.* Wrth ddyweyd ar y pwnc yma mewn Cyfarfod Misol, "Yr oedd Toplady yn dyweyd," meddai D. Jones, "pan brïodo credadyn ac anghredadyn â'u gilydd, eu bod fel yn adnewyddu yr hen arferiad o gosbi, sef rhwymo corff marw wrth gorff byw."

*Cynnyrch pechod.* "Dywedai Sibbes," meddai, "fod mor naturiol i bechod fagu ofnau ac ammheuon yn y meddwl, ag yw i gnawd a choed pwdr fagu pryfed." Eto "Nid ein gofidiau sydd yn gwneyd drwg ond ein pechodau; yr ydym yn rhy barod i gymysgu ein nwydau a'n croesau, yr hyn sydd fel cnoi y belen yn lle ei llyngcu." Eto, "Pechod, fel Achan yn y gwersyll, neu Jonah yn y llong, yw yr achos o bob ystorm o fewn ac allan."

*Dybenion adfyd.* Dyfynai o Toplady ar hyn,—"Rhaffau yw ein chwantau, y rhai y mae profedigaethau yn cael eu defnyddio i'w llosgi. Mae adfyd yn treulio ein rhŵd

ymaith. Mae gorthrymderau fel tywydd oer y gauaf yn ddefnyddiol i ladd y pryfed drwg y rhai y mae hâf llwyddiant yn eu cynnyrchu a'u meithrin. Mae cymaint o wahaniaeth rhwng dyoddefiadau y saint a dyoddefiadau yr annuwiol, ag sydd rhwng y rhaffau a rwyma y dienyddwr am y condemniedig, a'r rhwymynau â pha rai y mae y meddyg tyner yn rhwymo y claf; dyben y naill yw lladd, a'r llall yw gwellhâu. Mae dwfr oer erledigaeth yn cael ei daflu yn aml i wyneb yr eglwys, er mwyn ei chael ati ei hun pan y byddo mewn llewyg."

*Y Cristion fel y tincer.* Dywedai D. Jones ei hun pan alwyd arno i ddyweyd gair mewn Cyfarfod Misol ar Waith yr Eglwys. "Ni ddylem fod yn rhy foneddig gyda'n dyledswyddau; mae rhai na wnant weithio os na chânt fyned i leoedd da a *respectable;* fe fuais i'n meddwl lawer gwaith am y tinceriaid yna sydd yn myned ar hyd y wlad, maent yn gweithio lle bynag y cânt *job;* 'rwy 'n meddwl y dyle' ninnau fod yn debyg." "Dyna *dop* ar y mwdwl," meddai un o'r gweinidogion.

*Llyfnu ar ol hâu.* Pan oedd un hen chwaer yn cwyno ei bod yn colli y cwbl ar ei bod yn yr oedfäon, fod y cwbl iddi fel yr hâd ar ymyl y ffordd; dywedai yntau, "A ydych yn llyfnu yr hâd ar ol ei hâu, Maly fach? Rhaid myfyrio a siarad llawer ar ol clywed y gair cyn y caiff ddyfnder daear."

*Y Finger-post.* Mewn llythyr at un o'n henwogion dywedai, "Yr wyf yn ystyried fy hun yn debyg i'r *Fingerpost*, yr wyf wedi bod yn ceisio dangos y ffordd i lawer erbyn hyn, ond yr un man yr wyf yn gwel'd fy hun."

*Ni thry efe oddiwrth hyny.* Yr oedd yn dyweyd yn ei nychdod diweddaf, ei fod yn credu fod Duw wedi ymgyfammodi âg ef, ac er ei fod ef yn anwadal iawn o'i ran ei hun, ond mai y geiriau hyny oedd ei holl gysur, "*Ni thry efe* oddiwrth hyny." "Mae wedi ymgaredigo â fi lawer gwaith yn fy oes, ac er fod y nheimladau i yn newid, *ni thry efe.*"

*Dim ofn y canlyniadau.* "Ni feddyliais," meddai, "y byddai arnaf gymaint o ofn y marw, ond y mae yma *dipyn* o hóno." "Beth am y canlyniadau?" gofynai cyfaill iddo. "'Rwy'n hyderus er's blynyddoedd am hyny, ac mae'm hyder i'n myned yn gryfach o hyd."

Ymattaliwn rhag rhoddi ychwaneg o'i adgofion a'i ddywediadau, a hyderwn ein bod wedi rhoddi y prif bethau. Y mae llïaws o ddarnau barddonol i'w cael ar ei ol, ond nid ydym yn meddwl y buasai darllenwyr y TRAETHODYDD yn rhoddi pris mawr arnynt. Dysgwylid i ni ddyweyd mwy fe allai am ei grefydd, ond cymerwn yn ganiatäol fod hyny wedi ei wneyd yn ei hanes. Nid meudwy o Gristion mo hóno, ond dyngarwr a Gwladgarwr o gristion, un oedd yn ymgymysgu â phawb, ac yn myned â'i grefydd at bawb, gan ei dal fel canwyll ar ganwyllbren ger bron pawb. Yr oedd boneddigion y wlad yn gorfod dyweyd yn dda nid yn unig am ei grefydd bersonol, ond hefyd am Fethodistiaeth, wrth edrych arno ef fel *specimen* o hóni. Ac ar yr un pryd yr oedd y rhai mwyaf ysbrydol yn yr eglwys yn edrych i fyny ato er ys blynyddoedd fel cynllun o Gristion cywir, ac yn edrych ato am gyfarwyddyd ac ymgeledd yr un pryd. Yr oedd hefyd yn un o golofnau y Cyfarfod Misol a'r Gymanfa er's dros 40 mlynedd. A phan tua glŷn cysgod angeu, yr oedd pawb yn teimlo fod llewyrch ei ganwyll yn dal, fod yno oleuni llachar yn ymlid ymaith dywyllwch a phrudd-der arferol y lle, nes ei wneyd yn hyfryd a dymunol. Gyda hen ddynion a hen bethau y byddai, a wylai mor naturiol yn ei amser diweddaf wrth siarad am danynt, fel na allasem yn ein byw lai nag adgofio yr hyn a ddywed Plato am yr hen gânwyr Groegaidd,—"prin y gallent adrodd Homer heb syrthio i ddirgryniadau." Ond yr oedd cymaint o naws grefyddol yn y cwbl, fel yr oedd ei bethau a'i wylo yn gwasgaru crefydd ar hyd yr holl le. *Treat* nefolaidd oedd cael bod yn ei gwmni am hanner awr. Ac os byddai rhyw aflerwch weithiau yn ei adgofion o'r hen bethau a'r hen bobl, byddai pawb yn deall, fel y dywed Macaulay am rwyddineb un yn y

Lladin, "*His failure seems to arise from the carelessness of a native, not from the ignorance of a foreigner.*" Ac wrth ei golli ef ar y 18fed o Mai, 1869, pan ychydig yn fŷr o fod yn 87 oed, collasom ddolen gydiol y mae ei gwerth yn dyfod i'r golwg yn fwy o hyd. Caiff Islwyn orphen:—

**Ardal bêr y Dolau Bach—newidiodd**
**Am hoen Eden bellach;**
**Yno heb loes yn gwbl iach,**
**Cânu mae, uwch cŵyn mwyach.**

---

# Y RHYFEL.

Wele y march coch unwaith yn rhagor wedi cael caniatâd i dramwy ar hyd ardaloedd ag sydd wedi bod yn sathrfa iddo amryw weithiau o'r blaen; ac y mae ei yrfa hyd yma, wedi bod lawn mor ddinystriol a'r troion hyny, er fod yn debyg na phery ei rwysg am gyhyd o amser. I'r cyffredin o ddarllenwyr, nid ydyw hanes y byd yn ddim amgen na sôn am ryfeloedd. Rhyfelwyr ydyw y personau hyny sydd i'w gweled yn ymgodi yn uwch o'u hysgwyddau i fyny "ar feusydd hanesiaeth" na neb o'u cydoeswyr, o ddyddiau Themistocles ac Alexander Fawr hyd amser Nelson a Napoleon Bonaparte. Nis gellir darllen hanes teyrnasiad Elizabeth heb ddeall pa fodd yr ymladdodd Howard a Drake yn erbyn y Spanish Armada; na hanes teyrnasiad y Frenhines Ann, heb wybod rhywbeth am Blenheim, Ramillies, a Mallaquet; ond y mae ymron islaw urddas yr hanesydd grybwyll enwau y fath fodau distadl a Shakspeare, Newton, ac Addison. Ond chwareu têg i'r byd wedi y cyfan; er ei fod yn hen fyd digon afresymol ar ryw gyfrif, y mae er ei holl gamgymeriadan trwsgl, yn lled sicr o osod pethau yn iawn yn y diwedd. Gwelsom aml un wedi myned i dybio fod y byd yn wirionach nag ydyw, ac y gallai ei farchogaeth fel y mynai; ond byddai yn cael ei ddidwyllo yn lled ddirodres. Bydd crëadigaethau Shakspeare yn ymestyn o ran eu dylanwad a'u clod wedi i "Loegr hen lygru ei hun;" ac wedi iddi, yn unol â thynged cenhedloedd, golli ei mawredd, ac fe allai, ei gwareiddiad hefyd. Bydd Newton ac Addison mewn bri pan na bydd neb yn gofalu am Marlborough ac Eugene. Ond yn awr, rhyfeloedd, a sôn am ryfeloedd sydd yn myned â bryd y byd. Trŵst byddinoedd yn ymgasglu i'r frwydr ydyw yr adsain sydd yn dyfod i lawr atom o oesau y patrïarchiaid, ac o amseroedd y Groëgiaid a'r Rhufeiniaid. Yr ydym yn clywed

**Banllefau 'r tywysogion,**
**Llais gelynion, trŵst arfogion,**
**A charlamiad y marchogion,**

ar braidd bob tu dalen. Wrth ystyried hyn oll, yr ydym bron a chael ein temtio i dderbyn darnodiad Hobbes o ddyn, er ei holl wrthuni, sef mai *fighting animal* ydyw.

Nid ydyw y rhyfel presennol ond un o gyfres hir o ryfeloedd sydd wedi bod rhwng Ffrainc a Germany er dyddiau Francis I. a Charles V. Yr oedd ar Ffrainc ofn parhäus i deulu Hapsburg fyned yn rhy gryf, a gwyliai bob cyfle i'w wanychu ac i leihâu ei ddylanwad. Yr oedd cynnydd Ffrainc yn amser Lewis XIV. o'r ochr arall, yn cynhyrfu ofnau ac eiddigedd Awstria, yr hon, trwy William III., a lwyddodd i dynu Lloegr i'r rhyfel. Trwy yr holl helyntion hyn arweinid Germany gan Awstria, ac nid oedd gallu Prwssia ond bychan, na'i ddylanwad ond yn nesaf peth i ddim. Yn y fl. 1700, cymerodd Fredric, mab Fredric William, y *great elector*, fel y gelwid ef, y teitl o frenin iddo ei hunan, a mawr oedd y digrifwch a gynnyrchwyd trwy Ewrop, gan yr amlygiad newydd hwn o'r syniadau uchel a goleddai tywysog bychan a gwagsaw am ei fawredd a'i urddas ei hunan. Ar ei ol ef daeth ei fab Fredric William i'r orsedd. Yr oedd y gŵr hwn yn un o'r rhai mwyaf amddifad o bob rhinwedd ac anrhydedd a welodd y byd drwg presennol erioed. Yr oedd ei ffolineb lawn mor amlwg a'i ddrygioni; ac anhawdd iawn a fuasai cael neb i benderfynu pa un ai y carchardŷ ai y gwallgofdŷ a fuasai y cartref mwyaf prïodol iddo. Pa fodd bynag, efe oedd y cyntaf a ffurfiodd y bwriad o ennill i Prwssia, trwy nerth gallu milwrol cryf, safle a dylanwad ymhlith galluoedd Ewrop ag oedd yn llawer uwch nag a allesai ei ddysgwyl oddiwrth ei maintioli a'i phoblogaeth. Ymddygai fel pe buasai yn ddyn heb neges tan y sêr ond casglu milwyr ynghyd; a'u casglu hefyd, fel y bydd y cybydd yn casglu arian, nid i'w defnyddio, ond i'w cadw ac i chwareu â hwy. Trwy wasgu a gorthrymu ei ddeiliaid, yr oedd yn gallu cadw triugain mil o wŷr dan arfau yn wastadol; ond gofalai am gadw mewn heddwch â'i holl gymydogion, rhag colli cymaint ag un o'i filwyr. Ond ar ddyfodiad ei olynydd, Fredric Fawr, i'r orsedd, daeth yn eglur yn fuan y dysgwylid i'r fyddin hono ateb dyben ei bodolaeth mewn rhyw ddull amgen nag mewn ffûg-ymladdau yn nghymydogaeth Berlin, a gorymdeithiau trwy y dref. Yn y fl. 1740, ymosododd Fredric yn hollol ddirybudd ar Silesia, a chyn diwedd Ionawr 1741, yr oedd yr holl dalaeth wedi ei gorchfygu. Gwnaed yr ymosodiad hwn ar draws y cyttundebau mwyaf difrifol, a'r broffes fwyaf agored o gyfeillgarwch. Arweiniodd hyn i ryfel rhwng Prwssia ac Awstria, rhyfel a ymdaenodd dros Ewrop, a rhan fawr o India ac America; ac y mae y cyfrifoldeb am yr afonydd o waed a dywalltwyd yn y rhyfel dinystriol hwnw yn gorwedd yn benaf wrth ddrws Fredric. O ddechre hyd ddiwedd y rhyfel, yr oedd ei wroldeb personol, ei ddyfalbarhâd, ei benderfyniad, ei amynedd yn nghanol anffodion, a'i athrylith filwrol yn ymddysgleirio; a'r cyfan ynghyd yn ei wneyd yn un o'r cadfridogion mwyaf a welodd y byd erioed. Am beth amser, yr oedd Ffrainc, Awstria, Rwssia, a Sweden, yn ei erbyn; ac er nad oedd nifer ei ddeiliaid ef ond pum' miliwn, tra yr oedd poblogaeth y teyrnasoedd a ymosodent arno dros gan' miliwn, daeth allan o'r ymrysonfa danbaid yn goncwerwr.

Y mae hanes bywyd Fredric yn eglurhâd rhagorol ar yr hen air nad oes ond cam o'r mawreddog i'r digrifol. Yr oedd Fredric Fawr, gwron Prague, Rosbach, a Leuthen, y cadfridog mwyaf yn Ewrop, yn perthyn

i'r dosbarth poenus hwnw o anifeiliaid a elwir crachfeirdd. Nid digon ganddo oedd llanw y byd â'i glod fel brenin a milwr; yr oedd wedi penderfynu hefyd y mynai, trwy nerth braich ac ysgwydd, ac er gwaethaf natur, gael bod yn fardd. Nid ydym yn gwybod am haiach un dosbarth o greäduriaid yn y nefoedd uchod, nac ar y ddaear isod, nac yn y dwfr tan y ddaear, ag sydd wedi peri mwy o flinder i'r byd na chrachfeirdd; ond er yr holl anghysur y maent yn ei achosi i'w cydgreäduriaid, bydded i'r beirniaid fod yn dyner o honynt, oblegid gallant restru yn eu mysg un o'r dynion mwyaf a welodd yr oesoedd diweddar. Ond er fod llawer o ffolineb yn Fredric, eto nid dyn ffôl ydoedd. Er na helaethodd ryw lawer ar derfynau ei deyrnas, gadawodd hi yn llawer cadarnach a mwy ei dylanwad na phan y dechreuodd deyrnasu. Parhäodd Prwssia i gynnyddu mewn poblogaeth, cyfoeth, a dylanwad hyd amser chwyldröad Ffrainc.

Yr oedd brenin a phendefigion Ffrainc, wedi canrifoedd o orthrymu,—canrifoedd o greulondeb ac o drahâ ar eu rhan hwy, ac o ddirfawr drueni i'r wlad—wedi llwyddo o'r diwedd i gynhyrfu y bobl i'r fath raddau, fel y cyfodasant mewn digllonedd yn erbyn eu gorthrymwyr; ac os aethant y pryd hwnw yn rhy bell, dylid cofio eu bod yn cael eu cynhyrfu gan y teimlad o'u bod yn dïal anwireddau llawer o genedlaethau ar y brenin anonest a'i swyddogion gwasaidd. Heblaw hyny, mae yn bur eglur erbyn hyn, fod mwy o anwireddau wedi eu hysgrifenu am yr ychydig amser y parhäodd "Teyrnasiad Braw," nag a ysgrifenwyd am unrhyw wlad arall am ystod tair canrif o'i hanes. Gan fod Llywodraeth Lloegr wedi dewis cyhoeddi rhyfel, yr oedd yn naturiol iddi wneyd ei goreu i osod allan y chwyldröad yn y wêdd fwyaf erchyll; ac yr oedd yn rhaid gwneyd hyny am unrhyw bris, cymered y gwirionedd y canlyniadau. Dychrynai Llywodraeth rinweddol y wlad hon wrth weled fod y bobl wedi blino ar orthrwm a thrahâ. Beth, y bobl wedi blino yn cymeryd eu sathru dan draed! Ni chlywodd George III. a'i swyddogion erioed beth mor afresymol. Y bobl? Pwy yw y bobl? Y mae un llwynog neu un ysgyfarnog yn werth cant o honynt. I beth yn y byd y maent da, ond i'w sathru a'u gorthrymu? Dylent, o ran hyny, deimlo yn ddiolchgar iawn am y fraint oruchel o gael eu gorthrymu gan y brenin a'i wŷr; ac oni bae eu bod yn îs o ran dealltwriaeth a chydwybod na'r anifeiliaid a ddyfethir, byddai eu calon yn orlawn o ddiolchgarwch. Eu dyledswydd hwy, yn wyneb rheswm ac Ysgrythyr, yw gweithio, heb godi llygad oddiar y ddaear o'r bore gwŷn hyd y nos, cymeryd y peth lleiaf o luniaeth sydd yn angenrheidiol i gadw enaid a chorff ynghyd, gwasgu gwraig a phlant i'r drŵs agosaf at newyn,—dyna, yn ol pob rheswm, ydyw eu dyledswydd hwy, ac fe ofala y brenin a'i swyddogion am eu llywodraethu fel y barnant hwy yn oreu, ac am wastraffu eu tipyn ennillion celyd. A beth yn y byd a fynent ei gael yn ychwaneg? Ond nid oes dim yn cael argraff ar y fath greäduriaid isel a direswm. Dyna lywodraeth Ffrainc wedi dilyn am oesau a chenedlaethau y llwybr rhagorol o saethu, carcharu, poenydio, a chigyddio ei deiliaid; ac yn dâl am y fath gyfres o gymwynasau, yr oedd y bobl yn ddigon afresymol ac anniolchgar i godi yn ei herbyn. Yr oedd rhai dynion cymedrol hefyd yn cael eu cario gyda y llifeiriant. Yr oedd Burke, gydag eneiniad mawr, a chyda difrifwch ac egni a fuasai yn ddigrifol, oni bae eu bod mewn

undeb â'r fath allu a hyawdledd, yn gwneyd ei oreu i gynhyrfu teimladau y wlad yn erbyn y Ffrancod. Nid ydym, ar un cyfrif, yn cyfiawnhâu yr oll a wnaed yn Ffrainc y pryd hwnw; ond y mae hanesiaeth yn dangos yn eglur y gall gwlad fyned i'r fath annhrefn a thrueni, fel mai buddiol ydyw i'w gorthrymwyr farw, fel na ddinystrier yr holl genedl. Ond pa olwg bynag a gymerir ar y chwyldröad hwn, nis gellir gwadu nad ydyw wedi cario effeithiau daionus ar Ewrop yn gyffredinol. Y mae yn dwyn ffrwythau gogoneddus yn ein gwlad ni, ac mewn gwledydd eraill, y dyddiau hyn, ac yr ydym yn credu fod ei ddylanwad iachusol i drafaelu ymlaen yn anorchfygol am oesau lawer i ddyfod. Nid breuddwyd gwâg, wedi ei ddyfeisio gan ryw ychydig o anffyddwyr hanner gwallgof, ydyw "hawliau dyn;" y maent yn bod mewn gwirionedd; ac y maent, er gwaethaf brenhinoedd a llywiawdwyr, wedi mŷnu cael eu cydnabod a'u parchu i raddau. Y mae urddas ynglŷn â'r natur ddynol, a hawliau yn perthyn i bob dyn, gan nad pa mor dlawd ac anwybodus bynag a fyddo, na feddyliodd y brodyr anwyl Metternich, Castlereagh, a'r Czar o Rwssia, erioed am danynt. Ond y mae Castlereagh, ac Eldon, a Liverpool, a'r oll o'r cwmni llewyrchus hwnw ag oedd fel epäod yn crogi wrth eu cynffonau o amgylch yr orsedd, wedi eu casglu at eu tadau; ac y mae athrawiaeth felus y "*Divine right of kings to govern wrong*" wedi ei chladdu yn barchus, heb obaith am adgyfodiad. I'r chwyldröad hwn yr ydym i ddiolch am gael ein gwaredu rhag y fath ddynion a'r fath athrawiaethau. Aeth tân y pryd hwnw allan o Ffrainc sydd yn ysu dan hen orseddfeinciau pwdr Ewrop hyd heddyw. Y mae rhai o honynt wedi syrthio, ac y mae yn debyg na raid i ni fyw yn hir i gael gweled amryw eto yn cyfarfod â'r un dynged. Am beth amser bu yn bur ammheus pa un ai llosgi ai puro y cyfansoddiad Prydeinig a wnai; ond fe gafodd y Toryaid fesur o ras attaliol, ac fe gawsant eu meddiannu gan ofn y bobl, a chariad diragrith at swydd ac awdurdod, fel y penderfynwyd y cwestiwn yn y dull mwyaf boddhäol.

Blin iawn gan orthrymwyr Ewrop oedd gweled y fath beth â'r bobl yn mŷnu eu hawliau yn cymeryd lle mewn un wlad dan yr haul. Cyhoeddodd Awstria ryfel yn erbyn Ffrainc; a thybiodd Prwssia na allasai ar hyny o bryd wneyd dim gwell na dilyn esiampl mor ragorol.

Mae yn debyg fod Prwssia y pryd hwnw yn dysgwyl rhyw fantais iddi ei hunan. Gwelsom amryw weithiau yn y papyrau, yn ystod y rhyfel presennol, nad ydyw Prwssia mor uchel-geisiol â Ffrainc, a chlywsom amryw gyfeillion yn haeru yr un peth gyda difrifwch mawr; ond byddai yn dda genym ddeall beth ydyw yr ystyr y maent yn ei roddi i'r gair uchelgais. Fe allai fod y gair wedi newid ei ystyr yn ddiweddar, a'n bod ni dan ein dwylaw ar y mater. Os nad ydyw gwlad Fredric Fawr a Bismarc wedi dangos cymaint o awydd i ennill mawredd iddi ac ehangu ei therfynau, a chan lleiad o ofal pa foddion a ddefnyddia i gyraedd yr amcanion hyny â'r un wlad yn Ewrop, y mae yr holl haneswyr wedi cyttuno yn rhyfedd i daenu anwireddau dybryd am dani. Pa fodd bynag cafodd ei siomi yn druenus y tro hwnw. Ar yr ugeinfed o Fedi, 1792, cawsant gurfa dda gan y Ffrancod dan Dumouriez a Kellermann. Nid oeddynt i weled Paris hyd 1814. Yr oedd llwyddiant milwrol Ffrainc yn ystod y rhyfel mawr hwn yn attalfa effeithiol ar ffordd cynnydd Prwssia; ond wedi iddo derfynu, dechreuodd hithau gyda

chyflymder adnewyddol fyned ymlaen. Ymffurfiodd y gallu hwn yn ddystaw yn Ngogledd Germany; cynnyddodd yn raddol a didrwst nes dyfod yn deyrnas gref. Ond nid ydoedd ar un cyfrif wedi cyraedd y nôd eto. Yr amcan mawr yn awr ydoedd cael Germany yn un, a'i chael felly dan arweiniad Prwssia. Arweiniodd y symudiad hwn i ryfel âg Awstria yn 1866,—y rhyfel pwysicaf o ran ei ganlyniadau, mae yn debyg, a welodd y byd er ys oesau.

Y mae rhyw adegau pwysig yn hanes y byd pryd y mae canrifoedd mewn gwirionedd yn cael eu gwasgu i ychydig wythnosau, adegau pryd y penderfynir mewn un diwrnod beth fydd hanes y byd am oesau i ddyfod. Diwrnod felly oedd y diwrnod yr ymladdwyd brwydr Marathon. Penderfynwyd y diwrnod hwnw fod Ewrop i feddu gwareiddiad gwahanol i Asia; fod celfyddyd, masnach, a rhyddid, i deyrnasu yn y Gorllewin, os oedd diogi ac anwybodaeth i ffynu yn y dwyrain. Diwrnod felly oedd y diwrnod y seliwyd tynged Carthage, ac y cafodd Rhufain ei hunan, gyda'i thraddodiadau a'i llênyddiaeth, heb un cydymgeisydd o bwys mewn un rhan o'r byd. Adeg bwysig ydoedd yr adeg hono pryd y gorchfygwyd yr Arabiaid gan Charles Martel, ac y penderfynwyd mai Cristionogaeth, ac nid Mahometaniaeth, oedd i fod yn grefydd Ewrop. O'r pryd hwnw hyd yn awr yr ydym yn credu na welodd Ewrop ryfel mor bwysig a rhyfel 1866. Y pryd hwnw atebwyd y cwestiwn, A ydyw Germany i fod yn un? A ydyw y genedl fawr Germanaidd, gyda'i gwroldeb, a'i dyfalbarhâd, a'i dysgeidiaeth, i gymeryd o'r diwedd y lle hwnw sydd yn gweddu iddi ymhlith cenhedloedd y byd? Ond ni fyn Ffrainc ar un cyfrif iddi gael y lle hwnw. Byddai yn groes i'w theimlad hi weled Germany yn dyfod yn gref, ac yn enwedig yn dyfod felly dan arweiniad Prwssia. Y mae gelyniaeth yn bodoli rhwng y ddwy wlad er ys cryn amser, a bu agos iddo dòri allan yn fflam yn 1867. Dywedir fod Möltke yn awyddus iddi fyned yn rhyfel y pryd hwnw, o herwydd yr oedd yn credu mai dyna a gymerai le yn fuan neu yn hwyr, ac yr oedd Prwssia yn barod, tra yr oedd Ffrainc yn anmharod. Ond heibio yr aeth yr amser hwnw heb yr un rhyfel; ac fe ymddengys eu bod bron, fel Herod a Philat, wedi dyfod yn gyfeillion, ac wedi cyttuno â'u gilydd i ysbeilio eu cymydogion. Y mae y drafodaeth a gymerodd le gyda golwg ar wneyd y cyttundeb sydd wedi dyfod mor hynod rhwng y ddwy wlad yn agor golygfeydd o flaen ein llygaid i ddyfnderoedd anonestrwydd a diffyg egwyddor. Mae yn wir fod y naill yn gwneyd ei oreu i daflu y bai ar y llall; ond pan y mae Bismarc a Benedetti yn taeru y naill yn erbyn y llall, byddai yn dda genym weled y dyn a ŵyr pa un o honynt i'w gredu. Nid oes genym ni ond dyweyd mewn penbleth, fel y cyfarchai Haley Sam ac Andy, "*If yer warn't both on yer such cussed liars, now.*" Pa un bynag o honynt oedd y cyntaf i gynnyg y cynllun yspeilgar, y mae yn eglur fod y llall yn gwrandaw arno gyda dyddordeb, ac yn rhoddi rhyw fath o gefnogaeth iddo. Yr ydym yn credu y gellir symio yr holl drafodaeth i fyny mewn ychydig eiriau:— Am y naill gellir dyweyd, "Hyn a ddywedodd efe am ei fod yn lleidr;" ac wrth y llall, gellir dyweyd gyda'r un sicrwydd, "Pan welaist leidr cyttunaist âg ef."

Mae yn debyg nad oes neb o ddarllenwyr y Traethodydd yn ddigon diniwed i gredu mai yr helynt ynghylch coron Spaen ydyw'r achos o'r

rhyfel presennol. Yr oedd ymddygiadau Ffrainc, o ddechre hyd ddiwedd y drafodaeth hono, yn dangos yn eglur ei bod wedi penderfynu y mynai gael rhyfel. Ac er fod Prwssia wedi gwneyd yr oll a allai, yn unol â'i hanrhydedd, i'w ochelyd y tro hwn, mae yn eglur oddiwrth yr agwedd barod oedd arni, ei bod yn ei ddysgwyl; ac mae yn debyg fod yn dda ganddi ei weled. Nid ydym yn gwybod ein bod erioed wedi gweled esgus gwaelach dros fyned i ryfel. Ni ddarfu Napoleon ei hunan ofyn caniatâd yr un penadur i fod yn llywydd neu yn ymherawdwr. Ac heblaw hyny, gall Spaen ofyn iddo, "Pwy a'th osododd di yn farnwr arnom ni?" Rhaid chwilio am ryw reswm arall.

Fe ŵyr pawb fod y Ffrancod yn un o'r cenhedloedd balchaf ar y ddaear, a'u bod yn gosod mawredd Ffrainc o flaen pob peth. Goddefant orthrwm a thlodi yn lled dawel os bydd dylanwad eu llywodraethwyr yn cael ei deimlo, a phenaduriaid tramor yn crynu ger eu bron. "Y mae Ffrainc yn rhwym," ebai un o honynt, "o ysgwyd y byd pan ysgogo, ac o'i lonyddu pan yr ymlonyddo." Y dyn hwnw a ddŵg ddigon o anrhydedd milwrol i'r wlad, ac a'i gwna yn ddychryn i'r byd, ydyw y dyn poblogaidd. Yn awr teimlai Napoleon fod ei ddylanwad yn myned yn llai yn Ewrop, a gwyddai yn dda na oddefai y Ffrancod neb i deyrnasu arnynt os na allai lefaru megys un âg awdurdod ganddo wrth alluoedd tramor. Yr oedd Prwssia yn cynnyddu yn gyflym mewn gallu a mawredd, tra yr oedd Ffrainc braidd yn llithro yn ol. Gwelai yr Ymherawdwr fod yn rhaid gwneyd rhywbeth, a rhywbeth mawr hefyd, neu y byddai ei orsedd yn sicr o fyned i siglo dano. Y mae ganddo fab hefyd, ac nid ychydig ydoedd ei ofnau na chaffai etifeddu gorsedd ei dad. Nid oedd dim mor debyg o'i ddwyn i sylw y wlad, a'i anwylo yn ngolwg cenedl ryfelgar, ag iddo fod gyda'r fyddin a derbyn ei "fedydd tân" mewn rhyfel mawr llwyddiannus. Pe buasai llwyddiant Ffrainc gymaint a'i gobeithion ar y dechre, mae yn bur sicr y buasai yn cael ei gadw gyda'r fyddin, ac nid anhawdd a fuasai troi rhyw gymaint o'r gogoniant a ddeilliasai o'r rhyfel i dywynu arno ef. Ond ofer a fuasai i'r Ymherawdwr feddwl am fyned i ryfel, pa fanteision bynag a allasai ddyfod oddiwrtho iddo ef ei hunan ac i'w deulu, oni bae fod teimlad y wlad yn rhedeg yn gryf yn y cyfeiriad hwnw. Nid ydyw Ffrainc yn caru Prwssia, ac nid ydyw Prwssia yn caru Ffrainc. Ar ddechre y rhyfel, rhuthrai y ddwy genedl i gyfarfod eu gilydd gydag awyddfryd ag oedd yn dangos fod gelyniaeth wedi bod yn mud-losgi yn eu mynwesau er ys llawer o amser.

Rhyfedd ydyw y teimlad gelynol sydd yn magu rhwng cenhedloedd a'u gilydd! Y mae yr amaethwr neu y llafurwr gwledig yn Nghymru yn teimlo ei fod yn rhan arbenig o'i ddyledswydd i gasbâu Ffrainc, er na ŵyr ddim mewn gwirionedd o hanes y wlad hono; a than ddylanwad y teimlad yna byddai John Jones yn hollol ewyllysgar i fyned i'r maes i saethu Jean Leblanc unrhyw ddiwrnod. Y mae gwladgarwch, er ei fod yn deimlad anrhydeddus o fewn terfynau, wedi achosi llawer o ryfeloedd gwaedlyd. Y ffaith fod yr hil ddynol yn bodoli yn wahanol genhedloedd a theyrnasoedd ydyw yr achos o ryfeloedd; a thra y parhâ yr achos, yr ydym yn ofni nad ydyw yn debyg y diflana yr effaith. Fe allai mai buddiol ydyw i'r ystâd hon ar bethau barhâu rai oesau eto. Y mae rhyw wirionedd wedi ei ymddiried i bob cenedl. Y mae dynoliaeth

gyflawn fel pe bae wedi ei thòri i fyny a'i gwasgaru dros wyneb yr holl ddaear. Y mae un elfen wedi ei rhoddi i un genedl, y mae elfen arall yn nodweddu cenedl arall. Fel hyn y mae holl genhedloedd y ddaear yn gweithredu fel ceidwaid ar yr oll sydd yn angenrheidiol i wneyd dynoliaeth gyflawn; ac y mae yn debyg fod hyn yn ddïogelwch rhag i un linell nac un elfen fyned ar goll. Ond fel y cynnydda dysgeidiaeth, fe aiff bodolaeth cenhedloedd, fel y cyfryw, yn ddianghenraid. Y mae gwareiddiad yn tòri i lawr bob gwahaniaeth yn raddol, ac yn gwneyd dynion yn debyg i'w gilydd. Y mae yr hen gymeriad Cymreig, er engraifft, yn diflanu yn gyflym; rhyw un yma ac acw ar hyd mynyddoedd a chymoedd anghysbell ein gwlad sydd i'w weled; tra y mae Cymry yr oes hon yn hollol yr un â'r Saeson o ran eu syniadau a'u harferion. Y mae yn eglur i bawb fod oes cenhedloedd bychain yn dirwyn yn gyflym i'r pen. Fe all y Cymry a'r Gwyddelod, y Daniaid a'r Polandiaid, ymladd dros eu bodolaeth wahaniaethol am beth amser eto; ond y mae yn bur sicr mai y diwedd a fydd cael eu llyncu i fyny gan genhedloedd cryfach. Y mae gwladgarwch yn deimlad a all ymehangu hyd at unrhyw derfyn. Er ys rhai canrifoedd yn ol, yr oedd gwladgarwch y Cymro yn gyfyngedig i Gymru; ond yn awr y mae yn cymeryd Prydain Fawr i mewn. Fe ymladda y Cymro yn awr gyda Wellington neu Nelson gyda yr un ewyllysgarwch ag yr ymladdai gynt gyda Charadoc neu Owain Gwynedd. Ai nid ydyw pethau fel hyn yn arwyddion y gallwn edrych ymlaen at amser pryd y bydd holl genhedloedd y byd wedi myned yn un, pryd y bydd gwladgarwch wedi ei lyncu i fyny gan ddyngarwch, ac y bydd yr Arglwydd yn y ffordd hon yn "peri i ryfeloedd beidio hyd eithaf y ddaear?" Fe allai nad ydyw y syniad mor afresymol ag y gall rhai dybied; ond y mae yn bur sicr fod rhai canrifoedd rhyngom â'r amser dedwydd hwnw.

Ond pa fodd bynag, dyma un rhyfel dinystriol eto wedi tarddu o eiddigedd y naill genedl at y llall, a hyd yma y mae wedi siomi dysgwyliadau pawb. Y farn gyffredinol oedd y byddai y Ffrancod yn llwyddiannus ar y dechre, ac y byddent yn myned ymhell i Germany, ond y byddai gwroldeb a dyfalbarhâd y Germaniaid yn y diwedd yn debyg o'u gyru yn ol. Ond yn lle hyny, y mae y rhyfel wedi bod o'r dechre yn gwbl yn ffafr Prwssia, er syndod i bawb. Ni chafodd yr un genedl erioed ei siomi yn fwy llwyr ac annysgwyliadwy na'r Ffrancod y tro hwn. Yn awr, beth ydyw yr achos neu yr achosion o'u haflwyddiant? Yr oeddynt yn gobeithio y byddai dau beth yn eu ffafr,—fod Prwssia yn anmharod, ac y caent y *South Germans* beth bynag o'u plaid. Ond yn lle hyny, yr oedd y Prwssiaid yn hollol barod i'w derbyn, ac y mae yr holl wlad, y Dê a'r Gogledd, wedi ymuno i'w gwrthwynebu. Cryn wahaniaeth iddynt oedd cael o wyth i naw miliwn yn eu herbyn, yn lle o'u plaid. Cawsant eu hunain yn wyneb cenedl unedig, gyda threfn i godi milwyr a'u dysgyblu, ag sydd yn sicrhâu buddugoliaethau iddynt. Y mae pob Prwssiad yn dyfod yn filwr mor fuan ag y cyrhaedda ugain oed. Rhaid iddo aros saith mlynedd yn y gwasanaeth, tair o ba rai a dreulia yn y fyddin reolaidd, a'r pedair eraill yn yr hyn a elwir *the army of reserve*. Ar ddiwedd y cyfnod hwn, y mae y milwr yn myned i berthyn i'r cartreflu am naw mlynedd. Tra yn perthyn i'r cartreflu (*Landwehr, militia*), y mae yn agored i gael ei alw allan yn flynyddol i gael ymar-

feriad, ac y mae yn rhwym o wasanaethu yn y fyddin reolaidd yn amser rhyfel. O'r amser y gadawa y Landwehr hyd oni chyrhaedda ddeg a deugain oed, y mae yn perthyn i'r hyn a elwir "Landsturm," ac nid ydyw yn rhwym i wasanaethu tu allan i derfynau ei wlad. Gydag ychydig o eithriadau, y mae pob gwryw yn Prwssia yn cael ei ddysgu i drîn arfau rhyfel, ac y mae yn rhwym o wasanaethu yn y fyddin ymhob man hyd oni chyrhaeddo un ar bymtheg ar hugain oed, ac mewn rhyfel amddiffynol o'r oedran hwnw hyd oni chyrhaeddo deg a deugain. Yn ychwanegol at hyn, y mae yr oll braidd wedi cael addysg dda, ac ar y cyfan y maent yn ddynion deallus, yr hyn sydd yn eu gwneyd yn well milwyr. Fe ddylasai Napoleon ystyried cryn lawer cyn tynu dynion fel hyn yn ei ben.

Ond adref y rhaid i'r Ffrancod edrych am y prif achos o'u haflwyddiant. Y mae arweinwyr y fyddin Ffrengig wedi dangos yr anallu mwyaf i gyflawni eu dyledswyddau. Wedi trefnu y fyddin gyda'r amcan o gymeryd yr ymosodol, dechreuasant betruso ac ymddyrysu, a thrwy hyny rhoddasant gyfleusdra i'r Germaniaid i gasglu eu galluoedd ynghyd, fel yr oedd eu mynediad ymlaen i Germany yn hollol allan o'r cwestiwn. A gwaeth na'r cyfan, wedi iddi ddyfod yn hollol eglur y byddai raid iddynt sefyll ar yr amddiffynol, ni wnaed un cyfnewidiad yn sefyllfa y fyddin, fel pan ddaeth y Germaniaid yr oeddynt yn gallu yn rhwydd dòri y cysylltiad rhwng y gwahanol ranau, ac ymosod arni o fesur y rhan. Dan y fath arweinwyr nid oedd gwroldeb dihafal y milwyr cyffredin yn ddigon i sicrhâu buddugoliaeth. Ar ddechre y rhyfel hefyd yr oedd yr annhrefn mwyaf gyda golwg ar barotöi ymborth i'r fyddin. Cafodd y Ffrancod eu hunain ar derfynau Germany heb un gobaith am ymborth i'w galluogi i fyned ymlaen. Nid oedd presennoldeb y gelyn na gwaharddiad y swyddogion yn ddigonol i rwystro y milwyr i fyned oddiamgylch i chwilio am feusydd pytatws, er mwyn cael rhywbeth i dòri eu newyn. Dywedir fod y fyddin a ymladdodd yn Woerth heb ddim ymborth er ys pedair awr ar hugain cyn y frwydr. Heblaw hyn, nid ydym yn credu fod un fyddin erioed wedi ei haberthu i ystyriaethau politicaidd i'r fath raddau a byddin Ffrainc yn y rhyfel hwn. Yr oedd yr ymherawdwr yn anfoddlawn iawn i'r Parisiaid ddeall fod byddin Ffrainc yn Metz yn analluog i rwystro y Prwssiaid ymlaen, ac am hyny fe'i cadwyd yno nes yr oedd yn rhy ddiweddar i gilio yn ol. Gallasai y Ffrancod yn hawdd encilio tua Chalons, a thrwy ymuno â MacMahon yno, buasai eu nerth yn fawr er yr holl golledion a ddyoddefasant; ond er mwyn cadw i fyny ymddangosiadau cyhyd ag y gellid, wele gan' mil o filwyr goreu Ffrainc, ar un o'r adegau pwysicaf yn ei hanes, wedi eu cau i fyny mewn tref, tra y mae y gelyn yn cyflym yn meddiannu y wlad. Ond ni ddylid taflu yr holl fai ar yr Ymherawdwr, oblegid mae yn sicr ei fod wedi ei dwyllo gan ei gadfridogion. Yr oeddynt wedi bod yn ei sicrhâu yn barhäus er ys misoedd fod Ffrainc yn berffaith barod i ryfel. Ychydig cyn cyhoeddi y rhyfel, gofynai un o'r gweinidogion i'r Cadfridog Canrobert, a oedd ef yn credu fod Ffrainc yn barod i ryfel. Atebodd yntau ei bod yn hollol barod. "Goddefwch i mi," ebai y gweinidog, "ofyn i chwi ar eich anrhydedd fel boneddwr a milwr, A ydyw yn ddïogel i Ffrainc gyhoeddi rhyfel?" "Ydyw," ebai yntau, "yn hollol ddïogel; oblegid ni fu erioed yn fwy parod." Ond

càn gynted ag y dechreuodd y rhyfel, daeth yn eglur fod Ffrainc ymhell o fod yn barod.

Yn awr, dan y fath amgylchiadau, wedi ei gwthio i ryfel yn anmharod, gyda gweinidogion anfedrus gartref, a chadfridogion wedi rhwymo eu dwylaw ar y maes, nis gallai unrhyw genedl, pa mor fawr bynag y gallai ei hadnoddau a'i gwroldeb fod, ddysgwyl cyfarfod â dim ond aflwyddiant ac adfyd. Fel ffrwyth hyn oll, wele gyfres o anffodion wedi disgyn i ran y fyddin Ffrengig o ddechre y rhyfel hyd orchfygiad MacMahon sydd wedi ei llwyr ddiddymu. Yn lle myned i Berlin fel gorchfygwr, dyma Napoleon yn cael ei anfon yn garcharor i Germany. Bendith fawr i Ffrainc a fydd cael llonydd gan y Bonapartiaid. Daeth Napoleon III. i'r orsedd trwy drais; ar hyd yr amser y bu yn teyrnasu, yr oedd yn gwneyd ei oreu i hudo meddwl y genedl oddiwrth y manteision sylweddol sydd yn perthyn i fasnach a rhyddid gwladol at ogoniant milwrol, ac ar ddiwedd ei deyrnasiad fe dỳnodd ei wlad i ymyl dinystr. Y mae Ffrainc yn gorfod talu yn hallt yn awr am gymeryd ei pherswadio fod ganddi hawl i ymyraeth â materion pawb, ac i benderfynu pob achos. Yn 1356, yr oedd Ffrainc wrth drugaredd y Black Prince, etifedd coron Lloegr; ac yn 1870, wele etifedd coron Prwssia yn gorfodi ei phenadur i'w roddi ei hunan i fyny.

Byddai y dỳb fod gogoniant Ffrainc wedi ymadael, a'i bod i fyned i lawr lawer o raddau ymysg cenhedloedd, yr un mor gyfeiliornus yn awr ag a fuasai y pryd hwnw. Y mae yn awr yn ysgol adfyd, yn dysgu nad ar ogoniant milwrol y bydd byw cenedl, nad ydyw ei byddin yn anorchfygol, ac nad oes ganddi hawl i ymyraeth â materion pobl ereill. Os llwydda i ddysgu y gwersi hyn, fel yr ydym yn credu y gwna, fe ddaw i weled cyn bo hir, er cymaint o waed sydd wedi ei dywallt, ac er mor fawr ydyw ei siomedigaeth, na fydd wedi talu yn rhy ddrud am ei haddysg. Y mae rhai o drigolion Germany yn eu gorfoledd o herwydd llwyddiant eu harfau fel pe baent wedi anghofio hanes Ffrainc. Doethineb ynddynt hwy a fyddai ymddwyn tuag ati yn anrhydeddus, a hyd yn nôd yn drugarog; oblegid er iddynt allu ei gorfodi i dderbyn ammodau heddwch anffafriol a diraddiol yn ei chyfyngder presennol, fe fyddai dydd dïal yn sicr o ddyfod. Gwell yn ddïau a fyddai iddynt ymfoddloni heb un droedfedd o'i thiriogaeth. Ymddengys fod y Germaniaid yn gyffredinol yn awyddus i gymeryd rhanau o Lorraine, a'r oll o Alsace, oddiar Ffrainc. Y mae yn wir fod y rhanau hyn wedi bod yn perthyn iddynt unwaith; ond os oes grym yn y ddadl yna, y mae gan Frenin Belgium hawl i ymosod unrhyw ddiwrnod ar Holland, ac y mae gan yr Iwerddon hawl i'w hannibyniaeth. Pe yr adgyfodid hen hawliau sydd wedi bod yn gorwedd yn dawel er ys oesau, fe ai yn gynhwrf dros holl Ewrop. Heblaw hyny, y mae trigolion y parthau hyn mor deyrngarol a ffyddlawn i'w gwlad fel y byddai eu hysgar oddiwrthi y trais mwyaf ar eu teimladau. Ond gobeithio yr ydym y llwydda Ffrainc i gael ammodau heddwch anrhydeddus, ac y bydd yn troi oddiwrth gysgodion at sylwedd, ac na chymera ei harwain gan un hudlewyn i gorsydd lleidiog a siglenydd peryglus gogoniant milwrol mwy. Os bydd i'r rhyfel ei throi o gyfeiliorni ei ffordd yn y pwnc hwn, bydd o fendith fawr iddi hi yn neillduol, ac i Ewrop yn gyffredinol.

Y mae yn bur amlwg beth fydd dylanwad yr ymdrechfa hon ar

dynged Germany. Nid oedd y mân allnoedd a ymdrechasant mor anrhydeddus yn gwneyd dim amgen mewn gwirionedd na chyflawni hunanladdiad. Bydd llwyddiant y rhyfel yn ychwanegu yn ddirfawr at ddylanwad Prwssia,—dylanwad sydd yn raddol yn sugno y galluoedd bychain sydd o'i hamgylch iddi ei hunan. Yn awr nid oes un rhwystr mawr ar y ffordd. Yn Konigratz a Sadowa rhoddwyd awgrym lled glir i Awstria y gallai Germany drefnu ei materion heb ei gwasanaeth hi, ac ni bydd Ffrainc bellach mewn sefyllfa i beri nemawr o flinder. Yn bur fuan fe fydd yr oll o Germany, y Dê a'r Gogledd, yn un deyrnas. Ni wnaeth gwaith Awstria yn 1866, a Ffrainc yn 1870, yn ceisio gwrthwynebu yr undeb, ond chwanegu dwy engraifft at y lliaws oedd genym o'r blaen nad ydyw ond ofer ymladd yn erbyn yr anocheladwy. Gwelsom frenin Sardinia yn dyfod yn frenin Italy; a phaham nad all brenin Prwssia ddyfod yn ymherawdwr Germany? Bydd i'r undeb hir-ddysgwyliedig hwn sicrhâu dyfodol gogoneddus i'r wlad. Nid ydyw Germany ond prin wedi dechreu rhedeg yr yrfa a osodwyd iddi. Y mae yn meddu yr yni a'r bywiogrwydd sydd yn nodweddu ieuenctyd, yn gysylltiedig â'r rheoleidd-dra, y medr celfyddydol, a'r ddysgeidiaeth sydd yn perthyn i wareiddiad uchel. Nid ydyw y genedl yn cael ei blino gan y gwamalrwydd, yr ansefydlogrwydd, a'r ffolineb sydd wedi bod o gymaint o felldith i'r Ffrancod; ond y mae yn meddu digon o nerth ac o sefydlogrwydd i gynnal i fyny fawredd gwleidyddol, cymdeithasol, a llényddol, na welodd y byd, mae yn debyg, erioed mo'i fath. Creaduriaid lled ddiddefnydd ydyw y rhai hyny sydd yn meddu hòniadau prophwydi heb eu hysbrydoliaeth. Er ys peth amser yn ol, yr oeddynt yn marchogaeth y wlad yn ddidrugaredd; ond yr ydym yn gweled gyda phleser mawr fod eu nifer yn lleihâu ryw gymaint yn bresennol. Yr ydym yn deall fod y fasnach mewn nwyddau prophwydoliaethol wedi myned yn lled farwaidd. Nid llawer mewn cymydogaeth sydd yn foddlawn yn awr i dalu chwe' cheiniog am gael gwybod i sicrwydd pryd y bydd y mil blynyddoedd yn dechreu. Braidd na feddyliem fod hyn yn arwydd lled sicr nad ydyw yn rhyw bell iawn oddiwrthym. Er na fynem er dim i neb dybio ei fod yn ein cael ymysg y brodyr hyn, eto yr ydym yn credu y gallwn ddyweyd, heb ryfygu, y bydd golwg wahanol iawn er Ewrop ymhen can' mlynedd i'r peth ydyw yn awr, ac mai y ddau allu blaenaf o lawer y pryd hwnw a fydd Germany a Rwssia.

# RHYS (COESBREN) DAFIS.

MEWN llawer o bethau perthynol i fasnach a'r byd presennol, tra-rhagora y Saeson ar y Cymry; maent yn fwy anturiaethus a dyfalbarhäus, a medrant wneyd pob peth yn wastadol yn îs-wasanaethgar er cyraedd yr amcan sydd ganddynt mewn golwg. Eithaf cywir ydoedd y darluniad a roddodd Napoleon y cyntaf o honynt, sef, mai cenedl o siopwyr oeddynt. Oddigerth rhyw wythnos neu naw diwrnod o ŵyliau, treuliant yr oll o bob blwyddyn yn eu masnachdai. Nid ydynt byth yn blino ar fasnach, a medrant weithio yn ddidòr a diflino. Eu prif ddawn ydyw gwneyd arian. Ni fu erioed eu hail yn y cyfeiriad hwn; a chwedi llwyddo i gasglu cyfoeth, maent yn gyffredin yn ddigon doeth i fwynhâu ffrwyth eu llafur. Ni wnant gam mewn ffordd o ymprŷd â'u cylla, ac nid esgeulusant eu cefn. Mŷnant bob math o gysur corfforol. Ariangarwch, ac, yn wir, arian-*addoliaeth*, ydyw eu pechod cenedlaethol, y "pechod parod i'w hamgylchu," o'r crŷd hyd yr arch. Mae digon o brofion fod arnynt, fel cenedl, fwy o ofn tlodi nag anwybodaeth, ïe, a mwy nag anonestrwydd. Cyfoeth, yn eu cyfrif hwy, a "guddia lïaws o bechodau." Nid ydym yn eu beïo am wneyd arian, ond yr ydym yn eu condemnio am lawer defnydd a wnant o arian. Mae yr arian a wnant yn cael eu troi yn fwydydd, dïodydd, tai, gerddi, cerbydau a meirch, a nifer o ffurfiau daearol eraill nad oes genym hamdden i'w henwi, ond yn lled anaml i agweddau *dealltwriaethol*. Nid oes ond ychydig, yn gymhariaethol, o lyfrau i'w cael mewn tai lle ceir gorlawnder o bob math o gysuron corfforol. Seleri mawrion, a phrin lonaid berfa o lyfrau.

Mewn llawn cynifer o bethau perthynol i *grefydd* rhagora y Cymry ar y Saeson. Oddigerth y Wesleyaid a'r *Primitive Methodists*, nid yw y Saeson yn deall yr *art* o efengyleiddio y byd. Maent yn gwybod y ffordd i "dreulio," ond nid i "*ym*dreulio." Cyfranant yn helaeth o'u da bydol tuag at gynnal achosion da; ond gwell ganddynt, fel rheol, hurio a thalu gweithwyr na gweithio eu hunain. Cymhwysant at *grefydd* yr un egwyddorion a thuag at fasnach. Maent yn foddlawn *talu* eraill am wella y byd, ond y maent am gael eu harbed eu hunain. Nid ydynt yn gyffredin yn cythryblu eu hunain ynghylch dim ond eu galwedigaethau eu hunain. Cariant allan i weithrediad, braidd yn eu holl weithrediadau, yr egwyddor o "*subdivision of labour*." Ymgynghorant â'r meddyg os bydd eu hiechyd wedi anmharu, â'r cyfreithiwr os yn sefyll mewn angen o gyngor mewn perthynas i'w helddo, ac â'r offeiriad neu y pregethwr os yn teimlo angen am gyfarwyddyd mewn pethau crefyddol. Dysgwyliant i bob dyn ddeall ei *fusness* ei hun, a chadw ati. Maent yn ddigon parod i osod allan *by contract* dröedigaeth y byd at Gristionogaeth, ac, fel y dywedir yn iaith hysbysiadau i *gontractors*, nid ydynt yn ymrwymo derbyn y *lowest tender;* ond wedi cyttuno â'r *contractor*, gofynant am ei *securities*, a dysgwyliant iddo gyflawni ei ymrwymiad i'r llythyren. Mae gŵr o'r fath yn awr yn byw yn un o

siroedd canol Lloegr, ag sydd yn talu hyn a hyn y pen am y dychweledigion i'r ffydd dan weinidogaeth y cenadau cartrefol a huria. Mae y gŵr yma yn gadael i egwyddorion ac arferion masnach gael eu cymhwyso at bethau *ysbrydol*. Pe buasai yn gystal duwinydd ac ysgrythyrwr ag ydyw o felinydd, ni wnaethai osod y gorchwyl o ddychwelyd eneidiau ar yr un tir daearol ac anianol a dal tyrchod, gan dalu yn ol rhif y cynffonau a ddygid ato, fel profion o laddiad y rhai a'u gwisgent. Gall *Armin* ddal tyrchod, ond *nid* yn ei nerth ei hun y dychymygodd un pregethwr iawngred y gall achub eneidiau.

Yr ydym yn barnu fod y Saeson (oddigerth yr eithriadau a enwasom eisoes, sef y Wesleyaid a'r Methodistiaid Cyntefig), ac yn enwedig eu Heglwyswyr, yn euog o'r camsyniad mawr a cholledus o osod y *càr o flaen y ceffyl* wrth gynnyg cristioneiddio y byd. *Dechreuant* hwy lle y *gorphenai* yr apostolion, a lle mae pawb a lwyddasant i efengyleiddio gwledydd wedi gorphen hefyd. *Dechreua* Eglwyswyr yn rhy aml gyda cherig, a chalch, neu briddfeini, a gorphenant gyda *dynion*. Gyda *dynion* y dechreuodd y Dysgawdwr mawr a'i apostolion, a chyda themlau neu dai addoliad y diweddasant. Meini *bywiol* yn gyntaf, a rhai *meirwon* yn olaf. Yn "y prif ffyrdd a'r caeau" y dechreuwyd, a chwedi dal dynion, hawdd ydoedd cael gan y rhai hyny adeiladu tai cymhwys i addoli ynddynt.

Mae y syniad gau a dinystriol taw i'r clerigwyr y perthyn yn swyddol a chyfangwbl y gorchwyl o gristioneiddio y byd wedi dyfod yn un o'r prif attalfëydd ar ffordd cynnyrchu y cyfryw drawsnewidiad. "*Cyd*-lafurwr," a "*chyd*-filwr," y geilw y "cyfryw un â Phaul yr henafgwr," a phenaeth yr apostolion eraill, y lleygwr, Philemon. Cydnabyddid *laymen* gan yr apostolion fel *cyd*-wasanaethwyr Crist, a theimlent nas gallent hebgor eu cymhorth. Yr un wêdd y mae y gwahanol enwadau Anghydffurfiol wedi arfer gwneyd, a gwyddom yr effeithiau daionus a ganlynasant fabwysiad y cyfryw drefn. Y fynyd y dadgysylltir crefydd oddiwrth lywodraethau gwladol, ac y dadwaddolir hi, fe ddaw y clerigwyr i weled nas gellir taenu a chynnal Cristionogaeth heb gydweithrediad a chynnorthwy lleygwyr. Fe *orfodir* clerigwyr bob yn dipyn i gredu fod nid yn unig hawl gan, ond fod yn ddyledswydd ar bob credadyn wneyd a allo i berswadio anghredinwyr i ddyfod yn gredinwyr; ac fod cymhwysderau moesol ac ysbrydol i lesoli dynion yn gwneyd yn afreidiol arddodiad dwylaw esgobion ar gorynau neb. Cariad fedr esbonio cariad oreu, a Christion sydd debycaf i ennill eraill i fod yn Gristionogion.

Methasom a gwrthsefyll y brofedigaeth o ymdroi fel hyn cyn dyfod at ein testun, oblegid llëyg-bregethwr ydoedd, ac am, yn ol pob tebygolrwydd, na wnaethai yr un o esgobion yr Eglwys Sefydledig yn Nghymru ddewis gwneyd defnydd o'i fath i efengyleiddio y Dywysogaeth. Ond y mae uwch "llythyrau cymeradwyaeth" na'r rhai a roddir gan esgobion. Wrth eu gweithredoedd yr ydys yn dechreu barnu dynion. Os llwydda ysgolfeistr heb drwydded oddiwrth y Llywodraeth i wneyd ysgolheigion o benbyliaid, nid oes angen ar hwnw am un *certificate* arall er profi ei fod yn "athrawus;" ac os gellir profi i hen lëyg-bregethwyr Cymru lwyddo i "droi pobl o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw," nid oes angen am un fraintlythyr er eu hawdurdodi i gario y gwaith ymlaen, oblegid *uwch* dyben ni

chyrhaeddwyd gan yr apostol Paul ei hun, na chynnyrchu y cyfryw draws-symudiad.

Gefell-blentyn ydoedd Rhys Dafis; ac os gwir y dywediad, mai "y plentyn yw tad y dyn" (ac y mae yn fwy na thebygol taw gwir ydyw), rhaid i'w gywely weled byd digon helbulus yn y lle cynnwys hwnw lle yr ymdyfa yr annelwig ar ddelw creaduriaid rhesymol. Llawer cic a phaff a roddodd i'w gyd-lettŷwr, fel yr ymddengys oddiwrth yr hanes i Jacob wneyd i'w frawd Esau. Ganwyd Rhys, ac *heb* y goes bren, yn Mhont-ar-onwy, yn mhlwyf Penybryn, rhwng Glŷnarthen ac Aberporth, yn Sir Aberteifi, ac yn y flwyddyn 1777, neu *dair caib*, yn ei eiriau ei hun. Daethai y teulu yn ddechreuol o Bennar, yn agos i Aberporth. Ymunodd â chrefydd pan yn dra ieuanc, a chafodd ei dderbyn yn aelod o'r eglwys Annibynol yn Glŷnarthen, y pryd hwnw dan ofal gweinidogaethol y Parch. Benjamin Evans, o'r Drawen, boneddwr o ran moesau, ysgolhaig o ran cyrhaeddiadau, *Cristion* o ran ymarweddiad, a "gweinidog *da* i Iesu Grist." Ar ol rhoddi profion boddhäol o dduwioldeb i'r gweinidog a'r eglwys, annogwyd ef i arfer ei ddoniau fel pregethwr; ac er mwyn ei gymhwyso i gyflawni yn fwy deheuig ac effeithiol ddyledswyddau "yr alwedigaeth sanctaidd" yr ymaflasai ynddi, aeth i ysgol a gynnelid gan y Parch. Mr. Griffiths, gweinidog yr Annibynwyr yn Glàndŵr, ymhen uchaf Sir Benfro, ac ar gyffiniau Sir Gaerfyrddin; ysgol at ddarparu gwŷr ieuainc ar gyfer y weinidogaeth yn benaf ydoedd yr un a gedwid gan Mr. Griffiths. Yn y wlad, ac nid yn y trefydd, y cedwid ysgolion gynt yn Nghymru. Nid oedd a fynai hen wladwyr ag anfon eu plant i'r trefydd. Credent nad oeddynt yn lleoedd iachus; ac os dygwyddai yr ysgolion fod yn rhai i fyrddio plant, ofnent na chaent ddigon o fwyd ynddynt; fod y brechdanau yn deneu o ran bara, ac yn deneuach fyth o ran ymenyn. Ofnai y rhieni pryderus yn fwy na phob drwg daearol i'w plant ddyoddef eisieu bwyd; ac o ran hyny, mwy dewisol genym ni fyddai fod plant yn tyfu yn cael rhy fach o *grammar* na rhy fach o fara. "B'ytt'wch ch'i, 'machgen i," meddai yr hen wreigan y llettŷem yn ei thŷ pan yn yr ysgol yn Neuaddlwyd, "fe ddaw y *bòla* yn *gefn*." Eithaf iawngred oedd golygiadau yr hen athronyddes, oblegid onid yw cefn pob dyn a dynes wedi bod ryw bryd ar eu dysgl neu eu phïol? Yr oedd llawer o fanteision mewn cysylltiad âg ysgolion yn y wlad na cheir mo honynt yn ysgolion y trefydd. Un peth—a pheth pwysig iawn i fechgynach darostyngedig i "fynych wendid" poced—yr oedd y lletty yn rhatach nag mewn tref. Oedd "gwlŷb a gwely" am bymtheg ceiniog yr wythnos, ac yr oedd hyny yn gaffaeliad nid bychan i fyfyrwyr tlodion. A gair *cynnwysfawr* iawn ydoedd y gair "*gwlŷb*." Nid gair cul, un ystyr ydoedd, ond, yn ffodus ar lês y lletty̆wyr, un *aml* ystyr. Cynnwysai *laeth*, llaethenwyn, glasdŵr, a maidd syml; cawl cîg, cawl llysiau, cawl penlledwad, a chawl llaeth; uwd blawd ceirch, sucan, a mwdran; a thrwy wasgu tipyn ar ei natur dda, ceid o hóno datws, cloron, a maip, ynghyda llysiau cochion; yn fyr, ymddengys y cynnwysai braidd bob peth ag y dygwyddai *dwfr* fod yn elfen helaeth yn ei gyfansoddiad. Am y *gwely*, nid oes i'w adrodd am hwnw ond taw un gwellt ydoedd, ac fod gan y sawl a orweddent ynddo dyrfa fawr o gywelyaid duon eu lliw, bywiog eu natur, a diwyd eu harferion. Os oes rhyw un gair yn yr iaith Gymraeg ag y dylai

myfyrwyr tlodion y genedlaeth flaenorol i'r un bresennol gyfodi côfadail o ddiolchgarwch iddo, *gwlŷb* ydyw hwnw, a dylai fod i'r gàreg gynifer o ochrau a'r ystyron a roddasom ni iddo.

Mae Sir Aberteifi wedi bod yn enwog am ei hysgolion *gwledig*, megys Ystrad Meurig, Castell Hywel, a'r Neuaddlwyd, ac yn y rhai hyn y cyfodwyd lluoedd o ysgolheigion dysglaer a dynion defnyddiol. Os oedd y fywioliaeth yn gyffredin a'r gwelyau yn gelyd, nid oedd dim prinder ar y Groeg a'r Lladin. Nid oedd eisieu toliaw ar *wybodaeth*, os oedd eisieu toliaw ar y dorth, a'i thafellu hi dan ocheneidio. Yn yr ysgolion hyn y cafodd tyrfa o fechgyn eu dysgu a'u gorfodi i fyw yn gynnil a chaled, yr hyn a'u cymhwysai i gymeryd gofal achosion bychain ac eiddil, lle yr oedd digon o waith i esgob, a dim digon o dâl i gurad. Nis gallwn lai nag enwi un man—Ebenezer, yn Sir Gaernarfon, lle yr ymsefydlodd gŵr ieuanc duwiol ac ymdreulgar o'r enw Edwards fel gweinidog ar ddyrnaid o bobl dlodion, y rhai ni allasent ymrwymo talu iddo ragor o gyflog *na choron y mis!* Cadwai ysgol ddyddiol, ac angenrheidrwydd a osodwyd arno i fyw yn gynnil dros ben, onidê nis gallasai gael gan y ddau ben ddyfod ynghyd. Da i'r gŵr *gwir* dda a defnyddiol hwn ydoedd ei fod wedi cael ei ddwyn i fyny yn ysgol Neuaddlwyd ar *fara haidd*, heb wybod, ond yn achlysurol, pa beth oedd blâs hyd yn nôd cîg *hallt*, a hwnw yn gîg rhyw hen fuwch ag oedd wedi cyraedd oedran têg cyn cael ei throi i'r adladd. Llafuriodd yr Edwards yma am flynyddau yn galed a llwyddiannus, gan adael yn ei destament i'w ganlyniedydd gapel ëang, a chynnulleidfa digon lïosog a galluog i'w gynnal yn gysurus. "*Eraill* a lafuriasant, a chwithau a aethoch i mewn i'w llafur hwynt." Cofier yn barchus a diolchgar am yr "*eraill*" hunanwadol a hunan*dreuliol* hyny! Hyn yna ar hyn yna. Ni a ddychwelwn yn awr at destun ein herthygl.

Wedi treulio pedair neu bum' mlynedd yn Glàndŵr, aeth Rhys Dafis i'r Gogledd i gadw ysgol, a bid sicr, i bregethu hefyd. Mae gan yr ysgolfeistr a fedr bregethu fanteision neillduol i gristioneiddio cymydogaeth baganaidd a digrefydd. Yr hyn oedd y gallu i gyflawni gwyrthiau i'r apostolion fel *passport* i fysg cenhedloedd anwaraidd, dyna, mewn llawer ardal yn Nghymru, fu galwedigaeth yr ysgolfeistr i'r cyfryw a'i dilynent, ac a fedrent bregethu. Megys y cai yr apostolion fel meddygon dderbyniad lle na theimlid eisieu cyhoeddwyr "newyddion da" y Nefoedd i bechaduriaid, felly yr un modd prisid galluoedd yr ysgolfeistr, pan na falid nemawr am y pregethwr. Math o *body guard* i'w dïogelu rhag ymosodiad oddiwrth gasëion ydoedd y personau a iachëid gan yr apostolion, yn gystal a'u perthynasau; a'r un wêdd gwasanaethai serch a pharch y plant i'r ysgolfeistr, i liniaru gwrthwynebiad i'r pregethwr. Cai yr ysgolfeistr wahoddiad i dreulio nosweithiau yn nghartrefi ei ddysgyblion, a mabwysiadai y cyfleusdra i gadw gwasanaeth teuluaidd, ac, fe allai, am y tro cyntaf erioed, yn y tŷ; ac o dipyn i beth, ennillai gymaint o serch ac ymddiried y penauteuluoedd trwy wneyd ei ddyledswydd yn drwyadl a chydwybodol tuag at y plant yn yr ysgol, nes cael caniatâd i gynnal cyfarfod gweddi, ac hyd yn nôd i bregethu mewn tai lle nad oedd na gweddi na phregeth wedi eu clywed o'r blaen. Yn y dull syml ond edmygadwy hwn y cafodd ei sefydlu ar y cychwyn lawer achos ag sydd yn llewyrchus heddyw. Mae

parch dauddyblyg yn ddyledus i luoedd o bobl nad yw eu henwau yn adnabyddus i'r cyhoedd, ar gyfrif eu "llafurus gariad" mewn cylchoedd dinôd; a phan y peidier edmygu ymdrechion diflino y cyfryw lafurwyr, bydd yn argoeli niwed i ysbrydolrwydd crefydd, a dyfodiad i mewn dymher fydol, ariangar, a hunan-garawl.

Fel ysgolfeistr bu Rhys Dafis yn offerynol i gychwyn a sefydlu amryw achosion ymhlith Annibynwyr y Gogledd, y rhai oeddynt y pryd hwnw yn ychydig, a'r ychydig hyny ymhell oddiwrth eu gilydd. Gellir enwi Talybont fel un o'r lleoedd y bu ef yr Anghydffurfiwr cyntaf i bregethu yr efengyl ynddo. Bu am ryw yspaid o amser yn cadw ysgol yn Garthbeibio, ac yn gwneyd ei oreu i efengyleiddio yr ardal hono, a hyny yn ngwyneb llawer o wawd, dirmyg, a mesur o erlidigaeth. Yr oedd yn byw yn y plwyf hwnw hen ferch go anystyriol, yr hon a ddaliai dyddyn helaeth, ar ran o'r hwn yr oedd tŷ gweithiwr, ac yn yr hwn yr arferai yr ychydig bobl, ag y llwyddasai Rhys i'w casglu fel dysgyblion i Grist, i gydgyfarfod i gynnal moddion crefyddol. Yr oedd yr hen ferch wedi clywed am y cyfarfodydd a gynnelid ar ei thir; a phan gyfarfyddodd â Rhys, bu yn ddigon ffol er ei llês ef hun i wneyd y sylw canlynol. "Beth sydd yn cael ei ddwyn ymlaen genych chwi a'r bobl yn y tŷ yna ar fy nhir i? nid oes yna ddim ond *hwrio* a rhyw waith o'r fath yn cael ei gario ymlaen." "Chwi wyddoch ch'i," ebai Rhys, "eich bod yn dyweyd celwydd, oblegid pe buasai gwaith o'r fath hyny yn cael ei gario ymlaen, buasech ch'i yn aelod gyda ni er ys llawer dydd." Fe wyddai Rhys hanes bywyd yr hen bechadures yn eithaf da, canys yr oedd gormod o le i gredu fod person y plwyf a hithau wedi arfer a gwneyd yn rhy ëofn ar *un* o'r gorchymynion a arferai ei barchedigaeth ddarllen ar y Suliau. Cauodd enau yr hen lafnes ar unwaith, ac am byth, oblegid ni chythryblodd ef mwyach. Yn ystod ei arosiad yn y lle hwn, dygwyddodd amgylchiad a ddengys anwybodaeth y trigolion, ond eu hymddired yn Rhys fel dyn da yn arfer *pob* ryw weddi. Cafodd gwraig i weithiwr yn ymyl y lle y cedwid yr ysgol ei dwyn i'w gwely ar enedigaeth plentyn. Cyfyng iawn y bu arni, a bu oriau cyn cael gollyngdod. Ofnid y gôst o yru am feddyg, a chan yr arferai Rhys weddïo *am ddim*, ceisiodd y gŵr ganddo ddyfod i'w rhyddhâu o'i phoenau trwy weddi. Cydsyniodd yntau â'i gais, ac i lawr yr aeth ar ei liniau, a dim ond y pared rhyngddo a'r hon oedd mewn cyfyngder. Cafodd Rhys ryw hwyl bron oruwchnaturiol ar weddi, a rhoddodd y wraig enedigaeth i blentyn; ond gan na wyddai efe ddim fod atebiad wedi dyfod càn gynted i'w weddi, dal ati a wnaeth hyd nes i'r wraig druan roddi genedigaeth i *ail* blentyn; a pharhâu i ddal ati, yn o debygol, a wnaethai Rhys, am ryw gymaint o amser yn ychwaneg, oni buasai i'r gŵr, wedi brawychu wrth weled dau *gyw*, fyned ato gan waeddi â llef uchel,—"Rho'wch heibio y dyn, onidê chwi weddïwch lon'd y tŷ o blant." Clywsom yr hen bererin *diarchar* o eirwir yn adrodd yr hanes hwn gyda *myn'd* digyffelyb.

Yn ystod crwydriadau Rhys Dafis fel ysgolfeistr y cymerodd le yr amgylchiad mwyaf dyddorol yn holl ystod ei fywyd teithiol. O fewn ychydig filldiroedd o Ddolgellau, ac ar y ffordd i Drawsfynydd, mae amaethdŷ o'r enw Bedd-y-coedwr, yn mîn mynydd y Mignant, ymhell o sŵn y byd mawr trystfawr allanol, ond o fewn cyraedd sŵn pistyll

Caen, a gefell-bistyll ag yr ydym ar hyn o bryd yn methu cofio ei enw, y rhai a daranant ar dywydd gwlawog yn ngwaelod y cwm serth-ochrog a choediog a ddŵg yr enw priodol Cwm-y-*sŵn*. Aethom flynyddau yn ol yn unig swydd ar daith o bererindod i weled y man unig ac anhygyrch, am yr hwn ni fuasai yn ol pob tebygolrwydd un coffa, oni buasai yr hyn a gymerodd le yno un noson waith pan gynnaliai Rhys Dafis oedfa i bregethu. Yr oedd ychydig barotöadau wedi cael eu gwneyd gan y teulu erbyn amser y cyfarfod. Mae yr holl ddodrefn wedi eu rhwbio gan freichiau ewyllysgar hyd nes bod—diolch i offerynoliaeth cŵyr gwenyn—mor ddysglaer fel y gallai yr eilliwr weled ei wyneb ynddynt. Mae y llwch wedi ei ysgubo o bob agen a chilfach, a holl waith y pryf copyn wedi ei lwyr ddinystrio. Nid oes yn aros gymaint âg un rwyd i ddal cylionen. Mae tanllwyth o dân mawn y mynydd ar yr aelwyd, a chyfyngir o fewn terfynau gweddus a phriodol y lludw trwy gymhorth dernyn o gylch haiarn olwyn, a atebai y dyben yr un mor effeithiol, os nid yn fwy felly, na *fender* y siopau. Mae patrïeirch y gymydogaeth, yn wŷr a gwragedd, wedi cyraedd y lle cyn iddi nosi, ac eisteddant o gwmpas y tân gyferbyn â'r llefarwr. Mae hi yn amser dechreu y moddion. Fe allai fod yno gynnulleidfa o ddeg ar hugain o bobl, ac y mae y rhif yn fawr ac ystyrid teneurwydd y boblogaeth, gerwindeb y llwybrau, ac anhygyrchedd y lle. Ond os nad oes yno lawer o grëaduriaid rhesymol, mae yno dyrfa o gŵn,—cŵn o bob lliw, llun, ac oedran: cŵn ifainc anystyriol, dibrofiad, a diddysg, a hen gŵn profiadol a hir gynnefin â holl ofidiau a gwasgfeuon bywyd ci bugail mewn ardal fynyddig. Mae y cyfarfod yn myn'd i ddechreu. Dacw yr ysgolfeistr-bregethwr yn esgyn i ben hen gader freichiau ag sydd wedi dal pwysau tair cenedlaeth, ac ar ysgwyddau llydain un o'r mynyddwyr, fel ar *front* pulpud, y gorphwys ei ddwylaw pan y medront orphwys. Y mae yno ganwyll o wneuthuriaid cartref: main iawn yw hi, druan, ac nid oes ond ychydig o fwyd i'r fflam ar ei chorffilyn. Mae hi wedi cael ei chyflëu mewn canwyll*bren* haiarn, ac y mae hwnw yn ffodus wedi ei gynnysgaethu âg un, os nid dau glust, a gerfydd yr *appendix* hwnw y croga ar linyn ag y mae un pen iddo yn rhwym wrth y clust, a'r llall yn rhwym wrth lafnes o hoelen wyth a gawsai ei gyru â gwegil bwyell i hen drawst derw o dan y llofft. Gwan a chymylog yw hi yn aml ar y ganwyll, canys ychydig o wêr sydd o'i chwmpas, ac y mae eisieu tòri ei phen du yn aml, ond nid oes dim pâr o *snuffers* yn nês na'r Nannau; ond y mae bawd a bŷs gan bob un o'r gynnulleidfa, a dŵr yn ei enau, ac felly *extemporisir snuffers* gan yr hen lychod mynyddig trwy ddefnyddio eu hoffer eu hunain. Ymhlith y cynnulliad hwn yn min y mynydd y mae bachgenyn penfelyn, llygadlâs, gruddgoch, a saif yn ymyl y cloc. Pregethu ei oreu wnaeth Rhys, ac nid yn ofer, oblegid cyrhaeddodd oddiar fwa ei weinidogaeth saeth at galon y bachgenyn prydferth yn ochr yr awrlais; ac ar ol i ychydig auafau fyned dros y penfelyn, fe glywir am dano, ac fe deimlir ei ddylanwad trwy yr oll o'r Dywysogaeth, Lloegr, ac America, dan yr enw *Williams o'r Wern!* Dyna'r gynnulleidfa wedi ymwasgaru i'w hanneddau yn nghymoedd ac ar lechweddi Meirionydd, ac nid oes dim yn awr i dòri ar ddystawrwydd y fan ond taran-drwst y rhaiadrau yn ngwaelod Cwm-y-sŵn, a chyfarthiad ambell gi wrth gânu yn iach am y nos i gi cymydog a drigai y tu hwnt i un o'r

bryniau amgylchynol. Mae Rhys, ar ol swpera ar *shot*, yn dyrchafu y weddi hwyrol ac yn myned i'w wely, a'r un modd y teulu ar ol huddaw y tân, bolltio y drŵs, a gyru y cŵn allan i'w gorweddfanau hwythau. Dyna, Rhys bach, cŵsg yn dawel, canys gwnaethost y diwrnodwaith goreu a wnei di byth.

Temtir ni yn y fan yma i wneyd ychydig sylwadau ag y mae yr amgylchiad sydd newydd gael ei adrodd, nid yn unig yn ein gwahodd, ond yn ein cymhell, idd eu gwneyd. Sut y mae i ni benderfynu ddefnyddioldeb *cymhariaethol* pregethwyr ac awdwyr; pa un ai yn ol *rhif*, neu ynte alluoedd *adgynnyrchawl* eu dychweledigion y mae i ni benderfynu pwy sydd wedi gwneuthur fwyaf o ddaioni? Dewisodd Pen Mawr yr eglwys Timothy East o Birmingham i fod yn offeryn argyhoeddiad John Williams y cenadwr, a bu yntau yn foddion yn ei dro i argyhoeddi "*ynysoedd lawer*." Rhys Dafis yr ysgolfeistr welodd yr Arglwydd yn dda ddefnyddio i argyhoeddi Williams o'r Wern, ac adroddir gan bersonau cymhwys i gyhoeddi barn gywir ar y mater na ddarfu iddo yntau ddim pregethu mewn un ardal heb fod yn offerynol i ddychwelyd rhyw un neu rai i'r ffydd. Dysgir ni yn nammeg yr hauwr fod gallu adgynnyrchol yr hâd yn dibynu ar ansawdd y tir y disgyn iddo. Yr *un* oedd yr hâd a ddŷg ar ei ddegfed ar hugain âr un math o dir, ar ei driugeinfed ar fath arall o dir, ac ar ei ganfed ar y fath *oreu* o dir. Ymddengys taw yr olaf ydoedd gallu adgynnyrchol mwyaf yr hâd yn y tir goreu ar ei eithaf. Ond yr oedd y tir yn Mesopotamia—rhwng y ddwy afon, ac yn gyfansoddedig o laid y ddwy, ac felly yn fwyd parod i bob math o lysiau a phlanigion—yn fwy toraethog fyth, oblegid dygai ffrwyth ar ei *ddaucanfed a thriugain!* Mae llawn cymaint gwahaniaeth rhwng toraethrwydd gwahanol feddyliau ag sydd rhwng toraethrwydd gwahanol diroedd.

Os yw y golygiadau hyn yn gywir, ac yr ydym yn golygu eu bod, mae yn canlyn y dylem benderfynu defnyddioldeb cymhariaethol pregethwyr ac awdwyr, nid yn ol *rhif* eu dychweledigion, ond yn ol gallu *ail*-gynnyrchol eu dychweledigion. Dywedai Spurgeon ychydig amser yn ol yn Scotland, ei fod wedi cael ei arddel fel offeryn i ddychwelyd *pum cant ar hugain* o bechaduriaid o "gyfeiliorni eu ffyrdd;" ond hyd nes gwyddom pa gymaint o allu *ail*-gynnyrchol a feddir gan y dyrfa hon, nis beiddiwn gyhoeddi ei fod yn fwy defnyddiol na rhyw bregethwr llai poblogaidd a fu yn offerynol i argyhoeddi ond rhyw hanner dwsin neu gymaint ag *un* mawr-enaid a mawr-galon. Nid wrth *rif* llawer o bethau y mae i ni farnu eu gwerth. "Mae *rhagor* rhwng seren a seren mewn gogoniant," a'r un modd ar y ddaear. Mae *un* Milton yn fwy na llu o îs-feirdd. Mae un Great Eastern yn fwy na llawer o lestri cèryg calch. Hyn yna eto ar hyn yna. Unwaith drachefn at Rhys Dafis.

Nid oes un berthynas mor dyner a hirhoedlog â pherthynas *ysbrydol.* Ni oroesa perthynasau "cîg a gwaed" y fuchedd bresennol. Fel y gallesid dysgwyl oddiwrth ŵr fel Williams—gŵr ag y byddai yn haerllugrwydd mewn dynion cyffredin fel y mwyafrif o honom i'w *ganmol*, ond yn *weddus* i'r mwyaf ymhlith plant gwragedd ei *edmygu*—dangosai ar bob achlysur y parch a'r serch mwyaf tuag at ei "dad yn y ffydd." "Lle da i bawb lle carer," medd yr hen ddïareb Gymreig, a lle da i Rhys a'i geffyl "Miller" ydoedd y "Talwrn" ger Gwrecsam, lle trigai

ei ddychweledig, yr hwn trwy y gynnysgaeth sylweddol a gafodd trwy ei wraig a amgylchynid gan fwy o gysuron tymmorol nag a syrthiai y pryd hwnw i ran y mwyafrif o weinidogion yr Annibynwyr yn Nghymru. Yr oedd drŵs y Talwrn yn agored i'r hen bregethwr teithiol un awr o'r dydd neu'r nos, a'r un modd ddrŵs yr ystabl i Miller—*cyd*-lafurwr y gŵr wrth *un* goes fyw. Dywedir i Rhys dòri allan i wylo yn chwerwdost y tro cyntaf y darfu ddynesu at yr annedd orddedwydd hon wedi i Williams farw; ac nid ydym yn ammheu dim na chafodd y marchogwr gryn drafferth i esbonio i Miller paham y gorfyddai iddo yntau fyned heibio heb gael ei ebranu fel yn y dyddiau gynt. Adroddir un hanesyn am Rhys yn ei gysylltiad â'r Talwrn sydd yn werth ei ysgrifenu, yn gymaint a'i fod yn nodweddawl iawn o dymher boethwyllt yr hen lwch, a'i barodrwydd i gyhoeddi barnedigaethau uwch ben y rhai ddygwyddent ei dramgwyddo. Yr oedd, ac y mae yn bresennol, y boblogaeth o gylch Rhosllanerchrugog a'r Wern yn gymysgedig o amaethwyr, glöwyr, a mŵnwyr, ac y mae y ddau ddosbarth olaf yn o symudol eu harferion. Yr oedd hi yn o hwyr ar yr hen bregethwr un tro pan gyrhaeddodd y gymydogaeth, a chyn iddo ddyfod at y Talwrn yr oedd hi wedi myned yn nos dywell; a chan fod amryw groesffyrdd yn yr ardal, fe ddarfu y march a'r marchogwr ddyrysu a cholli y ffordd. O'r diwedd canfu Rhys oleu, a dynesodd ato. Gwaeddodd â'i holl egni, "*Hai*," a chafodd atebiad ebrwydd gan hen wraig oedd yn byw yn y cottŷ. Daeth hono i'r drŵs, gan ofyn, "Pwy sy' yma—be sy' arnoch ch'i eisio? Pwy sy' yma?" "Gŵr dyeithr wedi colli'r ffordd—eisieu gwybod y ffordd sy arna i i'r Talwrn, tŷ Mr. Williams o'r Wern." "Y Talwrn, y Talwrn," meddai hono, gan ail adrodd yr enw, "na, wn i ddim lle mae y Talwrn;" ac yna, gan daflu ei phen dros ei hysgwydd, gwaeddai ar Pegws oedd yn eistedd wrth y tân—"Pegws, ty'd yma—a wyddost ti lle mae y Talwrn, dywed?" Yr oedd Pegws wedi dyfod â chanwyll yn ei llaw, ac wrth oleu hono canfu Rhys fod yr hen ddynes yn gwau hosan yn brysur. Fel yr oedd gwaetha'r modd, ni wyddai yr un o honynt lle yr oedd y Talwrn; ac ar hyn dyma hen ddyn Rhys i fyny i'w wddf ac i'w enau, a tharanodd yn eu clyw y geiriau canlynol,—"Gan na wyddoch ch'i ddim lle mae y Talwrn, *yr ych ch'i mor sicr o fyn'd i uffern a bod yr hosan yna yn eich llaw ch'i*," a ffwrdd â Miller ac yntau i fol y nos. Cyn deall y mater yn iawn, a pheidio gwneyd cam â'r hen *original* poethwaed, mae yn ofynol sylwi taw casgliad ydoedd y felldith a gyhoeddai oddiwrth y *process of reasoning* ydoedd wedi cael ei gario ymlaen yn ei feddwl. Gan nad oedd y cottŷ ymhell o'r Talwrn, lle y trigai "gŵr Duw," barnai Rhys y rhaid taw paganiaid perffaith oedd y ddwy ddynes, neu fe fuasent yn adwaen Williams, ac yn mynychu ei gapel, ac am hyny ni phetrusodd enwi y lle a barotoisid ar gyfer eu bath, a'u haddfedrwydd hwythau i drigo ynddo.

Ar ol treulio bagad o flynyddau yn y Gogledd fel ysgolfeistr a phregethwr, a derbyn gwahoddiad i sefydlu fel bugail i amryw fân ddëadelloedd, a gwrthod, dychwelodd Rhys Dafis i'r Deheudir, a gosododd ei babell i fyny yn nghymydogaeth Saron, yn mhlwyf Llangeler, yn Sir Gaerfyrddin, ac o fewn ychydig filldiroedd i Gastellnewydd Emlyn. Er saruged a draenogaidded ei ddullwedd allanol, llwyddodd ein gwron i ennill serch merch i ryddfeddiannydd bychan, ac yn ystod bŷr amser efe a'i

gwnaeth yn wraig brïod. Dechreuodd ei fyd mewn cottŷ bychan, ynglŷn â'r hwn yr oedd digon o ddaear i gadw dwy fuwch a cheffyl. Cadwai ysgol yn yr ardal mewn cysylltiad â'i frawd yn nghyfraith, yr hwn a fu wedi hyny yn offeiriad yn Llundain. Yr oedd Rhys yn fab un mlwydd ar ddeg ar hugain pan yr ymunodd mewn prïodas â merch y *Freeholder*. Teimlai Rhys fod "angenrhaid wedi ei osod arno" i bregethu, ac yr oedd y maes y pryd hwnw yn "wŷn i'r cynhauaf," a'r "llafurwyr yn anaml," ac felly yr oedd digon o ymofyn am dano ar y Sabbothau. Yr ydym eisoes wedi dyweyd fod gan Rhys *ddwy* goes fyw pan anwyd ef, er fod rhai pobl yn barod i gasglu iddo ddwyn coes *fach* bren o groth ei fam, ac iddi hithau dyfu fel yr un gyfansoddedig o groen ac esgyrn. Dan yr amgylchiadau canlynol y collodd Rhys ei goes. Yr oedd ei ardymher naturiol yn anarferol o boethlyd, ac nid oedd yn ofynol ond awel wan o ddylanwad ysbrydol er ei ddyrchafu i'r hwyl fawr. Arferai Rhys fynychu Cymanfäoedd yr Annibynwyr yn y Deheudir; a'r flwyddyn y costiodd ei hwyliau iddo ei goes, cynnelid y Gymanfa yn Nghilcenin, yn agos i Aberaeron. Eisteddai neu safai y gŵr *dwy* goes y pryd hwnw mewn *waggon*, ac ymddengys ei bod yn adeg wresog ar grefydd; a chafodd un o'r llefarwyr hwyl anghyffredin o dda, a dyma y bobl yn dechreu moliannu a neidio, a chydiodd yr *afflatus* yn Rhys; ac er mai lle cynnwys oedd tu fewn corff *waggon*, neidio a wnaeth, ac heb feddwl fawr taw o glai yr oedd ei golofnau wedi eu gwneyd. Archollodd un goes trwy iddi gael ei tharo yn erbyn rhyw ddernyn o haiarn a ddefnyddiasid i adgyweirio rhanau mewnol y *waggon;* ond dan gynhyrfiad yr awr ni theimlai boen oddiwrth y niwed a gawsai yr aelod, ond cyn nos profai ei bod yn dechreu myned yn boenus, ac erbyn amser myned i orphwys cafwyd allan, wrth geisio tŷnu y fotas ffwrdd, fod y goes wedi chwyddo cymaint nes y methwyd ei chael allan heb rwygo â chyllell y fotas; a phan gaed golwg arni, canfyddwyd ar unwaith fod ei chyflwr yn sobr iawn, gan ei bod wedi llidio a chwyddo yn fawr. Parhâu i waethu a wnaeth hi serch arfer pob moddion, ac o'r diwedd dechreuodd arwyddion *mortification* wneyd eu hymddangosiad, pan y cyttunodd ei pherchen â'r meddygon i'w thòri ymaith. Nid oedd dim o'r peth trugarog hwnw, *chloroform*, wedi ei ddarganfod y pryd hwn, ac am hyny nid oedd gan Rhys ddim ond amynedd i'w gynnorthwyo i ddal y poenau cysylltiedig â rhoddi llythyr ysgar *hyd* yr adgyfodiad i un o golofnau ei dŷ. Wedi i'r *operation* gael ei gwbl orphen, cododd y dyoddefydd yn ei eistedd ar y bwrdd, lle y gosodasid ef i orwedd gan yr *operator;* ac er syndod i hwnw, yn gystal a phawb o'r gwyddfodolion, dyma Rhys yn bloeddio mewn tôn orfoleddus, y geiriau canlynol: "*Gogoniant*, y *nghoes* i, ac nid y *nhafod* i dòrwyd bant; mi alla' bregethu Crist yn Geidwad i bechadur cystal ag eri'od." Dyna, ddarllenydd anwyl, gipolwg trwy agen a wnaed yn *anfwriadol*, ar "ddyn oddimewn" y gŵr un goes o hyn allan. Mae hyn yn ddigon o "lythyr cymeradwyaeth" i Rhys at yr eglwys, os ceir fod yr aelodau a'i cyfansoddant yn ddigon duwiol i'w gyfiawnhâu i ymuno â hi. Pethau bychain, sydyn, dirybudd, diarwybod, sydd yn dadguddio dynion oreu; mewn pethau *mawrion* mae y mwyafrif o bobl ar eu gwyliadwriaeth. Ni fuasai yr hen gristion hwn yn prisio fawr colli ei *holl* aelodau, ond ei *dafod*, heb yr hwn nis gallasai wneyd *dim* dros ei Arglwydd.

Mae genym hanesyn arall i'w adrodd am Rhys, ac a brawf taw ei grefyddoldeb oedd yr elfen gryfaf yn ei gyfansoddiad. Arferai ymweled â chynnulleidfa y diweddar Barch. David Peter, yn Nghaerfyrddin, yn dra aml, ac yr oedd gan y gŵr hwnw wir barch i'r hen bregethwr teithiol, er gwaethaf ei wrthwynebrwydd i'w arferiad o daenellu dail y Bibl a'r areithle, ynghyda phawb o dan ac o fewn ychydig bellder i'r pulpud, â'r cawodydd o sûdd tybaco ag oeddynt bob amser yn gydfyned â'i draddodiad tanllyd o'r gair. Yn y dyddiau gynt, cymerai cynnulleidfa Heol Awst arni fod yn gynllun o weddeidd-dra, a rhyw fath o foneddigrwydd. Nid oedd awyrgylch y lle yn ffafriol i "Amen," hwyliau, sŵn, a neidio. Anhawdd, ac yn wir anmhosibl, fel y cawn weled, ydoedd cadw Rhys o fewn terfynau rhesymoldeb, pan wedi ei wresogi gan yr ysbryd. Un tro, cyn myned i'r capel, lle yr oedd Mr. Peter i bregethu, addawodd un o'r dïaconiaid, sef y diweddar Mr. John Evans, yr argraffydd, *gini* i Rhys, os ymgadwai rhag dyweyd "Amen" tra byddai yr hen Athraw yn pregethu; a lled arwyddodd yntau ei foddlonrwydd i gydsynio â'r cais. Nid oedd dim yn null Mr. Peter o bregethu a fuasai yn un brofedigaeth i neb ond dynion o dymher boethlyd Rhys i ddyweyd Amen; ymgadw rhag hyny fuasai yn orchwyl digon rhwydd, canys hynod o bŵt oedd ei ddawn, a hwyrdrwm ei ymadrodd. Byddai yn aml yn myned yn erbyn y mûr arno, ac yna poerai, yn ddiflas yr olwg arno, boeryn gwŷn, ewynog, fel poeryn y gôg, ar lawr y pulpud, gan ei rwbio â gwadn ei droed, tra yn amyneddgar ddysgwyl ymweliad rhyw "bedwerydd" neu "bummed," ag oedd wedi dïanc allan o'i gôf. Goddiweddid y gŵr da yn rhy fynych gan ryw drwstaneiddiwch profedigaethus fel hyn. Ar yr achlysur dan sylw yr oedd ganddo destun dâ—"Gwledd o basgedigion breision, a glöew wîn puredig." Cododd y *gwîn* i ben Rhys, ac yn ddisymwth dyma fe yn gwaeddi, "Gogoniant—Amen, Amen—*ac aed gini John Evans i'w grogi*." Dyma gipolwg arall ar ddyn *ysbrydol* Rhys. Yr oedd arno ddigon o eisieu y "dyeithriaid melynion" —ond pethau *llygredig* oeddynt yn ei gyfrif, mewn cymhariaeth i ddarbodion grasol yr efengyl.

Parodd colli ei *goes* i bobl roddi enw *newydd* i Rhys, canys o hyny allan hyd yn awr ei *alias* cyffredin fydd Rhys *Goesbren*. Enw gyffredin —bron mor gyffredin a *Jones*, yr hwn nid yw fwy o enw ar *ddyn* nac *afon* ar ddwfr—ydyw Dafis, ond enw nodweddawl—enw â *hanes* yn gysylltiedig âg ef yw "Coesbren." Dyna "*surnâm*," ys dywedai yr hen Wil Bryn Hope. Fe orfu i Rhys dalu yn ddrud am y fraint o ddefnyddio hwn, ac ni fu blŷs ar neb i dalu yr un swm â'i berchenog am dano. "*Letters patent*" go ddrud oedd rhai yr hen bregethwr teithiol.

Bu "coes bren" Rhys yn achos o lawer profedigaeth iddo, ac yn achlysur llawer "ateb garw" i'r sawl, yn eu diniweidrwydd, a wnaent mor ëofn a gofyn sut y collasai yr aelod a gynnrychiolid gan dderuyn o bren. "Shwt y coll'soch ch'i'ch clun," gofynai rhyw un (a llawer un yn ystod ei fywyd), "druan?" "Beth yw'r *ots* i ch'i; ro'wch ch'i ddim o'ch clun yn ei lle hi." Un tro yr oedd wedi ei gyhoeddi i bregethu noson waith yn Nhreforis, a phan yn eistedd mewn tŷ yn ymyl y capel cyn yr oedfa, dyma ryw ffwlcyn, neu *lwff*, fel dywed pobl Sir Gaerfyrddin, i fewn gan yspïo o'i gwmpas; a chan na fedrai weled ond coes fyw Rhys, gan fod yr un *ddi-rumitis* o'r golwg dan fwrdd yn ei ymyl,—"Os dim o'r preg-

ethwr wedi dwad? o'wn i wedi clywed taw dyn â choes bren oedd i bregethu." Cyn i neb gael amser i'w ateb, dyma Rhys yn gwneyd hyny dipyn yn effeithiol, trwy gyhoeddi taw "gwell oedd fod gan ddyn *goes* bren na *phen* pren." Fe gafodd y "lwff" ei brês yn llawn, a gyrwyd ef ymaith â chwanen yn ei glust.

Flynyddau yn ol, cynnaliwyd cyfarfod mawr yn Llanymddyfri, gan weinidogion yr Annibynwyr yn Nehau a Gogledd Cymru, er mwyn trefnu mesurau i dalu dyled capeli yr enwad. Dygwyddai Mr. Henry, Richard, ac un o weinidogion y Saeson yn Llundain, o'r enw Blackburn fod yn bresennol. Adwaenai Richard Rhys Dafis yn dda; a phan ddygwyddodd ef a'i gyfaill Seisonig daro wrtho wedi newydd esgyn i gefn "Miller," ac ar gychwyn i'w daith, nis gallasai wadu iddo ei hun y pleser o *introducio* yr hen deithiwr i'r Sais. Awd trwy y foes weithred yn ffurfiol dros ben, fel pe buasai dau frenin yn cael eu *introducio* i'w gilydd. "I suppose," meddai Rhys wrth Blackburn, "you have seen in your time many preachers with wooden *heads*, but you never saw before a preacher with a wooden *leg*." Mae yn fwy na thebygol, fel mae gwaetha'r modd, y gallasai y Sais wirio trwy brofiad eiriau yr hen bregethwr.

Fe ddechreuwyd yr achos Annibynol yn Merthyr Tydfil mewn hen *warehouse;* a'r pulpud a osodwyd yn hwnw ydoedd un a berthynai i eglwys y plwyf, yr hon oedd wedi cael ei thynu i lawr er mwyn adeiladu un newydd. Yr oedd y pulpud hwn yn hen, a'i waelod, er ymddangos yn gyfan, wedi hanner pydru. Aeth Rhys a'i goes bren iddo, ac wrth adrodd gyda phwyslais a phwys*goes* mawr y geiriau—"Ychydig ennyd chwi a'm gwelwch, ac ychydig ennyd *ni'm* gwelwch;" felly y bu, yn llythyrenol, canys syrthiodd yr hen lwch i lawr trwy waelod brau y pulpud i ryw le o'r golwg, a bu ronyn o amser cyn medru casglu ei *felongings*, ac *ail* ymddangos ger bron y gynnulleidfa, yr hon, fel y gellir yn rhwydd dybied, ydoedd wedi colli mesur helaeth o'i sobrwydd a'i difrifoldeb. Yr oedd pob *rhan* o Rhys ar waith pan âi i'r hwyl, ac yr oedd yr hen goes bren yn gorfod gwneyd ei rhan yn nygiad ymlaen orchwylion y pulpud. A pha sawl un o'r areithleoedd a dyllodd Rhys â'i goes bren, nid oes neb fedr ddyweyd, ond y seiri fu yn eu gwella. Yn awr ac eilwaith, âi yr hen grëadur yn *sound* yn eu gwaelodion, ac ar ol y gwasanaeth, gofynai help i ddyfod â'r goes bren yn rhydd o'i charchar.

Tynai coes bren Rhys, a'i ystumiau, ynghyda'i ddull digymhar o lefaru, lawer mwy o sylw y bobl ieuainc, yr ydym yn ofni, na'i dduwioldeb a'i bregethau sylweddol a diammheuol dda. Profedigaeth fawr plantach ydoedd y goes bren. Bu bron a'i cholli un tro, gan i fachgenyn direidus fyned un boreu i'w ystafell wely, tra yr oedd ei pherchenog yn cysgu, a'i lladrata. Ffordd yr aeth â hi allan o'r tŷ, ac at blocyn lle yr arferid tòri coed; ac yr oedd y filain drygionus wedi codi y fwyell, ac ar ei thòri yn ddwy, pan yr ymaflwyd yn ei fraich gan ei dad, ac yn ffodus rhwystrwyd ef i gario allan ei fwriad i weithrediad; ac ar yr un pryd clywid ysgrechfëydd Rhys o ffenestr ei ystafell wely yr hon oedd yn gwynebu ar y blocyn, yr hwn, wedi deffrôi o'i gŵsg, a gweled eisieu ei goes, a ddygwyddodd edrych allan drwy y ffenestr, a chanfod y troseddwr yn llaw ei dad. Nid *bendithion* a gyhoeddai yr hen bregethwr uwch ei ben, ac fe ofalodd hwnw i wneyd ei hun yn *searce* hyd nes oedd Rhys wedi myned yn ddigon pell oddiwrth y tŷ ar ei ffordd at y lle yr oedd i bregethu nesaf.

Bu dro arall agos a'i llosgi yn ulw tra wedi ymgolli wrth gyfansoddi pregeth. Yr oedd y wraig wedi myned allan i rosdir yn y gymydogaeth, gyda dau weithiwr a huriasid am y diwrnod, i dòri mawn, ac yr oedd wedi cael ei ymddiried i Rhys y gorchwyl pwysig o osod y sucan ar y tân ar amser penodedig, a gofalu am ei droi, pan ddechreuai ferwi, yn gyson a pharhäus, rhag iddo losgi. Addawodd yntau weithredu yn ol y cyfarwyddiadau a roddasid iddo gan ei hanner oreu, a ffwrdd yr aeth hi a'r gweithwyr tua'r mawndir. Ond yr oedd eisieu cyfansoddi pregeth newydd ar Rhys; ac er iddo gofio gosod y crochan a'r sucan mewn pryd ar y tân, a gofalu am fwydo hwnw, eto esgeuluso *troi* a wnaeth yr hen bererin, a throi y *concordance* yn lle hyny; ac erbyn i'r wraig a'r dynion ddyfod i ymofyn eu ciniaw, deallodd hi cygynted ag yr agorodd y drŵs wrth yr *arogl* fod Rhys wedi gadael i'r sucan losgi, a pheth mwy na hyny erbyn edrych o gwmpas yr aelwyd, canfyddai fod y goes bren ar dân hefyd, a gwelodd *trowsers rib* ei harglwydd yn prysur ddiflanu. Ni wyddai y pregethwr ddim am y pethau hyn, canys yr oedd y bregeth *newydd* wedi llyncu ei holl fryd, ac nid oedd dim *telegraphic communication* rhwng y goes bren a'r *trowsers* â'i ymenydd, tra, pe dygwyddasai i'r tân osod blaen ei ddant yn mawd ei droed *fyw*, fe gawsai ei pherchenog wybod yn ebrwydd fod taro arni.

Yn ymyl cartref Rhys y trigai meddyg medrus a *witty* dros ben, megys Rhys ei hun, o'r enw Havard, gan yr hwn y mawr berchid yr "hen brophwyd," fel yr arferai ei gyfenwi. Aml yr ymrysonent mewn ffraethineb, a phe buasai yr holl engreifftiau o'u ffraethbethau ar glawr, buasai yn gaffaeliad nid bychan. Un diwrnod cyfarfu Havard â Rhys ar y ffordd: yr oedd yr olaf yn myned i'r *seiat*, a'r blaenaf yn blaen-gerdded yn angladd un o'i *batients*. "Wel, Rhys, 'rych ch'i yn myn'd at eich gwaith." "Odw," atebai yntau, "a chithe yn mynd â'ch gwaith *adre*." "Rhys," meddai Havard wrtho un diwrnod, "Wn i beth wnaethech ch'i am waith oni buasai i Adda syrthio yn yr ardd." "Wn i beth wnaethech *ch'i* am waith, Dr. Havard, pe buasai efe heb syrthio; ond fe all'swn i gael cyfle i roi ambell gynghor i hwn a'r llall."

Arferid yn ei amser ef gan Ysgolion Sabbothol i adrodd pwnc. Yr oedd y mynediad i lofft tŷ cyfarfod Saron ar hyd grisiau *oddiallan* iddo; a rhyw dro, pan yr oedd ysgol y lle yn cael ei holi gan Rhys, aeth y Doctor i fyny yn lladradaidd i'r llofft, a llechodd tu cefn i ddosbarth y bechgyn bach, i'r rhai y gofynodd yr holwr beth oedd Adda ac Efa yn wneyd yn yr ardd cyn pechu. Aeth yn fûd ar y dosbarth; a pha beth wnaeth y meddyg direidus ond sisial yn nghlustiau y bechgyn yr ateb, "*tŷnu tatws*." Dyna'r meddyg allan o'r lle am ei fywyd, a thyna Rhys ar ei uchelfanau yn gofyn iddynt, *pwy* oedd wedi dysgu iddynt i ateb felly; "Ond mi wn," ychwanegai, cyn rhoi amser i'r plant i agor eu geneuau, "taw Dr. Havard wedodd wrthych ch'i." Aeth i dŷ y Doctor un boreu yn bur ddrwg ei hwyl oblegid i'w gladd tatws gael ei yspeilio gan ryw ddihiryn o ran o'i gynnwysiad. Cwynai y meddyg caredig iddo ei golled, a chydymdeimlai yn fawr âg ef dan ei brofedigaeth. "Rwy'n gobeithio, Rhys Dafis, y gwna y daten gyntaf a fwyty'r lleidr *dagu* y diawl." "*Amen, Amen, Amen,*" oedd ateb Rhys, a medrai ddyweyd y gair "Amen" mor gyflym, ys dywed pobl, â'r gwynt; â rhedai un Amen i'r llall nes y swnient i'r clustiau fel *un* Amen.

Mae yn arferiad elusengar, mewn rhai parthau o'r Deheudir, i gyfranu rhoddion pan fyddys yn ymweled â gwraig wedi ei dwyn i'w gwely ar enedigaeth plentyn. Aeth Rhys un noswaith i dŷ y meddyg i ofyn hynt Mrs. Havard, yr hon oedd, ys dywed pobl Morganwg, ar ei gwelyfod. "Wel," meddai Havard wrtho, pan fynegodd ei neges, "a ddaethoch ch'i â rhyw rodd?" "Naddo fi," ebai yntau, "yr wy' yn rhy dlawd—'does gen' i ddim i roi." "Mi 'wedai i beth raid i ch'i 'neyd. Mae nhw wedi bod yn corddi ac yn crasu bara yma heddy', ac mi ro' i ch'i *bound* o fenyn, a thorth gàn, ac y mae yn rhaid i ch'i roi y rhei'ny i Mrs. Havard!" Wel, i fyny i'r ystafell wely yr aeth Rhys, a'r rhoddion yn ei law. Gwenodd hithau pan ganfu y rhoddion, ond ni ddaeth i'w chalon taw ei heiddo hi ei hunan oeddynt; a chan ddiolch i Rhys am danynt, dymunodd arno i'w cymeryd gydag ef i'w gartref—lle yr oedd llawer mwy o'u heisieu nag arni hi; ac felly y bu. Mae yr hanesyn yn taflu goleu *clir* ar dymher garedig y meddyg. Y fath oedd crediniaeth Dr. Havard yn nuwioldeb Rhys Dafis, fel, pan yr oedd yn ymyl marw, yr oedd yn rhaid hel yr "hen brophwyd" i weddïo gydag ef. Pan anfonwyd cenad i ofyn os oedd gartref, yr ateb a gafwyd ydoedd, ei fod wedi cychwyn er ys rhai oriau, er myned at ei gyhoeddiad mewn man a enwyd, a'r hwn oedd amryw filldiroedd o bellder. Gorchymynodd y meddyg i'w was gyfrwyo dau geffyl, un iddo ei hun, a'r llall ar gyfer yr "hen brophwyd," a gŷru ar unwaith tua'r lle yr oedd i bregethu, a deisyf arno wneyd pob brys galluadwy i ymweled â'r hwn oedd ar ymadael â'r byd. Cyrhaeddodd y gwas y capel, gyda bod yr oedfa yn diweddu; a chwedi dyweyd ei neges wrth Rhys, aeth ar gefn y ceffyl heb na thamaid na llymaid, a gŷru eu goreu wnaeth y ddau farchogwr hyd nes cyraedd aneddle y meddyg a fethai iachâu ei hun. Dyma dystiolaeth eto i wir dduwioldeb Rhys. Nid am gyfoethogion na dysgedigion unrhyw eglwys y denfyn pobl ar eu gwely angeu i weddïo gyda a throstynt, ond am y rhai duwiolaf a mwyaf cyfiawn, gan gredu y dichon gweddi daer y cyfryw *lawer* ar awr o gyfyngder.

Er fod Rhys Dafis yn hynod gymedrol mewn bwyta ac yfed, eto gwrthododd ymuno â'r llwyrymwrthodwyr, gan roddi rheswm digon ysmala dros hyny. Gofynwyd iddo os gwnai gymeryd *carden* y llwyrymwrthodwr; ond gommeddodd, gan ddyweyd, "nad ydoedd erioed wedi chwareu *cardau* pan yn ifanc, a'i fod y pryd hyny yn rhy *hen* i ddysgu, ac nad ydoedd *teetotaliaeth* ddim yn un o delerau ei iechydwriaeth ef."

Mewn cyfeillach rhwng nifer o weinidogion ar ol rhyw gyfarfod mawr, gofynwyd eu barn mewn perthynas i'r moddion goreu i wella crygni, a chlirio y llais. Cymeradwyai un *fêl*, un arall *Spanish liquorice*, ac un arall *sugar candy;* a gofynwyd barn Rhys, yr hwn a ddywedodd, taw "*lwmp o'r Ysbryd Glân* oedd y feddyginiaeth fwyaf effeithiol."

Yr ydym wedi dyweyd nad ydoedd Rhys Dafis ddim yn ddirwestwr; ond ni lefarai neb yn llymach yn erbyn anghymedroldeb a meddwdod. Pregethai un noson mewn capel yn agos i fan lle yr oedd ffair wedi cael ei chynnal yn ystod y dydd; a phan ddaeth amser dechreu yr oedfa, nid oedd ond un person yn bresennol, sef yr hen wraig a ofalai am y capel. Ei destun oedd, "Na feddwer chwi gan wîn." Twymno wnaeth Rhys

wrth bregethu, a thrîn y meddwyn yn ddidrugaredd; pan y darfu i ddyn a eisteddai gyferbyn âg ef godi ar ei draed, a gwaeddi allan,—"Pwy ddiawl y'ch ch'i yn pwyntio ata' i trwy y nos; edrychwch yn nês atoch; mae Mr. R. o'r ——, dan y pulpud, yn feddwach na fi o'r hanner." Arferai roddi y darluniad canlynol o'r meddwyn, ac, fe allai, ar yr achlysur dan sylw: "Mae e' fel tarw topog; mae e' fel llyffan' tòrog yn ffôs y clawdd; mae ddau lygad e' fel dau ŵy clwc yn ei ben; mae ei ddwy wefus fel dwy ledwad, ac fel pe bae dwy fenyw farfog wedi bod yn ei luo am saith mlynedd; ac fel pe bae wedi bod ar bentan y diawl gyda merch yr hopswr."

Un tro yr oedd Rhys wedi danfon ei gyhoeddiad i bregethu yn Peniel, ger Caerfyrddin; ond erbyn ei bod yn amser dechreu yr oedfa, fe ganfu yr hen deithiwr fod yno amryw bregethwyr heblaw ei hunan, y rhai, heb wybod dim am grwydriadau eu gilydd, a ddanfonasent hysbysiad y buasent yno yr un bore Sabbath. Nid cynt y deallodd Rhys hyn, nag y gofynodd i un o'r dïaconiaid am ei geffyl. "Wel, meddai hwnw, gan geisio tawelu tipyn ar ei hen ddyn ef, yr hwn oedd wedi ei gyffrôi, "onid yw eich cyhoeddiad chwi yma, Mr. Davis bach?" "B'le mae 'ngheffyl i" ydoedd byrdwn yr hen bregethwr. "I b'le 'ry'ch ch'i yn myn'd?" "Myn'd, myn'd," ebai yntau, yn arswydus o sarug, "'wy'n myn'd at Mr. Peter, i Heol Awst, 'does dim o'm heisieu i yma; mae yma *fwy o gathod na llygod eisoes;*" a ffwrdd âg ef, er mawr ofid i Miller, yr hwn oedd yn pori gwair yn brysur, ac heb freuddwydio y buasai raid iddo symud cyn gorphen yr oedfa.

Pan ar ei ffordd adref o ryw Gymanfa, gofynodd rhyw un iddo, "Pwy oedd wedi myn'd â hi?" h. y., pwy oedd wedi pregethu oreu. "Y dyn," ebai efe, "a odych ch'i yn meddwl taw yn y *races* 'rwy' wedi bod?"

Er fod yr hen ŵr yn hael iawn ar ei "Amen" pan gai flasusfwyd, ac er yr hoffai gael Amen ei hun, eto arferai ddyweyd na "roisai efe ddim *grôt* y dwsin am Amenau pobl, os nad oedd gwreichionen o gariad Crist yn eu calonau."

Efe arferai werthu "Llythyr y Gymanfa," ac yr oedd ganddo fath o *fonopoly* yn y gorchwyl. Yn mwlch y cae, lle cedwid hi, y cymerai ei safle, a gwae yr hwn neu yr hon elai heibio heb ei brynu. Ni wnai yr hen grëadur ddim un math o *secret* o'i dŷb am eu crefydd. "Ni ro' i ddim llon'd gwniadur o *sôg* am eich crefydd ch'i os na phrynwch ch'i Lythyr y Gymanfa."

Ond gofod a warafun i ni adrodd *degwm*, chwaithach cyfanrif, ei holl ffraetheiriau, yn nghynffonau y rhai, *fynychaf*, y ceid colynau a fedrent frathu pob perchen croen *rhesymol* o denau. Y tro diweddaf y gwelsom ni yr hen lŵch gwreiddiol ydoedd mewn cyfarfod chwarterol yn Smyrna, ychydig bellder islaw Caerfyrddin. Mae er hyny yn awr dros 32 o flynyddau. Ar ol un o'r oedfäon, gofynodd rhyw un beth oedd y gwahaniaeth rhwng "pechadur ac annuwiol." "'Do's wahaniaeth yn y byd am wn i," ebai yntau; "ond os y'ch ch'i yn meddwl fod, tòrwch ddyn drwg yn ddau getyn, a galwch pechadur ar un pen, ac annuwiol ar y pen arall."

Yr oedd "Miller," hen geffyl Rhys, yn gymeriad llawn mor wreiddiol a'i farchogwr, ac mor hynod ymhlith ceffylau ag ydoedd ei feistr

ymhlith dynion. Nid byd rhy dda gai yr un o honynt mewn cymanfäoedd a chyfarfodydd mawrion. Ar yr achlysur o gynnal Cymanfa mewn man yn Sir Frycheiniog, yr oedd y tŷ lle yr anfonwyd Rhys i gysgu iddo mor lawn, fel y gorfuwyd gosod yr hen bererin i gysgu dan y grisiau, i fyny ac i lawr y rhai y parhäi y menywod i *drampo* trwy gydol y nos, wrth barotôi hyn a'r llall erbyn drannoeth, sef "dydd mawr yr ŵyl." Methu a chysgu yn dêg yr oedd Rhys, ac mewn canlyniad, yr oedd yn waeth ei hwyl nag arferol. Yn un peth, yr oedd y *fan* lle y gosodid ef i orwedd wedi tramgwyddo ei urddas, ac yr oedd methu huno, mewn ychwanegiad at hyny, wedi llenwi ei lestr digofaint *hyd* yr ymyl. O'r diwedd, syrthiodd un o'r merched bendramwnwgl o ben y grisiau i'r gwaelod; ac er adeiladaeth hono, clywai yr hen rwgnachwr yn gwaeddi, "Gogoniant! Dyna'r diawl yna â'i baglau i fyny."

Llawer gwaith yn ystod eu crwydriadau trwy Ddehau a Gogledd Cymru, y gwiriwyd yn brofiadol i Rhys a Miller yr ymadrodd, taw i'r "sawl sydd ganddo y rhoddir iddo." "A fyno barch, bid gadarn." Dyna un o ddeddfau y byd hwn. Y sawl a orwedd ar wely esmwyth gartref, a gaiff un da oddicartref. Nid i geffyl a'i flewyn mor llyfn a chroen llygoden y rhoddir gwair llwyd neu gŵta oddicartref. Na, na, fe gaiff ef y gwair goreu, a phïolaid o geirch yn y fargen. Glanhëir esgidiau neu fotasau da ac o wneuthuriad prïodol, gan weision neu forwynion yr amaethdai lle llettŷa eu perchenogion gyda mwy o zêl a blâs na rhai canolig y tlodion. Y gŵr a'r gêst a'r dagell gâ y tamaid goreu ymhob man. *Gwas* da, ond meistr creulawn yw y byd wedi bod, ac yn parhâu i fod. Lle tlawd i weiniaid o bob rhyw ydyw y ddaear yma. Prysura pawb a phob peth i wneyd cais y cedyrn, a da ganddynt ufuddhâu; ond Duw helpo'r gwan, hyd nes ei gwneler yn gadarn.

Ar un achlysur llwyddodd Miller i ddïal ar ei esgeuluswyr. Yr oedd yr hen geffyl yn gynnefin âg ymprydio yn ystablau capeli tra fyddai ei feistr yn traddodi y gair ynddynt. Yr oedd y diweddar Mr. Griffiths o Horeb, a Mr. Davis o Aberteifi, a'r gwron ungoes, yn cyd-deithio i ryw gyfarfod cyhoeddus yn Sir Gaerfyrddin; ac ar eu ffordd *tŷnasant i lawr*, fel y dywed bechgyn y calch, yn y *Drovers' Arms*, yn nhref y sîr hono, er mwyn ebranu eu hanifeiliaid, a chymeryd tamaid eu hunain. Cymerwyd yr anifeiliaid i'r *yard* ar y ffordd i'r ystabl, ond ni welodd Miller du fewn y lle olaf. Gadäwyd ef, druan, i'w fyfyrdodau ei hun, y rhai nid oeddynt o'r fath fwyaf cysurus. Cymerodd yr hen grëadur *stock* o gynnwysiad yr *yard*, a chan nad oedd yno ddim *bwytadwy*, nid oedd dim i'w wneyd ond yspïo am rywbeth *yfadŵy*, ac efe a ganfu gelwrn mawr llawn o freci cwrw, a chwedi derbyn tystiolaeth ei synwyrau ei fod yn ddigon claiar i'w lymeitian, efe a ddechreuodd yfed, ac yfed yn *hearty* a wnaeth efe hyd nes llyncu pob dyferyn, ac yna efe a luodd waelod y llestr fel na wastreffid dim, ac mewn ffordd o ddiweddglo prïodol i'r weithred. A chalon Miller a ymsiriolodd a theimlai yn fwy cymmodlon i'w gyflwr nag yr oedd wedi teimlo er ys talm mawr o amser. Daeth yn amser i'r tri theithiwr i gychwyn, ac aeth pob un ar gefn ei anifail. Cyn, fodd bynag, gyraedd y Porth tywyll, amlygai Miller arwyddion o siriolder anarferol, yr hyn yn naturiol a brïodolid i'r *feed* o geirch-amheuthyn mawr iddo, a dybid ei fod wedi ei chael; ond erbyn myned at y bont sydd yn croesi Tywy, wele sirioldeb Miller wedi troi

yn ysgafnder ac anystyriaeth hollol annheilwng o gymeriad ceffyl pregethwr. Gostyngai ei glustiau, cyfodai ei gynffon, yr hyn nid oedd wedi wneyd er ni wyddai neb pa amser; gweryrai, a dangosai awydd i godi *gallop;* a phan ddyneswyd at y tollglwyd, bu bron i'r hen grëadur ryfygu neidio dros ben hono er mwyn arbed y dreth i'w feistr, a dangos ei ddawn newydd i'w gyd bedwarcarnolion; ond yn ffodus, trwy i'r porth gael ei agor yn ebrwydd, gwaredwyd Rhys rhag y gwarth, ac yntau yn enau cyhoeddus, o fod yn *steeple chase rider.* Tŷnodd bywiogrwydd yr hen geffyl sylw Mr. Davis o Aberteifi, yr hwn oedd yn hen gynnefin â dull malwodenaidd cyffredin Miller o deithio, a gofynodd i Rhys, "Yn enw dyn, Rhys bach, beth sy ar Miller heddyw?" oblegid waeth waeth yr oedd yr hen grëadur yn myned hyd nes yr oedd ei farchogwr yn cael digon o waith sefyll ar ei gefn. "Ni wn beth sy arno, meddai Rhys, os nad yw yr ysbrydion drwg aeth i foch Gadara wedi cael gafael ynddo yn ystabal y *Drovers' Arms.*" Ni ddaeth i galon ei gyd-geffylau chwaith, nac i feddyliau y pregethwyr, beth oedd y mater ar Miller; ac yr oedd yntau, druan, yn prysur ddynesu at gyflwr yn yr hwn y byddai yn fwy anhawdd iddo nag yn bresennol i roddi un esboniad ar yr hyn ddygwyddasai iddo yn Nghaerfyrddin. Wrth ddychwelyd trwy y dref ar eu ffordd adref, cafodd Mr. Griffiths a Mr. Davis oleuni ar y mater. Wedi *cnappo*, wedi myn'd ar ei *derm*, yr oedd Miller, druan, a than yr amgylchiadau, er taw ceffyl pregethwr ydoedd, mae'n rhaid i ni basio heibio i'r hen grëadur, a llwyr faddeu iddo, fel y gorfydd i ni wneyd i grëaduriaid a gyfrifir yn gyffredin uwchlaw ceffylau.

Dygwyddodd anhap i un o goesau Miller fel i eiddo ei berchenog; ond gan ei fod yn ddoeth yn ei genhedlaeth, gofalodd dòri yr aelod yn Tretwr, yn nyffryn gwelltog Wysg, yn agos i Grughywel, a lle trigai gŵr cefnog a chyfrifol o amaethwr o'r enw Parry, ac eithaf cyfaill i Rhys a'i hen geffyl. Rhoddodd fenthyg un o'i geffylau goreu i'r hen bregethwr i fyned ar ol ei gyhoeddiadau, ac addawodd, fel Samariad trugarog, i gymeryd gofal o Miller, a gwneyd pob peth er ei adferu i gyflwr cerdd-edawl. Mae yn rhaid cyfaddef nad oedd fawr o wasgfa meddwl ar yr hen geffyl oblegid yr anlwc, pan y cai ei hun hyd ei dòr, o foreu hyd nos, mew *clover*, a phorfëydd gwelltog eraill. Nid oedd gan Miller ddim i wneyd ond gadael rhwng ei feistr a'r weinidogaeth deithiol, a gwneyd y goreu o'i damaid. Daearol, yr ydym yn ofni, oedd llawer o syniadau yr hen bedwarcarnolyn. Wedi treulio rhyw dri mis yn Nhretwr, gwella o'r aelod, a gwella o hóno yntau, druan, o'i ffroen i'w gynffon, anfonwyd am dano; ond hwyrfrydig iawn i ymadael yr ymddangosai Miller, oblegid yr oedd càn lleied o amser a *thri mis* wedi gwasanaethu i gynnyrchu argyhoeddiad llwyr yn ei feddwl taw rhagorach ymhob ystyr ydoedd gweinidogaeth sefydlog na'r un deithiol; a phe buasai cynnadledd o holl geffylau pregethwyr teithiol y cyfnod hwnw yn cael ei galw, a Miller yn cael ei benodi yn gadeirydd, buasai ei *opening address* ef yn ddigon nerthol i berswadio yr holl bedwarcarnoliaid i weryru eu cymeradwyaeth o *fugeiliaeth* yn lle crwydriadau diddiwedd o Dan i Beerseba, ac o Beerseba i Dan. Pe ymgynghorid â chrëaduriaid *di*reswm, fel yr ydym ni grëaduriaid proffesedig resymol yn *ddi*reswm yn eu galw, fe benderfynid llawer pwnc mewn ffordd llawer mwy rhesymol nag yn bresennol.

Yr oedd yr olwg ar Rhys a Miller yn cychwyn i'w taith ar foreu yn yr hâf, pan y mae blewynach gwyrddion ar y cloddiau, a phorfa ar hyd ymylau y ffyrdd, yn dipyn o adgyfnerthiad i ysbryd pruddaidd. Hwyrfrydig iawn i symud o gwbl ydoedd yr hen geffyl, a phan y dechreuai gamu yn araf, cadwai ei lygaid ar bob tu i'r ffordd, gan helpu ei hun, heb ofyn cenad ei feistr, â phob tamaid gwelltog y medrai ddyfod o hyd iddo, oblegid fe wyddai yr hen grëadur profiadol fod *ympryd* yn sicr o fod yn ei aros ef cyn gostwng haul. Fe fuasai dull Rhys o berswadio ceffyl i symud yn ddigon i ddyrysu un dyeithr; ond yr oedd Miller yn hen gyfarwydd âg ef; ond serch hyny, yr oedd weithiau yn anhawdd hyd yn nôd iddo ef ddeall amcan ei farchogwr, oblegid tra y cymhellai ef â'i ysbardyn, y pànai ef â'i ffon, ac y pwtianai ef â'i goes bren, attaliai ef â'r ffrwyn, ac felly rhwng y gweithrediadau croesdynawl hyn, golygai taw y peth doethaf allasai wneyd oedd *sefyll*, oblegid ni chaniatäai gwneuthuriad *locomotive* Miller iddo i symud ond mewn dau gyfeiriad—ymlaen neu yn *ol;* a chan yr attelid ef i gymeryd na'r naill na'r llall, arosai yn yr un man, ac *achlesai* hwnw, gan nad oedd am wastraffu ei amser, a rhag na chai well cyfleusdra yn ystod y dydd i gyflawni hyny o angenrheidwaith. Gwŷn fyd na fuasai genym *photographs* o Rhys a Miller, ynghyda *photographs* o holl hen bregethwyr a cheffylau teithiol pob enwad Ymneillduol yn Nghymru! Dyna lle buasai *portrait gallery* o'r fath na welwyd ac na welir ychwaith, o'i bath yn ein byd ni.

Mae hi yn llawn pryd terfynu hanes Rhys Dafis. Ar yr 8fed o Ionawr, 1847, cafodd ergyd o'r parlys, ac yn ei gartref, trwy drugaredd. Gadäwyd ef wrtho ei hun, ac yn gymhariaethol iach pan aeth aelodau y teulu i gyfarfod a gynnelid yn y capel yn ymyl; a phan ddychwelasant cawsant yr hen ŵr wedi ei barlysu, ond yn *fyw*, a'r goes bren yn lludw y mawn ar yr aelwyd, ac yn dechreu llosgi.

Gellir symiaw ei gymeriad i fyny mewn ychydig frawddegau. Yr oedd yn *wit* naturiol a pherffaith, a cholyn brathawl yn ei ffraetheiriau, yn enwedig pan fyddai wedi cynhyrfu yn erbyn pechod, neu yn ngwyneb arwyddion o anmharch a diystyrwch tuag ato ei hun.

Yr oedd ei *galon* mor dyner ag *ymenyn*, ond fod rhagluniaeth, ar gyfrif ei mawr dynerwch, wedi gosod croen *draenog* am dani er mwyn ei diogelu rhag cael ei briwio a'i gwaedu.

Yr oedd yn *ddefosiynol* dros ben, ac arweiniodd fywyd diargyhoedd a chyson â'r broffes a wnaeth o Gristionogaeth. Pregethwr *da* ydoedd, ond peidio edrych arno, fel y dywedai y diweddar Dr. Phillips o'r Neuaddlwyd.

Aeth i dangnefedd *just* mewn pryd, gyda bod yr eglwysi yn dechreu blino ar dderbyn pregethwyr teithiol, oblegid nad oedd amgylchiadau gwahanol y rhan hon o'r ganrif yn sefyll mwyach mewn angen o'u gwasanaeth; a chyn iddo gael ei oddiweddu gan ddyddiau blin y ffyrdd haiarn, yr eisteddfodau, cyfarfodydd llênyddol, newyddiaduron wythnosol a dyddiol, a lluoedd o bethau nad oeddynt mewn bodolaeth na dychymyg pan yr oedd ef yn ei lawn rwysg fel pregethwr teithiol, a drŵs pob capel yn yr oll o Annibynia yn agored iddo, a chroesaw calon ymhob man ar gyfrif yr efengyl a bregethai, a phrinder y rhai a'i cyhoeddent.

Mae yr *hen* gymeriadau gwreiddiol yn prysur ddarfod o'r tir, ac y mae cymaint o arswyd *amrywffurfiaeth*—un o brif nodweddion gweithredoedd

Bôd anfeidrol ei ddrychfeddyliau, ar bobl yn bresennol, fel yr ofnwn yr ânt, bob yn ychydig ac ychydig, i ddwyn pawb o honynt yr *un* ddelw ac argraff. Mae y colegau yma yn help i ddinystrio yr amrywiaeth a geir yn naturiol ymhlith plant Adda. Chwi, awdurdodau dysgedig ein hathrofëydd, peidiwch, da chwithau, a *squaro* a *phlano* gormod ar goed meinion, onidê hwy ânt yn *ddim* dau eich offer naddu. Rhaid defnyddio dynion fel *larch*—yn grynion a chyfain fel y tyfant, heb gynnyg eu *squaro*, onidê ni wyddom beth fydd y canlyniad.

---

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Y Tri Brawd a'u Teuluoedd. Gan* ROGER EDWARDS, yr Wyddgrug. Treffynnon: P. M. Evans.

*Caneuon ar Destynau Crefyddol a Moesol. Gan* ROGER EDWARDS, yr Wyddgrug. Wyddgrug: Hugh Jones.

MAE y *Tri Brawd* yn llyfr difyrus ac addysgiadol dros ben. Darllenasom ei bennodau pan ddaethant allan gyntaf yn y *Drysorfa* gyda dirfawr ddyhewyd, yn wir yn fynych gyda dagrau; a phan ddaeth i'n llaw drachefn yn llyfr, bwytasom ef gyda blâs. Yr ydym yn ei argymhell yn galonog i sylw ein darllenwyr, ac yn enwedig i'r dosbarth ieuanc o honynt. A ddymunent wybod pa fanteision neillduol a allent ddysgwyl oddiwrth ddarllen y llyfr? Yn un peth, caent ddifyrwch mawr, a hwnw yn ddifyrwch hollol ddiniwed a phur. Yn ail, caent lïaws o wersi o'r fath oreu, a hyny ar faterion sydd iddynt hwy o annhraethol bwys; gwersi â thuedd ynddynt i'w darparu yn y fath fodd ar gyfer bywyd fel ag i sicrhâu cymaint ag a fyddo yn bosibl o'i ddaioni, gyda chan lleied ag a fyddo yn bosibl o'i ddrwg; a gwersi hefyd, tra yn eu galluogi i wneyd y goreu o'r bywyd hwn, a fydd o ddirfawr wasanaeth iddynt fel cymhorth i drysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod. Yn drydydd, yr ydym yn golygu fod y llyfr hwn yn dra gwerthfawr fel y mae yn rhoddi desgrifiad mor ffyddlawn o amseroedd sydd wedi myned heibio, a'r rhai hyny yn amseroedd mor fawrion. Yr oedd y blynyddoedd hyny i Gymru, yn neillduol, yn "flynyddoedd deheulaw y Goruchaf," ac nid oes dim yn ein holl draddodiadau cenedlaethol sydd yn werth am amrantiad i'w gymharu â hanes y blynyddoedd rhyfedd hyny. Y maent yn awr yn cilio yn brysur oddiwrthym, a'n cyfleusderau i ymgydnabyddu â hwy yn myned yn brinach brinach. Ac eto yn ysbryd yr amseroedd hyny y mae ein nerth. Yr oedd Antæus, yn chwedloneg brydferth y Groegiaid, yn fab i Neifion a'r Ddaear, ac yn ei ymgyrch farwol yn erbyn Ercwlff fe ganfu yr olaf ei fod yn derbyn nerth newydd i'r ymdrechfa bob tro y syrthiai ar y Ddaear, ac y deuai i gyffyrddiad â'i fam. Mae yr amseroedd a ddesgrifir mor fywiog yn y llyfr hwn i raddau mawr yn amseroedd genedigaeth y Diwygiad Methodistaidd; ac os ydyw y bywyd a grëwyd ynddynt i barhâu yn ei ffrwythlonrwydd, rhaid iddo yntau

hefyd dderbyn ei gyfnerthiadau yn barhäus o'r ysbryd ag oedd yn ffynu mor gyffredinol ac yn gweithio mor bwerus yn y dyddiau hyny. Mae yn amlwg fod Cymru yn awr wedi cyrhaeddyd amgylchiadau tra gwahanol i amgylchiadau y dyddiau hyny. Mae cynnydd yr iaith Saesoneg a'n hymgyfathrach barhäus â'r Saeson, ein hanturiaethau masnachol, ein llwyddiant, a'n diwylliad cymdeithasol, yn cario dylanwad grymus iawn arnom fel cenedl; a thra y mae gallu crefydd ar ein cydwybod, fel y mae lle i ofni, yn myned yn llai, y mae yn amlwg fod ein cenedl yn bresennol yn agored i beryglon neillduol. Nid yw yn anhawdd i rai o'n pobl ieuainc fyned i feddwl mai cyfoeth, a pharch, a phleser, eilunod mawrion y Saeson a gwareiddiad y bedwaredd ganrif ar bymtheg, ydyw y pethau sydd yn hawlio eu gwarogaeth; nad oes eisieu petruso cymaint ynghylch crefydd, o leiaf os na cheir tipyn o grefydd ffasiynol, na fydd o ryw ormes mawr ar bleser, ac a fydd yn debyg o'u helpu i'r gymdeithas ddaearol ag y maent yn dyheu cymaint am ei mwynhâu; ac nad ydyw holl drafferth eu tadau crefyddol am allu rhyngu bodd Duw, a'u holl bryder dwfn am fwynhâu ei heddwch, ond *cant*, a phuritaniaeth. Yr ydym yn ofni fod cryn dipyn o'r ysbryd yma yn awr yn gwenwyno rhyw ranau o gymdeithas yn Nghymru, ac yn debyg o wneyd dirfawr ddrwg. Yr ydym yn credu y byddai darllen llyfr fel hwn yn help mawr tuag at wrthweithio dylanwad y fath ysbryd arnom. Dygai ei ddarllenwyr i ymgydnabyddu âg amseroedd ag oeddynt mor lawn o ddifrifwch fel nad oedd nemawr o le i *cant* a rhagrith anadlu ynddynt, ac amseroedd ag oeddynt, er eu holl ddifrifwch, yn awgrymu yn anocheladwy i'r meddwl fod cwestiynau mawrion tynged dyn, fel bôd cyfrifol ac anfarwol,—cwestiynau sydd mor bwysig i ni ag oedd yn bosibl iddynt fod i'n tadau!—yn llawer mwy aruthrol mewn gwirionedd nag yr oeddynt yn ymddangos hyd yn nôd iddynt hwy, a hyny ar yr adegau mwyaf effro ar eu meddwl a'u calon. Golygem y byddai yn argoel dda am ein dyfodol pe byddai ein pobl ieuainc yn gwneyd eu hunain yn dra chydnabyddus yn hanes y *Tri Brawd a'u Teuluoedd*. Mae yn wir mai ffug-chwedl ydyw y llyfr; ond y mae mor ffyddlawn i natur fel y gwelsom rai brodyr da yn mwy na hanner digio am i neb awgrymu ei fod yn ddim llai na hanes gwirioneddol. Nid oes rhyw lawer o sylw chwaith yn cael ei dalu ynddo i gywreinrwydd cynllun, neu *plot*; yn wir y mae hyny yn cael ei esgeuluso yn fwy nag a fuasai raid; mae dyn yn dyfod i deimlo y buasai yr ystori yn gwasanaethu yn fwy grymus amcan mawr ei chyfansoddiad pe buasai mwy o unoliaeth yn ei chynllun. Ond fe ellid meddwl fod ffurf y chwedl a'i chyflunderau, yn meddwl yr ysgrifenydd yn bethau mor fychain, fel nad oeddynt ganddo ond cyfleusderau i grogi arnynt nifer o ddarluniau o helyntion y dyddiau gynt. Dymunwn i'r llyfr gylchrediad helaeth.

Am y *Caneuon* y mae y gyfrol ddestlus arall yn ailargraffiad o honynt, "gyda chwanegiadau," y maent wedi hir wneyd yn dda eu teitl i fodolaeth, ac yr ydym yn llawenhâu fod y cyhoeddwr yn gweled fod angen am eu hargraffu o'r newydd.

*Oriau Eraill. Llyfr V. Gan* J. CEIRIOG HUGHES. Wrexham: Hughes a'i Fab.

Y mae Ceiriog wedi ennill clust a chalon ei genedl fel bardd, ac yr ydym yn berffaith foddlawn iddo fwynhâu y poblogrwydd y mae wedi ei ennill mor dêg. Mae yn debyg mai y rheswm mawr am ei lwyddiant ydyw ei fod wedi ymfoddloni ar fod yn gânwr i'w genedl, ac wedi ymroddi i lanw ei gynllun fel y cyfryw. Y mae llawer wedi tòri iddynt eu hunain gynlluniau mwy, ond wedi syrthio yn annhraethol fŷr o allu eu llanw. Ac hyd yn nôd mewn prydyddiaeth delynog—*lyrical*—tiriogaeth benodol awen Ceiriog, y mae llawer wedi ymgais at ychwaneg, ond wedi cyrhaeddyd llai o lawer. Cuddiad ei gryfder ef ydyw naturiolrwydd. Y mae yn berffaith bur iddo ei hunan yn yr oll a wna; a

ehan fod yr hunan a roddwyd iddo yn gyfoethog mewn natur dda, tynerwch, a chwareusrwydd,—pethau tra chymeradwy gan ddynolryw,—nid yw yn rhyfedd fod ei gynnyrchion yn gyffelyb, ac o ganlyniad yn cael derbyniad croesawus. Heblaw hyny, y mae yr un teithi meddwl ag sydd wedi rhoddi nodwedd i'w syniadau, wedi gosod eu delw yr un modd ar ei arddull, a thrwy hyny wedi ychwanegu yn ddirfawr at ei swyn. Y mae Ceiriog yn meiddio siarad yn berffaith naturiol. Y mae yn fynych yn hapus yn y defnydd a wna o hen briod-ddulliau Cymreig, pethau a bigodd i fyny oddiar lafar gwlad, a gweithiau yr hen ysgrifenwyr; ond pethau y mae mursendod llênyddol yn rhy fynych yn ystyried islaw urddas awduriaeth. A'r un modd am eiriau gwerinol, nid yw efe yn rhy uchel i arddel ei berthynas â hwy, er na chawsant erioed eu derbyn i gyffiniau y geiriaduron. Mae ganddo nid yn anfynych eiriau

That would have made Quintillian stare and gasp.

Ond y mae y glewder a faidd gydfyned âg anian ganddo yn nefnyddiad geiriau gwerinol, er ei fod weithiau yn ei arwain yn rhy bell, yn fynych yn ychwanegu yn fawr at swyn ei gyfansoddiadau. Ac yn arbenig, pan yn sôn am ei arddull, ni ddylid anghofio y miwsig y mae wedi ei osod yn ei linellau. Y mae ei bennillion yn eu cânu eu hunain i glust a meddwl y darllenydd; ac nid ydym yn synu eu bod, pan wedi eu priodi â cherddoriaeth, yn cael eu cânu mor fynych a'u hoffi mor fawr. Gwir ei fod ambell dro yn gwneyd pennillion pan nad ydyw ei enaid yn cânu, ac fod ganddo amryw ddarnau wedi eu gwneyd mewn tymer felly y gallai ei enwogrwydd yn hawdd fforddio iddynt gael eu hanghofio; y mae hefyd, dybygem, yn colli gormod o amser i gyfieithu o'r Saesoneg bethau nad ydynt o gymaint teilyngdod â'i gyfansoddiadau gwreiddiol ef ei hunan; ond wedi y cwbl y mae yn rhoddi i ni ymhob un o'i lyfrau anhraethol fwy na'u gwerth o farddoniaeth ag y mae ei genedl yn rhwym o ymhyfrydu ynddi am dymmor maith. Yr oedd darllen yr *Oriau Eraill* hyn i ni yn hyfrydwch mawr. Mae y bryddest "Rhys ap Tomos" yn ddernyn go faith a thra rhagorol; ond yr ydym ni yn teimlo mai nid fel cân hanesiol, neu arddangosiad dramäyddol o helyntion yr arwr y mae yn rhagori, ond fel cydgasgliad o ddarnau *lyrical* yn gosod ger ein bron orchestgampau a helyntion Syr Rhys. Nid ydyw awen Ceiriog yn ymddangos fel wedi ei chyfaddasu i adrodd; y mae yn ddiffygiol yn y pwyll a'r hunanfeddiant sydd yn eisieu i ymaflyd yn y prif ffeithiau, ac i'w gosod ger bron yn y fath fodd fel ag i feddiannu meddwl y darllenydd âg ysbryd yr ystori. Am yr un rheswm, nid ydyw yn llwyddiannus mewn gosod ger ein bron olygfëydd dramäyddol, a llunio ymddyddan cyfaddas rhwng gwahanol gymeriadau. Y mae Ceiriog, pan aiff i geisio gwneyd y fath bethau, yn methu peidio cânu ei hunan, ac y mae ei gymeriadau yn myned yn ddim ond enwau. Ond nid ydyw hyny yn ddim colled. Gyda y fath fedr ag sydd ganddo ar gânu, câned ymlaen, ac fe fydd y Cymry yn ddiolchgar iddo. Dymunwn lwyddiant mawr i'r llyfryn yma o'i eiddo. Dymunem hefyd roddi un awgrym garedig i rai o'n beirdd ieuainc sydd yn edmygu Ceiriog mor fawr nes y mae ei ddull yn myned yn fagl iddynt, ac yn ymddangos fel pe yn anobeithio gallu llwyddo eu hunain wrth gânu ond i'r graddau y gallont wneyd eu câniadau yn gynifer o adseiniau o gâniadau Ceiriog. Bydded i'n cyfeillion hyn, fel y gwnaeth Ceiriog o'u blaen, ymddiried ynddynt eu hunain, a cheisio cael allan a rhoddi dadganiad i'r farddoniaeth hono y mae natur yn sibrwd o fewn eu calon hwy eu hunain. Y mae un nodyn o'r farddoniaeth hono, yn werth llonaid byd o adseiniau.

*Elias y Thesbiad. Arwrgerdd, gan y Parch.* N. Cynhafal Jones, *Penrhyn.* Dolgellau: Owen Rees.

Darllenasom y gân hon gyda boddhâd anghyffredin. Y mae yr awdwr wedi astudio hanes Elias yn dra thrwyadl, ac wedi bod yn llwyddiannus yn yr ymsyniad a ffurfiodd

am ei nodweddiad ac amcan ei fywyd. Y mae hefyd, tra yn ymgadw at yr hanes Ysgrythyrol, ac heb ymwylltio yn rhamantus gyda dychymygion afreidiol, wedi llwyddo i wneuthur arwrgerdd gref ac awenyddol, y fath ag sydd trwy ei newydd-deb a'i hamryfael brydferthion, yn rhwym o foddhâu y darllenydd, ac ar yr un pryd ei ddwyn i ymdeimlo yn fwy bywiog â gogoniant cymeriad y Thesbiad. Y mae rhai manau gweiniaid fe allai yn y cyfansoddiad. Cyfarfuasom âg ambell i air y buasai yn dda genym gael ei well; nid nerth ond gwendid i'r gân ydyw yr addysgiadau a dŷnir yn awr ac yn y man; a rhywffordd neu gilydd, buasai yn dda genym pe buasai mwy o "unoliaeth gweithred," chwedl Aristotle, yn perthyn i'r cyfansoddiad. Y mae yn fwy o gân hanesyddol, dybygem, nag o arwrgerdd. Ond wedi dyweyd y cwbl a all beirniadaeth ei ddyweyd am yr hyn a allai fod rhwng y cyfansoddiad hwn a pherffeithrwydd, rhaid addef ei fod yn waith o deilyngdod tra uchel. Mae meistrolaeth yr awdwr ar y Gymraeg yn ddiammheuol; heblaw fod yr iaith trwy y cyfansoddiad yn gref, llithrig, a seingar, y mae yr awdwr, mewn llïaws o fanau, wedi bod yn hynod o hapus yn newisiad hen eiriau da, ac yn fynych wedi llwyddo i wneuthur ansoddair yn ddarlun byw. Yr ydym yn fynych yn dyfod ar draws prydferthion pan heb eu dysgwyl; ac am y rhanau pwysig, y maent yn cael eu gweithio allan gyda gofal a nerth sydd yn ymgodi yn naturiol at fawredd yr amgylchiadau. Dyma y desgrifiad a roddir o'r sychder:—

Yr haul, edrychai gynt fel gwyneb Duw
Yn gwenu ar eu gwlad, edrychai 'nawr
Yn fflamwedd lidiog, megys gelyn mawr,
Gan dywallt dïal yn gawodau poeth,
Nes llosgi nôdd pob bywyd yn ei wraidd.
Yr awel fwll, gan mor sychedig oedd,
A lepiai ar ei diog hynt bob dafn
O ddwfr a feddai yr afonydd llesg.
Gwyrdd ddail y coed a grinent ddechreu hâf,
A marw wnai yr egin dan y pridd.
Ebychai 'r praidd ar hyd y dôlydd crâs;
Ac eraill welid wedi ymdŷru 'nghyd
I le 'r oedd ffynnon gynt; yn brefu 'n brudd
Am nad oedd dwfr i'w gael; a chlywid sŵn
Bwystfilod yn bugunaw gan eu gwanc
Ar hyd y llwm goedwigoedd yma a thraw.
Y ddaear a glafychodd; a llesgâu
A wnai i farw, ac ni roddai 'r nef
Un dafn i wlychu ei gwefusau crâs.

Diammheu genym y bydd y dyfyniad uchod yn ddigon i argyhoeddi ein darllenwyr y dylent feddu y gân ar fŷrder, a'i darllen yn fanwl ac ystyriol. Dylasai yr argraffwaith fod yn well; ond y mae yn gywilydd genym feddwl nad allesid anturio cyhoeddi cân fel hon, sydd o gymaint teilyngdod, ac yn llanw dros driugain o dudalenau, heb ei gwerthu am chwe' cheiniog!

*Y Gordofigion: sef Cyfansoddiadau Buddugol Eisteddfodau Liverpool a Birkenhead am* 1867 *a* 1868. *Ynghyda'r Beirniadaethau.* Liverpool: Isaac Foulkes.

Diammheu y bydd yn dda gan bawb a deimlai ddyddordeb yn y cyfarfodydd y cyfeirir atynt gael y cyfansoddiadau hyn i'w dwylaw, ac y mae amryw o honynt o deilyngdod a haeddai sylw mwy cyffredinol. Go dlawd yw y rhan fwyaf o'r beirniadaethau. Ymddengys i ni, os ydyw cyfarfodydd o'r fath yma i ateb unrhyw ddyben, y dylai y feirniadaeth a roddir ynddynt fod yn fanol a thrwyadl, y fath ag y gellid dysgwyl i'r ymgeiswyr fod yn well o'i gwrando neu ei darllen. Dylid talu i'r beirniaid yn anrhydeddus am eu llafur, a dylent hwythau ymgymeryd yn ddifrifol â'r cyfrifoldeb a osodir arnynt, a chofio eu bod, ar y pryd, yn y sefyllfa o addysgwyr yn gystal ag o farnwyr. Ymddengys i ni eu bod, gyda golwg ar rai o'r cyfansoddiadau, yn rhy hael ar eu canmoliaeth, ac yn gyffredin yn rhy anmhenodol yn y sylwadau a wnant. Mae y

cyfansoddiadau buddugol, gan mwyaf, yn dda iawn, yn enwedig Awdl Tafolog ar Weddi. Mae yr Awdl yma yn darllen mor naturiol a rhyddiaith, ymron, ac ar yr un pryd y mae y cynghaneddion yn newyddion a thra phrydferth. Mae ei meddyliau yn gryfion a dirodres drwyddi, a'i hawenyddiaeth yn diammheuol. Engraifft neu ddwy:—

'Hêd angel i gostrelu—y dŵr rêd
Hyd y rudd am bechu;
Fyny cwyd y dafnau cu,—'n goffäol
Burlan arosol i barlwr Iesu.

* * *

Bàn dethau yn rhoi bendithion—i'w llestr
Yw 'r llawn addewidion;
I fyd drwg fe odra hon
Y nefoedd fel yn afon!

*Yr Ysgol. Cyhoeddiad Misol i Blant ac Ieuenctyd Cymry America.* New York: H. J. Hughes.

Mae yn llawen iawn genym weled cyhoeddiad bychan mor ddestlus ac mor wir dda yn cael ei ddwyn allan at wasanaeth y plant a'r bobl ieuainc Gymreig yr ochr arall i'r Werydd. Yr ydym yn credu y byddai yn dda gan lawer ei ddarllen yn Nghymru hefyd, a hyderwn y gofala ein llyfrwerthwyr am ei osod yn ffordd ein plant a'n pobl ieuainc yn y wlad hon. Byddai yn hyfrydwch genym ddeall fod *Yr Ysgol* yn cael lledaeniad mawr, canys y mae yn ei gyfiawn haeddu.

*Calvinistic Methodism in Wales: its Present Position and Future Prospects. A Critical Review.* London: Hodder and Stoughton.

Yr ydoedd ar unwaith yn ymddangos i ddyn yn beth dyeithr paham y cyhoeddid gwaith fel hwn yn yr iaith Saesoneg; ac os ydoedd hyny yn ymddangos yn beth dyeithr cyn ei ddarllen, y mae, wedi ei ddarllen, yn ymddangos yn llawer mwy felly. Nid ydyw, dybygid, yn llyfr ag y maliai y Saeson ddim yn ei gylch; ac nid ydyw yn debyg y gwnai ddim daioni i'r Methodistiaid Seisonig. Ac os oedd rhyw amcan gonest gan ei awdwr—yr hwn am ryw reswm neu gilydd sydd yn gweled yn dda gelu ei enw,—os oedd, meddwn, rhyw amcan gonest gan yr awdwr i wellhâu a pherffeithio y cyfundeb yr ysgrifena yn ei gylch, gallasai gael cyfleusderau fel aelod o'r Corff, os oes ganddo gymeriad, i osod ei awgrymiadau ger bron mewn ffordd ag a fuasai, dybygid, yn fwy manteisiol i ddiwygiad na'u hysgrifenu, ac yn enwedig eu hysgrifenu yn yr iaith Saesoneg. Os ei amcan oedd dynoethi y Methodistiaid a'u darostwng, yr ydym yn ofni fod anhawsder dyblyg ar ei ffordd i gyraedd ei amcan: mae y rhai sydd yn adnabyddus o'r bobl hyny, yn teimlo annhraethol rhy fach o ddyddordeb ynddynt i ddarllen unrhyw "adolygiad beirniadol" arnynt; ac y mae y rhai sydd yn adnabyddus o honynt yn meddwl yn llawer rhy uchel o'u ffyddlondeb a'u crefydd i gymeryd dylanwadu arnynt gan lyfryn sydd drwyddo yn anadlu ysbryd mor chwerw ac mor ddirmygus. Ond os dywedir fod y llyfr wedi ei ysgrifenu er mwyn y Methodistiaid eu hunain, a'i ysgrifenu yn Saesoneg, yn gymaint a'i fod yn cael ei olygu fel appêl at ddynion mwyaf goleuedig y Corff, yr ydym yn dyfalu, pa mor werthfawr bynag allo fod rhai o'i awgrymiadau, fod pethau ynddo sydd yn debyg ar unwaith o arfogi beirniadaeth yn ei erbyn, yn hytrach na thueddu neb i ymwrando â'i gyfarwyddiadau. Mae yr awdwr yn proffesu mai ei amcan ydyw lleshâu; ond er hyny mae ei dôn oraclaidd, chwerw, a thrahäus, yn bradychu rhywbeth arall, neu o leiaf yn deffro peth yn y natur ddynol ag sydd yn penderfynu na fŷn osod unrhyw werth ar amcan i leshâu *yn y fath ddull.* Ac ar wahân oddiwrth ei ysbryd, nid ydym ni yn gallu gweled—ac yr ydym yn berffaith barod i addef, os bydd hyny yn rhywbeth gan yr awdwr, mai ein hanwybodaeth allai fod yr achos,—fod dim yn yr awgrymiadau a roddir ag oedd yn werth ysgrifenu llyfr er ei fwyn. Buasai traethawd pwyllog, addfed, difrifol, ar y pwnc a nodir, yn dra gwerthfawr. Buasai o wasanaeth i eglwysi

eraill, canys nid all yr ymdrech at wneuthur llês a wnaed ac a wneir gan y Methodistiaid, fod yn ddibwys i neb sydd yn ymladd o blaid y goleuni, pa un bynag a olygir y ffrwyth sydd wedi ei sicrhâu, ynte a gymerir i ystyriaeth y cynlluniau y gweithredwyd trwyddynt. Ond buasai traethawd o'r fath yn werthfawr iawn i'r Methodistiaid eu hunain. Buasai yn rhoddi cyfleusdra iddynt ymgodi uwchlaw berw eu mân drafferthion cyffredin, ac edrych arnynt eu hunain o safle hanesyddol, megys; buasai yn agor eu llygaid i weled eu lle yn hanes yr eglwys yn gyffredinol, ac nid allasai lai na deffro yn eu meddwl ymdeimlad dwys o'u cyfrifoldeb, a chynneu ynddynt benderfyniad newydd i ymgymeryd yn fwy difrifol nag erioed â'u dyledswyddau. Byddai yn dda genym glywed fod y llyfryn hwn yn gwneyd peth felly; ond rhaid i ni addef nad ydym ni yn dysgwyl dim o'r fath beth.

Y mae dau ddiffyg neillduol ynddo, sydd, dybygem, yn gwrthweithio, yn y modd mwyaf effeithiol, bob amcan at wneyd daioni i'r Methodistiaid allasai fod yn meddwl ei awdwr wrth ei gyfansoddi. Yn un peth, y mae yr awdwr yn cythruddo meddwl y darllenydd trwy ddangos pethau yn eu lliw gwaethaf, a thrwy feddu mor ychydig o allu arno ei hun nes ymollwng gyda themtasiwn geiriogrwydd i ddangos pethau yn llawn gwaeth nag ydynt. Y mae yr ysgrifenydd yn gweled fod anferth ddrygau yn cael eu hachosi gan y blaenoriaid yn y gyfundrefn Fethodistaidd. Pentyra eiriau ar eu gilydd i ddangos mor anwybodus, mor anghoeth, mor wancus am arglwyddiaeth, mor amddifad o grefydd, ac mor orthrymus ar y gweinidogion, ydyw dïaconiaid y Methodistiaid. Yr ydym ni ein hunain yn dygwydd bod yn gydnabyddus â nifer fawr o flaenoriaid y Corff hwnw, ac nid ydym ni wedi adnabod ynddynt y pethau y mae yr ysgrifenydd hwn, fe ellid meddwl, yn methu gweled ynddynt nemawr ddim yn amgen. Yn sicr y mae "gwehilion i'r gwenith;" y mae y ddamain anhapus o fod amryw weinidogion hefyd weithiau yn cartrefu yn yr un eglwys yn gosod rhyw fath o orfodaeth ar y blaenoriaid i gymeryd rhan flaenllaw yn llywodraethiad yr achos; heblaw hyny, mae y blaenoriaid gyda yr achos ar y Sabbothau, ac felly yn abl i fwrw golwg gyda mwy o gysondeb ar ei holl helynt; ac y maent hwy, mewn llïaws mawr o amgylchiadau, wedi gorfod cymeryd arnynt eu hunain faich yn nygiad y gwaith ymlaen, y buasai iddynt ei esgeuluso yr un peth a diffoddiad yr achos; heblaw mai peth cymhariaethol newydd ymhlith y Methodistiaid, er ei fod o'r dechreuad mewn cyfundebau crefyddol eraill, ydyw galw ar y gweinidogion i gymeryd y lle sydd yn perthyn iddynt yn yr eglwysi. Mae yr holl bethau hyn yn myned ymhell i esbonio paham y mae y gweinidogion yn llai ymysg y Methodistiaid nag ymysg enwadau eraill; ac yr ydym yn hyderu, pa faint bynag o zêl a ddangosir yn y Corff o blaid y Fugeiliaeth,—ac y mae yr ysgogiad bendithiol hwn yn myned rhagddo y dyddiau hyn lawn mor gyflym ag y dymunem ei weled,—na wneir dim ag a dueddo i beri colli i'r eglwys Fethodistaidd y gwasanaeth gwerthfawr a wnaed ynddi o'r dechreuad gan y blaenoriaid. Ni welsom ni ddim o'r pethau hyny ynddynt ag sydd yn cyffrôi i'r fath danbeidrwydd ddigofaint ysgrifenydd y traethawd hwn. Os nad ydynt yn ddysgedig, a phob amser yn berffaith ddoeth, beth yn well sydd i'w wneyd yn ein heglwysi na dewis y dynion goreu sydd ynddynt? Gwell i'r gwaith gael ei wneyd, er heb fod yn gwbl berffaith, na bod heb ei wneyd oll. Am yr eiddigedd rhwng y swyddi, yr ydym ni yn credu yn gydwybodol nad ydyw yn hanfodi ond yn ymenydd damcanwyr. Yr ydym yn deall fod rhai wedi ymdrechu yn egnïol i ledu gagendor rhwng y gweinidogion a'r blaenoriaid ymhlith y Methodistiaid, trwy fwrw yr un dirmyg ar y gweinidogion, a phrïodoli iddynt yr un gau-ddybenion, ag a wna ysgrifenydd y llyfryn hwn gyda golwg ar y blaenoriaid. Ond erbyn dyfod i edrych arnynt gyda'u gilydd, ac yn gweithio, nid ydym ni yn gallu gweled ond undeb, a chariad, a chydweithrediad, a hyny i raddau sydd yn dangos fod y naill swyddogaeth a'r llall, trwy drugaredd, yn cael ei chadw, i fesur helaeth, dan lywodraeth ysbryd crefydd. Mae y nerth sydd yn ysgogi y Methodistiaid i weithgarwch, yr ydym yn hyderu, yn annhraethol rhy iachus i gymeryd ei niweidio gan ryw syfrdandod isel o'r fath yma. Pan aiff dynion yn segur eu meddyliau, fe fydd ganddynt amser i lettya syniadau afiachus fel hyn; ond os ymroddant i lafur difrifol dros eu Brenin, hwy deimlant nad all syniadau o'r fath ddim talu am eu lle. Ac yn wir, pan elo *lle* swyddogaeth i fyned â'r meddwl, ac nid ei *gwaith*, goreu po gyntaf iddi gael ei chladdu o'r golwg. Mae yr ysgrifenydd hwn yn trin rhai pregethwyr hefyd yn galed iawn. Ac yr ydym yn berffaith foddlawn iddo fwrw dirmyg ar bob segurdod ac ynfydrwydd a ddangosir gan bregethwyr; ond ar yr un pryd yr ydym yn annhraethol bell o allu cydymdeimlo â'r mursendod sydd yn edrych yn ddirmygus ar ymdrechion brodyr ag y mae Duw wedi eu harddel i fod yn fendith i'w cyd-ddynion, am nad ydynt bob amser yn ddysgedig, neu ymhob peth yn drwyadl foneddigaidd.

Yr ydym yn meddwl fod rhai brawddegau yn y llyfr gyda golwg ar hyn na fuasai ychydig addfedrwydd mewn ysgolheigdod, heb sôn am ronyn o ddifrifwch mewn crefydd, yn caniatâu iddynt ymddangos.

Ac am yr awgrymiadau a roddir gyda golwg ar ddiwygio, nid ydym ni, wedi y cwbl, yn gallu gweled nemawr ynddynt. Gallem ddywedyd fod pob un o honynt ag sydd o unrhyw werth yn ddigon cynefin i bob dyn sydd yn talu rhywfaint o sylw i helyntion y Methodistiaid; ac am yr awgrymiadau newyddion, mae yn bur ammhëus a ydynt o unrhyw werth. Yn sier nid oedd eisiau ysgrifenu llyfr yn Saesoneg i ddysgu y Methodistiaid y byddai yn ddymunol fod eu blaenoriaid oll wedi cael tipyn o addysg; ac nid oedd eisieu y fath beth ychwaith i roddi ar ddeall iddynt y byddai yn dda gwneyd defnydd o allu a chymhwysderau gweinidogaethol y rhai a ordeinir, er sicrhâu ymgeledd fwy effeithiol i'r eglwysi. Mae y Methodistiaid wedi bod yn llafurio yn egnïol iawn i roddi manteision addysg i'w pobl, ac y maent yn ymddangos yn benderfynol o wneyd eu rhan mewn dwyn darpariaethau yr Act newydd i gyraedd y werin yn gyffredinol. Y maent hefyd, lle bydd eu hamgylchiadau yn caniatâu, yn ymdrechgar i roddi addysg uwch i'w plant nag a ellir gael yn yr ysgolion elfenol; a chyda y cyfnewidiadau sydd yn rhwym o gymeryd lle yn ein hysgolion gwaddolog, y maent yn sicr o wneyd hyny yn llawer mwy eto. A lle bydd pobpeth arall cystal, y mae yn glod i farn yr eglwysi yn gyffredinol nad ydyw dynion diwylliedig yn debyg o gael eu gadael ar ôl, pan etholir swyddogion eglwysig. Fel y crybwyllwyd o'r blaen hefyd, mae y Fugeiliaeth yn myned rhagddi y dyddiau hyn gyda chymaint o gyflymdra ag y carai ei chyfeillion goreu ei gweled. Mae y syniad am y priodoldeb o fod gweinidogion yn cymeryd gofal eglwysi, ac hefyd fod cysylltiad dealledig yn cael ei ffurfio rhyngddynt, erbyn hyn, wedi meddiannu y Corff yn bur gyffredinol, ac mae y peth yn cael ei gario i weithrediad ymron mor gyflym ag y goddef amgylchiadau. Y mae y Methodistiaid mor fyw i'r pethau hyn, a dyweyd y lleiaf, fel nad oedd nemawr o angen eu ffangellu ar g'oedd y deyrnas fel rhai yn dangos esgeulusdra gwaradwyddus gyda golwg arnynt. Am awgrymiadau eraill yr awdwr, yr ydym yn dyfalu na buasai y Methodistiaid na'r bydysawd nemawr ar eu colled pe na fuasai wedi ymostwng i'w hysgrifenu. Mae yn ymddangos i ni fod llawer o bethau gwaeth ar y ddaear na chôr mawr yn yr addoldai, a thai capelydd. Nid ydym ychwaith yn meddwl y gallai llawer o lês ddyfod o ommedd i'n cynnulleidfäoedd helaethu eu haddoldai, neu adeiladu rhai newyddion, pan y maent yn barod i wneyd hyny yn gwbl ar eu traul eu hunain, ac o gariad at yr achos. Mae "teithio" y Methodistiaid wedi myned mor isel fel na fyddai yn hawdd iddo fyned yn is; a thra y mae, yn unol â golygiad yr ysgrifenydd hwn, yn darfod gyda hwynt, y mae cyfundebau eraill yn ymlynu yn fwy dyfal wrtho, a hyd yn nôd Eglwys Loegr yn awyddus am roddi prawf arno. Yr ydym hefyd ymhell iawn o feddwl mai da fyddai diddymu llafur llëygol gyda y weinidogaeth. A chyda golwg ar bethau eraill, y mae yr ysgrifenydd hwn yn gosod dirfawr bwys arnynt, yr ydym ni yn gorfod oddef nad ydym yn gallu ymdeimlo ond i raddau bach iawn â'u pwysigrwydd. Mae genym ffydd gref yn nyfodol y Methodistiaid, ac yr ydym yn hyderu yn fawr y bydd eu defnyddioldeb yn cynnyddu fwyfwy; ond yr ydym yn meddwl felly am danynt, am ein bod yn gweled annhraethol ragoriaeth yn yr ysbryd sydd yn bywhâu eu hymdrechion ar ddim a allwn weled yn ysbryd y llyfryn hwn.

*Gair at y Prophwydi.* Pregeth a draddodwyd yn Nghymdeithasfa Dolgellau, Mehefin 16eg, 1870. Gan y Parch. William Williams, Crughywel. Cyhoeddedig ar gais y Gymdeithasfa. Treffynnon: P. M. Evans.

Mae y *Gair* hwn, yn sicr, yn "air yn ei amser," ac mae yn berffaith dêg ychwanegu, "O mor dda ydyw!" Ni fu erioed adeg ar ein gwlad ag yr ydoedd yn fwy pwysig fod ei phrophwydi yn sefyll yn ddiysgog dros wirionedd yr Efengyl, a chan gredu ynddo eu hunain, yn ei draddodi i'r byd fel yr unig obaith am fywyd. Dylai y bregeth ragorol hon gael ei darllen yn ystyriol gan holl weinidogion yr Efengyl yn Nghymru, gan ein holl swyddogion eglwysig, holl athrawon ein Hysgolion Sabbothol, a phob un sydd yn meddwl y gall wneyd rhywbeth mewn ffordd o wasanaethu achos mawr y gwirionedd.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.